History of Great Britain

265

# PRYDAIN FAWR:

## Ei Chodiad, ei Chynydd, a'i Mawredd;

YN NGHYDA

BRASLUN O'I CHYFANSODDIAD, EI LLYWODRAETH,

A'I

CHYFREITHIAU.



GAN

THOMAS LEVI, TREFORIS.

ABERTAWY:

ARGRAFFEDIG A CHYHOEDDEDIG GAN J. ROSSER, HEATHFIELD STREET.

[1863]

# RHAGARWEINIAD.

### HANES Y CYMRY.

Mae i genedl y Cymry le pwysig yn hanes Prydain Fawr. Mae y rhan fwyaf o'r haneswyr yn tueddu i un o ddau eithafoedd wrth ysgrifenu ei hanes; naill ai edrych ar y genedl fel un heb feddu unrhyw ragoriaethau hynafol uchel, fel y gwna llawer o'r Saeson; neu edrych arni fel cenedl o haner duwiau, na fu, ac na fydd cenedl arall gwerth ei chydmaru â hi, fel y gwna llawer Cymro brwd a gor-selog. Mae y gwirionedd yn hyn, fel mewn pynciau dadleuol yn gyffredin, yn gorwedd rhwng y ddau eithafoedd. Ac er ein bod wedi britho y gyfrol hon â thameidiau o hanes prif ddygwyddiadau ein gwlad a'n cenedl, efallai y bydd crynodeb byr o'r hanes mwyaf dilys a chredadwy yn ddymunol gan y darllenydd ar ffurf Rhagarweiniad.

### EU HANIAD A'U CYFLWR BOREUOL.

Mae haniad cenedl y Cymry yn orchuddiedig yn niwl y cynoesoedd. Er fod genym luaws o chwedlau a thraddodiadau yn olrhain ei hanes a'i rhwysg yn ol mor foreu a Noah, i ymyl y Diluw, nid oes i'r cyfryw draddodiadau awdurdod hanesiol. Nid oes gan y Cymry unrhyw gofnodau hanesiol o'u heiddo eu hunain, yn cyrhaedd mor bell a dechreuad y cyfnod Cristionogol; ond y mae yr oll sydd ar gael wedi ei gofnodi yn ngweithiau awduron estronol. Y tebygolrwydd yw, oddiwrth bob hanesiaeth a thraddodiad, i'r genedl ymfudo i'r ynys hon o ryw barthau dwyreiniol, ac iddynt fod unwaith mewn rhwysg mawr ar gyfandir Ewrop. Addefir yn o gyffredin hefyd, mai hwy oedd trigolion cyntaf ynys Brydain, ac i'r wlad fod am dymhor anhysbys yn rhanedig rhwng gwahanol lwythau o honynt. Mae yn dra thebyg hefyd i'r wlad gael ei henw oddiwrth *Brython*, yr hen enw cyffredin ar y trigolion. Beth bynag, gan nad o ba le y daeth y Cymry, na pha mor foreu y cymerasant feddiant o'r ynys, y mae yn eithaf sicr eu bod yn genedl gref yn amser dyfodiad y Rhufeiniaid, nid yn unig yn Mhrydain, ond hefyd mewn parthau o'r Cyfandir; a chyfrifid fod y Cymry a hen drigolion Gaul (Ffrainc) yn tarddu oddiar yr un gwreiddyn cyntefig. "Yr oedd y Cymry," meddai Stephens, "yn mhlith poblogion boreuaf Ewrop, pan oedd y wlad (Prydain) eto yn annghyfanedd, yn rhanedig rhwng bwystfilod rheibus, ac heb ddelw dyn o fewn ei therfynau. Hwynt-hwy enillasant Ynys Brydain oddiar eirth a bleiddiaid, ac a osodasant gareg sylfaen ei godidawgrwydd presenol. Ac er holl ddichellion gwrthwynebwyr, a holl chwyldroadau amser, wele ni yma eto, a'n traed ar fryniau ein hynafiaid, ein haneddleoedd yn y dyffrynoedd a feddianent hwythau, ac awelon y nef yn cludo (ein) gweddiau at orseddfainc y Goruchaf yn yr iaith ag a esgynai oddiyma filoedd o flynyddoedd yn ol." Yr ydym wedi rhoddi cipolwg ar gyflwr boreuol y genedl yn y benod gyntaf o'r llyfr; felly awn heibio yn awr i gael trem ar eu helynt yn ystod

### Y CYFNOD RHUFEINIG.

Bychan iawn yw y defnyddiau hanesyddol o ddim awdurdod am gyflwr gwreiddiol y Cymry yn ystod y pedwar can mlynedd y bu ein gwlad yn dalaeth Rufeinig, gan fod y beirniaid goreu yn amheu awdurdod y "Brut"

a'r "Trioedd." Pymtheg mlynedd a deugain cyn Crist, fel y dangoswyd, daeth Julius Cesar â byddinoedd drosodd yn erbyn Prydain; cafodd wrthwynebrwydd cyndyn gan y brodorion dan arweiniad y dewr Caswallawn. Ond y flwyddyn ganlynol, wedi cyrchu adgyfnerthion, llwyddodd Cesar i ddarostwng y Prydeiniaid mor bell ag i gael ganddynt gydnabod goruwch awdurdod Rhufain arnynt. Yn mhen tua chan mlynedd (O.C. 43) ystyriai Rhufain ddarostyngiad Prydain yn bwnc o gymaint pwys, fel y daeth yr ymerawdwr Claudius ei hun drosodd i geisio perffeithio y gorchwyl a ddechreuwyd gan ei ragflaenydd. Canlynodd degau o flynyddoedd o'r brwydrau mwyaf ffyrnig a gwaedlyd; anfonai Rhufain ei dewis gadfridogion drosodd, y naill ar ol y llall, gyda chyflenwad parhaus o filwyr; ond daliai y Cymry i'w gwrthsefyll yn wrol dan lywyddiaeth Caradog, Boadicea, ac eraill. Ac oni bai annghydfod a bradwriaeth yn eu mysg eu hunain, diamheu y buasent wedi gyru eu gormeswyr mwy gwareiddiedig allan o'u cyffiniau.

Dan lywyddiaeth Agricola, y cadfridog Rhufeinig mwyaf llygadgraff, dewr, a hynaws, a fu yn Mhrydain, y cyrhaeddodd y gallu Rhufeinig ei rwysg uchaf yn y wlad hon. Daeth hwn drosodd yn y flwyddyn 78; a phan welodd nad allai lwyr orchfygu y Prydeiniaid trwy rym arfau, dywed yr hanesydd Tacitus (mab yn nghyfraith Agricola) iddo ymroddi i gwblhau y darostyngiad trwy hudoliaethau, a thrwy feithrin yn y trigolion archwaeth at lythineb a moethusrwydd. Adeiladai dai a themlau iddynt, canmolai eu gorchestion, ac addysgai eu plant. Ymroddodd i blanu ysbryd ac arferion Rhufeinig yn y wlad; a phrofodd hyn yn fwy llwyddianus i ddarostwng y genedl na holl nerth y cleddyf a'r bicell. Eto dylid dyweyd nad oedd y goresgyniad yn drwyadl. Ni fynai yr Esyllwyr—trigolion Gwent a Morganwg—ymostwng trwy deg na hagr; ac ni chydnabyddodd parthau gogleddol yr ynys erioed mo'r awdurdod Rhufeinig.

Dygodd y Rhufeiniaid fanteision ac anfanteision gyda hwy i'r wlad hon. Ar y naill law, llethasant ysbryd annibynol y Cymry, ac anafwyd eu gwroldeb a'u teimlad cenedlaethol i raddau helaeth gan ddeniadau ac arferion moethus a llygredig y gormeswyr. "Annghofiodd y Brython eu bod unwaith yn annibynol, ymostyngasant i iau estronol, a chollasant y ffordd a'r ewyllys i amddiffyn eu hunain." Ar y llaw arall, effeithiwyd gwelliadau pwysig mewn gwisgoedd, mewn tai, mewn gwybodaeth a chelfyddyd, ac yn arbenig mewn amaethyddiaeth. Llinellwyd y wlad ar hyd ac ar draws â ffyrdd, darnau o ba rai sydd yn aros hyd y dydd hwn; a hwyluswyd masnach y wlad â'r Cyfandir, yr hon oedd wedi bod mewn bri am ganoedd o flynyddoedd cyn dyfodiad y Rhufeiniaid. Ac er bod dyfodiad y Rhufeiniaid yn fflangell gyfiawn ar y Brytaniaid am y gormes, yr eiddigedd, a'r bradwriaeth a fodolai yn mysg y gwahanol lwythau; eto yr oedd yn amlwg fod gan Ragluniaeth amcan pellach a phwysicach, sef darparu ffordd i ddyfodiad yr Efengyl. Nid yw yr ystyriaeth hon yn unrhyw esgus dros wanc a chreulonder y gorchfygwyr; ond y mae yn ddefnydd cysur, ac yn destun diolchgarwch i'r gorchfygedig. Y dygwyddiad mawr nesaf yn hanes y wlad yw—

## GORESGYNIAD Y SAESON.

Rhoddwyd hanes byr am helyntion dyfodiad yr efengyl i Brydain mewn lle arall (tu dal. 18.) Gwanychodd y gallu Rhufeinig yn raddol, ac erbyn canol y bumed ganrif (446) yr oedd y Rhufeiniaid wedi cilio yn llwyr; ond gadawsant wythen o waed Rhufeinig ar ol, trwy ymgymysgiad â'r Brytaniaid. Gadawsant yr ynys yn llawn terfysgoedd blin, y rhai a achosid yn

benaf gan ruthriadau ysbeilgar Albaniaid a Gwyddelod, a elwid Pictiaid a Scotiaid. Wedi i'r Rhufeiniaid wrthod cynorthwy, gwahoddwyd llwyth o estroniaid Germanaidd, a elwid Sacsoniaid, drosodd i gynorthwyo y Prydeiniaid yn erbyn y llwythau anhywaith hyn, ac i ddarostwng y gwrthryfel. Ond nid hir y bu yr estroniaid hyn cyn gwarchod cyfleusdra, a gyru am ychwaneg o nerth er treisio llywodraeth y wlad i'w dwylaw eu hunain. Cyffrodd hyn ysbryd gwrol yr hen Gymry, a daethant allan yn eu dewrder arferol i'w gwrthsefyll, dan arweiniad eu breninoedd enwog, Emrys Wledig, Uthyr Bendragon, Arthur, Cadfan, Cadwallawn, Cadwaladr, ac eraill. Ond gan fod y gelyn yn para i redeg i mewn fel afon, yn raddol cymerasant feddiant o'r parthau deheuol; ffurfiasant deyrnas ar ol teyrnas, nes erbyn diwedd y chweched ganrif, yr oedd y Seithbenaeth Seisnig wedi eu sefydlu, a'r Cymry wedi eu cilgwthio i'r gogledd a'r gorllewin. "Y Saeson," meddai Carnhuanawc, "a orfuant ymladd eu ffordd bob yn droedfedd, dros dri chant o flynyddau cyn gallael cwbl feddianu Lloegr. A phan ddaeth y Normaniaid i'r ynys, goresgynasant y Saeson ar un ergyd, sef yn mrwydr Hastings; ond buont dros ddau cant o flynyddau yn cynal rhyfeloedd parhaus yn erbyn y Cymry, yn nghyda holl gadernid Lloegr, cyn llwyddo i uno y Dywysogaeth â choron y deyrnas hono."* Y brenin Cymreig diweddaf a fu yn llywodraethu dros Unbenaeth Prydain, ydoedd Cadwaladr, teyrnasiad yr hwn a derfynodd yn y flwyddyn 703.

Wedi goruchafiaeth y Saeson a sefydliad eu teyrnasoedd yn Lloegr, ymsefydlodd yr hen genedl yn benaf yn Nghymru. Ymsefydlodd niferi o honynt hefyd mewn parthau eraill, megys Cernyw, Strathclud (Ystrad Clwyd), ar lan yr afon Clyde, Cumbria (Cumberland), a Llydaw. Ymgymysgodd y cangen-lwythau brodorol, a elwid y Lloegrwyr a'r Coraniaid, â'r llwythau Sacsonaidd; ymdoddasant i'w gilydd, a chyfrifir mai y cydgymysgiad hwn sydd yn ffurfio cyff priodol y genedl Seisnig rhagllaw. Diflanodd y Cymry oeddynt wedi sefydlu yn ngwahanol barthau yr ynys hefyd yn raddol, trwy ymgymysgiad cyffelyb, oddigerth y rhai a breswylient yn Nghymru. Ymgadwodd y rhai hyn ar wahan o oes i oes, ac o ganrif i ganrif, a chospasant draha eu goresgynwyr Sacsonaidd, Danaidd, a Normanaidd, trwy ymosodiadau parhaus ar y cyffiniau. Unwyd y saith teyrnas Seisnig yn un gan Egbert yn 827, a theyrnasodd pymtheg o freninoedd arnynt yn olynol, hyd nes iddynt orfod rhoddi ffordd i'r "Llu Du," neu y Daniaid, yn nechreu yr unfed ganrif ar ddeg, a'r Daniaid i'r Normaniaid yn mhen haner canrif wedi'n, a'r Normaniaid eilwaith i'r Brytaniaid brodorol cyn diwedd y bymthegfed ganrif, yn mherson Harri Tudor (Henry VII.)

Hanes rhyfeloedd gwaedlyd yw bron yr oll o hanes y Cymry sydd ar gael am bum can mlynedd wedi goresgyniad eu gwlad gan y Saeson. Yn y cyfamser mwydwyd agos pob llathen o ddaear Cymru â gwaed; nid gwaed y Saeson, a lluoedd duon y Daniaid yn unig, ond yn fynych mynych â'r gwaed coch Cymreig, a hyny trwy ddwylaw eu gilydd. Cenedl greulon ac annuwiol oedd y Saeson; ac y mae ysgelerder eu gweithredoedd anrheithiol yn annesgrifiadwy. Yn gospedigaeth am eu pechodau rhyfygus dygodd Rhagluniaeth heidiau o'r môr-ladron Danaidd arnynt fel locustiaid—pobl greulonach na hwy eu hunain. Cilgwthiasant hwynt o'u blaen, a chymerasant awdurdod y wlad oddiarnynt. Gwnaethant ymosodiadau olynol a chyndyn ar y Cymry hefyd; ond y cwbl yn ofer; gyrent hwynt yn eu hol i'r môr, neu i Loegr, gyda cholledion a chywilydd. "Pan ystyriom y modd rhyfeddol y darfu i'r Cymry amddiffyn eu hunain rhag y gorthrymder hyn,

*Hanes Cymru, 294.

ni allwn atal oddiwrthynt y clod sydd ddyledus idd eu gwrolder, a chyfaddef ein dyledion i'r Rhagluniaeth a'u cyfnerthodd hwy i'r gwaith; canys er y darfu i'r lluoedd bwystfilaidd yma oresgyn Lloegr, ac yn agos y cyfan o'r Ynysoedd Brytanaidd, a'u cadw dan eu rheolaeth gormesol dros amryw oesoedd, eto nis gallasent erioed enill cymaint ag un ymsefydliad yn Nghymru, er y gwnaethant amrywiol gynygion, fel y gwelir yn y cofiant a geir am y brwydrau gwaedlyd a ymladdwyd â hwy mewn cynifer o fanau ar ymylau y Dywysogaeth. A diau mai nid ymdrechiadau llesg oedd y rhai hyn; canys y Daniaid oeddynt yn ddynion o'r fath danbeidrwydd yn eu rhuthriadau mewn brwydr, a'r fath ddewrder a ffyrnigrwydd diysgog mewn ymladdiad lawlaw, ac hefyd o gorpholaeth a nerthoedd godidog, a'u bod hwy yn ddychryn i holl ororau Ewropa; ac oddieithr Cymru, nid oedd un o'r gwledydd cyfnesol, yr hon ni oresgynasant, naill ai yn gyfangwbl, neu ryw ran o honi."*

Oesoedd tywyll mewn gwirionedd oedd yr oesoedd hyn ar Brydain yn mysg ei gwahanol breswylwyr. Yr oedd y Saeson, fel y tystia y brenin enwog Alfred, yn îs o ran eu dysgeidiaeth lenyddol na'r Cymry. Cawn gydser o enwogion Cymreig tua'r chweched ganrif, y rhai y mae eu henwau a'u gweithiau clodfawr wedi cyrhaedd i lawr atom ni; sef Taliesyn ben Beirdd, Aneurin, awdwr enwog y "Gododin," pryddest a gyfansoddwyd yn 510, ac un o'r cyfansoddiadau Prydeinig hynaf, debygem, sydd ar gael; Llywarch Hen, Myrddin, a Gildas; a'r seintiau enwog Dewi, Cadog, ac Illtyd. Ond am ganrifoedd ar ol hyn, nid oes nemawr o feirdd na llenorion enwog i'w cael, gyda'r eithriad o Nennius yr hanesydd, Asser Menevensis o Dyddewi, yn y nawfed ganrif, a Hywel Dda, awdwr a chasglydd y Cyfreithiau Cymreig, yn y ddegfed ganrif.

## Y GORESGYNIAD NORMANAIDD.

Nid aflonyddwyd nemawr ar Gymru gan William o Normandy, pan ddaeth a'i luoedd drosodd i oresgyn Lloegr; ond daeth gorchfygiad Cymru yn bwnc pwysig ei feibion a'i olynwyr. Ac un o'r cyfnodau pwysicaf yn holl hanes ein cenedl yw cyfnod eu hymdrechion hirfaith a llwyddianus i amddiffyn eu gwlad a'u hannibyniaeth yn erbyn ymosodiadau y breninoedd Normanaidd. "Llywyddwyd y Cymry gan res o dywysogion galluog ac egniol; amddiffynwyd eu rhyddid gyda gwroldeb teilwng o'r cyfnod godidocaf yn hanes y Groegiaid—sef amser ymosodiad y Persiaid dan Xerxes; ac enillodd Owen Gwynedd, yr Arglwydd Rhys, a'r ddau Lywelyn, barch ac enwogrwydd a ddeil tra fo Cymro a Chymraeg ar wyneb y ddaear."†

Nid yn ngwroldeb eu hysbryd milwrol yn unig, ychwaith, y gallasai y Cymry ymffrostio yn amser ymosodiadau y Normaniaid arnynt; ond yr oedd ganddynt iaith mor goethedig, a chyfoeth llenyddol nas gallasai yr un genedl arall yn Mhrydain gystadlu â hwynt. Yr oedd eu sefyllfa o wareiddiad cyffredinol hefyd, wrth ystyried yr amseroedd a'r amgylchiadau, yn glod nid bychan iddynt. Yn y cyffro diwygiadol pwysig a gynhyrfodd Brydain a holl Ewrop, yn niwedd yr unfed ar ddeg, a dechreuad y ddeuddegfed ganrif, derbyniodd Cymru ei chyfran, a chawn yma ymroddiad egniol i wellhau y cyfreithiau, taenu gwybodaeth, cynal eisteddfodau, ac adeiladu cestyll cedyrn ac eglwysi cyfleus. Yr oedd gan y Cymry, ar adeg y cyffroad hwn, un fantais bwysig ar y cenedloedd eraill; "canys tra yr oeddynt y cenedloedd eraill yn agos yn amddifad o lafar-ieithoedd rheolaidd, ac ar y pryd yn ymdrafferthu dan yr anhawsderau o ffurfio ieithoedd

*Hanes Cymru, 359. † Traethodydd, 1857, tudal. 307.

newyddion, yr oedd y Cymry yn berchenogion ar iaith goeth a chyflawn, wedi ei choleddu dros oesoedd maith, ac hefyd yn meddianu cyfundraeth ardderchog o farddoniaeth, yr hon oedd wedi ymdreiddiaw yn eu plith er cyn cof."*

Ond, er cymaint oedd eu gwroldeb, gan fod amrafaelion parhaus yn eu mysg, ac aml un o honynt yn ymwerthu yn fradwrus i gynorthwyo y gelyn, cyfyngwyd ar eu tiriogaeth, a chymerwyd parthau eang o gyffiniau Cymru oddiarnynt. Cymerodd y goresgynwyr amryw o'r siroedd cyffiniol, a gosodwyd y pendefigion Normanaidd dewraf arnynt, y rhai a elwid yr *Arglwyddi Cyffindirol*, er mwyn eu cadw, a gwylio yn erbyn rhuthr-gyrchiadau y Cymry ar Loegr. Cadwodd y tywysogion Cymreig yr oll o'r wlad o'r afon Teifi hyd afon Conwy, er gwaethaf pob dyfais, hyd farwolaeth Llywelyn ap Gruffydd, ac uniad Cymru a choron Lloegr, dan Edward I.

Mae y cymysgiad achyddol a gymerodd le rhwng y pendefigion Normanaidd a theuluoedd pendefigaidd Cymreig yr amser hwn yn deilwng o nodiad. Dywedir fod teimlad cyfeillgar a chymdeithasol yn un o nodweddion arbenig y cymeriad Normanaidd; arferent ymgymysgu trwy briodas â'r rhai yr ymsefydlent yn eu mysg; mabwysiadent eu hiaith a'u harferion, ac ymostyngent i'w cyfreithiau. Profasant eu hunain felly i raddau yn eu trafodaeth â'r Cymry. Unwyd amryw o brif deuluoedd y ddwy genedl trwy gysylltiad priodasol. Priododd Gerald de Windsor â Nest, merch Rhys ab Tewdwr; Bernard de Newmarch â Nest, merch Traherne ab Caradog; Robert Fitzhamon â Nest eto, merch Jestyn ab Gwrgant; John de Breos â Margaret, merch Llewelyn ab Iorwerth; a Reynold de Bruce â merch arall i'r un tywysog. O'r tu arall cawn Dafydd ab Gwynedd yn priodi chwaer i Henry II.; Llewelyn ab Iorwerth yn priodi Joan, chwaer y brenin John; Llewelyn ab Gruffydd yn priodi Eleanor de Montford; Gruffydd, mab Arglwydd Rhys, yn priodi Matilda, merch William de Breos; a'i frawd, Rhys Gryg, yn priodi merch Iarll Clare.† Mae hyn yn dangos i ymgymysg-iad pwysig gymeryd lle, ac yn rheswm am waith y Cymry yn fynych yn cynorthwyo yr Arglwydd Cyffindirol i ymladd yn erbyn y penadur Normanaidd. Ac un peth nodedig yw, i'r teuluoedd Cymreig o'r diwedd lyncu yr holl dylwythau Normanaidd hyn, a'u gorfyw mewn gwaed, iaith, ac arferion. Oblegyd dadfeiliodd y teuluoedd estronol yn raddol, a chynyddodd y teuluoedd Cymreig nes cwbl feddianu eu lleoedd. "Y coed-gymunwyr Saesoneg," meddai Carnhuanawc, "a ddaethant ac a dorasant i lawr lawer o brenau yr allt, ac a blanasant yno goedydd dyeithr; eithr yn rhwysg amser, yr hen foncyffion a impiasant drachefn, ac a dagasant y planigion estronaidd." Yn unol a hyn, cawn yr holl ryfeloedd yn y diwedd yn terfynu yn ngoruchafiaeth yr hen Frythoniaid; nid yn sefydliad un o'r Normaniaid ar orsedd Cymru, ond yn sefydliad etifedd o'r llinach Gymreig ar yr orsedd Normanaidd. Cymerwyd gorsedd y wlad gan y Rhufeiniaid yn y flwyddyn 120; gan y Saeson yn 688; gan y Daniaid yn 1012; gan y Normaniaid yn 1066; a chan y Cymry, yr hen drigolion cyntefig, trwy hawl-fraint gwaed a choncwest, yn esgyniad teulu Tudor yn 1485.‡

Yr ydym mewn lle arall wedi cyfeirio at sefyllfa wareiddiol a llenyddol y Cymry pan unwyd y Dywysogaeth â choron Lloegr. Anfynych y mae, ac anhawdd y gall haneswyr Seisnig wneyd cyfiawnder â'r genedl Gymreig, am fod muriau yr iaith yn rhwystr iddynt ffurfio barn am ei gweithiau llenyddol. Diamheu fod dyled Lloegr y dydd hwn i'r Cymry yn llawer mwy nag a gydnabyddir yn gyffredin. Mae elfen Gymreig yn iaith a

*Hanes Cymru, 536. †"Stephen's Literature of the Kymry," 430. ‡"Morgan's Cambrian History."

llenyddiaeth y Saeson; gwaed Cymreig, trwy ymgymysgiad parhaus, yn nghenedl y Saeson; a theulu breninol presenol unbenaeth Prydain yn disgyn o'r achau Cymreig. Felly nid yw y casgliad a dynir yn un annheg—"Fod rhan helaeth o ddylanwad yr iaith Seisnig ac o ogoniant y bobl Brydeinig yn ddyledus i genedl y Cymry." Ac yn wir, y mae yn un o ryfeddodau penaf hanesiaeth, fod cenedl yn cofnodi ei hanes wrth y miloedd o flynyddau, wedi cadw ei gwlad dros yr ystod hirfaith, er gwaethaf ymosodiadau holl genedloedd Ewrop, ac wedi cadw ei hiaith yn fyw a dilwgr, pan mae ei holl gyfoed-ieithoedd cyntefig wedi hen farw. Ië, yma y mae y Cymry heddyw yn preswylio rhwng mynyddoedd a bryniau Cymru, yn fwy poblog yn eu tywysogaeth gyfyng nag y buont erioed o'r blaen, a'u henwau yn tryfritho pob tref ac ardal trwy Loegr ac America; eu hiaith yn fwy coethedig, yn cael ei siarad a'i darllen yn eangach, a'i thrysorau llenyddol yn para i chwyddo fwyfwy, a hwythau fel yn penderfynu gwneyd yr hen air byth yn wir—

"Eu Ner a folant,
Eu hiaith a gadwant,
Eu tir a gollant,
Ond Gwyllt Walia."

# CYNWYSIAD.

## PENOD I.

O AMSER JULIUS-CESAR HYD ORCHFYGIAD Y NORMANIAID, CYN CRIST 55.—B.A. 1066.



## PENOD II.

O ORESGYNIAD Y NORMANIAID HYD DDIWEDD TEYRNASIAD Y BRENIN JOHN, 1066—1216.

## PENOD III.

O ESGYNIAD HENRY III. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD RICHARD II., 1216—1399.



## PENOD IV.

O ESGYNIAD HENRY IV. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD RICHARD III., 1399—1485.

## PENOD V.

O ESGYNIAD HENRY VII. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD HENRY VIII., 1485—1547.

## PENOD VI.

O ESGYNIAD EDWARD VI. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD ELISABETH, 1547—1603.



## PENOD VII.

O ESGYNIAD JAMES I. HYD ADFERIAD CHARLES II., 1603—1660.

## PENOD VIII.

### O ADFERIAD CHARLES II. HYD Y CHWYLDROAD, 1660—1689.

## PENOD IX.

### O ESGYNIAD WILLIAM A MARY HYD DDIWEDD TEYRNASIAD ANNE, 1689—1694.



## PENOD X.

### O ESGYNIAD GEORGE I. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD GEORGE II., 1714—1760.



## PENOD XI.

### TEYRNASIAD GEORGE III., 1760—1820.

## PENOD XII.

### O esgyniad George IV. hyd y Flwyddyn 1863.



## PENOD XIII.

### Y Cyfansoddiad Prydeinig.

---

## GWELLIANT GWALL.

Tudalen 235, yn dechreu yn y 19eg linell o'r gwaelod, yn lle "Yr oedd Mary wedi priodi yr ail waith â Charles Brandon, Duc Suffolk, ac wedi cael dwy ferch o hono," &c.; darllener, Yr oedd Mary wedi priodi yr ail waith â Charles Brandon, Duc Suffolk; ganed merch iddynt o'r enw Frances, yr hon a briododd â Henry Grey; a ffrwyth y briodas hon ydoedd y Tywysogesau Jane a Catharine Grey.

# HANES PRYDAIN FAWR.

## PENOD I.

O AMSER JULIUS CESAR HYD ORCHFYGIAD Y NORMANIAID.
CYN CRIST 55.—B.A. 1066.

### RHAGYMADRODD.

YR ydym yn bwriadu rhoddi yn nwylaw y darllenydd Cymreig fraslun o hanes ei wlad. Ni oddef ein terfynau, ac ni fyddai mor fuddiol i'r lluaws, i'r hanes fod yn fanwl a maith, ond hyderwn y bydd yn gywir a chyflawn. Rhedwn yn frysiog dros y canrifoedd cyntaf, ond cymerwn amser i edrych yn fanylach o gwmpas prif gyfnodau ei hanesiaeth; y dygwyddiadau pwysig fuont a'r llaw flaenaf yn ei chyfluniad a'i llwyddiant. Gosodwn o flaen y darllenydd y personau, yr amgylchiadau, a'r dylanwadau fuont yn foddion i godi Prydain o'r cyflwr mwyaf isel a barbaraidd, i fod y deyrnas fwyaf ei gallu a'i dylanwad ar y ddaear. Cawn weled fod rhywbeth heblaw brenin, arglwyddi, a chyffredin, wedi bod yn adeiladu y fath sefydliad gogoneddus. Mae yn bosibl iddynt hwy osod i lawr sylfaen yr adeiladaeth; ond rhaid chwilio hanes ei chwyldroadau, ei sefydliadau, ei llywodraethau olynol, ei gwyddoniaeth a'i chelfyddyd, ei llenyddiaeth a'i chrefydd, os mynwn ddyfod o hyd i elfenau ei chyfansoddiad, a dirgelwch ei llwyddiant a'i mhawredd. Dangos cydweithrediad yr amrywiol amgylchiadau hyn i ffurfio y LLOEGR bresenol fydd prif amcan y gyfrol hon.

### I.—TRIGOLION BOREUOL PRYDAIN.

NID oes genym unrhyw hanes o ymddiried am yr ynys hon a'i thrigolion yn mhellach yn ol na rhyw haner canrif cyn y Cyfrif Cristionogol. Preswylid agos holl Ewrop y pryd hwnw gan y Gauliaid, neu Celtiaid; a chyfaddefir yn gyffredin mai llwyth o'r hil uchod oedd trigolion boreuol Prydain. Yn brawf o hyn mae canghenau o'r iaith Geltaidd yn parhau hyd y dydd hwn yn Iwerddon, Ucheldiroedd Ysgotland, Cymru, a Llydaw: ac y mae yr enwau daearyddol sydd genym, yn enwedig yr enwau sydd ar ranau mwyaf sefydlog natur, megys mynyddoedd, afonydd, a llynoedd, o darddiad Celtaidd.

Yr oedd cynfrodorion yr ynys yn rhanedig i ddeg ar ugain neu

ddeugain o fân lwythau, y rhai oeddent wedi rhanu y wlad rhyngddynt, a phob llwyth yn cael ei lywodraethu gan benaeth, neu frenin. Yn mysg y prif lwythau yr oedd y Belgiaid yn y Gorllewin, y Brigantiaid yn y Gogledd, y Siluriaid yn Neheudir Cymru, a'r Iceniaid yn Norfolk a Suffolk. Byddai y llwythau hyn yn ymryson ac yn rhyfela a'u gilydd yn fynych, ond ymunent a'u gilydd i wrthsefyll gelyn cyffredinol. Yr oedd yr holl ynys mewn sefyllfa anwareiddiedig; a pho uchaf i'r gogledd yr elid, mwyaf gwyllt ac anwaraidd oedd y ddaear a'r trigolion. Ar y glanau deheuol, trwy agosrwydd at wledydd mwy gwareiddiol, yr oedd y bobl a'r tir dan raddau helaethach o ddiwylliad. Yr oeddent wedi dysgu gwneyd llieiniau a brethynau geirwon, lliwio a chànu; ac yr oeddent yn gwneuthur gwisgoedd iddynt eu hunain o'r defnyddiau hyn. Gwnaent eu tai o goed, ac weithiau gyda sylfaen o geryg, a tho gwellt. Ond wrth fyned yn mhellach i ganol y wlad yr oedd pethau yn gwaethygu. Nid arferent wisgoedd, oddigerth ychydig wedi eu gwneyd o grwyn anifeiliaid. Gwisgent eu gwallt yn llaes, a gwnaent bob lluniau ar eu cnawd, trwy bigo y croen a llenwi y tyllau â sudd math o lysiau. Ymborthent yn benaf ar laeth, cig anifeiliaid, a physgod. Nid oedd eu tai ond math o gabanau gwiail neu dyweirch diwerth; ac nid oedd y tai a gyfansoddent eu trefi nemawr gwell. Adeiladent eu trefi ar fryniau uchel yn nghanol coed, er mwyn mantais i wrthsefyll ymosodiadau gelynion; ac yr oedd y rhan fwyaf o wyneb y wlad y pryd hwnw yn orchuddiedig gan goedwigoedd mawrion.

Yr oedd y llwythau Prydeinig yn cael eu gwneyd i fyny o dri dosbarth:—Yr urdd gysegredig, sef y Derwyddon—y pendefigion, a'r bobl gyffredin. Rhenid yr urdd gysegredig yn dri dosbarth:—yr Ofydd, yr hwn oedd yn aberthu ac yn cymeryd arno raghysbysu dygwyddiadau, ac yn gwisgo mewn gwyrdd; y Bardd, yr hwn oedd yn canu, ac yn cadw yr ychydig wybodaeth hanesiol oedd ganddynt, ac yn gwisgo mewn glâs; a'r Derwydd, yr hwn a ystyrid yn athronydd a duwinydd ei wlad, a'i wisg swyddogol oedd gŵn llian gwyn. Llywyddid yr urdd gan arch-dderwydd, yr hwn oedd i gadw ei swydd dros ystod ei fywyd. Yr oedd dylanwad yr offeiriaid Derwyddol ar y bobl yn ddiderfyn; ac ni ddarostyngwyd y meddwl dynol erioed yn îs gan eilun-addoliaeth nag y darostyngwyd y Celtiaid, yn enwedig yn Mhrydain, gan Dderwyddiaeth. Yr urdd hon oedd yn cyfranu addysg i'r ieuainc, yn terfynu pob dadleuon, yn barnu achosion gwladol a throseddol, ac yn penodi pob cospedigaethau. Nid ysgrifenent eu hathrawiaethau, ac ni chai neb eu gwybod ond y rhai a dderbynid i'r urdd. Esgymunid pob un nad ymostyngai iddynt; ni chai ddyfod i'w haberthau, ni chai gydymddyddan a'i gymydogion, ac ni chai ei amddiffyn gan y gyfraith.

Dalient yr athrawiaeth o draws-symudiad yr enaid i amrywiol gyrph. Y lleoedd y cynalient eu haddoliadau yw y cylchoedd meini sydd yn Avebury a Stonehenge; oblegyd cynalient eu holl addoliadau yn yr awyr agored, ac ystyrient yn annghyfreithlon addoli mewn tai. Yr oedd llawer o'u cyflawniadau crefyddol yn farbaraidd a gwaedlyd. Offryment aberthau dynol er mwyn cadw drygau ymaith. Weithiau codent bleth-adail o wiail, llanwent hi o blant, ac hyd y nod dynion mewn oed, a llosgent hwynt yn fyw. Yr oeddent yn gofalu rhyddhau eu hunain o bob trethi, ac oddiwrth rwymedigaeth i fyned i ryfel. Eu prif eisteddle yn y wlad hon oedd ynys Môn.

Dywed Julius Cesar fod y Gauliaid o'r farn mai o ynys Prydain yr aeth Derwyddiaeth i'r Cyfandir; a dywed fod y rhai a ewyllysient gael gwybodaeth berffeithiach o'r gyfundrefn yn dyfod drosodd i Brydain i'w hastudio. Ond beth bynag oedd eu barn hwy, yr oedd y ddelw dramoraidd oedd ar y grefydd hono yn brawf cadarn nad oedd wedi codi yn y wlad hon; er i lawer o bethau y wlad hon, fel pob gwlad y sefydlwyd hi ynddi, yn mhen amser, ymgymysgu â'i defodau. Mae Mr. Burrow, yr hwn sydd mor enwog am ei wybodaeth o seryddiaeth a chyfriniaeth Indiaidd, yn dyweyd yn bendant mewn ysgrif yn yr *Ymchwiliadau Asiaidd*, mai philosophyddion Indiaidd ymfudol oedd y Derwyddon, ac nad oedd Stonehenge, yn ddiamheu, ond un o demlau Budda. Y mae beirniaid enwog eraill o'r un farn. Yn nglyn â rhai pethau gwych, yr oedd y grefydd hon yn gymysgedd o ddefodau creulon a phaganaidd. Yn mysg eu prif wrthddrychau addoliad, yr oedd yr haul a'r sarph, fel y gellir casglu oddiwrth weddillion eu temlau. Dywed Pliny iddo ef weled yr "wy neidr" a wisgid gan y Derwyddon fel nod gwahaniaethol, yr hwn oedd tua maintioli afal. Yr oedd hwnw yn gasgliad o bob rhyfeddodau. Ffurfid ef, medd y traddodiad, gan amryw seirph wedi ymgordeddu yn nghyd. Wrth hysian y rhai hyny dyrchafai yr wy i'r awyr; ac yr oedd yn rhaid ei ddal mewn llian glân, cyn iddo syrthio, gan un ar gefn ceffyl buan, yr hwn oedd i ffoi ar frys rhag llid y seirph, y rhai a redent ar ei ol yn ffyrnig, nes y rhwystrid hwy gan ffrwd o ddwfr rhedegog. Y prawf fod yr wy yn un gwirioneddol oedd, ei fod wrth ei daflu i'r afon yn nofio yn erbyn y dwfr. Yr oedd pob swyn yn perthyn iddo, a gallasai y neb a'i gwisgai ddysgwyl llwyddiant yn mhob ymgymeriad. Dywed Gildas* fod llawer o ddelwau y Prydeiniaid yn aros yn ei amser ef, a bod ganddynt fwy o nifer o dduwiau nag oedd gan yr Aiphtiaid eu hunain.

Parhaodd Derwyddiaeth yn hir cyn llwyr adael y wlad. Dywedir ei bod yn flodeuog yn Iwerddon yn y bumed ganrif, pan orfu iddi

*Mynach o Fangor, ac ysgrifenydd enwog yn y chwechfed ganrif.

ildio y maes i Gristionogaeth, trwy offerynoliaeth yr ymroddgar a'r selog Sant Patrig. Parhaodd gweddillion o addoliadau Derwyddol mewn amryw barthau o'r ynys hon hefyd, yn hir wedi i'r urdd gysegredig ddiflanu. Cawn fod Cynghorau Cristionogol yn y chweched, y seithfed, a'r wythfed ganrif, yn cyhoeddi gwaharddiadau i addoli yr haul, y lleuad, yr afonydd, a'r coedydd. Ac y mae yn debyg fod rhai arferion dibwys, nad ydynt ond gweddillion ofergoelus Derwyddiaeth, wedi cyrhaedd hyd ein dyddiau ni.

Mae yn debygol fod trigolion boreuol Prydain wedi byw am oesoedd lawer yn eu hynys bellenig, heb unrhyw gysylltiad uniongyrchol a chenedloedd gwareiddiedig. Dywed rhai eu bod yn cario masnach yn mlaen â'r Tyriaid; ond mwy tebygol yw fod alcan a haiarn Prydain yn cael ei gludo i Gaul (Ffrainc) a Spain, ac yn cael eu gwerthu yno i fasnachwyr mwy pellenig. Beth bynag, y mae yn dra sicr fod alcan, copr, a phlwm y wlad hon mewn bri mawr yn Rhufain, ac y mae rhai hychod *(pigs)* o'r plwm, â nod ymerodrol Rhufain arnynt, i'w gweled yn awr yn yr Amgueddfa Brydeinig, yn Llundain.

## II.—GORESGYNIAD PRYDAIN GAN Y RHUFEINIAID.

Y CYFRYW oedd sefyllfa Prydain yn y fl. 55 cyn Crist, pan arweiniodd Julius Cesar ei fyddinoedd drosodd i'w goresgyn. Yr oedd y pryd hwnw yn llywyddu byddinoedd mawrion yn Gaul. Ar adeg hamddenol, cyffrodd uchelgais ef i arwain byddin o ddeuddeg mil o filwyr drosodd i wneyd enw iddo ei hun trwy ddarostwng Prydain. Cafodd wrthwynebiad cryfach oddiwrth farbariaid yr ynys nag a ddysgwyliodd. Ar ol ymdrechfa galed, glaniodd gerllaw Deal, ar lanau Kent. Gorchfygodd y brodorion mewn amryw frwydrau celyd; ac wedi dyfod i ryw fath o amodau â hwynt, a derbyn gwystlon, dychwelodd i Gaul cyn y gauaf.

Y gwanwyn canlynol, daeth Cesar drosodd i Brydain drachefn, ag 800 o longau, 30,000 o draed-filwyr, a 2000 o feirch-filwyr, gan benderfynu ei llwyr oresgyn. Ymunodd y llwythau Prydeinig dan lywyddiaeth Cassivelaunus, i'w wrthwynebu. Ond er i'r Prydeiniaid ddangos medr a gwrolder mawr, gweithiodd Cesar a'i lengoedd estronol eu ffordd yn mlaen. Croesodd y *Thames* (Tafwys) yn agos i Kingston, ac enillodd frwydr ar ol brwydr. Trodd rhai o'r llwythau yn anffyddlon, a chynorthwysant y gelyn. O'r diwedd ymostyngodd corph y bobl i awdurdod Cesar; ceisiasant heddwch, a chaniatawyd ef iddynt ar delerau teg. Wedi gosod treth ar y trigolion (yr hon ni thalwyd erioed), a derbyn gwystlon helaeth, ymadawodd Cesar â'r ynys am y tro diweddaf. Enillodd glod iddo ei hun trwy ddarostwng y barbariaid, ond aberthodd lawer o fywydau heb bwrcasu unrhyw fantais i'r ymerodraeth.

Dygodd lawer o'r brodorion ymaith yn garcharorion, y rhai a werthwyd yn gaeth-weision yn marchnad Rhufain. Yn fuan wedi hyn llofruddiwyd Cesar yn y senedd gan deyrnfradwyr o fysg ei gyfeillion. Yr oedd Cesar yn awdwr llyfrau, ac yn rhyfelwr galluog; ond yn ddyn balch ac uchelfrydig, Ymladdodd 56 o frwydrau, yn y rhai y lladdwyd miliwn o ddynion!

Cafodd Prydain lonydd ar ol hyn am tua chan mlynedd. Yn y cyfamser y ganed, y bu fyw, ac y croeshoeliwyd Iesu o Nazareth. Ac y mae a fyno ei ddylanwad Ef â chwyldroadau Prydain, i raddau mwy neu lai, o hyny hyd heddyw. Yn y flwyddyn 43 o oed Crist, ymgymerodd yr ymerawdwr Claudius â darostwng y Prydeiniaid. Cyffrowyd ef i hyny trwy waith Beril, un o benaethiaid Prydain, yn myned ato i gynyg ei wasanaeth iddo i'r pwrpas. Anfonwyd byddin dan y cadfridog Plautius, yn gael ei gyfarwyddo gan Beril. Gorchfygodd Plautius y wlad o'r tu deheuol i'r Thames. Dylynwyd y cadfridog i Brydain gan yr ymerawdwr, ac ar ol ymladd brwydrau llwyddianus, dychwelodd i Rufain wedi bod o fewn yr ynys am un diwrnod ar bymtheg. Cariwyd y rhyfeloedd yma yn mlaen gan Plautius, a'i raglaw Vespasian, am saith mlynedd. Dywedir i'r olaf enill ei fywyd a'r fuddugoliaeth mewn brwydr ffyrnig, trwy wroldeb Titus ei fab. Y Titus hwn, wedi hyny, fu yn cyflawnu barnedigaethau ofnadwy y nefoedd ar yr Iuddewon yn ninystr Jerusalem.

Yn 51, cymerodd Ostorius y llywyddiaeth, ac ymladdodd frwydrau gwaedlyd â Siluriaid Deheudir Cymru—y llwyth mwyaf rhyfelgar o'r Prydeiniaid—dan arweiniad medrus eu penaeth dewr, Caradog. Mewn brwydr fawr, gorchfygodd y Siluriaid, cymerwyd teulu y penaeth yn garcharorion, a ffodd yntau am nodded at Cartismandua, brenines y Brigantiaid. Traddododd hono ef yn fradwrus i'r gelyn. Dygwyd ef a'i deulu yn garcharorion i Rufain. Arweiniwyd hwy i'r llys, o flaen yr ymerawdwr a'r ymerodres, yn nghyda holl fawrion y ddinas. Rhydd yr hanesydd Tacitus araeth a draddodwyd gan Caradog ger bron y llys mawreddog, yr hon a fuasai yn glod i ben a chalon unrhyw benaeth gwareiddiedig. Cafodd ei ymddygiad gwrol a diofn, eto parchus, ddylanwad mawr ar Claudius. Ar gais yr ymerodres, mae yn debygol, caniatawyd eu bywyd a'u rhyddid iddo ef a'i deulu. Pan yn cerdded trwy ddinas ardderchog Rhufain, safodd Caradog, a dywedodd, "A yw yn bosibl y gall pobl mor gyfoethog a moethus warafun bwthyn tlawd i mi yn Mhrydain?"

Parhaodd y rhyfeloedd yn Mhrydain, a bu Ostorius farw dan bwys llafur a phryder. Dylynwyd ef gan Didius a Veranius. Yn 62, cafodd Suetonius Paulinus lywyddiaeth yr ynys, yr hwn oedd swyddog milwraidd o fri mawr. Casglodd hwn ei fyddinoedd i gyffiniau Môn. Gwelodd mai yno yr oedd eisteddle Derwyddiaeth,

ac mai hono oedd canolbwnc undeb a nerth y Prydeiniaid, a phenderfynodd ei dinystrio. Pan nesaodd llengoedd Suetonius at lan y Menai, yr oedd y lan gyferbyniol wedi ei llinellu â Phrydeiniaid arfog, y gwragedd o'r tu cefn iddynt, yn rhedeg yn wyllt, a ffaglau tân yn eu dwylaw, i geisio cyffroi gwroldeb yr arfogion. O fewn ychydig bellder, yr oedd y Derwyddon, ar wahan, yn dyrchafu eu dwylaw i fyny, ac yn gweddio. Taflodd yr olygfa ddychryn am foment i galonau yr estroniaid, a safasant yn fud. Ond yn y man, rhuthrasant yn mlaen, croesasant y Menai, gorchfygasant y trigolion, a llosgasant y Derwyddon yn eu tanau eu hunain. Torasant y coedwigoedd cysegredig i lawr, ac adeiladasant ymddiffynfa gref yno, yr hon y mae ei gweddillion i'w gweled hyd y dydd hwn.

Yn y cyfamser torodd gwrthryfel pwysig allan mewn parth arall o'r ynys, dan arweiniad Boadicea, brenines yr Iceniaid; yr hon, yn nghyda'i merched, a waradwyddwyd yn gywilyddus gan y swyddogion Rhufeinaidd. Llwyddodd y wraig ddewr i godi byddin gref. Llywyddodd y fyddin yn ei pherson ei hun. Dinystriodd amryw adranau o filwyr Rhufain; llosgodd Colchester, Llundain, a dinasoedd eraill yn lludw, a chwympodd triugain a deg o filoedd o'r gelynion. Ond wedi i Suetonius gael amser i gasglu nerth, a threfnu ei fyddinoedd, talodd y pwyth i'r llwythau Prydeinig, a gwelodd bedwar ugain mil o honynt yn gelaneddau meirwon dros wyneb y wlad. Cadwodd Boadicea ei hun o ddwylaw y gelyn trwy gymeryd llwnc o wenwyn marwol.

Wedi i Vespasian ddyfod yn ymerawdwr, rhoddodd lywyddiaeth Prydain i Cerealis, ac wedi hyny, yn y flwyddyn 78, i Julius Agricola. Yr oedd yr olaf yn enwog am ei gymhwysderau gwleidiadol a milwraidd; ac yr oedd yn rhagori yn fawr ar bawb fu yma o'i flaen. Parhaodd yn ei swydd dan Vespasian, Titus, a Domitian. Dan lywyddiaeth hwn y cyrhaeddodd Rhufain ei dylanwad eangaf yn y wlad hon. Yr oedd yr holl ynys, hyd fôr-gainc Clyde a Forth yn Ysgotland, wedi ymostwng i'r iau Rufeinaidd. Bu brwydrau enbyd rhyngddo â pharthau gogleddol Ysgotland; ond gwrthodasant ymostwng. O'r diwedd cododd Agricola wrthglawdd ar draws y wlad, o'r naill fôr-gainc uchod i'r llall, er cadw y Pictiaid a'r Scotiaid* rhag dyfod i aflonyddu ar y trigolion: ail-godwyd y clawdd yma gan Antoninus, a thrachefn gan Severus, ymerawdwyr Rhufain. Agricola oedd y cyntaf a hwyliodd o amgylch yr ynys, ac a gafodd allan mai ynys ydoedd. Gwnaeth lawer iawn hefyd er gwrteithio y wlad, gwella arferion y bobl, a chefnogi celfyddyd a gwybodaeth yn eu mysg.

Felly, ar ol tua deugain mlynedd o ryfel, darostyngwyd y rhan

*Pictiaid y gelwid trigolion Ysgotland; Scotiaid oeddent Wyddelod wedi ymsefydlu ar lanau gorllewinol Ysgotland. Scotia oedd hen enw Iwerddon.

fwyaf o lawer o'r ynys; ac am ddau can mlynedd ar ol hyn bu yn dalaeth Rufeinig. O'r diwedd cyrhaeddodd Rhufain ganolddydd ei nerth a'i gogoniant; dechreuodd brofi elfenau dadfeiliad yn ei chyfansoddiad, a gwaethygu o'r gwraidd. Cododd terfysgoedd pwysig yn nes adref, a galwyd byddin ar ol byddin allan o Brydain i'r Cyfandir, nes o'r diwedd, yn y flwyddyn 448, ymgiliodd y Rhufeiniaid yn llwyr, a gadawsant yr ynys yn hollol iddi ei hun. Cymerodd y Pictiaid a'r Scotiaid, wedi ymuno â'u gilydd, y fantais ar enciliad y byddinoedd Rhufeinig, a daethant yn heidiau ar draws y wlad, gan ddifrodi ac ysbeilio y ffordd y cerddent. Talai môr-ladron ac ysbeilwyr Sacsonaidd o lanau Germani hefyd, ymweliad mynych â pharthau deheuol yr ynys, gan gyflawni drygau mawrion. Anfonwyd cais i Rufain am gynorthwy rhag yr ysbeilwyr hyn; ond yr oedd gan hono ddigon o waith bellach heblaw hyny. Ac yn lle ymuno yn erbyn yr ysbeilwyr, yr oedd llwythau y wlad yn ymryson â'u gilydd. Yn y flwyddyn 449, pan oedd Gwrtheyrn, un o dywysogion y wlad, yn tybied ei fod yn cael y gwaethaf gan ei gymydogion, ac wedi dyoddef yn drwm oddiar ddwylaw yr ysbeilwyr, penderfynodd anfon am gymhorth corph o ysbeilwyr Sacsonaidd, neu Seisnig, a gwnaeth gytundeb â dau o'u penaethiaid, Hengist a Horsa.

Er i Brydain gael ei darostwng dan arfau Rhufain, ni wnaeth y Rhufeiniaid argraff ddwfn arni mewn celfyddyd, moes, na llenyddiaeth. O'r holl daleithiau gorllewinol a ufuddhasant i'r Cesariaid, Prydain oedd yr olaf a orchfygwyd, a'r gyntaf a daflwyd ymaith. Nid yw debygol i'r trigolion ddyfod o gwbl yn gyfarwydd yn iaith eu gorchfygwyr, sef y Lladin. Bu yn brif iaith y Cyfandir am ganrifoedd. Cilgwthiodd yr iaith Geltig. Hi ydyw sylfaen ieithoedd presenol Ffrainc, Yspaen, a Portugal. Ond daliodd y Gaelig yn yr ynys hon, a'r Ellmynaeg ar y Cyfandir, eu tir yn ei herbyn. Ac am y dylanwad gwareiddiol dderbyniodd Prydain oddiwrth y Rhufeiniaid, dilewyd ef agos yn llwyr gan chwyldroadau y bumed ganrif.

## III.—GORESGYNIAD PRYDAIN GAN Y SAESON.

Yr oedd y Sacsoniaid, neu Saeson, a oresgynasant Brydain, yn cynwys tri llwyth gwahanol o Germaniaid, sef y Jutiaid, yr Angliaid, a'r Sacsoniaid. Mae parth o Holstein yn cael ei alw yn Anglen hyd y dydd hwn, oddiwrth drigolion pa un y cafodd yr ynys hon yr enw *England*. Yr oedd y llwythau paganaidd hyn, trwy ryfeloedd mynych â'r Rhufeiniaid, wedi cyrhaedd llawer o fedrusrwydd i ryfela, ac yn feddianol ar arfau dur rhagorol. Yr oeddent yn enwog am eu hanturiaethau morwrol, ac am eu gwibdeithiau ysbeilgar. Buont yn bla trwm ar drigolion glanau y moroedd, yn mhell ac yn agos am ganrifoedd lawer.

Yr oedd y ddau frawd, Hengist a Horsa, yn benaethiaid o fri mawr yn perthyn i'r Jutiaid. Dywedid eu bod hwy, fel y rhan fwyaf o wroniaid uchel y gwledydd hyny, yn disgyn o'u duw dychymygol Woden, neu Odin. Dywed traddodiad i ddyn o'r enw fod yn frenin ar y wlad hono; iddo, ar ol enwogi ei hun mewn rhyfeloedd, gymeryd arno swydd prophwyd, a dyweyd ei fod wedi derbyn datguddiad o'r nefoedd; ac fel y cyfryw sefydlodd grefydd newydd yn y wlad, yr hon a ymledodd dros ogledd Ewrop. O'r diwedd, dyrchafwyd ef i fysg y duwiau, a'r dylanwad mwyaf allai dyn feddu oedd, yr anrhydedd o fod yn ddisgynydd o Woden. Cymerai Hengist a Horsa arnynt fod yn berthynasau agos iddo.

Derbyniodd y ddau frawd yma gais Gwrtheyrn am ddyfod drosodd i'w gynorthwyo ef yn erbyn y Pictiaid a'r Scotiaid yn llawen. Daethant gyda thair llong, yn cynwys un cant ar bymtheg o wŷr, a thiriasant yn ynys Thanet. Rhoddodd Gwrtheyrn yr ynys hono yn anrheg iddynt, a bu yn gyrchfan fanteisiol iddynt yn ystod eu brwydrau â'r Prydeiniaid am ugeiniau o flynyddoedd. Ar ol iddynt orchfygu y Pictiaid a'r Scotiaid, a'u hymlid i'w noddfeydd gogleddol, daeth i'w bryd wneyd ymgais i feddianu y wlad hon eu hunain. Anfonasant adref i geisio ychwaneg o nerth. Daeth dwy long ar bymtheg drosodd eilwaith, yn cludo pum mil o wŷr. Gwnaethant gytuneb a'r Pictiaid a'r Scotiaid. Ymladdwyd brwydr fawr yn Aylesford yn y flwyddyn 455. Diorseddwyd Gwrtheyrn oblegyd iddo anfon i gyrchu y Saeson i'r wlad, a chodwyd Vortimer ei fab i'r orsedd yn ei le, yr hwn oedd yn awr yn llywyddu y milwyr Prydeinig. Lladdwyd Horsa, a gadawyd llywyddiaeth ei gydwladwyr yn llaw Hengist a'i fab Eric. Dylifai adgyfnerthion yn barhaus o Germany, ond daliai y Prydeiniaid yn gyndyn a di-ildio. O'r diwedd, gorfodwyd hwy i roddi ffordd; yr oedd Hengist wedi ymgynddeiriogi wrth eu cyndynrwydd, a thorodd hwy i lawr o'r trwch, yn offeiriaid a phobl gyffredin, yn wŷr, gwragedd, a phlant, yn ddiwahaniaeth. Dinystriodd holl adeiladau y wlad, a gwnaeth

ei gwyneb yn adfeilion annghyfaneddol. Ffodd llawer o'r trigolion i fynyddoedd Cymru, ac aeth eraill allan o'u gwlad, ymsefydlasant yn nhalaeth Armorica, a rhoddasant iddi yr enw *Brittany* (Prydain Fechan), yr hon yw Llydaw.

Fel un rheswm am fuddugoliaeth y Saeson, dywed yr ysgrifenwyr Prydeinig yr hyn a ganlyn:—Fod gan Hengist ferch hynod o bryd-weddol o'r enw Ronwen (Rowena), ac iddo ei defnyddio yn offeryn i eangu ei ddylanwad ar Gwrtheyrn. Gwnaeth Hengist wledd, gwahoddodd Gwrtheyrn yno, a dygodd ei ferch i ymgrymu ger ei fron, a rhoi anrheg iddo. Hudwyd yntau gan ei glendid a'i boneddigrwydd, ac ni orphwysodd nes ei chael yn wraig. Pan fu farw Vortimer (trwy ei wenwyno gan Ronwen, medd rhai) adferwyd Gwrtheyrn ei dad i'r llywodraeth; gwnaed gwledd fawr gan Hengist yn Stonehenge, a gwahoddodd holl dywysogion Prydain yn nghyd i gael gwneyd cytundeb heddwch. Ond ar ganol y wledd, gwaeddodd Hengist, "*Tynwch eich cleddyfau*," a lladdwyd tri chant o dywysogion Prydeinig yn y fan, a daliwyd Gwrtheyrn yn garcharor. Mae llawer o'r awduron yn amheu gwirionedd yr hanesion uchod; ac eraill yn eu credu a'u cadarnhau.

Llwyddodd Ambrosius, y brenin ganlynodd Vortimer, i gasglu byddin fawr o'r Prydeiniaid eilwaith yn erbyn Hengist. Ond daeth Octa, brawd Hengist, a'i fab Ebissa, gyda llwyth newydd o Saeson drosodd, a sefydlasant yn Northumberland. O'r diwedd sefydlodd Hengist y deyrnas Sacsonaidd gyntaf yn yr ynys hon, dan yr enw teyrnas Kent, yr hon oedd yn cynwys swyddi Kent, Middlesex, Essex, a rhan o Surrey. Gwnaeth ei breswylfa ei hun yn Canterbury, lle y teyrnasodd dros ddeng mlynedd ar ugain, a bu farw tua'r flwyddyn 488.

Oddeutu y flwyddyn 477, daeth penaeth Sacsonaidd arall drosodd, gyda'i dri mab, yn arwain llwyth mawr o'u cydwladwyr; ac wedi dyoddef gwrthwynebiad cyndyn gan y Prydeiniaid, llwyddasant i sefydlu yr ail deyrnas Sacsonaidd, dan yr enw teyrnas Sussex, neu *South Saxony*. Yn 494, dygwyd byddin arall drosodd gan Cerdig, a Cynrig ei fab; sefydlasant ar du gorllewin Sussex, a ffurfiasant deyrnas Wessex, neu *West Saxony*. Fel hyn, o un i un, mewn ysbaid o agos saith ugain o flynyddoedd, y sefydlwyd yr *Heptarchy*, neu y saith teyrnas Sacsonaidd yn Mhrydain. Gelwid hwynt wrth yr enwau, Kent, Sussex, Wessex, Essex, Anglia ddwyreiniol, Deira, Bernicia, a Mercia. Gwelir fod yma wyth o nifer, a myn rhai eu galw yn Wythbenaeth. Ond unwyd Deira a Bernicia yn un deyrnas gan Adelfrid brenin Bernicia pan briododd ferch Ella, brenin Deira, dan yr enw Northumbria, neu Northumberland; ac felly gelwir hwynt yn Seithbenaeth. Ni wnaem ond poeni y dar-llenydd gyda chyfres o enwau personau, heb unrhyw ddygwydd-

iadau o bwys mawr, pe ceisiem roddi hanes ymrysonau a rhyfeloedd y teyrnasoedd hyn. Dywedai Milton yn ddifloesgni, fod brwydrau barcutanod a brain yn llawn mor deilwng o gael cyhoeddi eu hanes, a gweithrediadau a rhyfeloedd diamcan y Seithbenaeth Seisnig. Parhaodd y teyrnasoedd, yma beth bynag, yn llywodraethau gwahanol, o ffurfiad y gyntaf gan Hengist, hyd eu huniad gan Egbert, am dri chant a thriugain a deuddeg o flynyddoedd.

Er mwyn i'r darllenydd gael cipolwg gryno, ac mor gywir o ran amseriad ag sydd bosibl, rhoddwn daflen fechan o amser sefydliad a pharhad y Seithbenaeth, yn nghyda'r adeg y cofleidiwyd Cristionogaeth ganddynt.

| TEYRNAS. | AMSER SEFYDLIAD. | PRIF DDINAS. | COFLEIDIAD CRISTNOG. | TERFYN. |
|---|---|---|---|---|
| Kent | 455 | Canterbury | 598 | 823 |
| Sussex | 490 | Chichester | 686 | 800 |
| Wessex | 519 | Winchester | 636 | 1066 |
| Essex | 527 | Llundain | 604 | 746 |
| Northumberland | 547 | York | 628 | 792 |
| Anglia Ddwyreiniol | 579 | Dunwick | 636 | 793 |
| Mercia | 582 | Leicester | 669 | 827 |

Byddai yr enwocaf o freninoedd y Seithbenaeth yma yn cael ei enwi yn *Breitwalda*, neu Lyw Prydain, ac yr oedd mewn enw yn frenin cyffredinol dros y saith. Y rhai a gawsant y teitl uchod oeddent, Ella, brenin Sussex; Ceawlin, brenin Wessex; Ethelbert, brenin Kent; Redwald, brenin Anglia Ddwyreiniol; Edwin, Oswald, ac Oswy, breninoedd Northumberland; ac Egbert, brenin Wessex. Dywed y rhan amlaf o'r haneswyr i'r teyrnasoedd hyn oll gael eu huno yn un deyrnas gan Egbert, yn 827, ac iddo ef ddyfod yn frenin ar holl Loegr; ond y mae y beirniaid goreu yn gwadu hyn. Dyma fel y dywed Arglwydd Brougham:—"Mae yn sicr na chafodd Egbert ond llywodraeth ranol ac ansefydlog ar y rhan fwyaf o bump o honynt; na sefydlodd o gwbl yn y chweched, ac na chymerodd ef na'i fab Ethelwolf erioed un titl uwch na Brenin Wessex. Oswy oedd y seithfed Breitwalda, a galwai Egbert ei hun yn wythfed. Alfred ei ŵyr oedd y tywysog cyntaf a gafodd ei alw yn Frenin Lloegr; ac Athelstan, ŵyr Alfred, oedd y cyntaf a gafodd lywodraeth wirioneddol ar yr holl Deyrnas Gyfunol, yn 927, yr hwn a alwai ei hun weithiau yn Frenin y Saeson, a phryd arall yn Frenin Lloegr."

Un o'r dygwyddiadau pwysicaf a gymerodd le yn ystod y Seithbenaeth oedd dyfodiad Cristionogaeth i Frydain, a dychweliad Ethelbert, brenin Kent, a'i bobl, am yr hyn y cawn son yn helaethach yn y man. Yn amser y breninoedd hyn hefyd y bu Offa, brenin Mercia, yn cyflawni llawer o wrhydri a chreulonderau ar ei gymydogion yn Lloegr, yn gystal ag ar y Cymry. Ymlidiodd fren-

inoedd Powys o Bengwern (Amwythig), a sefydlodd drefedigaethau Seisnig cryfion rhwng y ddwy afon, Wy a Hafren. Cododd wrthglawdd ar derfyn Cymru, yn rhedeg o'r Gogledd i'r Deheu, o geg y Dyfrdwy, yn Flint, hyd yr Hafren, gerllaw Bristol, yr hwn a elwid "Clawdd Offa," ac y mae darnau o hono yn weledig hyd y dydd hwn. Cyn fod y gwaith ond yn brin ar ben, llanwodd y Cymry ran o'r ffos, torasant trwy y clawdd, a lladdasant lawer o filwyr Offa; ond costiodd hyny yn ddrud iddynt. Aeth Offa â llu mawr yn eu herbyn; ymladdwyd brwydr ofnadwy ar "Forfa Rhuddlan," pryd y torwyd blodau y Cymry i lawr, ac y lladdwyd eu brenin, Caradog. Priododd Eadburga, merch Offa, â Beortric, brenin Wessex. Yr oedd hon yn ddynes falch, lygredig, a chreulon. Lladdodd ei gwr ac amryw o'i theulu trwy eu gwenwyno. Gwelwyd hi wedi hyny, cyn diwedd ei hoes, yn cardota ei bara ar hyd ystrydoedd dinasoedd Itali. Bu Offa farw yn y flwyddyn 794.

Ar ol marwolaeth Beortric y daeth Egbert yn frenin Wessex. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at ei orchestion ef yn darostwng y gwahanol deyrnasoedd dan warogaeth iddo. Cymerodd hyn le yn 827. Ond buan yr aflonyddwyd ar ei heddwch gan ymddangosiad gelyn newydd. Daeth heidiau o ysbeilwyr anfad drosodd o ogledd Ewrop, a elwid Daniaid *(Danes)*. Brodorion oeddent o Sweden a Norway, ond eu bod wedi ymsefydlu yn Denmark. Gwnaent y fath ddifrod a galanastra yma ar eiddo ac ar fywydau, nes y daethant yn ddychryn i'r ynys; ond cawsant wrthwynebydd o'r fath gyndynaf yn Egbert. Ar farwolaeth Egbert, daeth Ethelwolf ei fab i'r orsedd. Nid oedd y mab yn feddianol ar alluoedd a medr ei dad, a chododd terfysgoedd yn ei lywodraeth. Deallodd yr ysbeilwyr Danaidd hyn, a chymerasant fantais ar yr amgylchiad; a rhwng mân frwydrau cartrefol ac ymosodiad gelyn tramor, aeth yn amser blin yn Lloegr. Cymerai Ethelwolf arno fod yn ddefosiynol iawn; ac, yn ol arfer Cristionogion selog a chyfoethog y dyddiau hyny, aeth ar bererindod i Rufain. Wrth ddychwelyd adref, syrthiodd mewn serch â Judith, merch landeg i Charles (*the Bald)*, brenin Ffrainc, yr hon, meddir, nid oedd ond deuddeg oed. Priododd â Judith, a daethant drosodd; ond gorfu iddo ganiatau y rhan fwyaf o'i deyrnas i Ethelbald, ei fab, a boddloni ar gyfran fechan ei hun. Yn mhen dwy flynedd bu farw, a daeth yr holl deyrnas i Ethelbald. Cymerodd Ethelbald Judith, gweddw ei dad, a'i lys-fam ei hun, yn wraig. Cododd hyn deimlad cryf yn y deyrnas yn ei erbyn. Llwyddodd Swithin, esgob Winchester (hen St. Swithin y gwlaw), i gael ganddo ysgaru â hi. Bu farw yn mhen dwy flynedd; ac edrychid ar ei deyrnasiad byr fel barn oddiwrth Dduw am ei briodas aflan. Hon oedd y Judith briododd y drydedd waith â Baldwin, fforestydd enwog Ardennes. Priododd ei mhab, ail Iarll Flanders, ag Elfrida,

merch ieuangaf Alfred Fawr (brawd Ethelbald), o linach pa rai y ganed Maud, neu Matilda, gwraig William y Gorchfygwr, oddiwrth yr hwn eilwaith y disgynodd holl freninoedd dylynol Lloegr.

Ar farwolaeth Ethelbald (860), daeth Ethelbert ei frawd i'r orsedd; ond ni chafodd orphwysdra na llonydd gan y Daniaid. Cafodd y gofid o weled ei brif-ddinas, Winchester, yn cael ei llosgi, a'r gelynion yn ymsefydlu ar ynys Thanet, fel y gwnaeth y Saeson bedair canrif cyn hyny. Bu Ethelbert farw yn 866, a daeth ei frawd Ethelred yn frenin, yr hwn a ymladdodd naw brwydr ffyrnig â'r Daniaid mewn un flwyddyn. Torid y gorthrymwyr i lawr yn aneirif yn y rhyfeloedd hyn: ond yr oedd adgyfnerthion yn dylifo i mewn fel llifeiriant cyson. Lladdwyd Ethelred mewn brwydr; a daeth Alfred, brawd arall, a'r ieuangaf, i'r orsedd. Hwn oedd Alfred Fawr, y brenin enwocaf a eisteddodd ar orsedd Lloegr erioed. Ymlidiodd y Daniaid, ac amddiffynodd ei wlad rhag unrhyw golledion o bwys am y deng mlynedd ar ugain y bu yn teyrnasu.

Anturiodd unwaith, fel telynwr crwydrol, i wersyll y gelyn; bu yno am ddiwrnodau yn difyru y penaeth ac eraill, er ysbio ei sefyllfa; ac mewn canlyniad i'r wybodaeth a gafodd, gwnaeth ymosodiad, ac enillodd fuddugoliaeth nodedig. Defnyddiai bob adeg o lonyddwch a gai i sefydlu trefn ac uniondeb yn ei lywodraeth, i gefnogi gwelliadau cyffredinol, ac i ddysgu a dyrchafu ei ddeiliaid. Sefydlodd amryw lysoedd barn; ac iddo ef mae y byd yn ddyledus am *brawf trwy reithwyr*, y sefydliad goreu er sicrhau cyfiawnder a thegwch a ddyfeisiwyd erioed gan ddyn. Ffurfiodd gorph o gyfreithiau hefyd, y rhai a ystyrir yn sail yr hon a elwir y *gyfraith gyffredin.* Adeiladodd longau mawrion, a ffurfiodd lynges gref i wylio glanau yr ynys. Anfonodd am ysgolfeistri goreu Ewrop i addysgu y deiliaid, a chyfranai y seithfed ran o'i dderbyniadau ei hun i gynorthwyo gweithwyr. Yr oedd yn fanwl a phenderfynol dros uniondeb, yn hynod am ei haelfrydedd, ac yn gefnogwr diball i ryddid. Dywedai ei fod am i'r Saeson fod mor rhydd a'u meddyliau eu hunain. Yn wir, y mae ei holl ragoriaethau mor uchel a chyfartal, fel yr ymddengys yn fwy tebyg i ffug-wron dychymyg philosophyddion, na ffaith wirioneddol mewn hanesiaeth. Er nad oedd ond dyn o gyfansoddiad gwanaidd, ymladdodd un ar bymtheg a deugain o ryfeloedd, casglodd fwy o wybodaeth, ac ysgrifenodd fwy o lyfrau na neb yn ei oes. Ni fu brenin o'i fath ar ei ol yn Ewrop, ac nid oes hanes doethach a gwell dyn yn addurno unrhyw wlad. Bu farw yn y flwyddyn 901, pan nad oedd ond 52 ml. oed; a chyfiawn yr haeddodd ei alw yn Alfred Fawr—gwaredwr ei wlad, a sylfaenydd unbenaeth Lloegr.

Am y ganrif a haner nesaf, ar ol marwolaeth Alfred, cawn hanes pedwar ar ddeg o freninoedd yn canlyn eu gilydd, heb nemawr o

ddygwyddiadau pwysig, hyd oni chymerir yr orsedd gan deulu tramor. Yr oedd Edward I. (yr Hynaf) yn meddu ar lawer o rinweddau ei dad, Alfred Fawr, a gwnaeth rhyfeloedd mawrion a llwyddianus â'r Daniaid. Cafodd gynorthwy pwysig gan Ethelfleda ei chwaer, yr hon a arweiniai y byddinoedd gyda medrusrwydd a gwroldeb digyffelyb. Gwnaeth Edward i frenin Ysgotland, a thywysogion Cernyw, Cymru, ac eraill i gydnabod ei awdurdod. Athelstan, mab Edward, yr hwn a addysgwyd gan Alfred Fawr, (ei dadcu) oedd y brenin nesaf; ac enwogodd yntau ei hun mewn rhyfeloedd â'r Daniaid. Ni welwyd y fath laddfa yn Mhrydain o'r blaen ag a welwyd yn Brunsbury, yn Northumberland, ar fyddinoedd y Daniaid, dan arweiniad Athelstan. Cwympodd pump o freninoedd Danaidd, saith iarll, a milwyr cyffredin yn aneirif. Ar ol hyn mwynhaodd Athelstan ei freniniaeth mewn tawelwch, a phasiodd amryw gyfreithiau rhagorol. Yr oedd ei lywodraeth ef yn fwy eang a gwirioneddol nag eiddo neb a fu o'i flaen. Bu farw yn Nghaerloyw *(Gloucester)*, yn y flwyddyn 941, ar ol teyrnasu un flynedd ar bymtheg; a daeth Edmund ei frawd i'r orsedd ar ei ol. Yn mhen chwe blynedd, fel yr oedd Edmund yn eistedd gyda'i bendefigion mewn gwledd, brathwyd ef â dagr gan un Leof, fel y bu farw.

Enwogodd un gwr o'r enw Dunstan ei hun yn fawr yr amser hwn, fel cefnogydd selog i fonachlogydd a gwyryfdai, ac fel un a argymhellai weddwdod ar yr offeiriaid. Gwnaeth derfysg mawr trwy achosi ysgariad rhwng Edwy y brenin (mab Edmund) ac Elgiva ei wraig, oblegyd fod perthynas rhyngddynt ag oedd yn gwneyd eu priodas yn annghyfreithlon, yn ol canonau y mynachod. Nodwyd y wraig ieuanc â haiarn poeth ar ei gwyneb, ac alltudiwyd hi i Iwerddon. Ar ol i'w gwyneb wellhau, dychwelodd i Loegr i geisio ei gwr; ond daliwyd hi ar y ffordd gan ei gelynion, torwyd llinynau ei garau, a bu farw mewn poenau dirfawr yn Nghaerloyw. Canlynwyd Edmund gan Edred ei frawd, ac yntau gan Edwy. Ni fu Edwy fyw ond ychydig ar ol marwolaeth ei anwyl Elgiva; a daeth Edgar ei frawd, yn dair ar ddeg oed, yn frenin holl Loegr. Cafodd Edgar fwy o lonyddwch yn ei deyrnasiad na'r un brenin fu o'i flaen, ac am hyny y cafodd y cyfenw, "y Tangnefeddus." Cadarnhaodd amddiffynfeydd ei wlad; talwyd gwarogaeth iddo gan benaethiaid Ysgotland, Ynys Manaw, Cymru, ac hyd y nod yr Iwerddon. Ychwanegodd at ei ddylanwad yn fawr trwy gefnogi Dunstan a'r mynachod. Cododd Dunstan i awdurdod uchel, ac adeiladwyd wyth a deugain o fonachlogydd Benedictaidd yn Lloegr. Ond profodd, trwy ei weithredoedd ei hun, nad oedd ei holl sel a'i ymffrost ond rhagrith a thwyll. Torodd i mewn i un o'r gwyryfdai, a rhedodd ymaith â mynaches o'r enw Wulfreda, am yr hyn y

rhoddodd Dunstan benyd trwm arno; sef ymprydio ddwywaith yr wythnos, a rhoddi ei goron heibio am saith mlynedd. Un peth hynod perthynol i'w deyrnasiad oedd, i'r holl fleiddiaid trwy bob congl o'r wlad gael eu dyfetha. Cymerodd drafferth fawr i'w hela ei hun; ac ar ol i'r gweddill ffoi i fynyddoedd Cymru, parodd i dywysogion Cymru ddwyn tri chant o benau bleiddiaid yn flynyddol, yn lle y dreth a roddwyd arnynt gan Athelstan, ei ragflaenydd. Parodd hyn i'r fath ymdrech gael ei gwneyd i'w hela, fel y dyfethwyd y rhywogaeth yn llwyr. Bu farw yn ddyn ieuanc, yn y flwyddyn 975, wedi teyrnasu un flynedd ar bymtheg; a daeth ei fab, Edward II. (y Merthyr), i'r orsedd ar ei ol. Ond ni fu ei deyrnasiad ond byr. Un diwrnod, wedi bod yn hela, galwodd wrth Gastell Corfe, lle yr oedd Elfrida a'i mhab yn byw, a thra yn yfed cwpanaid o fêdd ar gefn ei farch, gwanodd un o weision y tŷ ef yn ei gefn, fel y bu farw; a galwyd ef "Edward y Merthyr."

Yn 993, pan oedd Ethelred II., mab Edgar yn frenin, daeth Lewyn, brenin Denmark, ac Olave, brenin Norway, gyda llynges fawr i fyny dros yr Humber, a difrodasant y wlad o amgylch. Methasant yn eu hamcan i oresgyn Prydain; ond talwyd swm mawr o arian iddynt am roddi i fyny eu hymgais. Adnewyddodd Lewyn ei ymosodiad yn mhen rhai blynyddoedd, unwaith ac eilwaith; ac yn y flwyddyn 1013, ffodd Ethelred a'i deulu am ddyogelwch at Dduc Normandy, brawd Emma ei wraig; a daeth Lewyn y Daniad yn llywodraethwr ar holl Loegr. Bu Lewyn farw cyn pen blwyddyn, a gadawodd y freniniaeth i'w fab Canute. Cododd y Saeson Ethelred eilwaith i'r orsedd; a bu ef a'i fab Edmund yn ymladd yn erbyn Canute. Bu Ethelred farw yn Llundain yn 1016, a chafodd Edmund y freniniaeth. Ymladdwyd brwydrau gwaedlyd rhwng Canute ac Edmund, a buasai yr olaf wedi gorchfygu, oni bai bradychiad Edric, tywysog byddinoedd Mercia, yr hwn a barodd flinderau mawrion i'r Saeson trwy ei dwyll a'i wrthdroadau. Beth bynag, cytunwyd o'r diwedd i ranu y wlad rhwng y ddau frenin—Canute y Daniad, ac Edmund y Sais. Ond cyn diwedd y flwyddyn bu Edmund farw, a hyny, fel y tybid, trwy law Edric; yna gwnaed Canute, trwy gydsyniad y taleithiau Seisnig, yn frenin ar holl Loegr: ac felly, yn 1017 sefydlwyd goruchafiaeth y Daniaid ar y wlad.

Rhoddodd Canute Edwy, brawd Edmund i farwolaeth, ac anfonodd ddau blentyn Edmund drosodd i frenin Sweden, gan ddymuno ar hwnw eu lladd yn ddirgel, a gwneyd ei feddwl ef yn esmwyth yn eu cylch. Gwrthododd hwnw drochi ei ddwylaw yn ngwaed y babanod diniwaid, ond anfonodd hwy i frenin Hungari, lle y codwyd hwy i fyny yn deilwng o'u gwaedoliaeth. Priododd y ddau, wedi hyny, â pherthynasau agos i frenin Hungari. Yr oedd Canute,

bellach, yn benadur galluocaf ei oes, yn frenin Lloegr, Denmark, a Norway, a dau neu dri o freninoedd eraill yn cydnabod ei awdurdod arnynt. Priododd ag Emma, gweddw y diweddar Ethelred; dyrchafodd Edric i fod yn llywodraethwr Mercia; ond wedi hyny gorfu iddo ymddwyn yn wahanol tuag at y bradwr hwnw; condemniodd ef i farw, torwyd ei ben, a thaflwyd ei gorph i afon Llundain; ac felly talwyd iddo y wobr a haeddai ei dwyll a'i fradwriaeth. Yn nechreuad ei deyrnasiad yr oedd Canute yn llymdost a chreulon; ond tua'r diwedd daeth yn fwy cyfiawn a thyner, ac enillodd ewyllys da ei ddeiliaid yn gyffredinol. Rhoddodd lawer o'i fryd ar grefydd, adeiladodd eglwysi, a rhoddodd symiau mawrion o waddol i'r monachlogydd. Dywedir iddo unwaith, pan yn aros yn Southampton, a phan oedd gwŷr ei lys yn clodfori ei allu a'i awdurdod, orchymyn iddynt osod ei gadair ar y traeth pan oedd y llanw yn dyfod i mewn, ac iddo yntau eistedd arni, ac fel arglwydd y moroedd, orchymyn i'r dyfroedd beidio codi yn uwch. Ond yn ddisylw o'i orchymyn, llanwodd y môr o amgylch ei gadair freninol; yno trodd at ei wenieithwyr, ac archodd iddynt gyfaddef gwendid ac anallu pob llywodraeth ddynol ger bron yr Hwn a ddywedodd wrth y cefnfor, "Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach." Bu farw yn Shaftesbury, yn 1035, wedi teyrnasu pedair blynedd ar bymtheg; a dangosodd y wlad alar mawr ar ei ol.

Gadawodd Canute ar ei ol dri mab, Lewyn, Harold, a Hardicanute. Rhoddodd i Hardicanute ei fab o Emma, a'r unig fab oedd â hawl i orsedd Lloegr, lywodraeth Denmark, lle yr oedd yn awr yn preswylio, yn gystal a llywodraeth y Daniaid yn Lloegr; rhoddodd orsedd Norway i Lewyn, a gorsedd Lloegr i Harold. Codwyd cyffro mawr gan Emma ei fam, Godwin, Iarll Essex, yn gystal a'r Saeson yn gyffredin o blaid Hardicanute. Ond cyn pen pedair blynedd bu Harold farw, a chafodd Hardicanute goron Lloegr; a'r peth cyntaf a wnaeth ar ol derbyn y llywodraeth oedd gorchymyn codi gweddillion Harold ei frawd o'r bedd a'u taflu i'r *Thames*. Codwyd y corph gan ryw bysgodwyr, a chladdwyd ef eilwaith; ond mynodd Hardicanute iddo gael ei daflu i'r afon eilwaith. Codwyd ef drachefn, a chladdwyd ef yn ddirgel. Gosododd y brenin drethi trymion ar y bobl, yr hyn a barodd lawer o derfysgoedd. Ond ni bu ei deyrnasiad ond byr: pan mewn gwledd priodas pendefig Danaidd, â chwpanaid o win yn ei law, syrthiodd yn ddideimlad, ac ni lefarodd air mwy. Felly bu y brenin Danaidd diweddaf fu ar y wlad hon farw yn feddw. Ar ei farwolaeth daeth ei haner brawd, Edward III, y Cyffeswr, mab Emma o Ethelred, i'r orsedd, yr hwn a ddygwyddodd fod yn Lloegr ar adeg marwolaeth Hardicanute. Addawodd Godwin, yr hwn oedd yn meddu dylanwad anarferol ar y wlad, fod yn bob cefnogaeth

iddo, ar yr amod iddo briodi Editha, ei ferch. Yr oedd Edward yn llawn teimlad drwg at Godwin, oblegyd tybiai iddo yn fradwrus ladd Alfred ei frawd; ond yr oedd o bwys mawr iddo gael dylanwad Godwin o'i blaid yn bresenol, ac yr oedd y cynygiad yn rhy dda i'w wrthod. Priododd Edward Editha, a choronwyd ef yn frenin gyda phob amlygiad o deyrngarwch a serch; felly taflodd y Saeson eto yr iau Danaidd oddiar eu gwar, ac adferasant y linach Seisnig. Ond yr oedd Edward wedi ei godi i fyny yn Normandy, ac yn teimlo yn ymlynol iawn wrth gyfreithiau, trigolion, ac arferion y wlad hono; a'r canlyniad fu i lys Lloegr, a'r sefyllfaoedd mwyaf pwysig yn wladol ac eglwysig, gael eu llenwi o Normaniaid. Ar gais Edward daeth William, duc ieuanc Normandy, drosodd ar ymweliad; a barna rhai, oblegyd fod Edward yn ddiepil, i gytundeb gael ei wneyd rhyngddynt am olynydd iddo ar orsedd Lloegr. Dywed eraill mai ar gais Robert, archesgob Canterbury (Normaniad), y nododd Edward, duc Normandy, yn olynydd. Beth bynag, daeth William i ddeall hyn, a llwyddodd i gael gan Harold, mab dewr i Iarll Godwin, dyngu llw o ffyddlondeb iddo.

Yn mhen enyd o amser ar ol hyn trodd Edward ei lygad i le arall am olynydd, yr hyn oedd yn fwy cydunol a theimlad y wlad. Anfonodd i Hungari, i gyrchu Edward mab ieuangaf Edmund ei frawd, yr hwn a alltudiwyd o'r wlad hon yn faban gan Canute, yr hwn oedd unig etifedd y linach Seisnig. Daeth y tywysog a'i wraig, a'i dri phlentyn, Edgar, Christina, a Margaret, drosodd; ond cyn iddo gael gweled wyneb y brenin, er galar cyffredinol, cymerwyd ef yn glaf, a bu farw. Drwgdybid iddo gael ei wenwyno naill ai trwy ddylanwad Harold, neu William o Normandy. Bellach yr oedd llwybr William yn fwy agored. Bu Edward farw, Ionawr 5, 1066. Ar ddydd ei gladdedigaeth (dranoeth wedi iddo farw), coronwyd Harold, mab Godwin, yn frenin, gan Aldred, archesgob York. Pan glywodd William, llanwyd ef o ddigofaint, ac anfonodd genadwyr drosodd at Harold i'w adgofio am ei lw, ac i geisio ganddo roddi y meddiant o'r deyrnas i fyny ar unwaith. Atebodd Harold, iddo ef gael ei orfodi i wneyd y llw—na fuasai ei fywyd yn ddyogel pe gwrthodasai, ac felly nas gallesid ystyried y llw yn rhwymedigol; a phe buasai yn rhwymedigol, ei fod yn annghyfreithlon, am nad oedd y brenin na'r wlad, y rhai a feddent awdurdod i ddewis brenin, yn ei alw ef (William) i lywodraethu; felly mai ei ddyledswydd ef oedd defnyddio y cyfleusdra cyntaf i dori y llw; ei fod ef wedi ei ddewis yn frenin gan y bobl yn unllais, ac y cawsai yr un foment roddi pen ar ei fywyd ac ar ei lywodraeth.

Nid oedd William yn dysgwyl atebiad gwahanol. Cynullodd fyddin o oreuon milwyr y Cyfandir, a daeth drosodd i ymladd â Harold am goron Lloegr. Yr oedd Harold newydd enill goruchaf-

iaeth mewn brwydr fawr yn erbyn Tosti ei frawd, a Hadradi brenin Norway, ac yn gwledda ar draul y fuddugoliaeth, pan ddaeth y newydd iddo fod William o Normandy a'i wŷr wedi glanio yn Pevensey, yn Sussex (Medi 28, 1066). Dywedir i William, wrth neidio oddiar y llong i'r lan, daro ei droed, a chwympo. Neidiodd milwr yn mlaen, a chododd ef; ac wrth weled ei ddwylaw yn llawn o laid, dywedodd, "Flaenor ffodus! yr ydych wedi cymeryd Lloegr eisoes; mae ei daear yn eich dwylaw." Casglodd Harold fyddin nerthol, a gwnaeth bob darpariadau i gyfarfod William. Anfonodd William ato, i ofyn ganddo adael yr achos i'r pab i'w farnu rhyngddynt, neu ei benderfynu trwy ymladd eu dau yn unig, er arbed tywallt gwaed; ond gwrthododd Harold, gan ddywedyd y cai Duw farnu yr achos rhyngddynt ar fyr amser. Ar y 14eg o Hydref safai y ddwy fyddin fawr wyneb yn wyneb, mewn lle a elwir (yn awr) *Battle*, o fewn wyth milltir i Hastings, ar y ffordd i Lundain. Ni welwyd y fath fyddinoedd yn y wlad hon o'r blaen. Ar y noswaith uchod yr oedd sefyllfa pethau yn y ddau wersyll yn dra gwahanol. Treuliai y Normaniaid y noswaith mewn defosiynau crefyddol, gweddiau, a gweinyddiad y sacrament; ond Harold a'i wŷr mewn yfed a gloddest. Ar doriad gwawr y 15fed, dyrchafodd y Normaniaid eu bloedd ryfel,—"Duw cynorthwya ni!" Atebwyd hwy gan y Saeson, "Y groes santaidd! croes Duw!" A chyda'r bloeddiadau, yr oedd y byddinoedd yn rhedeg i gyfarfod eu gilydd, a'r ymosodiad mwyaf gwrol a ffyrnig yn dechreu. Parhaodd yr ymladdfa waedlyd gyda nerth arswydus a diball trwy ystod y dydd. Weithiau cai y Normaniaid y trechaf, bryd arall y Saeson. O'r diwedd, yn hwyr y dydd, pan oedd Harold yn arwain ei fyddin yn mlaen, ac yn ymladd gyda dewrder digyffelyb, tarawyd saeth trwy ei ben, a syrthiodd. Lladdwyd hefyd ei ddau frawd gwrol, Gurth a Leofwin; ac wedi colli eu harweinwyr, rhoddodd y Saeson ffordd ar bob llaw, ac ymlidiwyd hwy gan y gelynion gyda lladdfa fawr, a pharhawyd yr ymlidiad wrth oleuni y lleuad. Unwaith, pan mewn lle dwfn corsog, trodd y gorchfygedig ar eu hymlidwyr, a dialasant yn drwm arnynt; ond gwnaeth presenoldeb William iddynt ffoi eilwaith; a da oedd cael lleni tywyll y nos yn gysgod. Lladdwyd tri cheffyl o dan William yn ystod y diwrnod, a chollodd bymtheg mil o wŷr. Collodd y Saeson lawer yn ychwaneg, yn nghyda'u brenin a'i ddau frawd. Dywedir i'w fam gynyg ei bwysau o aur am gorph Harold, ac i William ei wrthod; eraill a ddywedant iddi ei gael heb roddi dim am dano. Ni adawodd y Normaniaid faes y frwydr, er eu lludded, ac er hwyred y dydd, heb gyflwyno eu diolchgarwch i'r nefoedd am y fuddugoliaeth. Fel hyn enillodd William, duc Normandy, fuddugoliaeth lwyr ar y Saeson, cliriodd ei ffordd i orsedd Lloegr, a rhoddodd derfyn ar yr unbenaeth

Seisnig; ac yn awr y mae cyfnod newydd yn dechreu yn Mhrydain.

### IV.—HANES CREFYDD.

MAE crefydd pob gwlad yn elfen bwysig yn ei hanes; ac nid oes un wlad yn fwy felly na Phrydain. Crefydd foreuol Prydain oedd Derwyddiaeth; ond dygwyd hono ymaith gyda llifeiriant y chwyldroadau yr aeth y wlad trwyddynt; a chawn grefydd o natur uwch, mwy cydweddol ag urddas, a mwy cyfaddas i angenion dyn, ac un fwy manteisiol i ddyrchafiad a llwyddiant gwladwriaeth, yn cymeryd ei lle, ac yn ymgorphori yn raddol yn hanesiaeth Prydain Fawr.

Nis gellir penderfynu yr amser y dygwyd Cristionogaeth i Brydain. Mae y traddodiadau am hyn yn lliosog. Myn rhai i Paul fod yn Llundain; eraill i Joseph o Arimathea fod yn pregethu yn yr ynys; ac eraill a haerant i'r efengyl gael ei dwyn yma gan ryw rai, beth bynag, yn yr oes apostolaidd. Rhaid dyweyd fod rhai pethau yn ffafrio y golygiad diweddaf; ond nid oes profion digonol dros yr un o'r tybiau hyn. Gellir bod yn dra sicr iddi ddyfod yma ryw bryd yn ystod yr ail ganrif. Dywed Tertullian * yn ei waith yn erbyn yr Iuddewon, a ysgrifenwyd yn y flwyddyn 209, "fod hyd y nod y lleoedd hyny yn Mhrydain nad allai yr arfau Rhufeinig eu cyrhaedd, wedi eu darostwng gan efengyl Crist." Mae y frawddeg hon yn awgrym eglur fod yr efengyl wedi bod yma am ryw gymaint o amser o leiaf cyn hyn. Cyn diwedd y drydedd ganrif, cawn fod yr erledigaeth ofnadwy dan Dioclesian wedi cyrhaedd Prydain, ac i St. Alban, y merthyr Prydeinig cyntaf, a lliaws gydag ef, gael eu rhoddi i farwolaeth. Constantius oedd llywodraethwr Prydain y pryd hwn: a dywedir i'r erledigaeth gael ei lleddfu yn fawr trwy ei fod ef yn teimlo mor ffafriol i'r grefydd Gristionogol. Unwaith, pan alwodd yn nghyd swyddogion ei dŷ, i gyhoeddi iddynt ewyllys yr ymerawdwr, sef, fod yn rhaid iddynt adael Cristionogaeth neu roddi eu swyddau i fyny, dywedir i rai o honynt wadu eu ffydd er mwyn cadw eu swyddau. Trodd Constantius y rhai hyny allan yn ddioed, gan ddywedyd nas gallasai y rhai a wrthodasant eu Duw brofi yn ffyddlon i'w meistr.

Nid oes genym nemawr ddim o hanes Cristionogaeth yn yr ynys hon yn y drydedd ganrif; ond yn nechreuad y bedwaredd, ar ddyrchafiad Cystenyn Fawr yn ymerawdwr Rhufain, mae yr eglwys Gristionogol yn Mhrydain yn cymeryd safle pwysig. Yn y fl. 314, cawn Eborius, Esgob York; Restitutus, Esgob Llundain; Adelphius, Esgob Richborough, yn bresenol yn nghyngorfa Arles, a bod eglwysi Prydain yn cael eu hystyried yn gydradd ag eglwysi Spain

* Presbyter, ac ysgrifenydd enwog o Carthage, yn yr ail ganrif.

a Gaul; er fod Esgobion Prydain yn llawer tlotach, oblegyd nad oedd y wlad eto wedi ei henill ond yn rhanol oddiwrth ofergoeliaeth y Derwyddon. Dyoddefodd yr eglwysi yn fawr y ganrif hon oddiwrth y llygriadau athrawiaethol ymdaenodd dros eglwysi y Cyfandir, oddiwrth gymysgedd Derwyddol, ac oddiwrth benboethni ac ofergoeledd Cristionogol. Gwnelid teithiau pererindodol mynych i wlad Canaan, a chwanegwyd nifer y mynachod, er eu bod yn gorfod gweithio i gynal eu hunain.

Pelagius

Yn y bumed ganrif bu syniadau Morgan, yr hwn a enwid Pelagius, yn creu cyffro mawr. Brodor, a mynach dysgedig o'r ynys hon ydoedd. Yr oedd yn enwog am ei ddysg, ei bwyll, a'i ddifrifwch moesol. Y prif gyfeiliorniadau y cyhuddid ef o'u lledaenu oeddent, gwadu y pechod gwreiddiol—dal fod dyn yn dyfod i'r byd mor santaidd ag y daeth Adda, a bod pob dyn yn meddu gallu i ddychwelyd ei hun. Dywed Bede* fod yr awdurdodau eglwysig yn Mhrydain yn anabl i droi dadleuon Pelagius a'i gyfeillion yn ol, iddynt anfon i Gaul am gymhorth, ac i Germanus, Esgob Auxerre, a Tupus, Esgob Troyes, gael eu hanfon drosodd, ac iddynt orchfygu y Pelagiaid yn llwyr. Ond yn mhen ychydig, ail gododd y cyffro, a daeth Germanus, a Severus, Esgob Treves, drosodd i'r un pwrpas drachefn, a mynwyd awdurdod i alltudio y Pelagiaid o'r ynys. Ar ymweliad o eiddo Pelagius â Rhufain, tarawodd wrth un Celestius, Gwyddel, yr hwn a fu yn aros wedi hyny yn Carthage, ac yn Ephesus. Bu hwn yn ddysgybl ffyddlon i Pelagius, a buant ill dau yn hau eu daliadau trwy Ewrop, Palestine, a pharthau eraill o Asia. Diarddelwyd hwy gan amryw gynghorau; a throwyd eu dadleuon yn ol yn llwyddianus gan ysgrifau yr enwog Awstin, Esgob Hippo, yn Affrica.

Yn yr un ganrif cawn hanes ymdrechion llwyddianus St. Patrig i helaethu Cristionogaeth yn Iwerddon,† a Ninian yn Ysgotland. Ac yn y ganrif ganlynol gwnaed ymdrechion mwy llwyddianus fyth yn y lle olaf gan Kentigern, neu St. Mungo, ac yn enwedig gan Columba (Gwyddel) a deuddeg o gyfeillion iddo. Erbyn hyn yr oedd ymosodiad a chwyldroadau y Saeson wedi agos diwreiddio Cristionogaeth o barthau deheuol yr ynys, wedi ysgubo pob sefydliad, heb adael eglwys, esgob, nac offeiriad yn un man. Ac yn y flwyddyn 596, pan oedd Ethelbert, brenin Kent, yn Bretwalda (llyw Prydain), dygwyddodd i Gregory Fawr, yr hwn a wnaed wedi hyny yn Bab, weled llanciau o Brydain yn cael eu gwerthu ar farchnad Rhufain; ac wedi cael ei daro gan eu glendid, a holi o

* Bede, ysgrifenydd Prydeinig o ogledd Lloegr, yn yr wythfed ganrif.

† "St. Patrig, apostol Iwerddon, a anwyd yn Rhos, Sir Benfro. Mewn ystod 60 mlynedd, dychwelodd holl Iwerddon i'r ffydd." British Kymry, gan R. W. Morgan, tu dalen 138.

ba le y daethent, pan godwyd ef i'r gadair Babaidd, anfonodd Awstin, a deugain o fynachod gydag ef, i'r wlad hon, i bregethu yr efengyl i'r Saeson. Cofleidiodd Ethelbert y ffydd Gristionogol yn fuan, a bedyddiwyd ef, a'i holl lys, yn nghyda deng mil o'i ddeiliaid yr un diwrnod. Rhoddodd y brenin ei balas ei hun i fyny at wasanaeth y cenadau, a pharodd adeiladu eglwys yn ei ymyl, ar y fan y mae eglwys gadeiriol Canterbury yn sefyll yn awr. Yn mhen ychydig flynyddoedd, cofleidiodd Sebert, brenin Essex, nai Ethelbert, gristionogaeth, ac adeiladodd eglwys ar adfeilion teml baganaidd Apollo, yn y fan y mae monachlog Westminster yn sefyll yn awr. Adeiladodd un arall o fewn dinas Llundain, ar y fan y bu teml i Diana, lle mae eglwys bresenol St. Paul yn sefyll. Tybiodd Awstin, wrth gael y fath lwyddiant ar y cychwyn, y buasai yn darostwng yr holl wlad dan iau Cristionogaeth yn fuan; ond cafodd ei siomi yn hyn, er iddo gael cynorthwy ychwanegol oddiwrth Gregory. Yr oedd sefydliadau Cristionogol yn parhau yn mysg y Cymry, ac yn mharthau gogleddol yr ynys, oddiar amser y Rhufeiniaid, y rhai oeddent wedi derbyn yr efengyl yn fwy uniongyrchol o'r dwyrain, ac yr oeddent mewn llawer o bethau yn gwahaniaethu oddiwrth y ffurf oedd arni yn dyfod o Rufain yn bresenol. Ceisiodd Awstin gymhorth eglwyswyr Cymru i efengyleiddio y Saeson; ond gwrthodasant am eu bod yn teimlo mor groes i dra-arglwyddiaeth y pab, ac i lawer o'r defodau Pabaidd, ac na chydnadyddent neb yn ben ond Crist. Bu Awstin farw yn 604, wedi sefydlu Cristionogaeth mewn dwy o deyrnasoedd y Seithbenaeth (Kent ac Essex), gan adael arch-esgobaeth Canterbury ar ei ol i'w ganlynwr ffyddlon Laurentius. Collodd y grefydd newydd dir pan fu Sebert farw, ac y daeth ei feibion yn ei le, a bu yn gyfyng iawn ar Laurentius a'i gyfeillion. Ffodd yr esgobion Justus a Mellitus i Gaul, ac yr oedd Laurentius ar gychwyn i'w canlyn; ond, os credwn y traddodiad, rhagflaenwyd ei enciliad, a dymchweliad Cristionogaeth yn y tir, trwy wyrth. Treuliodd y noswaith cyn ei fod yn bwriadu gadael y wlad yn yr eglwys. Ymddangosodd St. Pedr iddo, a fflangellodd ef yn erwin am ei lwfrdra a'i fwriad i gilio. Dranoeth aeth Laurentius a'i gefn briw a gwaedlyd at Eadbald y brenin. Gofynodd y brenin pwy oedd wedi beiddio gwneyd y fath driniaeth ar wr o sefyllfa mor uchel. Atebodd yntau mai penaeth yr apostolion a'i gwnaeth yn nyfnder y nos, oblegyd ei fwriad i fyned ymaith a gadael ei braidd. Dychrynwyd y brenin yn fawr, rhoddodd ei wraig anghyfreithlon (gweddw ei dad) ymaith, gosododd ei wyneb yn erbyn eilunaddoliaeth, a daeth yn Gristion selog. Gwnelid llawer o wyrthiau tebyg i'r un uchod y dyddiau hyny, a'r farn fwyaf ffafriol ellir goleddu am eu gwneuth-

Awstin.

urwyr yw, tybied eu bod hwy yn credu fod yr amcan yn cyfiawnhau y moddion.

Yr oedd Edwin, brenin Northumbria, wedi priodi Ethelburga, merch Ethelbert, ac ar gais Eadbald, ei frawd yn nghyfraith, caniataodd i genadwr o'r enw Paulinus bregethu o fewn ei derfynau. Wedi hir a dyfal ymdrech, ildiodd Edwin ei hunan i Gristionogaeth. Galwodd gynghor o'i benaethiaid yn nghyd i gymeryd y pwnc i ystyriaeth. Coifi, yr arch-offeiriad paganaidd, oedd y cyntaf i siarad. Dywedodd ei fod ef yn benderfynol am ddiffrwythder y duwiau yr oedd ef wedi eu gwasanaethu hyd yn hyn, "oblegyd," ebai, "os oes ganddynt allu i gyfranu bendithion, dylaswn i, sydd wedi eu gwasanaethu yn gyson, fod wedi derbyn yn helaeth o honynt; ond nid wyf wedi derbyn dim." Siaradodd un pendefig, gan gyffelybu yr enaid i aderyn tô, yn nghanol y gauaf, yn ehedeg i mewn i ganol y neuadd gynes, lle yr oedd y brenin a'i arglwyddi yn mwynhau eu hunain wrth y tân, ac wedi ehedfan am ychydig yn ol a blaen trwy yr ystafell, yn myned allan i'r ystorm trwy ddrws arall. "Felly," meddai, "nid ydym yn gwybod am ddechreu na diwedd yr enaid; ac os gall yr athrawiaeth newydd yma roddi rhyw sicrwydd i ni ar hyn, cofleidiwn hi." Cydsyniodd pawb. Yna cynygiodd Coifi, ar fod i'r deml, yn yr hon y gwasanaethai efe, gael ei dinystrio, a chynygiodd gychwyn ei halogedigaeth. Yr oedd yn ddeddf yn mysg y Saeson paganaidd nad oedd un offeiriad i ddwyn arfau, nac i farchogaeth ond ar gesyg. Ond Coifi yn awr, er mwyn dangos ei fod wedi newid ei grefydd, a aeth ar gefn march rhyfel, ymwregysodd â chleddyf, cymerodd bicell yn ei law, a gyrodd ar garlam tua'r deml. Tybiodd y bobl ei fod wedi gwallgofi, a chynyddwyd eu syndod yn fwy fyth pan welsant ef yn taflu y bicell at y gysegrfa. Ni wnaed un gwrthwynebiad iddo gan y bobl, a dywedir i Paulinus fedyddio deuddeng mil yn yr afon Swale, mewn un diwrnod. Dywed hanesydd arall iddo fod yn bedyddio bob dydd am bum wythnos, gan barhau o'r boreu hyd yr hwyr.

Dygwyd Cristionogaeth i deyrnas Mercia gan Peada, mab Penda, y brenin, er fod ei dad hyd hyny y gelyn penaf iddi. Gwrthodai Alchfleda, merch Oswy, briodi Peada heb iddo wrthod ei eilunod, a dyfod yn Gristion. O'r diwedd gwnaeth hyny, a dygodd genadau Cristionogol i'r deyrnas, y rhai a lwyddasant i droi llawer o ddeiliaid ei dad i'r ffydd; ac yr oedd ei dad, erbyn hyn, er iddo wrthod cymeryd ei fedyddio, yn foddlon i lafur y cenadau. Yr olaf o deyrnasoedd y Seithbenaeth i dderbyn Cristionogaeth oedd teyrnas fechan Sussex; ond ymostyngodd hon hefyd tua diwedd y seithfed ganrif, yn benaf trwy ymdrechion Wilfrid, Esgob York. Felly cyn pen 90 o flynyddoedd ar ol dyfodiad Awstin i'r ynys, yr oedd Cristionogaeth wedi ymdaenu trwy holl deyrnasoedd Lloegr.

Theodore.

Yr oedd sefydliad Cristionogaeth yn Mhrydain yn darparu ei thrigolion isel ac anwybodus i dderbyn addysg a diwylliant cyffredinol. Cafwyd dyn â bendith ynddo i'r wlad yn Theodore, archesgob Canterbury, yr hwn a gysegrwyd i'w swydd gan y pab Vitalian, yn 668. Yr oedd fel Paul, yn enedigol o Tarsus yn Cilicia, ac, fel hwnw hefyd, yn enwog am ei ddysgeidiaeth. Cododd cyffro mawr trwy yr eglwysi, yn ei amser ef, yn nghylch yr amser i gadw y pasg, ac yn nghylch y dull o gadw y gwallt. Er nad oeddent ond pynciau hynod ddibwys, gwnaethant gynhwrf rhyfeddol. Ond tawelwyd yr ymryson yn heddychlon trwy ymweliad Theodore a'r eglwysi, a'i gynghorion a'i gyfarwyddiadau ar y pynciau hyny. Rhanodd y gwr hwn y wlad yn esgobaethau, cyffrodd y cyfoethogion i adeiladu eglwysi plwyfol, gwnaeth ymdrechion i gael addysg i'r werin, a llwyddodd i gael gan y breninoedd i osod treth ar yr holl ddeiliaid er cynaliaeth crefydd yn y wlad.

Ond nid hir y parhaodd pethau cyn i wrthweithiad gymeryd lle. Codwyd yr esgobion a'r clerigwyr i gyfoeth a rhwysg; yn raddol collasant eu sel a'u gweithgarwch, a daethant yn hynod am eu balchder a'u bydolrwydd; ac yn ganlyniad i hyny syrthiodd y bobl gyffredin yn ysglyfaeth i'r ofergoeliaeth dygnaf. Codwyd monachlogydd a gwyryfdai i fri mawr, a daeth y rhai hyny yn gyrchle pob annuwioldeb a ffieidd-dra. Y cyfryw oedd sefyllfa pethau yn y nawfed ganrif, pan oresgynwyd y wlad hon gan y Daniaid, y rhai a wnaethant ddifrod mawr ar Gristionogaeth a'i sefydliadau. Pan oedd pethau yn ymdawelu ar ol ymosodiad ffyrnig y Daniaid, y cododd yr hynodol Dunstan, yr hwn, trwy gyfres o ddyfeisiau ffals a gwyrthiau hynod, a weithiodd ei hun i fyny i arch-esgobaeth Canterbury. Ganwyd ef yn Wessex, tua'r fl. 925, a derbyniodd ei addysg foreuol yn monachlog Glastonbury. Profodd er yn blentyn ei fod yn berchen ar alluoedd, talentau, ac yni anarferol. Gwanhaodd gymaint wrth ddylyn ei efrydiaeth, nes y dygodd arno ei hun dwymyn drom. Pan dan syfrdandod hono, cododd o'i wely unwaith yn y nos, ac aeth allan i'r eglwys. Yr oedd drysau hono dan glo; ond trwy gymhorth ysgol dringodd i ben y mur, yr hwn oedd ar y pryd yn cael ei adgyweirio, a disgynodd yn ddiberygl i mewn. Cafwyd ef yn y boreu yn cysgu • fewn yr eglwys. Priodolid ei symudiad rhyfedd a'i wellhad buan i wyrth, bid sicr. Byth ar ol y dwymyn hon, byddai, yn ol ei dystiolaeth ei hun, yn cael ei flino gan weledigaethau o ysbrydion drwg. Yr oedd, er hyn, yn hyddysg yn holl ddysgeidiaeth ei oes, ac yr oedd yn hylaw agos yn mhob gorchwyl. Yr oedd yn of, yn emydd, yn lliwiedydd, yn gerfiwr, yn gerddor, yn delynwr, ac yn follefarwr (*ventriloquist*). Yr oedd o had breninol, ac yn nai i Adelm,

Dunstan.

archesgob Canterbury. Pan yn y llys unwaith, clywyd ei delyn yn chwareu, ac yn adrodd geiriau anthem o'r dechreu i'r diwedd, heb fod un llaw yn agos iddi. Parodd hyn i wŷr y llys, y rhai oeddent eisoes yn llawn eiddigedd ato, ei fwrw allan fel swyngyfareddwr. Rhwymasant ef draed a dwylaw, taflasant ef i ffos, a mathrasant ef yno dan eu traed. Ond daeth oddiyno yn fyw, a diangodd am ddyogelwch at ei ewythr, esgob Winchester.

Wedi hyn, yn nglŷn ag eglwys Glastonbury, cododd gell iddo ei hun, pump troedfedd o hyd, dwy droedfedd o led, a digon o uchder iddo allu sefyll ar ei draed; ac yn hon y byddai yn astudio, yn gweithio, ac yn cysgu, er nad oedd yn ddigon hir iddo allu gorwedd yn ei lawn hyd ynddi. Yn y gell hon hefyd y bu y frwydr benaf rhyngddo a thywysog y fagddu. Un diwrnod, pan oedd yn gweithio ar ei eingion, gwthiodd y diafol ei ben i mewn trwy y ffenestr, a cheisiodd ei demtio â chynygion anfoesol. Goddefodd Dunstan ef nes oedd y gefeiliau (*tongs*) yn goch-boeth yn tân, ac yna yn sydyn cydiodd ynddynt, ac ymaflodd â hwynt yn nhrwyn ei elyn, yr hwn a grochfloeddiai mewn ing, nes oedd yr holl gymydogaeth yn adseinio. Felly cafodd goncwest ar ei elyn, a llonydd ganddo am gryn amser ar ol hyn.

Wedi iddo, trwy lawer o helyntion blinion, esgyn i'r archesgobaeth, a chael breninoedd a thywysogion, yn gystal a swyddogion eglwysig, yn offerynau at ei law, defnyddiodd ei holl awdurdod i gario allan ei syniadau gŵyrog a ffol. Rhoddodd orchymyn i'r holl glerigwyr, naill ai rhoddi i fyny eu gwragedd, a byw mewn gweddwdod, neu roddi i fyny eu swyddau. Cynaliwyd cynghorfa yn Winchester i ddadleu priodoldeb rhai defodau a osodai ar y mynachod a'r clerigwyr. Yn y cyfarfod cyntaf, daeth llais o'r mur yn llefaru o blaid Dunstan. Ond eto nid oedd ei wrthwynebwyr yn foddlon ildio. Cadwyd ail a thrydydd cyfarfod; ac yn y trydydd, dywedodd Dunstan ei fod ef yn awr yn myned yn hen, ac nad oedd yn hoffi cael ei drechu ganddynt; ond y buasai ef yn cyflwyno ei eglwys i Grist ei hun i farnu drosti. Gyda hyn dyna y llawr yn rhoi ffordd dan ei wrthwynebwyr; lladdwyd llawer, ac anafwyd eraill. A bernid yn o gyffredin nad oedd hyn eto ond dyfais ddarparedig o eiddo Dunstan. Bu fyw ddeng mlynedd wedi hyn, a threuliodd hwy i geisio cario allan ei hoff ddyfeisiau eglwysig.

Nid oes unrhyw ddygwyddiad pwysig iawn yn hanes yr Eglwys Seisnig o hyn i oresgyniad y Normaniaid. Gadawodd Dunstan ddylanwad pwysig ar ei ol o blaid monachlogydd. Parhawyd i'w sefydlu a'u gwaddoli, a pharhaodd y bobl i heidio iddynt, fel y daeth cyn hir y drydedd ran o gyfoeth y wlad yn eiddo eglwysig.

Yn nghanonau Elfrig, yr hwn a fu yn archesgob Canterbury o 995 hyd 1005, cawn fod saith o urddau clerigol yn yr Eglwys

Brydeinig y pryd hwnw. 1. Yr *Ostiary*, yr hwn oedd yn gofalu am ddrysau yr eglwys, ac yn canu y gloch. 2. Y *Lector*, neu ddarllenydd yr ysgrythyrau i'r gynulleidfa. 3. Yr *Exorcist*, yr hwn oedd yn bwrw allan gythreuliaid. 4. Yr *Acolyth*, yr hwn oedd yn dal y canwyllau i ddarllen yr efengylau ac i weini yr offeren. 5. Yr *Is-ddiacon*, yr hwn oedd yn dwyn y llestri santaidd, ac yn gwasanaethu y diacon wrth fwrdd yr allor. 6. Y *Diacon*, yr hwn a wasanaethai yr offerenwr, osodai yr offrwm ar yr allor, ddarllenai yr efengyl, fedyddiai blant, ac a roddai y sacrament i'r bobl. 7. Yr *Offerenwr*, neu y Presbyter, yr hwn a bregethai, a fedyddiai, ac a gysegrai y swper santaidd. O'r un urdd a'r olaf, ond uwch mewn anrhydedd, oedd yr *Esgob*.*

Un gwasanaeth pwysig o eiddo Cristionogaeth yn yr oesoedd hyn oedd dyrchafu y rhyw fenywaidd i safle mwy parchus a chyfrifol mewn cymdeithas; ac ni fuont hwythau yn ol o gydnabod Cristionogaeth am hyny, trwy roddi pwys eu dylanwad diderfyn o'i phlaid. Dywed Hume mai "y rhyw deg gafodd yr anrhydedd o fod yn offerynol i ddwyn Cristionogaeth i mewn i holl deyrnasoedd pwysicaf y Seithbenaeth."

## V.—LLYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

Yr holiad blaenaf yn gyffredin wrth chwilio i gyfansoddiad llywodraeth yw, pa faint o ryddid fwynheir gan y bobl, a pha faint o awdurdod sydd yn nwylaw y penadur? Ni cheir mewn un cyfnod o hanes y wlad hon, fod y brenin wedi bod yn feddianol ar awdurdod hollol yn ngwneuthuriad ei chyfreithiau. Ac, yn wahanol i holl deyrnasoedd Ewrop, y mae, o'r cychwyn, wedi bod yn feddianol ar Ddeddfwriaeth ar wahan oddiwrth y Llywodraeth Weinyddol. Gwirionedd mawr ag y mae holl hanes ein gwlad yn ei ddysgu yw, mai prif fantais sefydliadau rhydd yw eu bod yn galluogi dynion i fynu gweinyddiad doeth a gonest ar eu hachosion—fod cyfansoddiad llywodraeth yn dynesu at berffeithrwydd i'r graddau y byddo yn cynorthwyo y rhai sydd yn byw dani i wylio ymddygiadau eu llywodraethwyr, eu cynorthwyo pan fyddont yn gwneuthur yn iawn, eu gwrthwynebu pan fyddont yn gwneuthur fel arall—ac nas gall un cyfansoddiad, pa mor ragorol bynag, hebgor gwyliadwriaeth a dylanwad y bobl fel hyn ar y llywodraeth.

Yn mysg y Prydeiniaid boreuol nid oedd dim allesid ei alw yn llywodraeth reolaidd. Yr oedd hyny o gyfreithiau oedd ganddynt yn cael eu gweinyddu gan y swyddogion Derwyddol, mewn undeb â'r penaeth a'i bendefigion. Ar ol goresgyniad y Rhufeiniaid, sefydlwyd llywodraeth Daleithiol Rhufain yma, ac yr oedd y Rhaglaw hyny yn meddu awdurdod helaeth a gormesol.

*Knight's History of England.

Yr oedd ffurf-lywodraeth y Saeson yn amser y Seithbenaeth yn gyffelyb yn mhob un o'r teyrnasoedd hyny, ac yn y deyrnas gyfunol ar ol eu huno yn nghyd. Yr oedd etifeddiaeth y goron yn peri annghydfod mynych, oblegyd y methent gydweled am ddisgyniad yr hawl iddi yn mysg teuluoedd ac achau. Mewn dadleuon o'r fath byddai y dewisiad yn disgyn ar y prif dir-feddianwyr. A phan na fuasai dadl, byddai ffurf o etholiad yn cael ei wneyd ar y brenin. Gweinyddai yr archesgob y ddefod arferol ar ei goroniad; a gofynid y cwestiwn i'r dyrfa fyddai wedi ymgasglu yn nghyd, a byddent hwythau yn ateb yn gyffredin â'u banllefau cymeradwyol, er na fyddai ganddynt yr un llais gwirioneddol yn ei ddewisiad. Yr oedd meddiant y brenin yn gyffredin yn fawr—yn llawer mwy na neb o'r pendefigion *(thanes)*, neu yr arglwyddi. O 430 o etifeddiaethau a gynwysai teyrnas Kent, yr oedd 194 o honynt yn perthyn i'r brenin. Yr oedd y gweddill yn rhanedig rhwng dau esgob, dau abad, y frenines waddolog, a chwech o bendefigion, y rhai a wnaent yn nghyd un ar ddeg o brif dir-feddianwyr. Ond yr oedd nifer mawr o is-denantiaid gan y rhai hyn, yn dal tiroedd danynt, yn ol y drefn wriogaethol *(feudal system)*, fel yr oeddent hwythau yn ei ddal dan y goron. Mewn rhyfel, y brenin fyddai yn llywyddu y galluoedd. Efe hefyd oedd y prif farnwr, a byddai yn derbyn apeliadau oddiwrth lysoedd îs, ac yn cael cyfran o'r holl ddirwyon cospawl. Yr oedd yr holl swyddogion—yr Iarll, neu raglaw y Sir—y Sirydd, neu yr Is-iarll—penswyddwyr trefol,—a Barnwyr—yn cael eu dewis gan y brenin, ac yn dal eu swyddau wrth ei ewyllys.

Ond er fod ei awdurdod yn fawr, a'i ddylanwad yn fwy, eto nis gallasai wneuthur cyfreithiau heb alw yn nghyd ei gynghor, neu ei senedd; yr hon oedd yn gynwysedig o bendefigion blaenaf y deyrnas, y rhai na fyddent ond anfynych yn cyrhaedd dros ddeg ar ugain o nifer. Yr oedd y cyfreithiau yn cael eu gwneyd yn eu henwau hwy a'r brenin yn nghyd. Felly cawn Ina, brenin Wessex, yn 688, yn gwneuthur 79 o gyfreithiau yn ei senedd *(witenagemote*—cymanfa y doethion) "wrth gynghor ei esgobion, ei ieirll, ei ddoethion, a'i glerigwyr."

Gyda golwg ar drethi, yr oedd y rhan fwyaf o'r derbyniadau cyhoeddus yn myned i'r cyllid breninol. Byddai y prif drethi yn cael eu penderfynu gan y senedd; ond yr oedd trethi uniongyrchol yn cael eu gosod weithiau gan y brenin heb gydsyniad ei bendefigion, ac yn enwedig toll ar nwyddau a ddygid i mewn o wledydd eraill, gosodiad yr hon oedd yn hawlfraint iddo ef. Yn raddol cynyddodd awdurdod y senedd; daeth, nid yn unig i gyfranogi o'r awdurdod i wneyd cyfreithiau, ond hefyd i gael llais yn etholiad rhaglawiaid a siryddion y siroedd; arwyddid cytundebau o bwys

ganddynt, a byddent hwy, fel y brenin, yn penderfynu heddwch neu ryfel. Gan nad oedd y brenin yn feddianol ar un fyddin sefydlog, yr oedd cydweithrediad ei senedd yn anhebgorol angenrheidiol iddo, oblegyd yr oeddent hwy a'u his-denantiaid oll yn allu peryglus, pe codasent yn ei erbyn, fel y profa hanes y tri phendefig hyny yn y ddegfed ganrif—Godwin, Leofric, a Siward.*

Yr oedd yr holl sefydliadau Sacsonaidd, fel pob unbenaeth gwriogaethol, yn llawn ysbryd pendefigol (*aristocratic*) drwyddynt. Nid yn unig yr oedd breintiau y pendefigion yn lliosog, ond yr oedd gwahaniaethiad gradd a gwaedoliaeth yn rhedeg trwy holl lywyddiaeth y deyrnas. Yr oedd y gosp, neu y ddirwy am sarhad neu lofruddiad, yn cael ei phenderfynu yn ol sefyllfa y dyoddefydd. Byddai hyd y nod tystiolaeth a llw yn meddu pwysigrwydd yn ol graddoliaeth y tyst. Yr oedd llw prif-ddeiliad, neu bendefig breninol, yn gydbwys â llwon chwech o ddynion cyffredin; a llw iarll yn gydbwys â chwech prif-ddeiliad. Yr oedd awdurdod y llywodraeth yn gorwedd rhwng y brenin a'i bendefigaeth, a'r pellder yn anferthol rhyngddynt hwy a'r bobl gyffredin.

Yr oedd y bobl, fel y nodwyd, yn cael eu rhanu yn bendefigion, clerigwyr, a phobl gyffredin. O ran anrhydedd a gradd, yr oedd y clerigwyr yn ogyfuwch â'r pendefigion, ac ar ryw olwg yn uwch, oblegyd yr oedd llw clerigwr yn bwysicach na llw iarll; ac yr oedd gair esgob, fel eiddo brenin, yn ddigonol heb ei gadarnhau â llw. Ac, yn ol cyfraith Kent, rhoddid mwy o bris ar ben archesgob nag ar ben brenin. Nid oedd un dosbarth canol rhwng y pendefigion hyn a'r bobl gyffredin; ac nid oedd yn bosibl i neb ymgodi i'r cylchoedd uchaf os na fyddai o waedoliaeth uchel. Dosberthid y bobl gyffredin i wahanol fathau o lafurwyr, a byddai eu rhyddid a'u breintiau yn amrywio yn ol eu sefyllfaoedd. Yr oedd y dosbarth iselaf yn gaethion gorthrymedig, y rhai a drinid ac a werthid fel anifeiliaid. Ystyrid y caethwas "yn fwy o werth i'w feistr na buwch neu ŷch, ac agos cymaint a cheffyl." Dywed y "*Domesday Book*" (llyfr yn cynwys y cyfrifiad a wnaed ar eiddo tirol, &c., gan William y Gorchfygwr), fod 26,500 o'r caethion hyn yn y wlad y pryd hwnw. Dosbarth uwch na'r rhai hyn oedd y *villains*, neu brif lafurwyr y ddaear. Yn ol y llyfr uchod, yr oedd wyth o'r rhai hyn am bob un o'r caethion. Llafurio y tir oedd eu gwaith, ac yr oeddent yn hollol rwym wrth y tir y byddent arno. Yr oedd gan berchenog y tir hawl i'w gwasanaeth, ac i gyfran o'r cynyrch, ond nis gallasai eu symud oddiar y tir, ac nis gallasent hwythau ymadael. Os newidiai y perchenog, byddent hwy i aros yr un fath ar y tir, fel y coed a'r perthi. Yr oedd hefyd ddalwyr tiroedd bychain, masnachwyr, a chrefftwyr, y rhai oeddent yn meddu

* Gwel Lord Brougham on the "British Constitution."

graddau helaethach o ryddid. Yr oedd yn rhaid i bob dyn cyffredin fod yn perthyn i ryw deulu. Os na fuasai ganddo deulu ei hun, byddai yn rhaid iddo geisio gan ben-teulu i'w gymeryd i mewn, a'i gyfrif fel un o'r teulu hwnw.

Mae yn eithaf amlwg nad oedd y brenin, yn y cyfnod hwn, yn meddu ar allu hollol, neu unbenaeth; ac y mae mor amlwg a hyny nad oedd gan y bobl yr un llais yn y senedd, na neb yn eu cynnrychioli yn ngwneuthuriad y cyfreithiau.

Ni oddef ein terfynau i ni helaethu ar gyfreithiau y cyfnod hwn, oddigerth coffa fod y cyfreithiau Seisnig boreuol yn cyrhaedd at y manylion eithaf, fel nad oedd modd i'r barnwr neu y llys arfer dim ar ei farn ei hun, ar ol profi yr achos. Yr oedd ei werth penodol ar bob dyn, yn ol ei sefyllfa; ac os diffrwythid aelod i arall, yr oedd y ddirwy wedi ei phenodi. Y ddirwy am goes oedd haner cant swllt; am y bys bach, un swllt ar ddeg; bawd y troed, deg swllt; dant blaen, chwech swllt; dant y llygad, pedwar swllt; dant ol, swllt; ac ewin bys, swllt. Ac felly yr oedd y ddirwy yn benodedig am y pethau lleiaf fel y mwyaf. Y troseddau a gospid â marwolaeth, oeddent—bradwriaeth, enciliad milwr, lladrad agored, tori tai, a llofruddiaeth ragfwriadol. Os delid neb yn cyflawni un o'r troseddau hyn, nid oedd angen prawf ar ei achos; ac os goddiweddid lleidr neu lofrudd gan ei ymlidwyr, gallent ei grogi neu dori ei ben yn y fan. Ni ddangosid trugaredd tuag at neb ag y byddai y gyfraith yn tynu ei nhawdd oddiarno; a gallai y neb a fynai ei ladd. Heblaw dirwyon a marwolaeth, byddai y cospedigaethau canlynol yn cael eu gweinyddu:—Carchariad, alltudiad, dinoddiad y gyfraith, caethwasiad, fflangellu, llosgnodi, y rhigod *(pillory)*, tori aelodau, tori trwyn, clustiau, a gwefusau, tynu y llygaid, a thynu y gwallt. Y dull cyffredin o ddienyddio oedd crogi, ac weithiau llabyddio.

Nid oes genym nemawr o hanes y Cymry yn y cyfnod hwn, ychwaneg na'u bod wedi dosbarthu eu tiriogaeth gyfyng (Cymru) yn dair rhan—Gwynedd, Powys, a'r Deheu; a'u bod yn defnyddio pob cyfleusdra i wneyd ymosodiadau ffyrnig ar eu gelynion, y Saeson. Yr oedd brenin ar bob un o'r parthau uchod; ond yr enwocaf o honynt oedd llywodraeth Gwynedd (Venedotia), brenin yr hon a ystyrid yn arglwydd ar holl Gymru. Er i'r Saeson wneyd llawer ymdrech, ni lwyddasant erioed i orchfygu y Cymry yn ystod y chwe chan mlynedd y buont yn arglwyddiaethu yn Mhrydain. Un o'r rhai enwocaf yn mysg Cymry y dyddiau hyny oedd Hywel Dda, brenin Gwynedd, yn y ddegfed ganrif, cyfreithiau yr hwn a ystyrir yr ysgrifeniadau pwysicaf yn Ewrop yn yr oesoedd tywyll.

VI.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Wrth sefyll ar y ddegfed ganrif ac edrych yn ol, mae cyflwr yr ynys yn ymddangos yn bob peth ond dymunol. Er gerwined goruchwyliaethau yr aeth danynt, nid oes dim tebyg i drefn na sefydlogrwydd wedi eu cyrhaedd eto; ac ychydig a gwanaidd yw y cynydd mewn gwareiddiad. Isel a barbaraidd yw cyflwr lliaws y wlad, heb ryddid, addysg, na manteision. Nid oedd hyd y nod iaith ysgrifenedig gan y Saeson nes daeth cenadau Cristionogol i'w mysg. Yr oedd y Normaniaid yn fwy gwareiddiedig na'r Saeson, ac felly yr oedd eu dyfodiad hwy yn fantais. Yr oedd ganddynt addysg uwch, a dygasant gyda hwy lawer o welliadau mewn bywyd cymdeithasol. Yn lle gwastraffu eu golud mewn bwyta, yfed, a gloddesta, fel y Saeson, addurnent wyneb y wlad ag adeiladau gwychion, yn gestyll, eglwysi, a monachlogydd; ac oddiwrthynt hwy yn benaf y cododd y gelfyddyd o adeiladu yn y wlad hon.

Ond er fod y cyfnod hirfaith a phwysig hwn o hanes Prydain yn ymddangos yn dryblith o bob cymysgedd, eto cododd yn raddol o ymweithiad y cymysgedd hwnw greadigaeth newydd fawreddog o drefn a gogoniant. Rhoddwyd yr hedyn yn y tir yn chwyldroadau olynol ac arswydus y canrifoedd tywyll hyn, ac nid yw cyfansoddiad a ffurf-lywodraeth ardderchog bresenol ein gwlad ond dadblygiad o'r elfenau hyny. Gallwn ganfod dwy neu dair o wahanol elfenau wedi cydgyfarfod yn y chwyldroadau hyny i genedlu llwyddiant a mawredd dylynol y deyrnas hon. Derbyniodd Prydain ddylanwad oddiwrth y byd Rhufeinig na chollodd mo hono byth yn llwyr. Er i chwyldroadau y bumed ganrif ysgubo gweddillion ffurf-lywodraeth a sefydliadau y Rhufeiniaid ymaith, eto gadawodd allu ar ei hol ddangosodd ei hun drachefn. Arglwyddi haelfrydig ddigon oedd y Rhufeiniaid; eu hamcan oedd enill llywodraeth; wedi iddynt enill hyny, talent yn ol i'r gorchfygedig trwy eu hamddiffyn, a'u haddysgu yn eu cyfreithiau a'u sefydliadau. Ac, fel y dywedai un awdwr, nid yw y cyfreithiau Rhufeinig byth yn marw, ond y maent yn byw ac yn treiddio ar ol i'r ymerodraeth ddiflanu. Diamheu fod hyn yn wir am Rufain yn y wlad hon. Faint bynag o argraff a wnaeth trwy ei chyfreithiau, ei sefydliadau, a'i hawduron, dygodd ryddid meddyliol—elfen bwysg mewn gwareiddiad—gyda hi o'r hen fyd i fyd newydd Prydain, yr hwn a wnaeth argraff annileadwy, ac a fynodd le arosol yn myd meddwl y wlad hon.

Derbyniodd Prydain elfen wareiddiol arall oddiwrth y gorchfygwyr Sacsonaidd, er mor farbaraidd oeddent. Cawn fod egwyddorion o bwys yn nhrefniadau gwladol y Saeson. Yr oedd y llwythau yn cael eu ffurfio o benau teuluoedd, y rhai oeddent berchenogion tiroedd; a'r rhai hyny yn cael eu llywodraethu gan gymanfa o ddynion rhydd. Yr oedd y bendefigaeth yn meddu gradd helaeth o ryddid,

ac yn gallu ffrwyno y penadur, fel nad oedd hwnw ond penaeth ar gylch o gyfeillion. Mae hon yn elfen bwysig sydd wedi parhau yn nghyfansoddiad y wlad hon, ac wedi bod yn ymweithio i fwyfwy o berffeithrwydd hyd y dydd hwn.

Yr oedd dyfodiad Cristionogaeth i'r wlad hefyd, yn ddyfodiad elfen newydd, ag sydd wedi gweini rhan bwysig yn sefydliad y Cyfansoddiad Prydeinig. Rhedodd ei hysbryd hi trwy holl drefniadau a chylchoedd cymdeithas, gan fŷnu gafael ar y meddwl nas gallodd philosophyddiaeth Groeg a Rhufain erioed ei chael. Ceisiai philosophyddiaeth wneyd yr hyn a wnaeth Cristionogaeth, gyda hyn o wahaniaeth; ei bod yn dewis llywodraethu dynolryw, ond yn gwrthod ymostwng dan iau gyfreithiol. "Uniad rhyddid meddyliol," meddai Guizot, "fel y bodolai yn yr hen amser, a gallu meddyliol, fel y dadblygai ei hun yn y sefydliadau Cristionogol, yw prif a gwreiddiol nodwedd gwareddiad diweddar. Ac mae yn ddiamheu mai yn mynwes y chwyldroad a gyflawnwyd gan Gristionogaeth yn mherthynas trefniadau ysbrydol a thymorol, neu berthynas y meddwl a'r byd allanol, y cafodd y chwyldroad newydd hwn ei darddiad a'i oruchafiaeth gyntaf."* Dyma rai o'r elfenau gwareiddiol tramor a ddygwyd drosodd i'r ynys hon yn y cyfnod dan sylw. Gwir na chanfyddir ei ffrwyth mewn unrhyw drefniant sefydlog, rheolaidd, a chyffredinol, hyd y ddegfed ganrif, ond deuant fwyfwy i'r golwg oddiyno yn mlaen.

*Knight's History of England, vol. i, p. 356.

# PENOD II.

## O oresgyniad y Normaniaid hyd ddiwedd teyrnasiad y Brenin John, 1066—1216.

---

### I.—William y Gorchfygwr, 1066—1087.

Taflodd buddugoliaeth benderfynol William yn mrwydr Hastings y Saeson i ddyryswch a digalondid; ac yr oedd yn anhawdd iddynt gasglu nerth nac ysbryd i gynyg gwrthwynebiad pellach. Yr oedd y llinach Seisnig wedi ei rhwygo mor ddiweddar gan y Daniaid, ac yr oedd yr unig etifedd o'r llinach hono oedd yn aros—Edgar Atheling, mab Edmund—yn ddyn ieuanc hollol ddiwerth; ac yr oeddent newydd fod yn cynorthwyo Harold i draws-feddianu yr orsedd, a'r ymgais wedi troi yn fethiant: yr oedd y pethau hyn oll yn gymhellion iddynt i ymostwng i awdurdod y penaeth galluog o Normandy. Gwyddai William eu sefyllfa, a gwnaeth y goreu o'i amser ac o'r amgylchiadau. Ymgasglodd y penaethiaid Seisnig i Lundain i ymgynghori. Yr oedd rhai o blaid ymostwng i William, ac eraill am godi yn ei erbyn. Ar ol peth dadleu, cyhoeddwyd Edgar yn frenin, a rhoddwyd gofal y llywodraeth yn nwylaw Stigand, archesgob Canterbury, a'r ddau iarll, Edwin a Morcar, brodyr yn nghyfraith Harold, y rhai a feddent ddylanwad diderfyn yn Mercia a Northumbria. Ond cyn iddynt gael amser i wneyd nemawr o drefniadau, yr oedd William ar eu gwarthaf. Yr oedd wedi arwain ei fyddinoedd ar hyd y glanau tua'r dwyrain, wedi llosgi Romney a lladd ei thrigolion, ac wedi darostwng Dover, a sicrhau llwybr enciliad iddo ei hun, os byddai achos; ac yr oedd yn awr yn dynesu at Lundain. Cyfarfu â chenadau o Kent yn dyfod ato i gynyg ymostyngiad, os gwnai ganiatau eu rhyddid a'u hiawnderau iddynt. Rhoddodd Southwark ar dân. Croesodd y Thames wrth Wallingford, torodd y cymundeb a'r brif-ddinas o wahanol gyfeiriadau; ac yr oedd yr hanes am y difrod a wnai ar eiddo ac ar fywydau yn dychrynu trigolion Llundain. Cyn iddo gyrhaedd y ddinas, aeth y prif ddynion i'w gyfarfod i gynyg eu hymostyngiad iddo; ac yn eu mysg yr oedd Stigand yr archesgob, Aldred, archesgob York, Wolfstan, esgob Worcester, Edwin, Morcar, ac hyd y nod Edgar ei hun. Derbyniodd William hwy yn garedig, ac addawodd yn dda iddynt; a gyrodd fyddin o'i flaen i adeiladu amddiffynfa, ar y fan lle saif y Twr presenol.

Coronwyd ef yn monachlog Westminster, ar ddydd Nadolig (1066) gan archesgob York. Daliai ddigofaint at Stigand oblegyd y cynorthwy a roddodd i Harold, ac oblegyd ei fod yn meddu cymaint

o allu a dylanwad yn y wlad. Yr oedd y fonachlog yn llawn o bendefigion Seisnig a Normanaidd, a byddin o feirch-filwyr Normanaidd yn gwarchod y lle. Gofynodd esgob Constance i'r Normaniaid yn yr iaith Ffrengaidd, a fynent hwy goroni eu duc yn frenin Lloegr; a gofynwyd y cwestiwn i'r Saeson yn eu hiaith eu hunain gan yr archesgob. Atebwyd yn gadarnhaol gyda banllefau o bob parth o'r adeilad. Tybiodd y milwyr oddiallan, neu cymerasant arnynt dybied, oddiwrth swn y banllefau, fod y Saeson yn gwneyd ymosodiad ar eu cydwladwyr, a dechreuasant ruthro ar y bobl, a rhoddi y tai ar dân. Rhedodd y bobl allan o'r fonachlog—y Saeson i achub eu bywydau a'u meddianau, a'r Normaniaid i hela am ysbail, fel y gadawyd William wrtho ei hun, heb neb ond yr archesgob ac ychydig o glerigwyr o'i amgylch, ar ganol defod ei goroniad. Aethpwyd trwy y ddefod, beth bynag; addawodd William lywodraethu yn dda a chyfiawn,—cystal a'r goreu o'u breninoedd hwy eu hunain; ac yna cynorthwyodd i ostegu y terfysg, a diffodd y tân.

Ymroddodd William i dawelu y Saeson, ac i enill eu serch a'u hymddiried. Torodd i lawr y byddinoedd o ysbeilwyr crwydrol oeddent yn difrodi y wlad, amddiffynodd deithwyr, a gwrandawai gwynion y bobl. Gosododd amryw o'r cyfreithiau Seisnig mewn grym, cadarnhaodd ryddid dinaswyr yn y prif ddinasoedd, a mynodd well gweinyddiad cyfiawnder i'r bobl. Atafaelodd etifeddiaeth Harold, ond cadarnhaodd Edgar yn y titl a roddwyd iddo gan Harold, sef Iarll Oxford. Anfonodd anrhegion i'r pab, yn gystal ag i'r eglwysi a'r mynachdai; ac adeiladodd fynachdy yn agos i Hastings, yr hwn a alwodd yn "*Battle Abbey*," yn goffadwriaeth am ei fuddugoliaeth, a chadwodd ei holl lywodraeth yn ei law ei hun. Ond yn nghanol yr holl gyfeillgarwch hyn, gofalodd William roddi agos holl awdurdod y wlad yn llaw Normaniaid; adeiladodd gestyll yn Llundain, Winchester, Henffordd, a dinasoedd eraill, gan eu llenwi â milwyr Normanaidd. Rhoddodd yr etifeddiaethau mwyaf i'w gadbeniaid, a chododd dreth ar y bobl i gynal y milwyr.

Y gwanwyn canlynol talodd ymweliad â Normandy, gan gymeryd gydag ef Stigand, Edgar, Edwin, Morcar, Waltheof, a phendefigion eraill, a gadael gofal pethau yma yn nwylaw Odo, esgob Bayeux, ei frawd un-fam, a William Fitz-Osborne. Ond tra yr oedd William yn cyfranu anrhegion, ac yn cael ei glodfori yn ei wlad ei hun, torodd gwrthryfel allan yn erbyn ei lywodraeth yn Lloegr. Cyffrowyd y bobl gan drais a gorthrymder y Normaniaid yn absenoldeb y brenin. Anfonodd pobl Kent am gynorthwy Iarll Boulogne. Derbyniodd hwnw eu cais; ond pan fethodd gymeryd castell Dover mewn rhuthr, digalonodd, a dychwelodd i'w wlad. Ffurfiodd Edrig Wyllt o Henffordd gyngrair â Bleddyn a Riwallon,

dau dywysog Cymreig, i godi lluoedd yn erbyn y gormeswyr, a dywedir i ddyfais fradwrus, gyffelyb i'r un a wnaed â'r Daniaid yn amser Ethelred, gael ei ffurfio, ond methwyd a'i chario allan. Lladdwyd Iarll Coxo, fel bradwr ei wlad, am iddo wrthod cytuno â hwy. Pan aeth y newyddion hyn i glustiau William, prysurodd i Loegr i gospi y gwrthryfelwyr. Talodd ymweliad cyfeillgar â Llundain, ond cafodd Exeter a Chernyw deimlo ei fflangell yn drwm. Yr amser hwn y tiriodd ei wraig, Matilda, y waith gyntaf yn Lloegr, a gorchymynodd William i archesgob York ei choroni; ac yn fuan ar ol hyny y ganed ei fab ieuangaf, Henry.

Cynyddodd anfoddlonrwydd y Saeson, a thorodd gwrthryfel mwy pwysig na dim o'r blaen, allan yn y gogledd, yn cael ei flaenori gan Edwin a Morcar. Yr oedd y ddau iarll dewr wedi sicrhau cymhorth Bleddyn, brenin Gogledd Cymru, Malcolm, brenin Ysgotland, a Lewyn, brenin Denmark. Ond cyn fod nemawr o'r cynorthwywyr hyn wedi cyrhaedd, yr oedd William wedi gwasgaru y gwrthryfelwyr, wedi dal amryw yn garcharorion, ac atafaelu eu hetifeddiaethau. Yr oedd y gyflafan a adawodd ar ei ol yn Oxford, Warwick, Nottingham, Derby, a'r cyffiniau, yn ddychrynllyd: llosgai y dinasoedd yn lludw, ac ni arbedai yr henwr na'r plentyn sugno. Ffodd Edgar, yn nghyda'i fam a'i ddwy chwaer, Margaret a Christina, at Malcolm, brenin Ysgotland. Derbyniodd Malcolm hwy yn garedig, a chyn hir cymerodd Margaret yn wraig iddo; a sefydlodd llawer o'r Saeson yn ei diriogaethau. Yr oedd llid William a'i bobl at y Saeson yn cynyddu fwyfwy, a thrymhaent yr iau arnynt. Yr oedd y gorthrymder hwn eilwaith yn cyffroi anniddigrwydd y Saeson, ac yn esgor ar ymrysonau a mân frwydrau diddiwedd; ac yr oedd y brenin yntau â'i lygaid yn agored, ac yn darparu ar gyfer y gwaethaf.

Yn 1069, daeth Godwin, Edmund, a Magnus, tri mab Harold, y rhai a ffoisant i Iwerddon ar ol brwydr Hastings, â byddin drosodd o'r ynys hono, a thiriasant yn Swydd Devon; ond gyrwyd hwy yn ol i'r môr gan Brian, mab Iarll Llydaw. Erbyn hyn yr oedd y gogledd eto yn un fflam. Ymosodasant ar Durham, a lladdasant Robert de Comyn, y llywydd Normanaidd, a saith cant o'i ganlynwyr. Calonogodd hyn drigolion York; lladdasant hwythau y llywodraethwr Normanaidd, a chodasant warchae ar y castell. Prysurodd y gwarchodlu i ystorio y castell a'r darpariadau angenrheidiol, ac yn eu gwanc cymerasant i fyny lwyth o ŷd a nwyddau eraill o eiddo yr archesgob Aldred; ac er i'r gweision egluro hyny, ac ymbil â'r penaethiaid Normanaidd, ni wrandawsant. Cyffrodd Aldred yn fawr, ac aeth rhag blaen at y brenin, yr hwn a gafodd yn nghanol ei wersyll, a chyfarchodd ef yn gyffrous—"Gwrando arnaf fi, William Frenin! Estron oeddit ti; eto, gan fod Duw yn

ewyllysio cospi ein cenedl, enillaist, trwy lawer o waed, deyrnas Lloegr; felly cysegrais di, bendithiaist di, a choronaist di â'm llaw fy hun; ond yn awr yr wyf yn dy felldithio, ti a dy genedl, oblegyd gwnaethost dy hun yn erlidiwr eglwys Dduw, ac yn orthrymwr ei weinidogion!" Buasai pendefigion William wedi lladd Aldred yn y fan oni bai i'r brenin gyfryngu. Dychwelodd yr archesgob adref, ond ni bu mwyach yn iach.

Parhaodd y gwarchae ar y gwarchodlu Normanaidd yn Nghastell York. Glaniodd y Daniaid o agos tri chant o longau i gynorthwyo y Saeson. Daeth Edgar, Waltheof, a Siward, ac eraill o Ysgotland. Rhoddodd Mallet, yr hwn oedd yn awr yn llywodraethu y castell, dân mewn tai yn yr ymyl, yr hwn a ymledodd nes ysu yr holl ddinas. Cynddeiriogodd hyn y trigolion, rhuthrasant i'r castell, a lladdasant yr holl warchodlu—tair mil o nifer, heb drugaredd. Parodd y newyddion hyn i'r Saeson godi mewn amryw fanau eraill. Daeth yr hanes i glustiau William pan oedd yn hela yn Fforest Dean, a thyngodd lw ofnadwy y buasai yn difrodi yr holl Northumbriaid cyn gorphwys. Darparodd fyddinoedd cryfion o feirch a thraed-filwyr, a chyffrodd hwynt trwy addaw anrhegion mawrion iddynt. Anfonodd anrhegion i Osborne, llywydd y byddinoedd Danaidd, er mwyn ei droi i ddychwelyd adref; gwnaeth heddwch ag amryw o'r pendefigion Seisnig, er mwyn clirio yr amddiffyn oddiar y lliaws. Yna arweiniodd ei fyddinoedd trwy barthau gogleddol Lloegr, a medodd y trigolion i lawr fel glaswellt; gosodai y tai a'r pentrefi ar dân, a chymerai yr holl anifeiliaid ymaith yn ysbail. Yr oedd y wlad ar ei ol yn annghyfanedd-dra hollol. Yr ychydig weddillion o bobl a ddiangodd a adawyd heb berthynasau, na thai, nac ymborth, a bu raid iddynt dori awch eu newyn ar y ceffylau lladdedig a adawyd ar hyd wyneb y maes, ac hyd y nod ar gnawd dynol. Dywedir i gan mil fyned yn aberth i greulondeb barbaraidd William a'i wŷr yn yr hynt hon. Cwympodd llawer o enwogion, ffodd eraill i Ysgotland ac i'r Cyfandir. Aeth Iarll Caerloyw, a byddin o ddewrion gydag ef, i Gaercystenyn, ac ymunasant â gosgorddlu yr ymerawdwr; ac ymguddiodd llawer mewn coedwigoedd ac ymddiffynfeydd yn y wlad hon. Ymgasglodd haid o'r ffoedigion hyn at eu gilydd i ynysoedd Ely a Thornley, mewn ardal bur anhygyrch, yn agos i'r glanau dwyreiniol. Blaenorid y cwmni yma gan un Hereward, pendefig oedd wedi colli ei etifeddiaeth eang trwy ormes y Normaniaid, ac yr oedd yn un o'r milwyr dewraf ag y daeth William erioed i gyffyrddiad ag ef. Gelwid cyrchfan y ffoedigion hyn yn "wersyll noddfa;" ffodd lliaws o ddynion o bob gradd yno, a daeth cyn hir yn boblogaidd ac enwog. Codasant faner annibyniaeth i fyny yno, a helaethent eu terfynau trwy ymosodiadau mynych ar diroedd eu gelynion. Wedi llawer

ymgais ofer i'w darostwng, penderfynodd William wneyd sarn (*causeway*) trwy ddwy neu dair milldir o dir corsog, er cael llwybr i fyned atynt. Ond yr oedd rhuthriadau Hereward yn atal y gwaith i fyned yn mlaen. Tybiai y gelynion yn sicr fod y gwron hwn mewn cyngrair â'r gwr-drwg, a chynghorwyd William i osod dewines, yr hon a ddygodd gyda'i fyddin o Normandy, ar ben tŵr wedi ei wneuthur o goed, o flaen y gweithwyr, fel y gallai wrthweithio dylanwad dieflig Hereward. Gwnaed felly; ond mor gynted ag y dechreuwyd gweithio, gwnaeth Hereward ruthr disymwth, rhoddodd dân yn yr hesg a'r coed o amgylch, a llosgodd y ddewines, y gweithwyr, a'r milwyr. Felly methwyd â gorchfygu Hereward hyd nes i fynachod y lle fradychu y "gwersyll noddfa," ac arwain William a'i wŷr i mewn. Lladdwyd mil o honynt gan y brenin, torodd law a throed ddeheu eraill, a thraddododd Esgob Durham a Iarll Morcar, y rhai a gafwyd yn eu mysg, i garchar dros eu hoes. Torodd Hereward trwy ganol byddinoedd y gelyn, a ffodd i'r corsydd o afael y milwyr. Bu ef yn fflangell drom ar war y Normaniaid lawer tro wedi hyn; a bu yn dda gan William yn y diwedd i gael gwneyd heddwch ag ef, a dychwelyd ei etifeddiaeth iddo. Bu yn hen ddywediad yn mysg y Saeson am hir amser, y buasai tri arall o fath Hereward yn ddigon i amddiffyn Lloegr rhag y Normaniaid. Bradychwyd Edwin yn fuan ar ol hyn, a dygwyd ei ben i William.

Yn y flwyddyn 1074, tra yr oedd William ar y Cyfandir, torodd gwrthryfel allan yn Norwich. Cedwid yno wledd fawr ar ddydd priodas Ralph de Guader (neu Gäel) Iarll Norfolk, Brython, a merch Roger, Iarll Henffordd. Gwrthododd William ei gydsyniad i'r briodas; ond er hyny priodi a wnaethant. Yr oedd cwmni y wledd yn gynwysedig o brif bendefigion y wlad, yn wŷr llen a lleyg, yn Normaniaid, Saeson, a Chymry. Ac yn nghynyrfiad y gwin, dechreuasant ddiraddio a chablu enw William; ac yr oedd ei bobl ei hun mor flaenllaw a neb, gan ei alw yn hen "fastardd." Yr oedd Waltheof, gwr Judith, nith William, hefyd yn y gyfrinach. O'r diwedd cytunwyd i ddiorseddu William, a rhanu y deyrnas yn dair rhan rhyngddynt. Tyngodd esgobion, baroniaid, marchogion, a rhyfelwyr ffyddlondeb i'r cyngrair. Ond ni chymerwyd amser na phwyll i weithio y cynllun allan, ac aeth yn gwbl fethiant; gorchfygwyd hwy gan fyddinoedd y brenin, daliwyd amryw yn garcharorion, a thorwyd eu traed deheu; ffodd Guader i'w etifeddiaeth ei hun i Lydaw, lle y ceisiodd William wedi hyny wneyd ymosodiad arno, ond gyrwyd ef a'i wŷr yn eu hol. Cymerwyd etifeddiaethau llawer eto oddiarnynt, traddodwyd Iarll Henffordd i garchar dros ei fywyd, a thorwyd pen Waltheof, er na chymerodd un rhan weithredol yn y gwrthryfel.

Tarawodd William a'i wŷr lawer ergyd trwm ar Gymru. Normaniad o dan William oedd Hugh, a gyfenwid Wolf (Blaidd), Iarll Chester, yr hwn a groesodd y Dyfrdwy, a gymerodd feddiant o ran o Flint, ac a adeiladodd gastell yn Rhuddlan, gan ddarparu ar gyfer darostyngiad y Cymry, yr hyn fwriad na roddwyd i fyny nes ei gyflawni yn mhen dwy ganrif ar ol hyn, gan Edward I. Lliwiodd Hugh y Blaidd wyneb parthau o Ogledd Cymru â gwaed y trigolion.

Sefydlodd William y drefn wriogaethol *(feudal)*, yr hon oedd mewn cymaint bri ar y Cyfandir, yn gyflawn yn y wlad hon. Rhanodd agos holl diroedd Lloegr yn faroniaethau rhwng ei brif enwogion, y rhai oeddent i roddi eu gwasanaeth milwrol, yn nghyda swm penodol o arian, yn gydnabyddiaeth i'r brenin am danynt. Gosodai y baroniaid hyn ran helaeth o'r tiroedd allan i farchogion neu is-denantiaid, y rhai a'u dalient ar yr un tir ag y byddent hwythau yn ei ddal gan y goron. Cynwysai y deyrnas tua saith cant o faroniaethau, neu brif-denantiaid, a thriugain mil, dau cant a phymtheg o is-denantiaid. Nid oedd yr un Sais yn mysg y baroniaid hyn, na nemawr yn mysg yr ail radd. Darostyngodd William y sefydliadau eglwysig hefyd dan yr un gyfraith; a gwnai i esgobion a phenaethiaid y mynachdai i ofalu am denantiaid milwrol, yn ol meddiant yr esgobaeth neu y mynachdy, neu fyned dan yr un ddirwy ag eraill; ac ni phrisiai am achwyniadau na bygythion esgob na phab. Gwnaeth William ei oreu hefyd i ddifodi yr iaith Seisnig. Gorchymynodd i'r Ffrancaeg gael ei dysgu i'r plant trwy holl ysgolion y deyrnas—arferiad a barhaodd hyd ar ol amser Edward III., ac nad yw wedi darfod yn llwyr yn y wlad hyd heddyw. Y Ffrancaeg a siaredid yn y llys hefyd, ac yn y gwahanol lysoedd barn; a barna haneswyr mai yr ymgais hwn o eiddo William i wreiddio y Ffrancaeg yn Lloegr, yw un achos pwysig o'r cymysgedd Ffrengig sydd yn nghyfansoddiad y Saesneg.

Yr oedd yr esgobion yn yr oesoedd hyn yn gymaint o wleidyddion a rhyfelwyr ag oeddent o glerigwyr. Rhoddodd William lywodraeth wladol a milwrol Northumberland i Walcher (o Lorraine) esgob Durham; a gellid casglu oddiwrth ei hanes ei fod llawn mor hoff o'i gleddyf ag o'i feitr. Gorthrymai y Saeson yn fawr, ac o'r diwedd casglodd y gorthrwm yn gwmwl du, a thorodd ar ei ben. Dyfeisiwyd bradwriaeth yn ei erbyn; ar y diwrnod y cynelid y llys sirol yn Goat's Head (*Gateshead*), ar lan y Tyne, ymgasglodd tyrfa o'r Saeson, yn cael eu blaenori gan Liulf, i geisio iawn am y colledion oeddent wedi oddef; a phan na wrandawai yr esgob arnynt, rhoddwyd yr arwydd, ac mewn moment yr oedd pob Sais â'i arf yn ei law. Rhoddwyd yr eglwys ar dân, a lladdwyd yr esgob a thros gant o'i wŷr yn y fan. Cymerodd Odo, Esgob Bayeux, yr hwn oedd hefyd wedi cael iarllaeth Kent, arno ei hun i ddial cam ei

frawd o Durham. Cymerodd fyddin gref i Durham, a chyflawnodd yno y galanastra mwyaf dychrynllyd a chywilyddus. Yn fuan ar ol hyn chwenychodd Odo y gadair Babaidd; gwnaeth ddarpariadau mawrion yn Rhufain ar gyfer myned yno i'w chymeryd, ac yr oedd wedi cychwyn i'w daith, gan gludo cyfoeth aruthrol gydag ef; ond daeth y newydd i glustiau William, aeth i'w gyfarfod i'r *Isle of Wight*, atafaelodd ei holl feddianau, a gyrodd Odo yn garcharor i gastell yn Normandy. Ac felly ni chafodd yr esgob uchelfrydig ond mainc galed yn nghell carcharor i fwynhau ei hun, yn lle cadair glustogaidd ac anrhydeddus St. Pedr. Yr oedd y weithred hon o eiddo William yn hynod o gymeradwy yn ngolwg y Saeson.

Ymgymerodd William, yn ei gysylltiad â'r pab, i ddiswyddo yr esgobion a'r abadau Seisnig oblegyd amrywiol esgusodion, a rhoddi eu lle i estroniaid. Trowyd Stigand ymaith, a rhoddwyd archesgobaeth Canterbury i Lanfranc, brodor o Lombardy. Rhoddwyd archesgobaeth York i Thomas, un o gaplaniaid y brenin, a chyhoeddwyd yr olaf o hyny allan i fod yn ddarostyngedig i Canterbury, a Lanfranc "yn brif esgob a thad holl eglwysi Lloegr." Arferodd amryw o'r swyddogion newydd hyn y gelyniaeth, y gorthrwm, a'r creulondeb mwyaf tuag at y clerigwyr oedd danynt. Yr esgus a ddygodd William dros droi Wolfstan o Worcester o'i esgobaeth oedd, am nas gallasai weini ei swydd yn yr iaith Ffrengaidd. Cadwyd cynghor ar ei achos yn Westminster. Dywed traddodiad y mynachod, y rhai ydynt nodedig am eu ffydd wyrthiol, i Wolfstan droi at feddrod y brenin Edward, yr hwn oedd gerllaw, a dyweyd, "Edward, ti roddodd i mi y ffon fugeiliol hon, i ti gan hyny yr wyf yn ei dychwelyd," a tharawodd hi yn sicr i'r beddfaen. Yna trodd at William a dywedodd,—"Gwell dyn na thi a'i rhoddodd i mi; tyn hi ymaith os gelli." Ac nis gallodd neb ei thynu ymaith nes i'r esgob gael ei gadarnhau yn ei swydd: wedi hyny daeth ymaith wrth ei gyffyrddiad ef.

Yn nghanol gwrthryfel ac eiddigedd oddiwrth ei faroniaid, oddiwrth y Saeson, a chenedloedd eraill oddiar y Cyfandir, cododd drwg yn erbyn William yn ei deulu ei hun. Aeth Robert ei fab hynaf ato un diwrnod i geisio ac i hawlio duciaeth Normandy. Gwrthododd yntau ei gais; ac ar ol siarad pigog, aeth Robert i'r Cyfandir i geisio cefnogaeth i godi yn erbyn ei dad. Anfonai ei fam gynorthwy arianol i'w mhab afradlon; ond pan gafodd William hyny allan, gwaharddodd iddi gyda bygythion. O'r diwedd cynorthwyodd Philip, brenin Ffrainc, ef i gymeryd Castell Gerberoy, ar derfyn Normandy, ac oddiyno bu yn cyffroi y bobl yn erbyn ei dad, ac yn ysbeilio y wlad oddiamgylch. Aeth ei dad drosodd, a gwarchaeodd y castell, ac mewn rhuthrgyrch un diwrnod, aeth yn ymladdfa lawlaw rhwng Robert ag un o'r marchogion oedd yn gwarchae arno;

nid oedd y naill yn adwaen y llall, gan fod yr arfogaeth yn cuddio y wyneb. Ar ol ymladdfa galed, clwyfodd Robert ei elyn, a tharawodd ef i lawr oddiar ei farch. Gwaeddodd y clwyfedig am gymhorth, ac adnabu Robert mai llais ei dad ydoedd. Neidiodd i lawr, cododd ei dad ar ei farch ei hun, a syrthiodd ar ei liniau i ofyn ei faddeuant. Bu llawer o erfyn caled ar William cyn iddo faddeu i'w fab; ac er iddo wneuthur ffurf o faddeu iddo, ni ddangosodd arwyddion o serch tuag ato; ac wrth weled ei oerfelgarwch, ymadawodd Robert drachefn, ac ni welodd ei wyneb ef mwy.

Byddai darpariadau mawrion yn cael eu gwneyd ar y Cyfandir unwaith ac eilwaith i ymosod ar Loegr, a chadwai hyn William mewn pryder parhaus. Hyn barodd iddo osod y dreth wrthwynebus hono ar y tiroedd drachefn, a elwid y *Dane-gelt*, er cynal ei filwyr. Casglodd ddynion o bob cenedl, a sefydlodd hwy yn heidiau mawrion trwy bob parth o'r wlad. Gorchymynodd hefyd wneyd y wlad gyda glanau y môr yn ddiffaethwch annghyfaneddol, fel na chaffai y Daniaid un ysglyfaeth, os delent i'r wlad. Gwnaeth weithred arall dynodd warthnod annileadwy ar ei enw yn y wlad hon, sef ei waith yn cymeryd darn eang o dir, tua phedwar ugain a deg o filldiroedd o amgylchedd, yn *Hampshire*, i wneuthur parc hela iddo ei hun, yr hwn a elwid, Fforest Newydd. Yr oedd ar y tir hwn un ar bymtheg ar ugain o eglwysi, a llawer o bentrefi a thrigolion; ond dinystriodd y brenin y cwbl, a gyrodd y trigolion ymaith heb roddi unrhyw gydnabyddiaeth iddynt am eu colledion. Gwnaeth gyfreithiau newyddion hefyd yn gwahardd hela yn ei barciau, ac yn gwneyd y gosp am hyny yn llymach nag am ddim arall. Yr oedd dirwy benodol yn ddigon o iawn am ladd dyn; ond os lleddid hydd, neu faedd, neu ysgyfarnog, byddai yn rhaid i'r troseddwr golli ei ddau lygad. Dywedir fod tri thywysog o linach William wedi colli eu bywydau yn y fforest hon, ac yr ystyrid hyny fel barn oddiwrth Dduw am ei ormes a'i greulondeb ef.

Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at y "*Domesday Book*"—llyfr yn cynwys cyfrif manwl o holl eiddo tirol y deyrnas, a wnaed gan William yn 1081, yr hwn sydd yn awr ar gael, ac yn un o drysorau hynafiaethol gwerthfawrocaf y wlad. Yr oedd Alfred Fawr wedi gwneyd cyfrif-fesurau cyffelyb yn ei amser ef, a bernir fod hwnw fel cynllun gan William yn ei gyfarwyddo.

Tua diwedd 1086, galwodd William ei holl dir-feddianwyr, o wahanol raddau, yn nghyd i Salisbury, y rhai a rifent dri ugain mil, a gwnaeth iddynt dyngu llw o ffyddlondeb iddo eilwaith. Yna ymadawodd ef a'i ddau fab, William a Henry, i fyned i'r Cyfandir, gan ddwyn cyfoeth mawr gyda hwy, a melldithion y Saeson i'w canlyn. Arosodd yn Rouen, lle y cariai ohebiaeth yn mlaen â brenin Ffrainc yn nghylch tiriogaeth a elwid Vexin. Cynghorodd

ei physygwyr y brenin i gymeryd cyfferi, ac aros yn ei wely am dro, er mwyn darostwng maintiolaeth dirfawr ei gorph. Un diwrnod dywedodd brenin Ffrainc, mewn cellwair, "Yn wir, mae brenin Lloegr yn hir iawn yn gorwedd i mewn; bydd gwaith eglwysa ar ol hyn." Pan adroddwyd hyn wrth William, llidiodd yn ffyrnig, a thyngodd y llwon mwyaf difrifol y buasai yn dial arno. Mor gynted ag y daeth yn abl, arweiniodd ei fyddin i diriogaeth Philip, mathrodd yr ŷd, y gwinwydd, a phob ffrwythau, rhoddodd dref Mantes ar dân, ac mewn ymffrost digofus gyrodd ei farch ar garlam dros ei hadfeilion. Bernir i'w farch roddi ei droed ar ludw poeth, a thaflodd ei farchogwr pwysig, nes iddo ddisgyn yn drwm ar ben blaen y cyfrwy, a chafodd anaf peryglus. Cludwyd ef eilwaith i Rouen. Bu yno yn gorwedd am chwech wythnos, yn cael ei gylchynu gan feddygon. Fel y teimlai fod angau yn nesâu, deffroai ei gydwybod; anfonodd arian i ail-adeiladu eglwysi Mantes, ac i gynorthwyo mynachdai a thlodion Lloegr; a rhyddhaodd y carcharorion gwladol, Normaniaid a Saeson. Yn ei ewyllys, yr hon a ddarllenwyd ddau ddiwrnod cyn ei farwolaeth, rhoddodd Normandy i Robert, Lloegr i William, a'i arian i Henry. "Beth wnaf ag arian heb le?" ebai Henry. "Ymddiried yn Nuw, fy machgen i," ebe ei dad; "a gâd dy frodyr hynach na thi i gael y flaenoriaeth; fe ddaw dy amser dithau." Gadawsant eu tad yn y fan, ac aethant ymaith bob un i geisio ei etifeddiaeth. Ar y 9fed o Fedi, 1087, cododd ei ddwylaw i fyny yn ei wely, a dywedodd, "Yr wyf yn rhoddi fy hunan i fy arglwyddes Mari, santaidd fam Duw, fel y cymodo fi a'i mhab, fy Arglwydd Iesu Grist;" a chyda y geiriau hyn trengodd. Aeth y rhai a weinient arno ymaith yn y fan, chwiliwyd ac ysbeiliwyd ei dŷ gan y gweision, a bu y corph yn gorwedd yn hir yn haner noeth ar y llawr.

Claddwyd ef yn eglwys St. Stephan, yn Caen. Pan oedd y corph yn barod i'w osod yn y bedd, gwaeddodd llais o'r dorf, "Glerigwyr ac esgobion! myfi biau y tir hwn; eiddo teulu fy nhad ydyw; y dyn yr ydych yn gweddio drosto a'i dygodd oddiarnaf fi. Yr wyf, yn enw Duw, yn gwahardd i gorph yr ysbeiliwr gael ei guddio â fy naear i." Y gwr hwn oedd Asselin Fitz-Arthur—gwr oedd wedi dyoddef llawer o gam oddiwrth ormes William. Addawodd yr esgobion dalu iddo am y tir, ac aethpwyd yn mlaen gyda'r claddedigaeth. Ond yr oedd y bedd yn rhy gul. Nid oedd arch am y corph, dim ond ei wisg freninol; ac wrth ei wthio i lawr, rhwygodd ei ymysgaroedd, a gorfuwyd i'r rhai oeddent yn gweini adael yr eglwys oblegyd ffieidd-dra yr arogl.

Dyn o daldra cyffredin oedd William, ei wedd yn llym, a'i nerth yn aruthrol. Yr oedd yn flaenor dewr, llygadlym, a phenderfynol. Costiodd iddo saith mlynedd o'r ymdrechion mwyaf

diflino i ddarostwng y Saeson; ond o'r diwedd cyrhaeddodd ei amcan, a chyflawnodd yr oruchafiaeth fwyaf hollol a wnaed ar Loegr erioed. Mae yn bosibl na ddarostyngwyd yr un genedl yn llwyrach nag y darostyngwyd y Saeson gan William o Normandy; mor llwyr fel na chafwyd yr un teulu Seisnig am oesoedd yn mysg baroniaid, neu brif dir-feddianwyr y wlad. Diamheu fod gan William hefyd olwg ar y dyfodol yn y llwybr a gymerodd, ac yn y gorchwylion llymdost a gyflawnodd; a phrofir iddo osod seiliau cedyrn i lawr gan y ffaith fod ei linach wedi aros hyd heddyw yn y meddiant o goron Lloegr. Yr oedd o duedd gynil a darbodus, a'i gyfoeth a'i feddianau yn ddirfawr. Yn nosbarthiad y tir rhwng ei faroniaid, cadwodd bedwar cant ar ddeg a deuddeg ar ugain o faenoriaethau (*manors*) yn feddiant iddo ei hun; a bernir fod ei gyllid blynyddol yn fwy nag eiddo unrhyw frenin nac ymerawdwr ar lechres hanesiaeth. Yr oedd o leiaf o naw i ddeg miliwn o bunau, ac heb ganddo na byddin na llynges i'w cynal. Ei brif ddifyrwch oedd mewn hela. A pha faint bynag ganmolir ar nerth a dewrder ei feddwl, ac ar ei fedrusrwydd llywodraethol, rhaid dyweyd fod ei uchelgais, ei greulondeb, a'i wanc yn ddiderfyn. Sathrai bob iawnderau dan ei draed, a chauai ei glustiau ar hawliau mwyaf cysegredig dynoliaeth, os byddent ar ei ffordd ef i gyrhaedd ei amcan. Yr oedd yn grefyddol, yn ol ffasiwn y dyddiau hyny; yn myned i wrando yr offeren bob dydd. Adeiladodd eglwysi a mynachdai, ac yr oedd, ar y cyfan, yn barchus o'r clerigwyr; ond gwrthododd dalu gwarogaeth ei deyrnas i'r pab, Gregory VII., a hawliai ei oruchafiaeth freninol dros holl eglwysi Lloegr. Bu farw yn driugain a thair oed, wedi teyrnasu un mlynedd ar ugain ar Loegr, a phedair ar ddeg a deugain ar Normandy.

## II.—WILLIAM II., A GYFENWID RUFUS, 1087—1100.

DYWEDWYD i WILLIAM RUFUS, neu GOCH, yr hwn a elwid felly oddiwrth liw ei wallt, adael ei dad yn Normandy ddiwrnod neu ddau cyn ei farwolaeth, a phrysuro i Loegr, fel y byddai yn barod i dderbyn y llywodraeth: ond cyn iddo gyrhaedd pen ei daith, clywodd fod ei dad wedi marw. Aeth yn ei flaen gyda phob brys. Dyogelodd amddiffynfeydd Dover, Pevensey, a Hastings, ar ei ffordd; a chymerodd feddiant o'r trysor breninol yn Winchester, yr hwn a gynwysai driugain mil o bunau. Dygai lythyr oddiwrth ei dad at Lanfranc, Archesgob Canterbury, yn ei gyfarwyddo i'w goroni yn frenin Lloegr. Ar ol galw cynghor o'r esgobion a'r baroniaid, coronwyd William Goch yn Westminster ar ddydd Sabbath, Medi 26, 1087, yn mhen pythefnos wedi marwolaeth ei dad.

Cyffrodd William deimlad drwg yn ei erbyn mor gynted ag y codwyd ef i'r freniniaeth, trwy ail garcharu amryw o'r carcharorion

a ollyngodd ei dad yn rhydd. Bygythid heddwch ei deyrnas gan ddrwg arall hefyd; yr oedd llawer o'r prif faroniaid yn meddu etifeddiaethau yn Lloegr a Normandy. Cadwent afael dyogel ynddynt tra yr oedd y ddwy wlad dan un pen; ond wedi eu rhanu rhwng dau frawd eiddigus, ofnent y buasai yn anhawdd iddynt foddio dau feistr, ac, o ganlyniad, fod eu meddiant yn y naill wlad neu y llall mewn perygl. Y llwybr goreu, gan hyny, i'r baroniaid ddyogelu eu hetifeddiaethau, oedd cymhell Robert, y mab hynaf, i ddyfod drosodd i gymeryd gorsedd Lloegr, ac addaw rhoddi eu holl ddylanwad o'i blaid. Wedi hir a dyfal gymhell, addawodd Robert ymgymeryd â'r gorchwyl. Yr oedd Odo, ewythr Robert a William, yn cael ei gyffroi yn benaf gan elyniaeth at Lanfranc, yn blaenori yn y symudiad hwn. Meddai ddylanwad mawr ar liaws o bendefigion Lloegr: a llwyddodd i enill plaid yr enwogion canlynol:—Robert Iarll Montaigue, ei frawd; Eustace, Iarll Bologne; Roger, Iarll Amwythig ac Arundel; Robert de Belesme, William, Esgob Durham, Robert de Mowbray, Roger Bigod, ac eraill. Yr oedd y rhai hyn i gyhoeddi o blaid Robert yn eu gwahanol barthau, a Robert ei hun i lanio gyda byddin gref o Normandy yr un amser. Pan ddaeth yr amser i ben, rhoddwyd y cynllun ar waith, a chodwyd y gwrthryfel. Cymerodd Odo feddiant o Rochester a Pevensey, a dysgwyliai yn bryderus am Robert a'i lynges. Ond yr oedd Robert yn un o'r tywysogion enwocaf am ddau beth; *coffrau gwag*, a *diogi;* ac y mae a fyno y ddau beth hyn, i raddau helaeth, â'i holl hanes; a hyn barodd iddo beidio gweithio allan ei ran o'r cynllun y tro hwn, ac aros gartref. Apeliodd brenin Lloegr at y Saeson, addawodd eu llywodraethu yn dda, a rhoddi rhyddid iddynt i hela yn fforestydd y brenin; felly llwyddodd i gael byddin gref i fyned yn erbyn Odo. Darostyngodd Rochester a Pevensey, alltudiodd y gwrthryfelwyr o'r deyrnas, ac atafaelodd eu hetifeddiaethau. Gyrodd hyn ofn ar y lleill, ac adferwyd tawelwch yn y wlad. Ychwanegodd y brenin at etifeddiaethau y baroniaid Normanaidd a fuont yn ffyddlon iddo, ond annghofiodd ei holl addewidion teg i'r Saeson. Bu Lanfranc farw yn 1089, a rhoddodd hyny fwy o ryddid i William, a mwy o flinder i'r bobl. Cadwodd archesgobaeth Canterbury yn wag hyd 1093, er mwyn ysbeilio ei chyllid, a chymerodd ei gyfarwyddo gan glerigwr galluog, ond diegwyddor, o'r enw Ralph Flambard. Cymerodd brif lywodraeth y sefydliadau crefyddol yn ei law ei hun, a threthai hwynt i'r eithaf. Cadwai esgobaethau yn weigion yn fynych, a gwerthai hwynt er mwyn llanw ei goffrau.

Yn 1090, yr oedd sefyllfa pethau yn Normandy wedi myned yn ddrwg trwy ymddygiad annghall a difater Robert; a phenderfynodd cyfeillion y Brenin Coch dalu y pwyth iddo, a cheisio ei daflu allan o Normandy. Cymerasant amryw o'r amddiffynfeydd yn y wlad

hono; ac yr oedd Robert, druan, heb fyddin nac arian i'w gwrthsefyll. Anfonodd am gynorthwy brenin Ffrainc; ond cadwyd hwnw ymaith â swm o arian oddiwrth frenin Lloegr. Cafodd fenthyg tair mil o bunau gan Henry ei frawd, ar yr amod iddo ef (Henry) gael meddiant o wlad Cotentin, yr hon oedd yn cynwys tua'r drydedd ran o Normandy. Y flwyddyn ganlynol arweiniodd William fyddin o Saeson i Normandy, gan fwriadu cymeryd yr holl wlad. Dyma Robert eto mewn cyfyngder mawr; galwodd am help Philip o Ffrainc eto, a llwyddodd hwnw i wneyd cytundeb heddwch rhwng y ddau frawd. Yr oedd yn y cytundeb hwnw fod i Robert gael rhai lleoedd yn Lloegr, a William rai lleoedd yn Normandy; ac os byddai Robert farw flaenaf, fod William i gael Normandy gyda Lloegr; neu os byddai William farw flaenaf, fod Robert i gael Lloegr gyda Normandy—fod y ddau le i gael eu huno dan un pen, fel yn amser eu tad. Arwyddwyd y cytundeb gan ddeuddeg o'r prif faroniaid o bob ochr.

Yr oedd Henry eu brawd erbyn hyn wedi ffromi yn aruthr; yr oedd ar y pryd yn meddianu rhai amddiffynfeydd cedyrn yn Normandy. Penderfynodd Robert a William warchae arno yn nghastell *Mount St. Michael*, amddiffynfa gadarn ar ben craig ar draeth Normandy, yr hon a gylchynid ar amser y llanw gan y môr. Nid oedd dwfr croyw i'w gael ar y graig hono, ac aeth yn flin ar y gwarchaëedig o eisiau dwfr. Deallodd Robert fod ei frawd ar drengu o syched, ac anfonodd ddwfr a gwin i mewn iddo; ond ceryddodd William ef yn dost am anfon cymhorth mor anamserol i'r gwarchaëedig. Atebiad Robert oedd, "Pa fodd y gallaf oddef fy mrawd i drengu o syched? Pa le y cawn frawd arall wedi colli hwn?" Adroddir hanesyn arall am William yn yr un lle. Pan yr oedd un diwrnod yn marchogaeth wrtho ei hun gerllaw yr amddiffynfa, daeth dau filwr perthynol i Henry am ei ben. Taflwyd ef i lawr oddiar ei farch, a chododd un o honynt y dagr i'w ladd, pan ysgrechodd William, "Paid y dyhiryn; brenin Lloegr ydwyf fi!" Tynodd ei ergyd yn ol, cynorthwyodd y brenin i fyned ar ei farch, a gwnaeth esgusawd oblegyd na wyddai mai y brenin ydoedd. "Paid gwneyd esgusawd," ebe William; "yr wyt yn filwr dewr, ac ymleddi o hyn allan dan fy maner i;" a dywedir iddo gael ei gymeryd yn y fan i wasanaeth y brenin. Gorfu i Henry o'r diwedd roddi i fyny, a chaniataodd ei frodyr ryddid iddo i fyned i Lydaw; a bu yn crwydro yn hir mewn tlodi a dinodedd.

Daeth Robert gyda William i Loegr, i gymeryd meddiant o'r ychydig diriogaethau a ganiatawyd iddo yn y cytundeb; a chawsant orchwyl dioed i wrthwynebu Malcolm, brenin Ysgotland, yr hwn oedd wedi arwain ei fyddinoedd i Loegr yn absenoldeb y brenin. Trwy offerynoliaeth Robert ac Edgar Atheling, gwnaed heddwch

rhwng William a Malcolm, cafodd Edgar ryddid eto i ddyfod i Loegr, a rhoddwyd swydd isel iddo yn y llys, "lle yr arddangosai yr olygfa wrthun o gynnrychiolydd Alfred, yn bwyta o'r briwsion a syrthiai oddiar fwrdd ei ormeswr Normanaidd." Wrth ddychwelyd o Ysgotland, chwenychodd William sefyllfa fanteisiol Carlisle, cymerodd feddiant o honi, adeiladodd gastell yno, a gyrodd drefedigaeth o Saeson i fyw i'r dref a'r amgylchoedd. Adnewyddodd hyn y cweryl rhyngddo a Malcolm; methwyd cytuno ar y mater mewn cynadledd yn Nghaerloyw, lle yr oedd y ddau frenin yn bresenol, a daeth Malcolm Caenmore unwaith eto â'i fyddinoedd i diriogaethau y brenin coch, pryd y lladdwyd ef, ac Edward ei fab, trwy gynllwyn yn Northumberland. Bu Margaret ei wraig (chwaer Edgar) farw o drallod yn mhen pedwar diwrnod ar ei ol. Bu annhrefn ac ymryson maith yn Ysgotland am y deyrn-gadair ar ol hyn. Ond adferwyd heddwch yno yn mhen rhai blynyddoedd, trwy waith William yn anfon Edgar Atheling yno i godi Edgar, mab Malcolm a Margaret—gwir etifedd y goron—i'r orsedd.

Yr oedd William wedi myned drosodd i Normandy eto, i roddi y fflangell ar wàr Robert ei frawd, pan aeth y newydd ato fod y Cymry wedi codi, ac yn anrheithio y wlad. Yr oedd y Cymry wedi deall am ymryson y ddau frawd, ac wedi cymeryd y fantais ar absenoldeb y brenin; codasant yn erbyn eu cymydogion gormesol, cymerasant gastell Trefaldwyn, a lladdasant yr holl warchodlu oedd o'i fewn. Yr oeddent hefyd wedi ymosod ar y Saeson a'r Normaniaid ar gyffiniau Lloegr, wedi lladd amryw o filwyr, ac ysbeilio llawer o feddianau. Penderfynodd William ddial arnynt, ac ymlidiodd yn ffyrnig ar eu hol i'w gwlad; ond gorfu iddo encilio gyda mwy o frys nag y daeth. Cynygiodd eilwaith yr haf canlynol gyda mwy o alluoedd; ond gorfuwyd ef i encilio gyda cholled a chywilydd. Cefnodd ar y Cymry mewn anobaith, a gorchymynodd godi rhes o gestyll ac amddiffynfeydd ar y cyffiniau.

Gyda bod Rufus yn troi ei gefn ar y Cymry, yr oedd yn cael newydd am wrthryfel pwysig arall wedi tori allan yn ngogledd Lloegr (1095), ac yn cael ei flaenori gan Mowbray, iarll galluog Northumberland, yr hwn oedd yn berchen dau cant a phedwar ugain o faenoriaethau Seisnig. Dygodd y brenin ei fyddinoedd i Northumberland, a gwarchaeodd ar Mowbray yn nghastell Bamborough. Methodd y brenin a chymeryd y castell, ond cododd gastell arall yn ei ymyl, a gosododd warchodlu ynddo i wylio y gelynion. Un diwrnod, hudwyd Mowbray i adael y castell, dan rith cynygiad i osod tref Newcastle-on-Tyne yn ei law. Wedi cael ei glwyfo yn drwm, cymerwyd ef yn garcharor. Yr oedd castell Bamborough hyd yma yn ddyogel; ond yr oedd yr agoriad bellach yn llaw gwŷr y brenin. Dygwyd Mowbray i fan amlwg o flaen

wyneb y castell, galwasant ar Matilda ei wraig, yr hon oedd newydd briodi, i ddyfod i'r golwg. Yna rhoddasant ei dewis iddi: naill ai edrych ar ei gwr yn cael tynu ei ddau lygad, neu iddi hi daflu pyrth y castell yn agored. Nis gallai calon serchog Matilda betruso moment am y llwybr i'w gymeryd. Taflodd y castell yn agored i arbed ei gwr; a chafwyd ar ddeall, wedi myned i'r castell, fod yno ddyfais ar droed i godi Stephan, Iarll Aumale, nai y Gorchfygwr, a brawd yr anenwog Judith, i orsedd Lloegr, a bod lliaws o bendefigion galluocaf y wlad yn y gyfrinach. Cymerwyd y gwŷr hyny i fyny, lladdwyd rhai o honynt, taflwyd eraill i garchar dros eu bywyd, ffodd eraill o'r wlad, ac atafaelodd y brenin eu tiroedd.

Un o'r prif ddygwyddiadau yn amser William Goch oedd y codiad mawr trwy holl Ewrop i fyned i Jerusalem, i gymeryd y bedd santaidd o ddwylaw y Mahometaniaid, yr hyn a elwid y *Crusade*, neu Groes-ryfel, oblegyd eu bod oll yn gwisgo llun croes ar eu hysgwydd ddeheu. Cawn son yn helaethach am hyn yn y man. Y prif offerynau i gyneu y fflam hon trwy Ewrop oeddent Pedr y Meudwy, penderfyniadau Cynghor Clermont, a llythyrau y pab, Urban II. Tarawyd calon Robert, duc Normandy, gan y cyffro hwn, ac ymgymerodd ag arwain byddin i Palestine; ond yr oedd y tro hwn yn yr un brofedigaeth ag y byddai bob amser—"coffrau gwag." Mewn ffit benboeth, gwerthodd dduciaeth Normandy am bum mlynedd i William ei frawd, am ddeng mil o bunau, er mwyn cyflawni y diffyg. Blingodd William ei ddeiliaid tlodion i godi y swm, ac aeth drosodd i gymeryd meddiant o Normandy; ond nid oedd y derbyniad a gafodd mor unfrydol; dangoswyd gwrthwynebiad cryf iddo mewn llawer parth.

Yn y flwyddyn 1100, pan oedd William yn hela yn y Fforest Newydd (Hampshire), daeth cenad ato o Normandy yn hysbysu fod Helie, gwr ieuanc dewr ag oedd â rhyw hawl i'r etifeddiaeth, ac un ag yr oedd William wedi cael gofid oddiwrtho o'r blaen—hysbysid yn awr fod hwn wedi ymosod ar dref Mans, wedi cymeryd y castell, a bod y trigolion wedi cydnabod ei lywodraeth. Trodd William ben ei geffyl, a gyrodd yn ddioed tua'r porthladd agosaf. Ceisiodd y pendefigion oedd gydag ef ei berswadio i gymeryd byddin. "Na," ebai; "mynaf weled pwy a'm canlyna; ni bydd eisiau byddin arnaf fi." Cyrhaeddodd y porthladd heb aros, a hwyliodd yn y llestr cyntaf a gafodd. Yr oedd yn chwythu yn drwm, a bu y morwyr yn daer arno am aros nes gostegai y gwynt. Ond gwaeddodd William, "Codwch yr angorau, agorwch yr hwyliau, a ffwrdd a chwi! A glywsoch chwi erioed son am frenin a foddodd?" Dywed un hanesydd yn ddigon priodol, y gallasent ei ateb, "Do, Pharaoh, a'i holl fyddin." Parodd y newydd am ei laniad i Helie a'i gyfeillion ffoi: dylynodd hwynt i'w tiriogaethau,

anrheithiodd eu heiddo, ac wedi derbyn anaf wrth warchae ar gastell bychan Majol, dychwelodd i Loegr.

Yr oedd traddodiad yn y wlad fod ysbrydion drwg yn llechu yn y Fforest Newydd, a bod yno argoelion drygau yn erbyn y Gorchfygwr a'i hiliogaeth, oblegyd y difrod a'r camwri a wnaeth wrth gymeryd y meddiant hwnw. Yr ydym eisoes wedi coffâu am un ddamwain ddygwyddodd yno i gadarnhau y traddodiad hwn. Yn mis Mai, yn y flwyddyn 1100, lladdwyd Richard, mab annghyfreithlon i Robert, duc Normandy, yn y fforest hon, gyda saeth wedi ei gollwng ar antur. Dyma yr ail ddamwain i hiliogaeth y Gorchfygwr; a dywedai y bobl nad hon fyddai yr olaf. Ar yr ail o Awst, yr oedd William Rufus yn difyru ei hun wrth hela yn y fforest. Yr oedd Walter Tyrell, Ffrancwr, enwog am ei fedr i drin bwa, gyda William. Cododd hydd yn ddisymwth rhyngddynt, gollyngodd Tyrrell saeth ato, ond tarawodd yn erbyn pren, tasgodd oddiar y pren, a suddodd yn mynwes y brenin; a chydag un ochenaid syrthiodd yn farw. Gyrodd Tyrell ymaith ar unwaith, heb hysbysu y ddamwain i neb; aeth drosodd i Ffrainc, ac ymunodd â'r groesryfel, er gwneyd penyd am ei drosedd anfwriadol. Cafwyd corph William gan weithiwr tlawd, yr hwn a'i taflodd i'w gert i'w ddwyn ymaith, a chladdwyd ef yn eglwys Winchester, heb rwysg na defod.

Golwg ddu sydd ar nodweddiad William Rufus, fel y trosglwyddir ef i ni gan ei haneswyr. Gan mai mynachod oedd y rhai hyny, a'i fod yntau wedi dangos cymaint o ormes ar sefydliadau a swyddau eglwysig, mae yn debygol fod y lliw gwaethaf yn cael ei roddi arno. Ond y mae ei holl hanes yn profi ei fod yn ddyn balch, trachwantus, a gormesol. Yr oedd Robert yn ddewr, yn ofer, a diog; ond yn haelfrydig a thyner ei galon. Yr oedd William yn wrol a di-ildio, ond yn rheibus am gyfoeth, yn ofer ac anfucheddol ei fywyd, a'i lymder nwydwyllt yn ddefnydd dychryn i'w holl ddeiliaid. Clefyd trwm barodd iddo osod Anselm, abad dysgedig a duwiolfrydig o Normandy, yn archesgobaeth Canterbury, wedi ei chadw yn wag am flynyddau er mwyn ei logell ei hun. O'i anfodd yn deg y cymerodd Anselm y swydd, am y gwyddai y fath ormeswr oedd y brenin. Cydmarai ei hun yn ei gysylltiad â William i hen ddafad wanaidd, wedi ei ieuo gyda tharw gwyllt ffyrnig, yn cael ei llusgo trwy y drain a'r mieri, heb allu bod o wasanaeth iddi ei hun, nac i eraill. Ond wedi iddo gymeryd y swydd, hawliodd ei iawnderau, a dechreuodd ymrafael diddiwedd â William. Gwrthodai William, fel ei dad, dalu gwarogaeth i Esgob na Phab. Ac yn wir yr oedd honiadau ac ofergoeledd Pabyddiaeth y dyddiau hyny yn ddigon i gyffroi gwrthwynebiad yn mhob meddwl annibynol, ac y maent yn lleddfu ychydig ar ffyrnigrwydd ymddygiadau William. Dywedai na chredai y gallai yr un sant lesâu dim ar ddyn yn ngolwg

yr Arglwydd; ac am hyny na wnai ef, nac un dyn call ychwaith, weddio ar Pedr, nac ar un dyn marw arall, am gynorthwy. Gwelai William ddiffyg Pabyddiaeth; a phe cawsai well cyfarwyddiadau ysbrydol, tebyg y buasai yn well dyn. Adroddir un hanesyn sydd yn dangos fod y brenin, er cynddrwg oedd, yn ddarostyngedig i ddylanwad rhinwedd a duwioldeb. Pan oedd William yn gwerthu swydd abad yn un o'r mynachdai, a dau fynach yn cynyg yn erbyn eu gilydd am dani; gwelai y brenin fynach arall yn sefyll gerllaw, a gofynodd iddo beth a roddai ef am y swydd? Dywedodd hwnw na roddai ef ddim, gan iddo ef gymeryd ei broffes gyda phenderfyniad i ymwrthod â golud a rhwysg bydol, fel y gallai wasanaethu Duw yn well, mewn santeiddrwydd a phurdeb. "A wyt yn dweyd felly?" ebai y brenin; "yna yr wyt yn deilwng i lywodraethu y tŷ hwn;" a rhoddodd y swydd iddo yn y fan.

Ar yr un pryd yr oedd William yn ddiegwyddor a pherffaith ddibris o'r grefydd Gristionogol. Aeth Iuddew ato i gwyno fod ei fab wedi cofleidio Cristionogaeth; rhoddodd swm o arian iddo ar yr amod iddo beri i'w fab ddychwelyd at Iuddewaeth. Daliai y gwr ieuanc yn ddiysgog wrth ei ffydd, er holl fygythion y brenin, ac atebodd yn hyf, "Pe buasech yn Gristion, ni fuasech byth yn dweyd y fath eiriau, oblegyd gwaith Cristion yw dwyn at Grist, ac nid gwahanu oddiwrtho y rhai a unwyd ag ef trwy ffydd." Aeth y brenin yn fud, a gorchymynodd i'r gwr ieuanc fyned ymaith o'i olwg. Aeth y tad ato i geisio yr arian yn ol; ar ol peth oediad dychwelodd eu haner, a chadwodd yr haner arall am ei drafferth. Yr oedd hyn yn gydweddol â nodweddiad William Goch. Cododd rhai colofnau i gadw ei enw mewn coffadwriaeth; megys Tŵr a Phont Llundain, a Neuadd Westminster. Bu farw o ddeugain i dair a deugain oed, wedi teyrnasu tair blynedd ar ddeg; a chan na fu yn briod, ni adawodd etifedd cyfreithlon i'r goron ar ei ol.

## III.—HENRY I., A GYFENWID BEAUCLERC, 1100—1135.

Yr oedd Henry y Beauclerc (y gair Ffrengig am ysgolor da) yn hela yn y Fforest Newydd pan y clywodd fod William ei frawd wedi marw. Yr oedd Robert yn crwydro yn Itali ar ei ffordd adref o Jerusalem. Felly yr oedd yma siawns dda i'r brawd ieuangaf ddisodli yr hynaf, a chymeryd coron Lloegr. Aeth Henry ar frys i Winchester, i gymeryd meddiant yn y trysor breninol, ond gorfu iddo fygwth lladd y trysorydd, William Breteuil, â'r cleddyf, cyn iddo ei gael, yr hwn a ddadleuai mai eiddo Robert ei frawd ydoedd. Dygodd Henry yr arian yn ddioed i Lundain, a chyfranodd yn helaeth o honynt i'w bendefigion a'i esgobion. Coronwyd ef yn mynachlog Westminster gan Maurice, esgob Llundain, ar ddydd Sabbath, Awst 5ed—y trydydd dydd ar ol marwolaeth

William. Yr oedd Henry yn ymwybodol ddigon ei fod yn trawsfeddianu coron ei frawd; ac er cadarnhau ei sefyllfa, penderfynodd wneyd ei oreu i enill serch ei ddeiliaid. Heblaw cymeryd y llwon arferol i sefyll at y cyfreithiau, a gweinyddu cyfiawnder, ysgrifenodd freinlen *(charter)* dranoeth i ddydd ei goroniad, yn cyhoeddi amryw freintiau newyddion i'r bobl, ac yn yr hon y dywedai ei fod ef wedi ei goroni "trwy drugaredd Duw, a thrwy gydsyniad cyffredin baroniaid y deyrnas." Addawodd adferu cyfreithiau y brenin Edward, "gyda gwelliadau ei dad"—na fuasai yn cyffwrdd â chyllidau eglwysig, neu esgobaethau gweigion, ac na fuasai yn ymyryd â phriodasau gweddwon ac etifeddesau. Galwodd Anselm adref, yr hwn oedd wedi ei yru o'r wlad gan gynddaredd William; a thaflodd Ralph Flambard, gweinidog gormesol ei frawd, yr hwn oedd yn awr yn esgob Durham, i garchar; ond diangodd hwnw drachefn, a rhedodd at Robert.

Gwnaeth Henry un weithred bwysig arall er cynyddu ei boblogrwydd. Ceisiodd law Matilda, merch Malcolm a Margaret, o Ysgotland, yr hon a ddygid i fyny dan ofal ei mhodryb Christina, mynaches, ail chwaer Edgar Atheling. Yr oedd y foneddiges hon yn enwog am ei thegwch a'i rhinweddau. Yr oedd yn disgyn hefyd o'r llinach Seisnig, yr hyn a roddai wawr ar rag-olygon y genedl orthrymedig hono. Teimlai rhai o'r Normaniaid yn groes i'r brenin i'w phriodi. Yn mysg y dadleuon yn ei herbyn, dywedid ei bod wedi cymeryd y gorchudd fel mynaches. Yr oedd Anselm yn fawr dros y briodas; ond pan glywodd yr wrthddadl hon, penderfynodd, os oedd yn wir, fod yn anmhosibl i'r brenin ei chael. Mynodd yr archesgob holi Matilda yn bersonol. Gwadodd hithau iddi ymgymeryd â dim o'r fath, ond yn unig gwneyd ymddangosiad er mwyn amddiffyn ei hun rhag anifeileidd-dra y Normaniaid. "Yr wyf yn cyfaddef," meddai, "fy mod weithiau dan orchudd; ond gwrandewch yr achos. Pan oeddwn yn blentyn dan ofal fy modryb, taflai ddarn o stwff du yn fynych dros fy mhen, er mwyn fy nghadw, meddai, oddiwrth chwantau anllad y Normaniaid; ond mor gynted ag yr awn o'i golwg tynwn ef ymaith, a thaflwn ef dan fy nhraed." Ar ol cadw cynghor o esgobion, abadau, a mynachod, penderfynwyd fod Matilda at ei rhyddid i briodi. Hwyrfrydig iawn ydoedd hi, er hyny, i briodi â Henry; ond o'r diwedd caniataodd. Priodwyd hwy gyda rhwysg mawr gan Anselm; a phrofodd ef yn wr digon anffyddlon i un o'r gwragedd glanaf, callaf, a mwyaf haelfrydig.

Yn mhen tua mis ar ol coroniad Henry, daeth Robert ei frawd adref o'i hynt filwrol yn Palestina; cymerodd feddiant o dduciaeth Normandy yn ddiwrthwynebiad; ac wedi cael cymhelliadau taerion oddiwrth y baroniaid Normanaidd o'r tu arall i'r môr, casglodd ei

fyddin i ddyfod i gymeryd Lloegr. Enillodd enwogrwydd mawr yn ei groes-ryfel â'r Saraceniaid yn y Dwyrain, ac yr oedd y clod hwnw yn awr yn ddylanwad nerthol yn ei ffafr. Glaniodd yn Portsmouth; yr oedd byddinoedd Henry yno yn ei gyfarfod; ond cyn dechreu ymladd, cytunwyd ar amodau heddwch. Yn mysg amodau y cytundeb hwnw yr oedd—fod Robert i roddi i fyny ei hawl i Loegr am y swm blynyddol o ddwy fil o bunau; os byddai un o honynt farw yn ddiblant, fod y llall i gael ei etifeddiaeth; nad oedd y naill i ddial ar bleidwyr y llall yn y rhyfel hwnw; ac nad oedd y naill i lochesu gelynion y llall rhagllaw. Ond prin yr oedd Robert wedi cyrhaedd Normandy cyn bod Henry yn dechreu tori amodau y cytundeb, trwy ddial ar y baroniaid a bleidiasant achos ei frawd. Daeth Robert drosodd i ddadleu achos y rhai hyny; ond deallodd yn fuan ei fod yn garcharor ei hun, a bu yn dda ganddo bwrcasu ei ryddid trwy roddi i fyny ei hawl i'r swm blynyddol a ganiatawyd iddo o Loegr. Dychwelodd i Normandy, a dangosodd bob caredigrwydd i'r pendefigion a ffoisant yno rhag cynddaredd ei frawd.

Yn mhen ychydig flynyddoedd collodd Robert ei wraig dda, ac ymollyngodd i'w ddifaterwch a'i oferedd arferol. Llanwodd ei dŷ â phob math o ddyhirod rheibus ac anllad. Ni phrisiai am helyntion ei wlad, gwariai ei gyfoeth ar oferedd, a byddai weithiau yn gorfod ymprydio o eisiau bwyd. Dywedir y byddai yn methu gadael ei wely o eisiau dillad, a bod ei gyfeillion, pan fyddai wedi meddwi, yn lladrata hyd y nod ei ddillad oddiam ei gorph. Yr oedd clywed y fath newyddion yn ddigon o achlysur i uchelgais Henry i ymyryd, ac aeth drosodd i geisio duciaeth Normandy i'w law ei hun, gan addaw swm blynyddol i Robert am dani. Gwrthododd Robert; ac yn 1106 aeth Henry â byddin i'w orfodi. Ymladdwyd brwydr waedlyd rhwng y ddau frawd yn Tenchebray; enillodd Henry y dydd, a chymerodd Robert yn garcharor; ac o hyn allan bu Lloegr a Normandy dan lywodraeth Henry. Dygwyddodd hyn ar ddydd St. Michael, yn mhen deugain mlynedd i'r diwrnod er pan gymerwyd Lloegr gan William y Gorchfygwr. "Trefnodd yr Arglwydd," meddai un hanesydd, "fod i Normandy gael ei darostwng gan Loegr ar yr un dydd ag y darostyngwyd Lloegr gan Normandy." Cymerwyd llawer o bendefigion yn garcharorion, ac yn eu mysg Edgar Atheling anffodus. Cafodd hwn fyned yn rhydd, a dychwelyd i Loegr; a dyma yr hanes diweddaf geir am dano. Taflwyd Robert i garchar am ei oes, yr hon a barhaodd wyth mlynedd ar ugain ar ol hyn; a bu farw yn bedwar ugain oed, yn nghastell Caerdydd. Ar y cyntaf yr oedd yn cael cryn ryddid; ond oblegyd iddo unwaith geisio dianc, gorchymynodd ei frawd dynu ei lygaid, fel nas gallai ddianc mwyach, na gwneyd ychwaneg o ddrwg. Mae Malmesbury yn gwadu i'w lygaid gael

eu tynu; ac yn dyweyd iddo gael cymaint o ofal a thynerwch ag oedd yn bosibl i garcharor gael.

Gadawodd Robert fab pum mlwydd oed, o'r enw William, ar ei ol; ac anfonodd Henry ef i'r Cyfandir i gael ei godi i fyny dan ofal un Helie; ond daeth hwn i beri blinder mawr i frenin Lloegr ar ol hyn.

Tua'r flwyddyn 1110 y bu Henry yn gwrthwynebu terfysgoedd gan y Cymry; ymlidiodd ar eu hol i'r mynyddoedd, ond methodd yntau a'u darostwng. Yna casglodd liaws o Fflemingiaid (*Flemings*), y rhai oeddent wedi eu gyru i Loegr gan drallodion yn eu gwlad eu hunain, a sefydlodd hwy yn drefedigaeth yn Hwlffordd, Sir Benfro. Yr oeddent yn bobl ddewrion a llafurus, ac yn gyfarwydd â gwneuthur brethynau. Arosasant yno, a chynyddasant, er gwaethaf ymosodiadau y Cymry arnynt.

Un gorchwyl mawr fu yn gorwedd yn hir a thrwm ar feddwl Henry, ydoedd dyogelu gorsedd Lloegr i'w hiliogaeth. Yr oedd ganddo fab ei hun yn awr, o'r enw William, yn tyfu fyny, a merch o'r enw Matilda. Ac yr oedd ei nai, mab Robert, yr hwn oedd yn dyfod yn boblogaidd ar y Cyfandir, yn peri llawer o bryder iddo. Dyweddiodd Henry ei ferch Matilda, pan nad oedd ond plentyn wyth mlwydd, i Henry V., ymerawdwr Germany, a chododd dreth aruthrol ar ei ddeiliaid i gael arian priodas iddi. Wedi i William ei fab gyrhaedd deunaw oed, gwnaeth Henry i bendefigion y wlad hon dyngu llw o ffyddlondeb iddo. Aeth ag ef drosodd i Normandy hefyd, er mwyn i'r baroniaid yno gael ei gydnabod fel perchenog dyfodol y dduciaeth hono. Wrth ddychwelyd, Tachwedd 25ain, 1120, cymerodd Henry long yn Barfleur, ac yr oedd y tywysog William, a llu o bendefigion ieuainc eraill, i ddyfod mewn llong arall o'r enw *Blanche Nef*, dan arweiniad Cadben Fitz-Stephan. Dygodd y pendefigion hyn dair casgen o win i fwrdd y llong, a meddwasant y cadben a'r holl ddwylaw cyn cychwyn. Y canlyniad fu i'r llong redeg ar graig, a dryllio. Yr oedd yn y llestr, yn mysg eraill, frawd a chwaer (fastarddaidd) i'r tywysog. Rhoddwyd William yn y cwch, a hwyliodd ymaith; ond pan glywodd lais ei chwaer yn gwaeddi ar y llong ddrylliedig, gwnaeth i'r morwyr droi y cwch yn ol at y llong eilwaith i gael ei chymeryd hi i mewn. Ond rhuthrodd cynifer iddo gyda ei chwaer, nes i'r bad a'i lwyth suddo yn y fan. Collwyd saith ugain o bendefigion ieuainc yn yr amgylchiad. Ni ddiangodd neb oddigerth cigydd o Rouen, yr hwn a ddaliodd ei afael wrth yr hwylbren nes ei gymeryd i fyny gan bysgodwyr dranoeth. Dywedir i'r Cadben, Fitz-Stephan, ymaflyd yn yr hwylbren hefyd; ond pan deallodd fod y tywysog wedi boddi, iddo ollwng ei afael a dyweyd fod yn well ganddo foddi na byw. Pan ddygwyd y newydd trwm i Henry, ymollyngodd ei galon galed,

a syrthiodd i lawr mewn llewyg. Dywedir na welwyd gwen ar ei wyneb am y pymtheg mlynedd y bu byw ar ol hyn.

Parodd y ddamwain yma oleuni ar achos William, nai y brenin, a chododd cyffro eilwaith o'i blaid. Dygodd hyn ryfel drachefn rhyngddo a'i ewythr o Loegr. A phan oedd ar fin enill buddugoliaeth bwysig, gwanwyd ei law â phicell; ac oblegyd na chafodd y clwyf y driniaeth a ddylasai, bu farw o'i herwydd yn y flwyddyn 1128, yn chwech ar ugain oed. Yr oedd brenin Lloegr yn awr wedi priodi yr ail waith tuag Adelais, neu Alice, merch Geoffrey, Duc Louvain, a nith i'r pab, Calixtus II.; ond pan welodd nad oedd argoel am hiliogaeth o'r briodas hon, galwodd gymanfa gyffredinol yn nghyd i Gastell Windsor, ar ddydd Nadolig, 1126, o holl esgobion, abadau, baroniaid, a phendefigion y deyrnas, er sicrhau olyniaeth coron Lloegr a duciaeth Normandy i Matilda ei ferch, yr hon oedd yn awr yn weddw, os byddai ef farw heb etifedd gwryw cyfreithlon. Tyngasant oll lw o ffyddlondeb i ewyllys y brenin. Yr oedd y clerigwyr yn tyngu yn mlaenaf, gan ddechreu yn y radd uchaf, a disgyn oddiyno i lawr; ac felly drachefn gyda'r lleygwyr. Cododd yno fwy nag un ddadl am y flaenoriaeth, yr hynotaf o ba rai oedd yr un rhwng Stephan, Iarll Boulogne, a Robert, Iarll Caerloyw. Yr oedd Stephan yn fab Adela, chwaer y brenin; a Robert yn fab annghyfreithlon i'r brenin ei hun. Y ddadl oedd, pa un ai y nai cyfreithlon neu y mab annghyfreithlon oedd â'r hawl flaenaf. Beth bynag, terfynwyd o blaid Stephan, yr hwn a gafodd y flaenoriaeth yn nerbyniad ei lw.

Yr oedd blynyddoedd diweddaf Henry, fel eiddo ei dad, yn llawn o ofidiau teuluaidd. Gwnaeth i Matilda ei ferch, gweddw ymerawdwr Germany, briodi yr ail waith, braidd o'i hanfodd, â Geoffrey, yr hwn a gyfenwid *Plantagenet*, Iarll Anjou. Yr oedd Matilda, yr hon oedd wedi bod mewn rhwysg ymerodrol, ac o duedd falch yn naturiol, yn un bur annymunol ei hymddygiad; ac nid hir y bu Geoffrey a hithau cyn cwympo allan, ac ymadael â'u gilydd. Daeth Matilda drosodd i Loegr, a chafodd Henry orchwyl misoedd i geisio clytio heddwch rhwng ei ferch a'i gwr. Bu yn dysgwyl yn bryderus hefyd am chwe blynedd am hiliogaeth o'r briodas hono; ac o'r diwedd, er ei fawr lawenydd, ganwyd mab i Matilda, yn y flwyddyn 1133, a galwyd ef yn Henry, yn ol enw ei dadcu. Hwn oedd Henry II., o Loegr. Ganwyd iddi ddau fab arall wedi hyn—Geoffrey a William. Ond er hyn oll, parhäai Geoffrey a Matilda i amrafaelio, a chymerai y brenin bob amser blaid ei ferch. Pan oedd Henry yn hela yn Normandy, daeth galwad disymwth arno i ddyfod i Loegr i wrthwynebu ymosodiad o eiddo y Cymry. Bwytaodd ormod o *lampreys* (math o lysywod) pan yn newynog ar ol hela, cymerwyd ef yn glaf, a bu farw ar y 1af o Ragfyr, 1135,

yn 67 oed, wedi teyrnasu pymtheg mlynedd ar ugain. Dygwyd ei gorph i Reading i'w gladdu. Bu Robert farw yn nghastell Caerdydd o fewn ychydig fisoedd iddo. Gadawodd y brenin yn ei ewyllys ei holl lywodraeth i Matilda, heb gymaint a son am enw Geoffrey ei gwr.

Yr oedd Henry yn ddyn glân, lluniaidd, ac o gyfansoddiad cadarn: meddai ar alluoedd naturiol rhagorol hefyd, a'r rhai hyny wedi eu haddurno â dysgeidiaeth eang. Cafodd y wlad lonydd da dros ystod maith ei deyrnasiad, a gwnaeth lawer tuag at weinyddu cyfiawnder i'w bobl. Ond er hyn, rhaid rhoddi enw Henry i lawr yn llechres ddu y gormeswyr. Dyn ofer, anllad, a thrachwantus ydoedd; yr oedd yn hollol ddibris o'i air; yn fedrus a diball i gyrhaedd ei amcanion; ac yn greulon a dialgar i'r eithaf. Ymffrostiai yn ei ddysgeidiaeth, a dywedai nad oedd yn ystyried brenin annysgedig yn ddim gwell nag asyn coronog. Yr oedd ganddo dri ar ddeg o blant annghyfreithlon. Priododd ei ferch (ordderch), Juliana, ag un Eustace o Breteuil. Digiodd ei fab yn nghyfraith ef; ac oblegyd yr amheuai ei anffyddlondeb, mynodd ddau o'i blant yn wystlon; a gorchymynodd i Harenc, un o'i swyddogion, roddi ei fab i Eustace a Juliana, yn wystl o'r ochr arall. Un diwrnod, mewn ffit o ddigllonedd, tynodd Eustace lygaid mab Harenc, ac anfonodd ef adref yn ddall. Aeth Harenc at Henry i adrodd ei gwyn, ac i geisio iawn; ac atebodd y brenin ef yn ddigyffro, y gallai yntau ddial, trwy dynu llygaid dwy ferch Eustace (ŵyrion y brenin) oedd yno. Bu Harenc mor farbaraidd a thynu llygaid y ddau blentyn diniwaid, a thori eu trwynau ymaith yn y fan. Ymgynddeiriogodd Juliana, aeth drosodd at ei thad, cynygiodd at ei fywyd—anelodd saeth at ei fynwes â'i llaw ei hun. Dro arall, gorchymynodd Henry dynu llygaid Luke de Barre, bardd pendefigaidd, oblegyd iddo unwaith ei oganu mewn gwaith prydyddol. Pan ddadleuai Iarll Flanders am bardwn i'r bardd, dywedodd y brenin, "Na, gwnaf ef yn esiampl i rigymwyr eraill, fel y gallont hwythau wybod beth i ddysgwyl pan dramgwyddant frenin Lloegr." Nid oedd dim ymddiried i'w amod, a thorai ei addewidion i'w bobl yn ddigywilydd. Dywedwyd unwaith wrth Bloet, Esgob Lincoln, ac un o brif farnwyr y brenin, fod Henry yn siarad am dano gyda chanmoliaeth uchel. "Os felly, yr wyf yn ddyn colledig," ebai'r esgob; "oblegyd ni chlywais ef yn canmol neb erioed ond yr hwn y byddai wedi penderfynu ei ddyfetha." A gwir ddywedodd; oblegyd cafodd yr esgob ei ddyfetha yn fuan ar ol hyn, am y trosedd pwysig o ddyweyd y byddai y fonachlog oedd ef yn godi yn Eynsham, yn gystal adeilad a'r fonachlog gododd Henry yn Reading. Rhoddir yr hanesynau hyn am eu bod yn gymhorth i ni i weled nodweddiad y dyn.

IV.—STEPHAN, 1135—1154.

Mor gynted ag y bu Henry farw, cafwyd ar ddeall fod ei holl ymdrechion i sicrhau y goron wrth Matilda ei ferch, a'i hetifeddion, yn ofer, ac nad oedd y lliaws a dyngasant ffyddlondeb i'w ewyllys yn prisio fawr am gadw eu llwon. Yr oedd Stephan yn un amlwg yn mysg y tyngwyr hyn, ond er hyny cymerodd y cyfleusdra cyntaf i draws-feddianu yr awdurdod iddo ei hun. Mab oedd Stephan i Adela, merch William y Gorchfygwr, o Iarll Blois; felly yr oedd yn nai mab chwaer i Henry I. Dangosodd Henry lawer o ffafrau i Stephan, ac i Henry ei frawd: gwahoddodd hwy drosodd i Loegr; gwnaeth yr olaf yn abad Glastonbury, ac wedi hyny yn Esgob Winchester; rhoddodd etifeddiaethau eang i Stephan yn Lloegr a Normandy; a mynodd Maud, merch Eustace Iarll Boulogne, boneddiges ieuanc rinweddol, yn wraig iddo. Disgynai Maud o'r cyff Seisnig—unig ferch Mari o Ysgotland, chwaer Dafydd, brenin Ysgotland, ydoedd: ac yr oedd y briodas hon, yn nghydag ymddygiadau serchog a haelfrydig Stephan, wedi ei godi yn hynod o boblogaidd. Mor gynted ag y clywodd fod Henry wedi marw, daeth drosodd i Loegr. Cafodd y derbyniad mwyaf croesawgar yn Llundain, a chyfarchai y dinaswyr ef fel brenin, cyn gwneuthur un seremoni o etholiad na choroniad arno. Trwy gymorth Henry ei frawd, Esgob Winchester, llwyddodd i gael allweddau y trysor breninol yn Winchester, yr hwn a gynwysai gan mil o bunau. Ond yr oedd rhwystrau eto ar y ffordd iddo esgyn i'r orsedd. William Corboil oedd archesgob Canterbury ar y pryd; yr oedd yn ddyn cydwybodol, ond yn wanaidd o ran galluoedd meddyliol. Yr oedd hwn wedi tyngu ffyddlondeb i Henry a'i etifeddion, ac yr oedd angen ei gydsyniad a'i wasanaeth yn nghoroniad Stephan. Y llwybr annghyfiawn a gymerwyd i enill Corboil oedd gwobrwyo Hugh Bigod, dystain y brenin diweddar, am dyngu fod Henry ar ei wely angau wedi dewis Stephan ei nai i fod yn etifedd ac olynydd iddo, oblegyd ddarfod i Matilda ei ferch ei dramgwyddo. Credodd, neu cymerodd Corboil arno gredu, tystiolaeth Bigod, a choronwyd Stephan yn Westminster, Rhagfyr 22, 1135. Dylynodd esiampl ei ewythr Henry, a chyhoeddodd yntau freinlen yn addaw lliaws o ragorfreintiau i'r bobl o bob gradd; a llawer o honynt yn gyfryw nas gallasai dan yr amgylchiadau eu cyflawni.

Nid oedd dyrchafiad Matilda, yn ymddangos yn oleu yn Normandy na Lloegr. Gan fod Stephan wedi ei goroni yn frenin yn Lloegr, a bod y penaethiaid Normanaidd o bob tu i'r môr yn dewis i'r ddwy wlad fod dan yr un penaeth, a gwrthwynebiad cryf ganddynt i gael eu llywodraethu gan fenyw, penderfynodd y Normaniaid ymostwng i Stephan, a'i gydnabod fel llywodraethwr Normandy.

Derbyniodd brenin Ffrainc (Lewis VII) wriogaeth Eustace, mab ieuanc Stephan, hefyd am y dduciaeth, a rhoddodd ei ferch Constantia yn wraig iddo. Rhoddodd Iarll Blois ei holl hawliau i fyny, a derbyniodd dâl blynyddol o ddwy fil o farciau (*mark*, 13s. 4c.) yn eu lle: a gorfu i Geoffrey ei hun wneyd cytundeb â Stephan am ddwy flynedd, ar yr amod fod y brenin i dalu pum mil o farciau iddo am yr amser hwnw.

Ond nid yn hir y cafodd Stephan lonyddwch er hyny ar yr orsedd sigledig a draws-feddianwyd ganddo. Dechreuodd y baroniaid achwyn arno am nad oedd yn cyflawni addewidion ei freinlen iddynt. Yn mlaenaf yn mysg yr anniddigion, a'r mwyaf galluog a pheryglus o honynt, oedd Robert, Iarll Caerloyw, haner brawd i Matilda, yr hwn oedd wedi dylyn esiampl y clerigwyr, trwy beidio tyngu ffyddlondeb i Stephan ond ar yr amod iddo ganiatau y rhyddid dyledus. Y cyntaf i aflonyddu ar Stephan oedd Iarll Exeter, yn cael ei gynorthwyo gan Dafydd, brenin Ysgotland; ond tawelwyd yr amrafael hwnw yn fuan. Yn 1138, arweiniodd Dafydd o Ysgotland fyddinoedd cryfion i Loegr eilwaith, i bleidio achos Matilda ei nith; ond cododd Iarll Albemarle a baroniaid enwog eraill, yn cael eu cyffroi gan archesgob York, alluoedd cryfion i'w gwrthsefyll. Ymladdwyd brwydr fawr (Awst 22) yn Northallerton, yr hon a elwir Brwydr y Faner (*standard*, am fod baner fawr â llun y groes ar ben y drostan, yn cael ei chludo ar wagen gyda'r fyddin), a gorchfygwyd yr Ysgotiaid yn llwyr. Dywedir i frenin Ysgotland golli deuddeg mil o wŷr yn y frwydr hon. Yn malchder ei fuddugoliaeth, drygodd Stephan ei achos ei hun yn fawr trwy bigo amrafael â'r clerigwyr. Gorfododd esgobion Salisbury a Lincoln i roddi i fyny eu cestyll, a dangosodd lymder hollol ddiangenrhaid at eraill. Cymerodd Henry ei frawd, esgob Winchester, blaid yr esgobion, galwodd gymanfa yn nghyd i Westminster, a chondemniwyd ymddygiadau y brenin. Cynghorodd Iarll Caerloyw Matilda ei chwaer i gymeryd y fantais ar yr amrafaelion hyn, i ddyfod â byddin drosodd, a gwneyd ymgais am goron Lloegr. Derbyniodd Matilda y cynygiad, a daeth drosodd dan arweiniad ei brawd, yn nghyda saith ugain o farchogion. Glaniodd yn Sussex. Derbyniwyd hi gan Adelais, gweddw Henry, yn nghastell Arundel, ac aeth oddiyno i gastell ei brawd yn Nghaerodor. Cymerodd amryw faroniaid galluog yn y wlad hon ei phlaid. Parodd hyn i derfysgoedd aneirif dori allan yn ngwahanol barthau y deyrnas. Codai y naill faron yn erbyn y llall, a gormesent eu hisafiaid allan o bob terfynau. Mae yr hanesion a roddir am ystrywiau creulon a dieflig y baroniaid barbaraidd y pryd hwn, gan eu cydoeswyr, yn ddigon i ysgytio y galon fwyaf dideimlad, ac yn deilwng yn mhob modd o erchyllderau "yr oesoedd tywyll." Llanwyd y wlad â chestyll (adeiladwyd

dros un cant ar ddeg yn amser Stephan), y rhai nad oeddent ond noddfeydd lladron a llofruddion. Ymosodid ar drigolion y wlad a'r trefi gan breswylwyr y cestyll, ysbeilid eu holl gyfoeth, a theflid hwythau i gelloedd y cestyll, lle y dirboenid hwy â chospedigaethau rhy gywilyddus a dychrynllyd i'w hadrodd. Newynwyd miloedd i farwolaeth, ac anrheithiwyd y wlad i'r fath raddau, fel y gallesid teithio diwrnod cyfan heb weled dyn nac un creadur byw.

Yr oedd y brenin yn rhy brysur gyda gwrthwynebu Matilda a'i chefnogwyr i dalu sylw i'r annhrefn a'r creulonderau hyn. O'r diwedd, ar yr ail o Chwefror, 1141, mewn brwydr yn agos i Lincoln, gorchfygodd Matilda a'i phobl, cymerwyd Stephan yn garcharor, a gyrwyd ef i gastell Caerodor. Pan welodd cefnogwyr Stephan garcharu ei brenin, rhoddasant ei achos i fyny, ac ymostyngasant i Matilda: boddlonodd hithau, er mwyn enill eglwyswyr o'i phlaid, i dderbyn y goron o'u dwylaw. Galwodd esgob Winchester, yr hwn oedd yn awr wedi ei benodi yn genadwr y pab dros holl Loegr, gymanfa yn nghyd, a chyhoeddwyd Matilda yn frenines. Ond er iddi, yn ddigon synwyrol, geisio enill dylanwad pwysig Henry o Winchester o'i phlaid, nid hir y parhaodd pethau yn dawel dani. Dynes falch a gorthrymus oedd Matilda, a dangosodd hyny yn fuan yn ei hymddygiadau. Ymbiliodd gwraig Stephan â hi am ryddhad ei gwr, ar yr amod fod iddo roddi i fyny bob hawl i'r orsedd; ceisiodd esgob Winchester ganddi ganiatau i Eustace, mab Stephan, etifeddiaethau ei dad; dymunodd y Llundeinwyr arni roddi cyfreithiau y brenin Edward mewn grym yn lle cyfreithiau gorthrymus Henry; ond cauodd ei chlustiau yn erbyn y cwbl.

O'r diwedd cyffrodd digofaint esgob Winchester, yn gystal a thrigolion Llundain, yn ei herbyn, a phenderfynasant ei chymeryd i fyny; ond ffodd hithau i Rydychain, ac oddiyno i Winchester. Gwarchaewyd arni yn y lle olaf; diangodd eilwaith; ond daliwyd Robert ei brawd yn garcharor. Yr oedd cymhorth ei brawd mor bwysig iddi y pryd hwn, fel y boddlonodd gyfnewid Stephan am dano. Mor gynted ag y rhyddhawyd Stephan, dechreuwyd rhyfel cartrefol eilwaith. Yn 1142, gwarchaewyd ar Matilda yn nghastell Rhydychain gan Stephan; a phan ddarfu cynaliaeth yn y castell, gwisgodd hi a thri marchog mewn gwisgoedd gwynion, a chan fod y ddaear yn orchuddiedig gan eira, llwyddasant i ddianc heb i'r gelynion eu canfod. Croesasant y *Thames* ar yr iâ, cerddasant ar draed i Abingdon, ac oddiyno ar geffylau i Wallingford. Cyn hir bu farw Robert ei brawd, ac aeth hithau mewn digalondid drosodd i Normandy.

Yn 1150, daeth Henry, mab Matilda, yr hwn oedd yn awr tuag un ar bymtheg oed, drosodd i Ysgotland, i dderbyn urdd marchog gan frenin y wlad hono. Ymgasglodd tyrfa o bendefigion o Ysgotland, Lloegr, a Normandy, yn nghyd ar y ddefod. Wedi aros

cryn amser yn y llys Ysgotaidd, ar ei ddychweliad i Normandy rhoddodd ei fam dduciaeth y wlad hono i fyny iddo; ac ar farwolaeth ei dad daeth Anjou i'w feddiant. Cynyddodd ei allu yn fwy fyth trwy briodi Eleanor o Guienne a Poitou. Bu y dywysoges hon yn briod â Lewis yr Ieuanc (VII) o Ffrainc; dylynodd ef yn y groes-ryfel i Palestina; ond wedi dychwelyd adref rhoddodd Lewis lythyr ysgar iddi. Priododd Henry a hi yn mhen chwech wythnos wedi yr ysgariad. Yn 1153, daeth Henry drosodd i geisio cymeryd coron Lloegr oddiar Stephan. Enillodd fantais arno yn ngwarchae Malmesbury, ac aeth rhagddo i gymeryd Wallingford. Yma bu byddinoedd Henry a Stephan am dro yn wyneb eu gilydd, a dysgwylid brwydr fawr; ond, er arbed tywallt ychwaneg o waed, llwyddodd y pendefigion o bob ochr i gytuno ar amodau heddwch. Bu Eustace, mab Stephan, farw mewn ffit o gynddeiriogrwydd yn erbyn ei dad, am iddo wneuthur heddwch â Henry. Yn yr amodau yr oedd Henry i fod yn olynydd Stephan ar deyrn-gadair Lloegr, yr oedd William, mab Stephan, i gael yr holl etifeddiaethau oedd gan ei dad cyn iddo feddianu yr orsedd, ac yr oedd yr holl gestyll a adeiladwyd wrth ganiatad Stephan i gael eu dinystrio. Wedi i'r holl faroniaid dyngu ffyddlondeb i'r cytundeb hwn, aeth Henry yn ei ol i Normandy. Ond cyn pen blwyddyn, ar y 25ain o Hydref, 1154, bu Stephan farw yn Dover, yn haner can mlwydd oed, wedi teyrnasu pedair blynedd ar bymtheg. Claddwyd ef yn ymyl ei wraig Maud, yr hon oedd wedi ei chladdu dair blynedd o'i flaen, yn monachlog Faversham, yn swydd Kent.

Yr oedd llawer o bethau canmoladwy yn nodweddiad Stephan; a phe buasai wedi esgyn i'r orsedd yn rheolaidd a chyfiawn, ac wedi cael byw mewn amseroedd llai terfysglyd, gallasai wneuthur brenin da. Ond yn yr amgylchiadau hyny yr oedd yn berffaith annghymhwys i'r fath sefyllfa. Yr oedd yn ddyn dewr a gweithgar, ond yn rhy dyner a benywaidd i weinyddu cyfiawnder, a chospi drygau anfad ei bendefigion. Felly cafodd y wlad ei haredig â'r trallodau mwyaf dan ei deyrnasiad, a gwnaeth yntau ei enw a'i goffadwriaeth yn ddirmygedig.

## V.—HENRY II., A GYFENWID PLANTAGENET, 1154—1189.

Ar farwolaeth Stephan, cafodd Henry II., mab Geoffrey, yr hwn a gyfenwid *Plantagenet*, (gair Ffrengig yn arwyddo ysgubell fanadl, yr hwn ydoedd arwyddlun Ieirll Anjou), ffordd rydd i orsedd Lloegr. Yr oedd yn 21ain oed, yn ddyn o feddwl a galluoedd rhagorol, a'i etifeddiaeth yn eangach na neb o dywysogion ei oes. Derbyniodd lywodraeth Lloegr, Normandy, a Maine oddiwrth Matilda ei fam; Anjou a Touraine oddiwrth ei dad; a thaleithiau eang ar lanau gorllewinol Ffrainc, yn cyrhaedd o enau y Loire hyd

y Pyrenees, oddiwrth ei wraig. Felly yr oedd y drydedd ran o Ffrainc yn ei feddiant, ac yr oedd yn llawer galluocach na brenin Ffrainc, er ei fod dan warogaeth iddo. Pan glywodd Henry am farwolaeth Stephan, yr oedd yn brysur iawn yn gwarchae ar gastell ar gyffiniau Normandy, ac nid ymadawodd hyd nes iddo ddwyn y gwarchae hwnw i derfyniad llwyddianus. Cafodd ei rwystro eilwaith gan y tywydd, fel yr aeth chwech wythnos heibio cyn ei ddyfodiad i Loegr. Coronwyd ef, yn nghydag Eleanor ei wraig, yn Westminster, Rhagfyr 9fed, 1154, gan Theobald, Archesgob Canterbury, gyda banllefau cymeradwyol yr holl bobl.

Mor gynted ag yr aeth defod y coroniad drosodd, ymroddodd Henry yn egniol i wellhau y cyflwr truenus yr oedd y deyrnas wedi suddo iddo yn amser Stephan. Gyrodd holl weision cyflogedig Stephan allan o'r deyrnas, galwodd amryw o'i gyfreithiau yn ol, a pharodd ddinystrio y cestyll a godwyd dan ei deyrnasiad gan bendefigion y wlad. Wedi unioni lliaws o bethau yn Lloegr, aeth Henry drosodd i'r Cyfandir i ostegu terfysgoedd a godid gan Geoffrey ei frawd; darfu i hwnw roddi ei hawliau i fyny am fil o bunau y flwyddyn; a bu farw yn mhen dwy flynedd, a daeth ei holl feddiant yn eiddo Henry. Yr un flwyddyn ag y bu ei frawd farw (1158) cymerodd Henry feddiant o Nantes a Llydaw. Cafodd lawer o anhawsderau ar ei ffordd i draws-feddianu y lleoedd hyn; ond wedi tawelu brenin Ffrainc trwy wneyd cytundeb priodas rhwng Henry, ei blentyn pum mlwydd oed, a merch Lewis, yr hon oedd eto yn faban yn ei chawell, cyrhaeddodd ei amcan. Gwnaeth gytundeb cyffelyb hefyd â Conan, Duc Llydaw, am Geoffrey, trydydd mab Henry, a merch Conan, y rhai nad oeddent ond babanod. Felly cydnabyddwyd awdurdod Henry ar y tiriogaethau hyn eto yn ychwanegol. Y flwyddyn ganlynol aeth y brenin, gyda Malcolm brenin Ysgotland, Thomas à Becket ei ganghellydd, ac amryw bendefigion eraill, drosodd i'r Cyfandir; ac enwogodd Becket ei hun yn fawr yno yn ei fedr a'i ddewrder milwrol.

Yn ystod teyrnasiad Stephan yr oedd yr eglwyswyr wedi cymeryd awdurdod ddiderfyn braidd yn eu dwylaw eu hunain, fel yr oedd yn anhawdd gwybod yn amser esgyniad Henry pa un ai penaeth yr eglwys neu benaeth y wladwriaeth oedd â'r awdurdod benaf. Yr oedd Henry o'r dechreu a'i lygad ar ormes yr eglwyswyr, ac yn gwylio am amser cyfaddas i ddwyn oddiamgylch gyfnewidiad. Yr unig lwybr effeithiol a ymddangosai iddo, ydoedd gosod dyn yn archesgob Canterbury a fuasai yn cario allan yn ffyddlon ei gynghor a'i ewyllys. Nid oedd y brenin yn hoffi ymyryd tra fyddai Theobald yn fyw, yr hwn oedd bellach wedi myned yn hen ac oedranus. Ond yn awr yr oedd Theobald wedi marw, yr archesgobaeth yn wag; a thybiai y brenin fod yn anmhosibl iddo

gael neb mor gymhwys i'w osod yn y swydd hono, a'i ganghellydd galluog, Thomas à Becket.

Thomas à Becket, Archesgob Canterbury.

Er mai fel prif swyddog eglwysig Lloegr y cododd Thomas à Becket i'r fath enwogrwydd, eto y mae wedi chwareu rhan mor bwysig yn y pymtheg mlynedd cyntaf o lywodraeth Henry, fel y byddai cystal rhoddi braslun o'i hanes yn y fan hon. Ganwyd ef yn Llundain tua'r flwyddyn 1117. Mab ydoedd i ddinesydd o'r enw Gilbert à Becket, o linach Seisnig. Mae y traddodiad am ei fam yn hynod. Ymunodd ei dad yn y Groes-gâd i Jerusalem; cymerwyd ef yn garcharor gan dywysog Mahometanaidd; ond trwy gymhorth merch y tywysog, yr hon oedd wedi ei hoffi yn fawr, llwyddodd Gilbert i ddianc. Nid oedd y foneddiges yn gwybod ond dau air Seisnig, "London," a "Gilbert;" eto penderfynodd ddyfod drosodd i Loegr ar ei ol. Wedi cyrhaedd Llundain, cerddodd trwy yr ystrydoedd dan waeddi, "Gilbert." Dylynid hi gan haid o bobl, ac o'r diwedd daeth i'r ystryd lle y preswyliai Gilbert; arweiniwyd hi i'w dŷ ef gan un o'r gweision, ac wedi iddi dderbyn bedydd Cristionogol, priododd Gilbert hi; a ffrwyth y briodas hon oedd Thomas à Becket.*

Dangosodd Thomas yn foreu ei fod yn feddianol ar alluoedd a thalentau anarferol. Cafodd fantais ysgolion da yn Llundain, Merton, Rhydychain, a Paris. Tynodd sylw a ffafr Theobald, Archesgob Canterbury, a chafodd lawer o freintiau trwyddo yn Lloegr, Ffrainc, ac Itali. Urddodd ef yn ddiacon yn yr eglwys, anfonodd ef yn genadwr i lys Rhufain, a bu ei wasanaeth yn gynorthwy mawr iddo yn ngweinyddiad ei swydd bwysig fel pen-esgob Lloegr. Rhoddodd iddo arch-ddiaconiaeth Canterbury; ac ar esgyniad Henry II. i'r orsedd, gwnaed ef, er nad oedd ond 37 oed, yn ganghellydd y deyrnas—y Sais cyntaf a ddyrchafwyd i unrhyw swydd bwysig oddiar y Gorchfygiad. Dygodd y swydd hon gyfoeth ac awdurdod bwysig i'w law: daeth yn gyfaill hoff i'r brenin, yr hwn a roddodd iddo lywyddiaeth Beverley, deoniaeth Hastings, ceidwadaeth y Tŵr, baroniaethau Eye a Berkham, a gofal addysgiad ei fab hynaf Henry. Yr oedd Becket erbyn hyn yn un o brif ddynion y deyrnas, ac yn ddyn o duedd ofer a choegfalch. Yr oedd ganddo balas adderchog, a saith ugain o farchogion yn ei wasanaeth. Ystyriai y baroniaid penaf ef yn anrhydedd i fyned ar ymweliad at Becket, a byddai y brenin ei hun yn fynych yn mysg ei ymwelwyr. Swnia un peth a ddywedir am dano yn bur ddyeithr yn ein clustiau ni y dyddiau hyn; sef fod llawr ei dŷ yn cael ei orchuddio â gwellt neu frwyn glân bob dydd, fel nad anurddai y rhai a eisteddent arno eu dillad. Pan aeth ar ei genadwriaeth i Paris, yr oedd gydag ef ddau cant o farchogion, heblaw lliaws o

*Yr unig awdurdod am y traddodiad uchod yw Bromton.

bendefigion, a thyrfa o weinyddion; a dygai gydag ef bedwar ar ugain o barau o ddillad. Byddai ei orymdaith wedi ei threfnu gyda'r fath wychder rhyfeddol, fel y dywedai pobl Ffrainc, "Beth raid fod brenin Lloegr, pan mae ei ganghellydd yn teithio gyda'r fath rwysg?" Difyrai ei hun gyda hela, heboca, a phob chwareuyddiaethau cyffredin; ac yr oedd yn ddewr a medrus fel rhyfelwr. Dygodd saith cant o farchogion ar ei draul ei hun i gynorthwyo y brenin yn Toulouse; ac mewn rhyfeloedd canlynol yn Normandy, cynaliodd ddeuddeg cant o farchogion, a phedair mil o wŷr traed, am ddeugain niwrnod.

Yr oedd Henry nid yn unig yn rhoddi y flaenoriaeth yn nhrafodiaeth materion y deyrnas i Becket, ond yn ei anrhydeddu â'i gyfeillach barhaus; yr oeddent fel dau frawd, ac o un feddwl a chalon yn mhob peth. Un diwrnod, fel yr oeddent yn marchogaeth yn nghyd trwy ystrydoedd Llundain, ar dywydd oer, gwelent gardotyn haner noeth yn dyfod i'w cyfarfod, ac yn crynu gan yr oerfel. "A fyddai ddim yn weithred ganmoladwy," ebe y brenin, "i roddi hugan gynes i'r creadur tlawd hyn, ar y tywydd oer yma?" "Byddai wir," ebe'r canghellydd; "ac yr ydych yn gwneyd yn dda i feddwl am hyny." "Wel, fe gaiff un yn awr," ebe'r brenin, a chydiodd yn nghwr mantell ysgarlad addurnedig Becket, a cheisiodd ei thynu oddiam dano. Daliodd Becket ei afael ynddi, a bu yn ymdrech galed rhyngddynt. Bu agos i'r ddau syrthio oddiar eu ceffylau; ond o'r diwedd gollyngodd y canghellydd ei afael, a thaflodd Henry y fantell ddrudfawr i'r cardotyn anwydog.

Yn ei swydd uchel o ganghellydd, enillodd Becket glod cyffredinol trwy y deyrnas; a phriodolid iddo ef y gwelliadau pwysig a wnaed yn nechreuad teyrnasiad Henry. Gyda'r eglwyswyr yn unig yr oedd yn anmhoblogaidd, oblegyd ei fod yn gorfodi y swyddogion eglwysig i dalu yr un trethoedd rhyfel a'r pendefigion. Dywedai esgob Henffordd, yn mysg eraill, ei fod yn gwanu y cleddyf i fynwes y Fam Eglwys, a bygythiai ef ag esgymundod. Tybiai Henry mai hwn oedd y dyn i archesgobaeth Canterbury; ac ar ol i'r swydd hono fod yn wag am dri mis ar ddeg wedi marwolaeth Theobald, a'r cyllidau fyned i logell Henry, gwnaed Becket yn ben-esgob holl Loegr. Pan soniodd y brenin wrtho am y swydd hon, dywedir iddo edrych ar ei ddillad costus, a dyweyd nad oedd yn ymddangos fel archesgob, a'i fod yn ofni fod y brenin yn ei roddi mewn swydd ag y byddai raid iddo golli ei heddwch wrth ei chyflawni.

O'r diwrnod (1162) y cysegrwyd ef yn archesgob gan Henry, esgob Winchester, mae y cyfnewidiad rhyfeddaf yn mywyd Thomas à Becket; a phriodolid ef i ddylanwad yr Ysbryd Glân yn y cysegriad hwnw. Mae ei hanes, beth bynag, o hyn allan yn bur

anesboniadwy. Gwir ei fod yn awyddus am glod, a'i fod yn meddu ar feddwl digon gwrol a phenderfynol i gario unrhyw gynllun allan; eto rhaid dyweyd, os hyny oedd yr amcan, fod y llwybr a gymerodd i'w gyrhaedd yn un anhawdd a dyeithr. Gwyddai yn ddigon da mai amcan Henry yn ei osod yn y swydd hono oedd, er mwyn cael holl lywodraethiad yr eglwys yn Lloegr yn ddibynol ar awdurdod y goron; derbyniodd yntau y swydd i ddyben hollol wrthwyneb, sef i osod yr awdurdod eglwysig yn annibynol, os nid uwchlaw yr awdurdod wladol; a beiddiodd eithaf digofaint y brenin i gario allan ei benderfyniad. Torodd Becket i fyny yn hollol ei ddull blaenorol o fyw. Diflanodd gwleddoedd ei dŷ, a gwychder ei wisgoedd a'i ymddangosiad. Yn lle y dillad costus, gwisgai sachlian am ei gnawd, ac ni newidiai hwnw hyd nes byddai yn ffiaidd gan faw a phryfaid. Bwytäai y bwyd garwaf, ac yfai ddwfr wedi ei chwerwi â llysiau; darostyngai ei gefn noeth yn fynych i'r fflangell; gwnaeth ei dŷ yn fwy o elusendy i dlodion nag o balas i bendefigion; golchai draed tri ar ddeg o dlodion bob dydd yn ei gell, a gollyngai hwynt ymaith gyda bwyd ac arian. Darllenai yr ysgrythyrau, gweddiai, a gweinyddai wrth yr allor gyda'r cysondeb mwyaf. Ymwelai â'r mynachod cystuddiol, a derbyniai ymweliadau dynion crefyddol fel pe buasent angylion o'r nefoedd. Erbyn hyn yr oedd ei enw yn uchel yn mysg eglwyswyr, a lliaws o bobl yn ei ganmol a'i glodfori.

Gadawodd y brenin lonydd iddo hyd nes i Becket ddechreu yr amrafael. Yn mhen tua blwyddyn wedi iddo gael yr archesgobaeth, rhoddodd i fyny ei swydd fel canghellydd, a dechreuodd gwyno am dra-arglwyddiaeth y brenin ar ragorfreintiau eglwysig. Cymerodd y brenin hyn fel argoel drwg, a dechreuai deimlo yn ddigofus at Becket. Ond cafodd fwy o achos yn fuan. Hawliai diroedd a chestyll fuont mewn oesoedd blaenorol yn perthyn i'r archesgobaeth. Gwrthwynebodd hawl Eynsford, deiliad milwrol i'r goron, i fywoliaeth berthynol i faenor a ddelid gan archesgob Canterbury; cymerodd y fywioliaeth i'w law ei hun, ac esgymunodd Eynsford. Achwynodd Eynsford am ei gam a'i sarhad wrth y brenin, yr hwn a orchymynodd i Becket ddychwelyd yr hawl, a galw ei ddedryd yn ol. Anfonodd Becket yn ol at y brenin i ddyweyd "nad oedd yn perthyn i'r brenin i'w hyfforddi ef pwy i'w ryddhau, na phwy i'w gondemnio, fod yr awdurdod hono yn perthyn i'r eglwys." Wedi amryw fygythion, ildiodd Becket i ewyllys y brenin.

Yn y flwyddyn ganlynol rhoddodd y brenin gynlluniau ger bron tuag at ddarostwng y clerigwyr dan lywodraeth y llysoedd gwladol, ac, yn wir, nid heb achos; oblegyd sicrhawyd ef nad oedd llai na chant o lofruddiadau wedi eu cyflawni gan y clerigwyr er amser ei esgyniad i'r orsedd. Galwodd gymanfa o swyddogion yr eglwys ac

eraill i Westminster; ac ar ol cael ei wrthwynebu yn ei gynygion, gofynodd y brenin i'r esgobion os oeddent yn foddlon ymostwng i hen gyfreithiau a defodau y deyrnas. Atebasant hwythau eu bod, "oddigerth eu hurdd hwy." Gwelodd y brenin nad oeddent ond ysgoi ei ofyniad, a chyffrodd ei ddigofaint. Galwodd ychwaneg o ragorfreintiau yr archesgob oddiarno; dychrynodd hyn yr esgobion, ac addawsant ymostwng. Yn Ionawr, 1164, galwyd cymanfa arall yn nghyd i bwrpas cyffelyb, i gastell Clarendon, Swydd Wilt, a phasiwyd yno ryw un ar bymtheg o gyfreithiau, y rhai a alwyd yn "Gyfansoddiadau Clarendon." Yn mysg y cyfreithiau hyny yr oedd y rhai canlynol:—Fod i bob gwr eglwysig a gyhuddid o unrhyw drosedd i gael ei brofi mewn llys gwladol; nad oedd unrhyw swyddog eglwysig i ymadael â'r deyrnas heb ganiatad y brenin; fod pob achos nad oedd yn hollol eglwysig i gael ei brofi yn llysoedd y brenin; fod esgobion ac urddasogion ysbrydol eraill fyddont yn dal tiroedd dan y brenin, yn ddarostyngedig i'r beichiau gwriogaethol, ac i fyned i lysoedd y brenin; fod pob esgobaeth wag i fyned i law y brenin, a'i fod ef i dderbyn y cyllidau oddiwrthi hyd nes y llenwir hi; fod yr etholiad i fod yn ngwydd y brenin, a'r etholedig i dalu gwarogaeth a thyngu ffyddlondeb iddo. Cydsyniodd Becket â'r rhai hyn, wedi hir gymhell arno, ac addawodd "eu cadw yn ffyddlon, heb dwyll nac eithriad." Tybiodd Henry ei fod bellach wedi enill y dydd ar Becket a'r esgobion; anfonodd y "cyfansoddiadau" hyn at y Pab Alexander, yr hwn oedd ar y pryd yn Ffrainc, er mwyn iddo eu cadarnhau. Ond pan welodd hwnw eu bod yn gosod llywodraeth Lloegr yn annibynol ar y Babaeth, a'r awdurdod freninol yn annibynol ar yr eglwys, condemniodd hwy yn y geiriau cryfaf, ac nis gallasai gymeradwyo ond rhyw chwech o'r pethau mwyaf dibwys. Pan ddeallodd Becket hyn, a gweled y cai gefnogaeth y pab, penderfynodd yntau eu gwrthwynebu; rhoddodd y penydiau tostaf arno ei hun oblegyd iddo gydsynio â hwy yn groes i'w argyhoeddiad; rhoddodd heibio wasanaeth yr allor am ddeugain niwrnod, ac anfonodd at y pab am faddeuant.

Cyffrodd hyn lid y brenin eto yn erbyn Becket, galwodd gynghor yn nghyd, a chyhuddodd ef o dori ei ymrwymiadau, ac o daflu dirmyg ar y brenin, a thyngodd ei lw arferol ("Myn llygaid Duw") y mynai weled cyfiawnder i'r fan eithaf yn cael ei weinyddu tuag ato. Rhoddodd y llys ddirwy ar Becket o £500. Tranoeth anfonodd y brenin ato i geisio ganddo ddychwelyd symiau mawrion oedd yn ddyledus arno oddiar yr amser y bu yn ganghellydd. Gwadai Becket ei rwymedigaeth am y symiau hyny, a galwodd yr esgobion yn nghyd; ond yr oedd y rhai hyny wedi troi o blaid y brenin, a cheisiasant berswadio Becket i ymostwng, a rhoddi ei swydd i fyny.

Dirmygai yntau eu cynghor, a dywedai nad oedd un awdurdod wladol yn abl ei ddiswyddo ef, na neb arall, ond y pab yn unig. Penderfynodd sefyll ei hun yn erbyn y brenin a'r holl esgobion. Boreu dranoeth aeth i'r eglwys, a gweinyddodd offeren St. Stephan, y merthyr cyntaf, yr hon sydd yn dechreu gyda'r geiriau, "Tywysogion hefyd a eisteddasant ac a ddywedasant i'm herbyn," &c., a gwnaeth iddynt ganu, "Mae breninoedd y ddaear yn ymosod, a'r penaethiaid yn ymgynghori yn nghyd," &c. Ar ol yr offeren aeth i lys y brenin yn ei wisg swyddogol; marchogai ar geffyl, gan ddal y ffrwyn yn ei law chwith, a'r groes archesgobol yn ei law ddeheu. Aeth i mewn o flaen y brenin yn fyrbwyll a rhodresgar, a'i groes yn ei law, heb gydymffurfio â'r ddefod arferol. Cyffrodd y brenin gymaint wrth ei ymddygiad, fel y cododd ac y gadawodd yr ystafell. Daeth cawod o geryddon ar ben Becket oddiwrth yr esgobion dychrynedig; galwent ef yn fradychwr, a dywedent nad ufuddhaent iddo mwy. Gadawodd Becket y llys heb ddywedyd nemawr; ond goddef y cwbl yn dawel. Anfonodd genad at y brenin i ofyn am gael ymadael â'r deyrnas; dywedodd y brenin y cawsai atebiad dranoeth. Ond barnodd Becket nad oedd yn ddyogel iddo aros yn hŵy, a ffodd ganol nos y noswaith hono, ac aeth drosodd i Ffrainc. Derbyniwyd ef yn serchog gan Lewis o Ffrainc a'r pab, a chafodd fonachlog Pontigny, yn Burgundy, at ei wasanaeth. Oddiyno cyhoeddodd esgymundod ar y brenin a'r esgobion, a phawb a gefnogasant "gyfansoddiadau Clarendon." Gosododd Henry wyliadwriaeth ar y porthladdoedd, i rwystro cenadau a llythyrau i ddyfod oddiwrth Becket na'r pab i'r deyrnas.

O'r diwedd (1169) yn mhen tua phum mlynedd ar ol ymadawiad Becket â'r wlad hon, wedi i amryw amrafaelion rhwng Lewis o Ffrainc a Henry o Loegr gael eu terfynu, a mab Henry briodi merch Lewis, ceisiodd yr olaf heddychu rhwng Henry a Becket. Dygwyd yr alltud ger bron y penaduriaid; ond erbyn ei holi, cafwyd ei fod mor gyndyn a phenderfynol yn ei ffordd ag erioed. Ar ol ei gyhuddo o falchder ac anniolchgarwch, trodd Henry at Lewis a dywedodd, "Mae pob peth nad yw yn ei foddio ef yn erbyn gogoniant Duw; ond fel na ddywedo neb fy mod i yn erbyn ei ogoniant Ef, yr wyf yn gwneyd y cynygiad hwn:—"Bu llawer brenin Lloegr o'm blaen i, rhai yn meddu mwy a rhai lai o awdurdod; bu llawer archesgob Canterbury o'i flaen yntau, yn ddynion enwog a santaidd; gwneled ef tuag ataf fi yr hyn a wnaeth y mwyaf o'i ragflaenoriaid ef i'r lleiaf o'm rhag-flaenoriaid i, a byddaf yn foddlon." Teimlai pawb oedd yn wyddfodol fod y brenin wedi ymostwng llawn ddigon; ond yr oedd Becket yn para yn ddiysgog yn ei gyndynrwydd. Ond yn y diwedd daethpwyd i ryw fath o amodau heddwch, ac adferwyd archesgobaeth Canterbury iddo. Bu an-

hawsdra pwysig wedi hyn, oblegyd ei bod yn ddefod i'r brenin gusanu yr archesgob, a bod Henry wedi tyngu yn ei lid na chusanai Becket byth ond hyny; ond, ar ol apelio at y pab, terfynwyd amrafael y cusanu eilwaith.

Yn amser yr amrafaelion hyn yr oedd Henry, fel mater o rag-ocheliad, wedi gosod archesgob York i goroni ei fab hynaf (Henry). Er i hyn gael ei wneyd yn ddirgelaidd, daeth yn hysbys i Becket, a llwyddodd i gael gan y pab i ddiswyddo yr archesgob, yn nghyda'r esgobion a'i cynorthwyasant, o'r herwydd. Daeth Becket drosodd i Loegr, a derbyniwyd ef gyda llawenydd mawr gan liaws y bobl. Yr oedd Henry a llawer o'i bendefigion yn Normandy ar y pryd; ac yr oedd archesgob York gydag ef pan ddaeth y newydd fod Becket a'r pab wedi diswyddo yr esgobion am goroni y tywysog. Cyffrowyd y brenin a'i gymdeithion yn fawr. Dywedodd arch-esgob York nas gallasai obeithio am fwynhau heddwch tra fyddai Becket fyw. Atebodd y brenin ef yn gyffrous, "I'r fath drueni yr wyf wedi fy narostwng, pan nad allaf gael llonyddwch yn fy nheyrnas fy hun o achos un clerigwr! A oes genyf neb i'm gwaredu o'm trallodion?" Cymerodd rhai o'r baroniaid oeddent yn bresenol y peth fel awgrym o ganiatad i lofruddio Becket. Tyngodd pedwar o honynt, Fitzurse, Moreville, Tracy, a Brito, lw dirgelaidd y gwnaethent i'r archesgob dynu ei weithredoedd yn ol, ymadael â'r deyrnas, neu farw. Felly ymadawsant yn ddystaw am Loegr. Aeth rhyw sî allan am eu bwriad, a phan aeth i glustiau y brenin, gyrodd genad ar eu hol i'w rhybuddio na wnelent niwed i berson Becket; ond bu y genad yn rhy ddiweddar cyn cyrhaedd. Ym-unodd amryw gyfeillion â'r pedwar baron yn Saltwoode, gerllaw Canterbury. Aethant ar frys i balas yr archesgob. Cawsant ef yno heb ond ychydig o weinyddion o'i gwmpas. Gofynodd Becket eu neges; atebodd Fitzurse, "Daethom i beri i chwi faddeu i'r esgobion a esgymunwyd genych, adferu y rhai a ddiswyddwyd, ac ateb am eich troseddau yn erbyn y brenin." Ymddangosai Becket yn berffaith ddiofn, ac atebodd hwynt yn feistrolaidd a phigog. Cyffrowyd hwy yn fawr gan eiriau ffrostfalch yr archesgob, ac aeth-ant allan o'r lle gyda bygythion. Aeth Becket allan ar eu hol yn fuan, ac i'r gwasanaeth hwyrol yn eglwys St. Benedict. Canlynwyd ef i'r eglwys gan y baroniaid wedi ymarfogi. Gwaeddasant, "Pa le y mae Thomas à Becket? Pa le y mae bradychwr y brenin a'r deyrnas?" Ond nid oedd neb yn ateb. Gofynwyd mewn tôn uwch, "Pa le y mae yr archesgob?" Atebodd yntau, "Dyma fi, yr archesgob, ond nid bradychwr; ac yr wyf yn barod i ddyoddef yn enw fy Ngwaredwr." Ceisiasant ganddo drachefn i ryddhau yr esgobion; gwrthododd yntau. Ymaflodd un o'r baroniaid yn ei wisg, a dywedodd wrtho am fyned allan oddiyno, neu ei fod yn

ddyn marw. Ond er ei gymhell yn daer i fyned allan, a cheisio ei lusgo, ni syflai o'r fan. Wedi cryn ymryson, tarawyd ef yn ysgafn ar ei ben â'r cleddyf. Yr oedd yn awr ar ei liniau o flaen allor St. Benedict. Rhoddodd ei ddwylaw yn nghyd, a dywedodd, "I Dduw, i St. Mari, a'r seintiau, noddwyr yr eglwys hon, ac i St. Denis, yr wyf yn cyflwyno fy hun ac achos yr eglwys." Erbyn hyn yr oedd ergydion marwol yn disgyn ar ei goryn, a holltwyd ei ben nes oedd ei ymenydd yn wasgaredig dros y lle. Rhoddodd un o honynt ei droed ar ei wddf, a dywedodd, "Dyma fradychwr yn marw!" A dyma oedd diwedd y talentog a'r dewr, ond yr uchelfrydig a'r cyndyn, Thomas à Becket.

Er fod Henry yn cynllunio ar y pryd i'w fwrw i'r carchar, eto dangosodd ofid mawr pan gafodd y newydd ei fod wedi ei lofruddio; ac nis gellir amheu nad oedd y gofid hwnw yn wirioneddol, oblegyd nid oes un sail i gredu fod ganddo law yn y weithred. Heblaw hyn, barnai yn ddigon naturiol y cawsai llofruddiad Becket ei briodoli iddo, y buasai hyny yn cyffroi teimlad y bobl yn ei erbyn, ac yn dwyn esgymundod y pab ar y wlad, yr hyn fuasai o ganlyniadau pwysig yn y dyddiau ofergoelus hyny. Felly dangosodd Henry alar mawr oblegyd llofruddiad Becket: bu am dri diwrnod heb fwyta, ac ni adawai neb o'i weision i fyned i mewn ato. Anfonodd amryw esgobion yn genadau at y pab i dystio ei ddiniweidrwydd, ac i ddatgan ei ofid, fel ag i ragflaenu esgymundod. Gwnaeth Henry ei hun lw difrifol o hono ar yr Efengylau santaidd wedi hyny, yn ngwydd cenadau y pab a lliaws o eglwyswyr urddasol, na orchymynodd, ac na ddymunodd lofruddiaeth Becket, er y cyfaddefai y gallai y frawddeg a ddywedodd yn fyrbwyll fod yn achlysur i hyny. Bu y brenin wedi hyn yn dwyn penyd darostyngol wrth greir-gell Becket. Cerddodd yn droed-noeth i'r eglwys, ac ymgrymodd ger bron y beddrod am ddiwrnod a noswaith: dynoethodd ei gefn, a gwnaeth i dŵr o fynachod ei fflangellu. Addawodd gynal dau cant o farchogion am flwyddyn i amddiffyn Palestina, a rhoddi ei wasanaeth ei hun am dair blynedd, os byddai y pab yn galw, yn erbyn yr anffyddwyr, naill ai y Saraceniaid yn Palestina, neu y Mooriaid yn Spain. Felly tawelwyd meddyliau y bobl, ac nid esgymunodd y pab neb ond y llofruddion a'u cefnogwyr. Yn mhen dwy flynedd symudwyd corph Becket i greir-gell ardderchog, a seintiwyd ef gan y pab. Rhifwyd ef yn mysg y merthyron Cristionogol, a dywedid fod gwyrthiau yn cael eu cyflawni ar ei fedd. Ond os oedd Thomas à Becket yn ferthyr, nid merthyr i'r grefydd Gristionogol ydoedd, ond i uchafiaeth y pab, a thra-arglwyddiaeth yr eglwyswyr. Ac yr oedd y gwyrthiau y dywedid eu bod yn cymeryd lle wrth ei feddrod, yn deilwng o'r fath ferthyrdod; megys goleuo canwyllau cwyr diffoddedig, ei law

farw yn codi i fendithio y bobl, a chodi o feirw nid dynion yn unig, ond cwn, ceffylau, a gwartheg.

Rhyfeloedd â'r Cymry. Cafodd Henry II. amryw frwydrau poeth â'r Cymry: un yn 1157, pryd y cododd y Cymry i wneyd un cynygiad dewr a phenderfynol eilwaith am eu rhyddid. Dylynodd Henry hwy gyda byddin nerthol i'r mynyddoedd; ond cafodd edifarhau yn fuan. Rhuthrodd y trigolion arnynt mewn mynedfa gyfyng rhwng y mynyddoedd, a thorasant hwy i lawr o'r trwch. Taflodd y banerwr, Iarll Essex, y faner Seisnig i lawr, a ffodd. Aeth y sî allan fod y brenin wedi syrthio, a pharodd ddyryswch mwy fyth yn y fyddin. Ond ymddangosodd y brenin yn fuan yn nghanol ei fyddin rwygedig, a gweithiodd ei ffordd yn mlaen trwy y fynedfa. Ceisiodd Owen Gwynedd, brenin y Cymry, dynu Henry yn mlaen i gilfachau Eryri; ond gwrthododd yntau y mynyddoedd, a chymerodd lanau y môr, gan gadw llynges gref y tu cefn iddo. Torodd amryw goedwigoedd i lawr, a chododd gestyll mewn lleoedd cyfleus. O'r diwedd ymostyngodd y Cymry i wneyd heddwch â'r brenin, trwy roddi i fyny y parthau o'r wlad a adfeddianasant dan Stephan, a rhoddi gwystlon iddo am eu ffyddlondeb. Torodd gwrthryfel allan yn 1163 hefyd rhwng y Cymry a'r baroniaid Normanaidd, pryd y gorchfygodd yr olaf, ac y gwnaethant ddifrod mawr yn Sir Gaerfyrddin. Yn 1165, arweiniodd y brenin yn ei berson ei hun eilwaith fyddinoedd nerthol yn erbyn y Cymry dan lywyddiad Rhys ab Gruffydd, brenin y Deheudir; Owen Gwynedd, brenin y Gogledd; ac Owen Cyfeiliog, brenin Powys. Gwnaeth y tywysogion dewrion hyn ymosodiad llwyddianus ar amryw o gestyll y baroniaid Normanaidd; ond ymlidiwyd hwy gyda cholledion gan Henry hyd droed y Berwyn, er iddo orfod encilio ei hun yn fuan gyda cholled ddirfawr. Dangosodd Henry greulondeb anarferol y tro hwn tuag at y gwystlon oedd wedi dderbyn gan y Cymry flynyddau yn ol; tynodd allan lygaid yr holl wrywod, a thorodd ymaith glustiau a thrwynau y benywod.

Sefyllfa a gorchfygiad Iwerddon. Yr oedd cyflwr Iwerddon y pryd hwn yn isel a barbaraidd. Mae yn wir i Gristionogaeth gael ei dwyn yno ganrifoedd yn ol, ond ymddengys i'r wlad gael ei hesgeuluso yn fuan, fel na chafodd Cristionogaeth na diwylliant erioed afael hollol ynddi. Bu yn golled fawr i Iwerddon na chawsai ei darostwng gan y Rhufeiniaid, oblegyd trwy hyny collodd y fraint o gael sefydliadau a dylanwad gwareiddiol y bobl hyny. Yn amser Henry II. yr oedd y wlad yn gyffredin yn un olygfa o annhrefn, gormes, a chreulondeb. Heblaw lliaws o fân lwythau, yr oedd yn rhanedig i bum teyrnas—Munster, Leinster, Meath, Ulster, a Connaught; yn cael eu llywodraethu gan gynifer o benaethiaid neu freninoedd. Cymerai un o'r breninoedd hyn y

flaenoriaeth mewn rhyfeloedd, ac ystyrid hwnw fel brenin yr holl ynys. Ond nid yw eu holl hanes ond cyfres ddidor o ymosodiadau ar eu gilydd, a'r creulonderau mwyaf echrydus. Cymaint o fasnach ag oedd yn y wlad a ddygid yn mlaen gan ysbeilwyr o Norway a Denmark, y rhai oeddent wedi adeiladu y trefi ar hyd ei glanau. Yr oedd Henry â'i lygad ar y wlad er ys blynyddoedd, ac wedi anfon at y pab, yr hwn a gymerai arno feddu yr awdurdod i gyfranu gwledydd a theyrnasoedd—am ganiatad i'w chymeryd. Caniataodd y pab, Adrian IV, yr hwn oedd o waedoliaeth Seisnig, y fraint hon i Henry, ar yr amod iddo gefnogi crefydd yn y wlad, a gosod ceiniog yn y flwyddyn o dreth ar bob tŷ, i'w talu i esgobaeth Rhufain. Ysgrifenodd lythyr (*bull*), yn cyflwyno iddo y cyfryw awdurdod, ac yn galw ar y trigolion i ufuddhau iddo fel brenin. eu Nid ymgymerodd Henry â hyn ar unwaith, ond gwyliodd am adeg gyfleus; ac o'r diwedd, ymddangosai pethau fel wedi addfedu iddo osod ei amcan mewn gweithrediad.

Yn 1153 cymerodd Dermot Mac Morrough, brenin Leinster, y fantais ar absenoldeb O'Ruarc, penaeth Breffney, a dygodd ymaith Dervorgilla ei wraig, yr hon oedd ddynes enwog am ei thegwch. Apeliodd O'Ruarc at Turlough O'Conor, yr hwn oedd brif frenin y wlad ar y pryd, a chafodd gymhorth i adfeddianu ei wraig, a dial ar Mac Morrough. Dywed Gerald Barry, yr hwn a elwid Giraldus Cambrensis (neu Gerald y Cymro, yr hwn oedd yn Iwerddon ar y pryd) fod gwraig O'Ruarc wedi ei chymeryd ymaith gan Dermot, yn ol ei dewisiad ei hun. "Y cyfryw," meddai, "yw natur gyfnewidiol ac anwadal benyw, trwy yr hon y mae pob drwg yn y byd yn dygwydd ac yn dyfod." Parhaodd gelyniaeth maith rhwng O'Ruarc a Dermot, a'r diwedd fu i'r olaf gael ei orchfygu a'i ymlid allan o'i lywodraeth. Daeth Dermot drosodd i Loegr, ac aeth oddiyma eilwaith i'r Cyfandir, i gael gafael yn Henry, i adrodd ei gwyn wrtho. Addawodd y brenin ei gynorthwyo, a thyngodd Dermot warogaeth a ffyddlondeb i frenin Lloegr. Cafodd y penaeth Gwyddelig y llythyr hwn gan ei arglwydd newydd: "Henry, brenin Lloegr, Duc Normandy ac Aquitaine, a Iarll Anjou, i'w holl ddeiliaid, Saeson, Normaniaid, Ysgotiaid, a phob cenedloedd a phobloedd eraill ydynt ddeiliaid iddo, yn anfon anerch. Pa bryd bynag y daw ein llythyr hwn atoch chwi, gwybyddwch ein bod wedi derbyn Dermot, Tywysog Leinster, dan ein hamddiffyniad, ein gras, a'n ffafr; pwy bynag o fewn ein llywodraeth, gan hyny, a'i cynorthwya ef, ein deiliad ffyddlon, i adfeddianu ei dir, bydded hyderus y caiff ein rhyddid a'n ffafr ni i wneyd hyny."

Gwnaeth Dermot ddefnydd mawr o'r llythyr hwn yn Lloegr wrth ddychwelyd, a chyrhaeddodd yr amcan mewn golwg ganddo ef a'r brenin. Cyfarfu yn Nghaerodor ag un Richard Clare, Iarll Penfro,

yr hwn a gyfenwid Strongbow, ac ymgymerodd hwnw ag arwain byddin i'w gynorthwyo. Yr oedd Clare i gael yn wobr am ei wasanaeth Eva, merch Dermot, yn wraig, ac i gael bod yn olynydd iddo ar orsedd Leinster. Cyflogodd Dermot ddau farchog arall o Ddeheudir Cymru, Robert Fitz-Stephan a Maurice Fitz-Gerald (*Fitz*—yr un ystyr a mab neu ap), meibion Arglwyddes Nesta, y rhai oeddent i gael tref Wexford, a dwy gantref gysylltiedig, yn wobr. Yn Awst, 1168, hwyliodd Dermot o Dyddewi drosodd i'w wlad; a'r gwanwyn canlynol aeth Fitz-Stephan drosodd gyda thair llong, a thua phedwar cant o bobl. Dylynwyd ef dranoeth gan Maurice Prendergast (Cymro), gyda rhyw driugain a deg o wŷr, Glaniasant o'r tu deheu i Wexford. Anfonodd Dermot bum cant o wŷr, dan lywyddiad ei fab (ordderch) Donald i'w cyfarfod. Ymosodasant ar Wexford, ac ynillasant hi. Glaniodd Fitz-Gerald eilwaith, gyda saith ugain o wŷr, ac wedi ymuno â'r lleill, yr oeddent yn allu rhy gryf i drigolion yr ynys i'w gwrthsefyll. Enillodd Dermot ei diriogaethau colledig yn ol; ac nid ymfoddlonodd ar hyny, ond cynlluniodd i ddifeddianu Roderic, prif frenin yr ynys yn awr, o'i lywodraeth, a chymeryd breniniaeth yr holl wlad i'w law. Anfonodd at Strongbow i geisio ganddo gyflawni ei addewid. Gyrodd hwnw un Raymond drosodd gyda phedwar ugain o wŷr nerthol, y rhai a orchfygasant dair mil o Wyddelod. Dylynodd Strongbow hwynt gyda byddin gref, a chymerasant Waterford a Dublin rhag blaen. Torodd Roderic ben mab Dermot, yr hwn oedd wedi ei adael yn wystl yn ei law. Priododd Strongbow Eva, merch Dermot, a phan fu farw ei thad, cafodd freniniaeth Leinster, a gwnaeth ddarpariadau ar gyfer cymeryd llywodraeth yr holl wlad. Dychrynwyd Roderic a thywysogion eraill, a chasglasant fyddin o ddeng mil ar ugain i ymosod ar Dublin; ond gwasgarwyd hwynt gan Richard Clare, gyda lladdfa fawr. Pan glybu Henry am lwyddiant ei ddeiliaid yn yr ynys Werdd, teimlai eiddigedd rhag iddynt annghofio ei oruwch awdurdod ef arnynt. Croesodd i Iwerddon yn 1171, gyda byddin fawr. Ac fel yr oedd yn myned rhagddo trwy y wlad, ymgasglai y penaethiaid ato yn lluoedd i dalu gwarogaeth iddo. Cydnabu yr holl wlad ei awdurdod, heb iddo gael achos i daro ergyd. Wedi bod yno am haner blwyddyn, a gadael y rhan fwyaf o'r penaethiaid brodorol yn meddiant eu hetifeddiaethau, cyfranu peth tiroedd i'r gorchfygwyr Seisnig, a rhoi Hugh de Lacy yn ynad Iwerddon, dychwelodd i Loegr, wedi ychwanegu teyrnas newydd at ei lywodraeth. Trigodd llawer o'r gorchfygwyr yn mysg trigolion Leinster, ac ymledasant yn raddol trwy barthau eraill y wlad; ond cadwodd gwahaniaeth gwaed, iaith, ac arferion hwy ar wahan i raddau helaeth hyd heddyw.

Yr oedd Henry erbyn hyn wedi cyrhaedd eithafnod ei ogoniant;

yr oedd wedi eangu ei diriogaethau, wedi heddychu â'r eglwyswyr, ac yn brif deyrn ei oes; a diau ei fod yn dysgwyl llonyddwch bellach i fwynhau ffrwyth ei fuddugoliaethau pwysig. Ond buan y cododd y blinderau tostaf iddo yn mysg ei deulu ei hun. Yr oedd ganddo yn awr bedwar o feibion,—Henry, Richard, Geoffrey, a John; a'u hoedran yn ddeunaw, un ar bymtheg, pymtheg, a phum mlwydd. Yr oedd yn dad da a serchog, ac wedi gwneyd darpariadau mawrion ar gyfer ei blant. I Henry ei fab hynaf yr oedd Lloegr, Normandy, Anjou, Maine, a Touraine i fod yn etifeddiaeth; Guienne a Poictou i Richard; Llydaw i Geoffrey; ac Iwerddon i John. Yr oedd y tywysog Henry yn briod â merch Lewis, brenin Ffrainc, a chyffrodd ei dad yn nghyfraith ef i hawlio naill ai Lloegr neu Normandy gan ei dad ar unwaith. Gwrthododd ei dad ei gais, a ffodd yntau at Lewis. Cyffrowyd Richard a Geoffrey, gan eu mam (Eleanor) i fyned drosodd ar ol eu brawd, a'i gynorthwyo i godi gwrthryfel yn erbyn eu tad. Ffodd y frenines ei hun hefyd ymaith; ond daliwyd hi yn Normandy, wedi gwisgo mewn dillad gwryw, a charcharwyd hi am un flynedd ar bymtheg, hyd farwolaeth y brenin. Yr oedd trallod y brenin yn fawr, wrth weled ei holl deulu wedi codi mewn gwrthryfel yn ei erbyn. Ymunodd Lewis o Ffrainc, William brenin Ysgotland, yn nghydag amryw o'r baroniaid galluocaf yn Lloegr a Normandy, â'r gwrthryfelwyr; gwnaethant gynllun eang, a chyd-ymosodasant ar wahanol barthau o diriogaethau y brenin. Yr oedd agwedd bresenol pethau yn ddigon i ddigaloni dyn heb fod o'r mwyaf annghyffredin yn ei fedr a'i wroldeb. Ond nid oedd un dyn yn ei oes yn fwy abl i gyfarfod y cyfwng peryglus na Henry, brenin Lloegr. Yr oedd ganddo feddwl galluog, gweinidogion medrus, a chyfoeth ddigon, i gyfarfod y galw. Yn gyntaf oll apeiliodd at y pab, a chyhoeddodd hwnw esgymundod ar ei holl elynion. Arweiniodd ei fyddinoedd i wrthsefyll y terfysgwyr; ymladdodd ei wŷr yn ffyddlon a dewr, a chyda llwyddiant dieithriad, yn ngwahanol barthau ei lywodraeth. Gorchfygwyd byddinoedd lliosog Ysgotland yn mharthau gogleddol Lloegr, a chymerwyd y brenin yn garcharor. O'r diwedd anfonodd meibion Henry, gyda Lewis o Ffrainc, am amodau heddwch; ac wedi cytuno arnynt, cafwyd llonyddwch am amryw flynyddau. Bu Henry mor ddiwyd ag erioed yn y blynyddoedd hyn, yn gwellhau cyfreithiau, ac yn sefydlu iawn drefn a chyfiawnder yn y wlad. Yn 1183, cododd ymryson bygythiol rhwng dau fab hynaf y brenin, Henry a Richard, a chydag anhawsdra mawr y llwyddodd eu tad i'w heddychu. Yn fuan wedi hyn cymerwyd Henry ymaith gan dwymyn; teimlai yn edifeiriol iawn wrth farw; anfonodd at ei dad am faddeuant; parodd ei symud i wely o ludw, ac ar hwnw, wedi derbyn y sacrament, y bu farw. Parhaodd yr ymryson rhwng

meibion eraill y brenin; lladdwyd Geoffrey mewn rhith-gyrch (*tournament*) yn Paris, a thrwy hyny cafodd y brenin wared eilwaith o'r mwyaf terfysglyd o'i blant. Adnewyddodd Richard eilwaith derfysgoedd yn erbyn ei dad yn llys Ffrainc, ac yr oedd brenin Lloegr wedi cael gwrthwynebydd mwy peryglus ar orsedd Ffrainc yn awr, gan fod Lewis wedi marw, a Philip ei fab wedi dyfod yn frenin. Gwnaeth y ddau dywysog ieuanc hyn—Philip a Richard, rwygiadau mawrion yn nhiriogaethau Henry, a gorfu i'r olaf ganiatau llawer iddynt tuag at sefydlu heddwch. Yr oedd Henry yn gorwedd yn glaf ar ei wely tra y darllenid amodau y cytundeb iddo. Yn mysg yr amodau, yr oedd yn rhaid iddo faddeu i'w fab, ac i bawb a'i cynorthwyasant. Darllenwyd llechres yr enwau oeddent i dderbyn y maddeuant; a phan ddarllenwyd enw John, ei fab ieuangaf, ar ben rhes y gwrthryfelwyr, neidiodd y brenin i fyny, edrychodd yn wyllt o'i gwmpas, a dywedodd, "A ydyw yn wir fod John, mab fy nghalon, yr hwn a gerais yn fwy na hwynt oll, ac er mwyn yr hwn y tynais y gofidiau hyn am fy mhen, —a ydyw ef wedi fy mradychu!" Atebwyd ef yn gadarnhaol. "Wel bellach, ynte," ebai y brenin calon doredig, "eled pob peth fel yr elo, ni ofalaf mwy am danaf fy hunan, nac am y byd!" Dygodd ei ofid dwymyn arno, ac ymollyngodd ei ysbryd digysur dani. Yn chwerwder ei enaid melldithiodd y dydd ei ganed, a'r plant gwrthryfelgar a dynodd y fath drallodion arno. Bu farw, Gor. 6, 1189, yn nghastell Chinon, gerllaw Saumer, yn 57 mlwydd oed, ac wedi teyrnasu agos i 35ain o flynyddoedd. Tra yr oedd ei gorph yn aros ei gladdedigaeth yn eglwys Fontevrault, daeth Richard ei fab i'r eglwys, ac mor gynted ag y daeth i olwg y corph, dywedir iddo ddechreu gwaedu o'i ffroenau, yr hyn oedd arwydd sicr yn y dyddiau hyny mai efe oedd llofrudd ei dad. Cwympodd ger bron y corph, a chyfaddefodd, gydag edifeirwch rhy ddiweddar, ei anufudd-dod a'i wrthryfelgarwch, ac iddo ef fod yn achos i ddwyn ei dad i fedd anamserol.

Dyn o gorph canolig o ran maintioli oedd Henry II., ond cadarn, lluniaidd, a phrydweddol, a'i holl ymddygiad yn weddus ac enillgar. Mae un dosbarth o haneswyr yn edrych ar ei ddiffygion a'i feiau yn unig, ac yn rhoddi lliw du iawn i'w gymeriad, tra mae eraill yn mwyhau ei fawredd a'i rinweddau, ac yn ei ddangos "agos yn ddifrycheulyd." Mae ei wir gymeriad yn gorwedd rhwng y ddau. Yr oedd brychau lawer ar gymeriad Henry, er ei fod yn rhagori yn mhell ar ei dylwyth a'i gydoeswyr penadurol. Yn mysg ei feiau, gellir nodi ei ddibrisdod o'i air—ni phrisiai ddim am dori ei addewidion; ei anffyddlondeb i'w wely priodasol—cafodd ddau o feibion gordderch, William, a gyfenwid "Longsword," a Geoffrey, esgob Lincoln; a bu y "Brydweddol Rosamond" eu mam—am yr

hon y mae cymaint o draddodiadau poblogaidd, yn ordderch-wraig i Henry am lawer o flynyddoedd. Ceir hefyd ei fod ar brydiau yn nwyd-wyllt a dialgar, a bod ei awydd am lywodraeth bron yn ddiderfyn. Dywedai yn fynych nad oedd y byd hwn ond digon o etifeddiaeth i un dyn mawr. Ond er hyn, yr oedd yn deyrn galluocaf ei oes, a'i gymhwysderau lliosog yn hawlio lle yn nosbarth blaenaf penaduriaid y wlad hon. Yr oedd yn hoff o lyfrau, ac yn astudiwr mawr arnynt; yn un o'r dynion mwyaf gweithgar a llafurus; yn mynychu y gwasanaeth crefyddol bob dydd; a gwellhaodd amgylchiadau y wlad yn fawr dan ei lywodraeth. Ni fyddai un amser yn segur; a pha un bynag ai yn y cynghor eglwysig, neu uwch ben pwnc gwladyddol neu farnol, neu mewn dadl lenyddol, neu mewn chwareuyddiaeth, hela, neu heboca y ceid ef, byddai ei fedr yn hawlio y flaenoriaeth iddo. Safai ar ei draed o'r boreu hyd nos, oddieithr yr eisteddai i fwyta, ac nid oedd nemawr yn abl dal dan gymaint o galedwaith. Yr oedd yn dad hynod o ymlynol a serchog; ac y mae yr hanesyn canlynol yn glod nid bychan iddo. Un diwrnod syrthiodd Bertrand de Born i'w law. Hwn oedd prif gyfaill ei fab Henry (yr hwn oedd yn awr wedi marw), a phrif gynhyrfydd y gwrthryfel a godwyd gan ei feibion yn ei erbyn. Dygwyd ef o flaen y brenin i glywed ei ddedryd yn cael ei chyhoeddi. Yr oedd y brenin wedi clywed fod Bertrand yn arfer ymffrostio, na fu erioed mewn amgylchiad ag y bu raid iddo ddefnyddio haner ei synwyr *(wit)* tuag at wasanaethu ei hunan. Dywedodd y brenin ei fod yn awr mewn cyfyngder nad allai ei holl synwyr wneyd un gwasanaeth iddo. Cydnabyddodd Bertrand iddo wneyd yr ymffrost, a'i fod yn wir. "Wel, yr wyt wedi colli dy synwyr yn awr, mi debygwn," ebe y brenin. "Ydwyf, arglwydd," ebe Bertrand, yn wylofus, "collais fy mhwyll, fy synwyr, a'm holl ddoethineb, y diwrnod y syrthiodd y tywysog ieuanc dewr hwnw!" Tynodd y geiriau hyn wlychfa o ddagrau o lygaid y brenin, a bu agos iddo lewygu. Pan ddaeth ato ei hun, yr oedd ei lid yn erbyn Bertrand wedi cilio. "Syr Bertrand! Syr Bertrand!" ebe y brenin, "nid rhyfedd i ti golli dy synwyr pan gollaist fy mab, oblegyd yr oedd efe yn dy garu yn fwy na neb ar y ddaear; ac yr wyf finau, o gariad ato ef, yn rhoi dy fywyd, dy feddianau, a dy gastell i ti." Mae y fath serch at ei blentyn anufudd, a'r fath faddeugarwch at elyn mor ddichellgar, yn dyweyd llawer am nodweddiad Henry.

## VI.—RICHARD I. (Y DEWR GALON), 1189—1199.

GADAWODD Henry bump o blant cyfreithlon ar ei ol—dau fab, Richard a John, y rhai a'i dylynasant ef yn y freniniaeth, a thair merch; Maud, yr hon a briododd Henry, Duc Saxony; Eleanor, yr hon a briododd Alphonso, brenin Castile; a Joan, yr hon a briododd William, brenin Sicily.

Yr oedd Richard mor hyderus yn ei hawl i orsedd Lloegr, fel yr arosodd fwy na mis ar y Cyfandir ar ol claddu ei dad, cyn dyfod drosodd i gymeryd meddiant o'i awdurdod. Un o'r pethau cyntaf a wnaeth oedd anfon i ryddhau ei fam, y frenines Eleanor, o'i charchariad hirfaith, a rhoddodd iddi hithau yr awdurdod i ryddhau y carcharorion a fynai, a chymeryd gofal o'r trysor breninol hyd nes y delai ef drosodd. Ar y 3ydd o Fedi, 1189, coronwyd ef yn monachlog Westminster, gan Baldwin, archesgob Canterbury, gyda rhwysg anarferol. Cynwysai y llw a gymerodd ar ei goroniad—1. Y buasai, dros ei holl ddyddiau, yn dwyn heddwch, anrhydedd, a pharch i Dduw, a'r eglwys santaidd, a'i holl ordinhadau. 2. Y buasai yn gweinyddu uniondeb, cyfiawnder, a chyfraith, i bobl ei ofal. 3. Y buasai yn dileu cyfreithiau ac arferion drwg, os dygid y cyfryw i'w deyrnas; ac y buasai yn gosod cyfreithiau da mewn grym, ac yn eu cadw. Ar ol gwneyd y llw, tynodd ei ddillad uchaf oddiam dano, a rhoddodd sandalau aur ar ei draed, ac eneiniwyd ei ben, ei ysgwyddau, a'i fynwes ag olew santaidd; yna, wedi gwisgo ei ddillad, a'i holl arfogaeth, arweiniodd yr archesgob ef at yr allor, a thyngedodd ef yn enw yr Hollalluog Dduw, na chymerai yr awdurdod freninol os nad oedd yn bwriadu cadw yn ffyddlon y llw yr oedd yn awr wedi wneyd. Wedi iddo addunedu eilwaith, cymerodd Richard y goron oddiar yr allor â'i ddwylaw ei hun, er dangos ei fod yn derbyn yr awdurdod gan Dduw, a rhoddodd hi i'r archesgob i'w gosod ar ei ben.

Cymerodd dygwyddiad pwysig a gwaradwyddus le ar ddydd ei goroniad. Yr oedd yr Iuddewon dan erledigaeth, i raddau mwy neu lai, trwy holl Ewrop. Yr oedd brenin Ffrainc wedi gwahardd ei wlad iddynt, ond gwrthododd Henry, brenin Lloegr, wneyd hyny; yn hytrach, amddiffynodd hwynt, a chaniataodd freintiau deiliaid cyffredin iddynt. Er hyny, yr oedd teimlad cyffredin y wlad yn eu herbyn, a'u cyfoeth mawr, yn neillduol, yn eu gwneyd yn wrthddrychau dygasedd llawer o'r pendefigion. Y teimlad hwn, yn nglyn â rhyw syniadau ofergoelus, barodd i Richard wahardd Iuddewon a benywod i ddyfod i wyl ei goroniad. Yr Iuddewon hwythau, er mwyn cydnabod awdurdod y brenin newydd, a ddaethant yn nghyd gydag anrhegion mawrion i'w cyflwyno iddo, gan dybied y buasai hyny yn ddigon o reswm am eu presenoldeb. Ond ymosodwyd arnynt gan y bobl. Rhoddwyd y cri anwireddus allan fod y brenin wedi gorchymyn ymosod arnynt, ac ysbeilio eu tai, a dechreuwyd gwneyd hyny o ddifrif. Llofruddiwyd a mathrwyd hwy ar yr ystrydoedd. Torwyd i mewn i'w tai a'u siopau, a llofruddiwyd yr hen a'r ieuainc, y gwragedd a'r plant, yn y modd mwyaf barbaraidd, a dygwyd ymaith eu holl eiddo. Pan fethent wneyd eu ffordd i mewn, gosodent y tai ar dân, a llosgent y pres-

wylwyr yn fyw. Parhawyd i gyflawni y creulonderau erchyll y nos ganlynol yn ngoleuni tai llosgedig yr Iuddewon. Ymledodd yr ysbryd yma yn fuan i leoedd eraill hefyd, heblaw Llundain, a gwnaed ymosodiadau cyffelyb ar y trueiniaid diamddiffyn. Yn ninas York, ffodd pum cant o honynt am noddfa i'r castell; gwarchaewyd arnynt gan y terfysgwyr; a phan welsant nad allasent amddiffyn eu hunain yn hŵy, torasant yddfau eu gwragedd a'u plant, rhoddasant y lle ar dân, a buant feirw yn y fflamiau angerddol. Cymerodd boneddigion yr ardal, y rhai oeddent oll yn nyled yr Iuddewon, yr ysgrif-rwymiadau am eu dyledion, y rhai a gedwid yn yr eglwys gadeiriol, a gwnaethant danllwyth o honynt. Pan roddodd y brenin atalfa ar y creulonderau hyn, a gwneyd ymchwiliad ar yr achos, barnodd yn ddoethach peidio cario yr ymchwiliadau yn rhy bell, oblegyd fod rhai personau o bwys â llaw yn y peth; felly ni wnaeth ond cospi ychydig, a hysbysu ei fod ef o hyny allan yn cymeryd yr Iuddewon dan ei amddiffyniad.

Y pwnc mawr a lyncodd holl fryd Richard, wedi ei wneyd yn frenin, ydoedd y groes-ryfel i Jerusalem, i wrthwynebu Saladin brenin yr Aipht a Syria, ac i adfeddianu y Bedd Santaidd. Ymddangosai hyn yn llawer mwy pwysig iddo nag eistedd ar orsedd Lloegr. Nid am ei fod ef yn Gristion mor selog, ond oblegyd mai mewn buddugoliaethau ar yr anffyddwyr Mahometanaidd yr oedd clod yn y dyddiau hyny i'w gyrhaeddyd. Y gorchwyl cyntaf oedd ganddo i'w wneyd oedd casglu arian at y draul. Cafodd yn y coffrau breninol ar ol ei dad gan mil o farciau; a chymerodd lwybr ynfyd i chwyddo y swm hwnw. Rhoddodd faenoriaethau, cyllidau, a swyddi y goron ar werth i'r uchaf ei geiniog. Gwerthodd swydd prif ynad y deyrnas, yn llaw yr hwn yr oedd holl weinyddiad y gyfraith, i Hugh de Puzas, esgob Durham, am fil o farciau, ac iarllaeth Northumberland i'r un am fil o bunau. Gwerthodd warogaeth Ysgotland, ac amddiffynfeydd pwysig Roxburgh a Berwick—y rhai oeddent yn mysg caffaeliadau pwysicaf bywyd ei dad —am ddeng mil o farciau; a phan ddangosodd rai o'i weinidogion wrthwynebiad i'r llwybr ynfyd a gymerai, dywedodd y brenin y buasai yn gwerthu Llundain ei hunan, pe cawsai ryw un i'w phrynu.

Er mwyn gwneyd ei frawd John yn foddlon, a'i gadw yn llonydd yn ei absenoldeb, dangosodd haelfrydedd hyd at ffolineb tuag ato. Rhoddodd iddo Sir Mortaine yn Normandy, a thâl o bedair mil o farciau: cafodd etifeddiaeth eang Peverall, yr hon a fforffedwyd i'r goron; cafodd hefyd iarllaeth chwech o siroedd; a phriododd ef ag Avisa, etifeddes Iarll Caerloyw, i'r hwn y deuai holl etifeddiaeth y teulu cyfoethog hwnw. Gadawodd weinyddiad y llywodraeth yn nwylaw Hugh, esgob Durham, a Longchamp, esgob Ely, yr hwn oedd hefyd yn ganghellydd, ac yn genadwr y pab. Bellach yr oedd

yr holl drefniadau angenrheidiol wedi eu gwneyd, a Richard yn barod i gychwyn i'w daith beryglus.

Yn Mehefin, 1190, yr oedd gan Richard o Loegr a Philip o Ffrainc fyddin yn rhifo can mil o groes-ryfelwyr, wedi ymgasglu ar wastadedd Vezelay. Wedi hwylio i Fôr y Canoldir, gorfu iddynt droi i Messina yn Sicily, oblegyd gerwinder y tywydd; a chadwyd hwy yno dros y gauaf. Yr oedd Joan, chwaer Richard, yr hon a briododd William, brenin Sicily, yn awr wedi claddu ei gwr, a'i gadael yn weddw, ac un Tancred wedi traws-feddianu yr orsedd, ac wedi amddifadu Joan o'i hiawnderau a'i hetifeddiaeth. Cymerodd Richard y fantais ar y cyfleusdra presenol, ac aeth â rhan o'i fyddin i amddiffyn achos ei chwaer. Ar ol llawer o ymryson a mân-frwydrau, mynodd ei hetifeddiaeth yn ol iddi, a gorfododd Tancred i roddi symiau mawrion o arian, gwenith, haidd, a llongau, i'w gynorthwyo ef yn ei hynt i'r dwyrain. Bu Richard a Philip ar fin amrafaelio droion yn ystod eu harosiad yn Messina, ond trwy ymdrech, cadwyd y cyfeillgarwch heb dori. Yma y cyfarfyddodd Richard â'r foneddiges ieuanc, Berengaria, merch Sauchez, brenin Navarre, â'r hon y gwnaeth gytundeb priodas. Cychwynodd Philip a'i wŷr o Messina o flaen Richard; rhoddodd yntau Joan ei chwaer, a Berengaria, mewn llong eu hunain, a chychwynasant ar ol y Ffrancod tua Phalestina. Wedi hwylio hyd gyfer Cyprus, cawsant eu blino gan ystorm eilwaith, a thaflwyd rhai llestri ar draeth yr ynys hono. Groegiaid oedd yn byw yno, yn cael eu llywodraethu gan un Isaac, yr hwn a alwai ei hun yn ymerawdwr yr ynys. Ysbeiliwyd llongau y croes-ryfelwyr, a thaflwyd amryw o'r dwylaw a'r teithwyr i garchar. Pan ddeallodd Richard hyny, glaniodd yn yr ynys, a thalodd yn ddrud i Isaac a'i wŷr am eu creulondeb. Taflodd Isaac i garchar, a phan achwynodd hwnw ar y cadwynau haiarn trymion â pha rai y rhwymid ef, gorchymynodd y brenin wneuthur cadwyni arian yn eu lle i'w rwymo. Yna cymerodd Richard feddiant o'r ynys, gosododd rai o'i bobl ei hun i'w llywodraethu, priododd â Berengaria, a chymerodd ferch ieuanc brydweddol Isaac ymaith, a rhoddodd hi yn gydymaith i'w wraig ar ei thaith.

Cyrhaeddodd Richard a Philip o Ffrainc Palestina mewn pryd i roddi cymhorth pwysig i'r Cristionogion, a chael cyfran o'r clod, yn ngwarchae a darostyngiad Acre. Yr oedd Saladin a'r Saraceniaid wedi ei hamddiffyn am ddwy flynedd, ac wedi peri colledion dirfawr i'r Cristionogion yn Palestina. Yn mhen tua mis wedi dyfodiad Richard, rhoddodd y gwarchodwyr y ddinas i fyny, a chymerwyd dwy fil a phum cant o honynt yn wystlon hyd oni rydd-häai y *sultan* gynifer a hyny o garcharorion Cristionogol, a thalu swm mawr o arian. Dychwelodd brenin Ffrainc adref, yn llawn eiddigedd oblegyd y clod a enillai brenin Lloegr yno, gan gymeryd

arno fod ei iechyd yn pallu; ond gadawodd ddeng mil o'i fyddin, dan arweiniad Duc Burgundy, yn ngofal Richard. Gwrthododd y Tyrciaid gyduno â'r amodau, a dygodd Richard y gwystlon allan, a lladdodd hwynt oll yn ngolwg gwersyll y gelyn. Yna arweiniodd ei fyddin ar hyd y glanau tua Jaffa *(Joppa)*, a phenderfynodd warchae Ascalon. Daeth Saladin â thri chan mil o wŷr i'w cyfarfod, ac ymladdwyd yma un o'r brwydrau mwyaf dewr a chlodfawr; gorchfygwyd Saladin, a'r brenin Richard oedd prif wron y dydd. Cwympodd Ascalon yn fuan i ddwylaw y Cristionogion. Enillwyd buddugoliaethau eraill, a daeth byddin y croes-ryfelwyr i olwg Jerusalem. Ond erbyn hyn, rhwng fod cyflwr y fyddin Gristionogol mor wael, a chynen wedi codi yn mysg ei harweinwyr, barnwyd yn well peidio myned yn mhellach. Beth bynag, gwnaed cytundeb heddwch â'r Twrc am dair blynedd; ac wedi i'r pererinion dalu ymweliad â'r Ddinas Santaidd, prysurodd Richard a'i bobl i ddychwelyd adref, wedi bod eisoes un mis ar bymtheg o'i wlad. Barnodd yn well iddo ysgoi Ffrainc ar ei ffordd adref, a chyfeirio ei lwybr trwy Germany. Daliodd ystorm ef pan ar gyfer Aquileia, a chollwyd y llong; ond diangodd y teithwyr yn ddyogel. Cymerodd y brenin ddillad cyffredin am dano, gan feddwl croesi y Cyfandir yn ddirgelaidd; ond adnabuwyd ef mewn gwesty bychan gerllaw Vienna, a chymerodd Leopold, Duc Austria, ef i fyny yn garcharor. Bu y tywysog hwn yn gwasanaethu dano yn y gwarchae ar Acre, a chafodd ryw sarhad ganddo, a phenderfynodd gymeryd y cyfleusdra hwn i ddial arno. Pan glybu Henry, ymerawdwr Germany, yr hwn hefyd oedd yn elyn i Richard, oblegyd ei ymddygiadau yn Sicily ar ei ffordd tua'r dwyrain, anfonodd genadwr at Leopold i geisio y carcharor; ac wedi i'r ymerawdwr addaw talu swm o arian i'r duc am dano, cafodd ef. Felly yr ydym yn colli ein golwg am dro ar frenin Lloegr, yn nghanol ei enwogrwydd mwyaf, dan gadwyni heiyrn trymion, yn naeargell carchar, yn nghanol Germany. Gadawn ef yno am ychydig i gael cipolwg ar sefyllfa pethau yn Lloegr.

Mor gynted ag yr ymadawodd Richard ar ei daith tua'r dwyrain, cymerodd yr uchelfrydig Longchamp (Ffrancwr o enedigaeth isel, ac o nodweddiad ffyrnig,) ei gyd-swyddog o Durham, a thaflodd ef i garchar; dyosgodd ef o'i holl hawliau a'i awdurdod, a chymerodd y cwbl i'w law ei hun. Anfonwyd gwybodaeth o hyn ar ol y brenin, ac anfonodd yntau rybudd yn ol o Marseilles i ryddhau esgob Durham. Ond gwrthododd Longchamp wneyd hyny, dan yr esgus ei fod ef yn gwybod meddwl dirgelaidd y brenin. Arferai y trais, y gormes, a'r creulondeb mwyaf yn yr eglwys a'r wladwriaeth. Rhoddai y neb a fynai mewn swyddau, a diswyddai y neb a fynai, heb reswm nac ymgynghoriad. Dygai bymtheg cant o filwyr tramor i'w ganlyn, y rhai a ddifrodent y wlad; ac yr oedd ei holl

ymddygiad fel pe buasai ef ei hun yn benadur. Trwy i'r brenin gael ei gadw yn hŵy yn Ewrop nag y dysgwylid, aeth y pethau hyn i'w glustiau, ac anfonodd genadwri eilwaith yn penodi Walter, archesgob Rouen, a Marshall, Iarll Strigul, a thri eraill, i fod yn gynghorwyr i Longchamp, ac nad oedd i wneyd dim heb eu cymeradwyaeth. Ond y fath oedd dychryn Longchamp ar feddyliau y bobl, fel na feiddiai y pendefigion uchod wneyd gorchymyn y brenin yn hysbys iddo. Parhaodd i fyned yn mlaen gyda rhwysg ac awdurdod diderfyn, nes o'r diwedd iddo fyned mor bell a thaflu Geoffrey, archesgob York, i garchar, am iddo feiddo gwrthwynebu ei fesurau ef. Collodd y tywysog John ei amynedd gyda Longchamp bellach, pan welodd ei frawd yn cael ei daflu i garchar; galwodd gynghorfa gyffredinol gerllaw Reading, a gwysiwyd y canghellydd a'r prif ynad, Longchamp, ger ei bron, i roddi cyfrif am ei ymddygiadau. Gwrthododd yntau ufuddhau; ac wedi deall fod y teimlad mor fawr yn ei erbyn, cauodd arno ei hun yn Nhwr Llundain. Ond aeth John â byddin ar ei ol, a gorfu iddo adael ei noddfa yn ddirgel, a chroesi y môr wedi ymddyeithrio mewn dillad benyw; a gwnaed archesgob Rouen, yr hwn oedd ddyn cymedrol a chyfiawn, yn ganghellydd a phrif ynad y deyrnas. Ymroddodd Longchamp â'i holl egni, mewn undeb â brenin Ffrainc, i derfysgu llywodraeth Richard ar y Cyfandir ac yn Mhrydain. Ceisiwyd gan y pab i roddi Lloegr dan esgymundod—cyffroi pendefigion Ffrainc i ymosod ar Normandy, a hudo John i ymuno yn y gwrthryfel; ond ychydig fu y llwyddiant yn un o'r amcanion.

O'r diwedd cyrhaeddodd y newydd fod Richard yn garcharor yn Germany. Parodd lawenydd nid bychan i John ei frawd, a Philip o Ffrainc; ac anfonasant at yr ymerawdwr am iddo beidio ei ryddhau ar unrhyw delerau. Cynlluniodd Philip ymosodiad ar Normandy, ac arweiniodd John fyddin i Loegr. Cymerodd yr olaf gestyll Windsor a Wallingford, ac aeth yn mlaen i Lundain. Taenodd y newydd yno fod Richard wedi marw yn y carchar, a hawliai y goron; ond ni chredai y bobl ei dystiolaeth, a gwrthodasant ei gais gyda dirmyg; ac wedi iddo fethu yn ei amcan, enciliodd eilwaith i Ffrainc. Pan glybu pendefigion Lloegr am garchariad eu brenin, galwasant gynghor yn nghyd yn Rhydychain, Chwefror 28, 1193, a phenderfynwyd anfon abadau Broxley a Pont Robert i Germany i wybod sefyllfa y brenin. Yn y cyfamser yr oedd gwraig a chwaer Richard yn Rhufain yn eiriol drosto gyda'r pab, ac Eleanor ei fam yn anfon llythyrau brwd ar ei ran at yr un gwr. Cymerodd y pab blaid Richard, er mai araf iawn y symudwyd gyda'i achos. Dangosodd Henry o Germany lymder mawr tuag ato yn ystod ei garchariad. Dygodd ef o flaen cynghorfa Worms, a chyhuddodd ef yn

haerllug o lawer o bethau:—O uno â Tancred, traws-feddianydd Sicily; o droi arfau rhyfelwyr y groes yn erbyn ei berthynas Isaac, a darostwng Cyprus; o sarhau Duc Awstria o flaen Acre; o rwystro llwyddiant yr arfau Cristionogol trwy amrafaelion â brenin Ffrainc; o lofruddio Iarll Montferret; ac o wneyd heddwch â Saladin, a gadael Jerusalem yn nwylaw yr ymerawdwr Saracenaidd. Dywedodd Richard mewn atebiad, er fod ei sefyllfa yn ei ryddhau ef o rwymedigaeth i ateb ger bron unrhyw lys ond llys y Nefoedd, eto yr ymostyngai i amddiffyn ei gymeriad o flaen y gynulleidfa fawr hono. Dywedodd nad oedd ganddo un llaw yn nyrchafiad Tancred —i frenin, neu yn hytrach ormeswr Cyprus ei gyffroi trwy ymddygiadau o'r fath mwyaf annghared ig ac annghyfiawn—os ymddygodd yn anweddus mewn cyffroad byrbwyll tuag at Duc Awstria, ei fod wedi dyoddef llawn ddigon o gospedigaeth am hyny, a bod yn fwy gweddus i ddynion a unent â'u gilydd mewn achos mor gysegredig, faddeu troseddau dibwys i'w gilydd na dial gyda'r fath gynddaredd—fod ffeithiau amlwg eu hanes yn ddigon i brofi pa un ai ef neu frenin Ffrainc oedd yn teimlo fwyaf o sel dros ryddhau y Tir Santaidd—os nad oedd holl hanes ei fywyd yn ddigon i'w ryddhau ef o ymuno mewn llofruddiaeth isel a bradychus, mai ofer fuasai iddo yn awr geisio gwrthbrofi y cyhuddiad annghyfiawn—ac, er fod yn ddrwg ganddo oblegyd yr angenrheidrwydd, eto ei fod mor bell o deimlo cywilydd am yr heddwch a wnaeth â Saladin, fel yr oedd yn ymffrostio ynddo; a'i fod yn ei ystyried yn anrhydedd o'r mwyaf wedi iddo gael ei adael gan yr holl fyd, heb un cynorthwy ond cyfran fechan o'i fyddinoedd ei hun, iddo fÿnu y fath delerau oddiwrth Saladin, yr ymerawdwr mwyaf galluog a rhyfelgar a gynyrchodd y dwyrain erioed. Dangosodd, gydag hyawdledd anarferol, ymddygiad gwarthus Leopold a Henry tuag ato—ar ol ei holl orchestion, wedi aberthu trysorau a gwaed ei ddeiliaid ar ran achos cyffredin y byd Cristionogol, ei fod yn cael ei gymeryd i fyny ar ei ffordd adref gan dywysogion Cristionogol, ei daflu i garchar mewn cadwynau heiyrn, a'i drin fel dyn cyffredin, ac fel drwg-weithredwr. Gwnaeth ysbryd a hyawdledd Richard argraff ddwfn ar bawb, a gorfu i'r ymerawdwr ei ollwng yn rhydd, ond nid cyn iddo dalu can mil o farciau o bridwerth i'r ymerawdwr, a rhoddi triugain o wystlon iddo, a saith i Duc Awstria, am haner can mil o farciau ychwanegol. Codwyd y swm dirfawr yn Lloegr gyda pharodrwydd mawr, er i holl lestri yr eglwysi a'r monachdai gael eu cymeryd i'r perwyl, a'r wlad ei darostwng i dlodi dirfawr. Dygwyd hwy drosodd i'r Cyfandir gan y frenines Eleanor, ac esgob Rouen; a rhyddhawyd Richard ar y 4ydd o Chwefror, 1194, wedi bod yn garcharor am fwy na blwyddyn; a glaniodd yn Sandwich ar y 13eg o Fawrth. Pan glywodd Philip o Ffrainc am

ei ryddhad, ysgrifenodd at John, "Cymerwch ofal o honoch eich hun, mae y diafol wedi ei ollwng yn rhydd."

Derbyniwyd y brenin yn llawen gan ei ddeiliaid yn Lloegr, a rhoddodd yntau gyfleusdra iddynt i ddangos eu llawenydd, trwy fŷnu cael ei goroni eilwaith yn Winchester, er mwyn adsefydlu ei hun ar ei orsedd, a thynu ymaith waradwydd ei gaethiwed. Mae y gweddill o hanes Richard yn gynwysedig mewn darostwng gwrthnysigrwydd John ei frawd, ac ymladd mân frwydrau â brenin Ffrainc y tu arall i'r môr. Y dygwyddiad hynotaf yn hanes y brwydrau hyn oedd cymeriad esgob milwrol Beauvais, perthynas agos i frenin Ffrainc, yn garcharor gan Richard. Taflodd ef i garchar dan gadwynau heiyrn trymion; a phan anfonodd y pab ato am ollwng ei fab yn rhydd, anfonodd Richard ei lurig (*coat of mail*), yn llawn ysmotiau gwaedlyd, at y Tad o Rufain, gan ddywedyd, "Hon a gawsom; myn wybod yn awr ai siaced dy fab yw hi, ai nad e." O'r diwedd cytunwyd ar heddwch am bum mlynedd rhwng Richard a Philip. Yn fuan wedi hyny cafodd Vidomer, Iarll Limoges, deiliad i'r brenin, drysor yn ei diriogaethau; cynygiodd ran o hono i'r brenin, ond yntau, fel arglwydd tirol, a'i hawliai oll. Gwrthododd Vidomer, a gwarchaeodd Richard arno ef a'i wŷr yn ei gastell o'r herwydd. Yn y man ildiodd yr iarll y castell i fyny, gan syrthio ar drugaredd y brenin. Dywedodd yntau, gan ei fod wedi cymeryd y drafferth i ddyfod yno, y buasai yn cymeryd y castell trwy ruthr, ac yn crogi pob dyn oedd o'i fewn. A phan oedd ef a Marcadee, blaenor ei fyddin, yn cerdded o amgylch y castell i edrych ansawdd pethau, gollyngodd dyn o'r enw Bertram Gourdon saeth ato oddiar ragfur y castell, yr hon a'i harchollodd ef yn ei ysgwydd. Cymerodd y brenin y castell er hyny, a gorchymynodd grogi pawb oedd ynddo oddieithr Gourdon, gan feddwl cadw hwnw yn ddiau ar gyfer marwolaeth mwy creulon. Nid oedd yr archoll a gafodd Richard yn beryglus, ond trwy anfedrusrwydd y meddyg wrth dynu y saeth allan, trodd yn farwol. Pan welodd y brenin fod ei ddiwedd yn nesâu, gyrodd am Gourdon i ymddangos ger ei fron, a gofynodd iddo, "Yr adyn! beth a wnaethum i ti, i beri i ti gynyg am fy mywyd?" "Beth a wnaethost i mi?" ebe y carcharor yn ddigyffro; "lleddaist fy nhad a'm dau frawd â'th ddwylaw dy hun, a bwriedaist fy nghrogi inau. Yr wyf yn awr yn dy law, a gelli ddial arnaf gydag unrhyw greulonder ag a welot yn dda; ond dyoddefaf hyny yn dawel dan yr ystyriaeth fy mod wedi dy ladd di, ac wedi gwaredu y byd oddiwrth y fath ormeswr." "Ddyn ieuanc, yr wyf yn maddeu i ti," ebe Richard; "tynwch ei gadwynau oddiam dano, a rhoddwch gan swllt o wobr iddo." Ond cymerodd Marcadee y dyn eilwaith heb wybod i'r brenin, a blingodd ef yn fyw cyn ei grogi. Bu Richard farw Ebrill

6fed, 1199, yn y ddegfed flwyddyn o'i deyrnasiad, a'r ail a deugain o'i oedran, heb adael etifedd ar ei ol. Yn ei ewyllys gorchymynodd i'w galon gael ei dwyn i'w ddinas ffyddlon Rouen, i'w chladdu yn yr eglwys gadeiriol; ei ymysgaroedd, "y rhanau gwaelaf," i'w claddu yn mysg y Poictevins gwrthryfelgar; a'i gorph i gael ei gladdu wrth draed ei dad yn Fontevrault.

Dylesid nodi enw William Fitz-Osbert, a gyfenwid Hir-farf (*Long-beard)*, cyfreithiwr o Lundain, yr hwn a wnaeth ei hun yn dra phoblogaidd gyda'r bobl gyffredin yn y blynyddoedd olaf o deyrnasiad Richard, trwy amddiffyn eu hachos yn erbyn gormes y pendefigion. O'r diwedd llwyddwyd i'w ddal gan rai o'r dinasyddion cyfoethog, ac wedi dangos creulondeb mawr tuag ato, crogwyd ef yn Smithfield; a chymaint oedd parch y tlodion iddo, fel y torasant ei grogbren yn dameidiau mân i'w rhanu yn mysg eu gilydd.

Ychydig o glod mae enw Richard yn ei deilyngu. Yr oedd ei ddewrder personol, mae yn wir, yn ddigymhar, hyd y nod yn y dyddiau rhyfelgar hyny, yr hyn a enillodd iddo y cyfenw *dewr*, neu *llew-galon*. Yr oedd ynddo ychydig o duedd lenyddol; hoffai ddarllen, a medrai gyfansoddi barddoniaeth. Mae rhai darnau go dlysion o'i waith ar gael. Ac er ei holl ddiffygion, yr oedd teimlad gwell rhyngddo a'r Saeson nag un o'i rag-flaenoriaid Normanaidd. Ond, er y cyfan, ni fu ei deyrnasiad ond anfantais a cholled i'r wlad. Ni threuliodd ond ychydig fisoedd yn Lloegr o ddydd ei goroniad hyd ddydd ei farwolaeth, a suddodd y wlad i dlodi a dyryswch trwy y trethi gorthrymus a direswm a gododd ynddi. Yr oedd ei falchder, a'i wroldeb byrbwyll a chreulon, wedi gwneyd ei enw yn ddychryn trwy holl Ewrop. Dywedir fod mamau Mahometanaidd yn y dwyrain, ar ol gwrhydri Richard yno yn rhyfeloedd y groes, yn arfer tawelu eu plant anhywaith trwy ddweyd, "Wel, fe ddaw y brenin Richard i fyned â chwi ymaith!" A phan fyddai ceffyl yn gwylltu, byddai ei farchogwr yn dweyd, "Beth, a wyt yn meddwl fod y brenin Richard yn y llwyn?" Mae hanesyn arall am y brenin sydd yn taflu goleuni ar ei nodweddiad, yn gystal ag ar eiddo penaethiaid eglwysig y dyddiau hyny. Pan gynghorai un o bregethwyr hyf a selog rhyfeloedd y groes ef i adael ei falchder, ei drachwant, a'i loddest, y rhai oeddent, meddai, ei dair merch anwylaf: "Mae eich cynghor yn dda," ebe Richard; "ac yr wyf finau, ynte, yn rhoddi y gyntaf o honynt i'r Temlyddion (*Templars*), yr ail i'r Benedictiaid, a'r drydedd i'r esgobion."

## VII.—JOHN, 1199—1216.

ETIFEDD cyfreithlon gorsedd Lloegr ar ol Richard oedd Arthur, Duc Llydaw, mab Geoffrey, brawd hynach na John. Arwyddodd Richard droion mai iddo ef yr oedd y goron i ddisgyn. Ond haerai John i'r brenin wneyd ewyllys cyn marw yn gwadu hawliau Arthur, ac yn gadael y llywodraeth iddo ef. Yr oedd John, mab ieuangaf Henry II., yn awr yn ddeuddeg ar ugain oed, ac yn ddyn hoyw a nerthol; ond yn cael ei gasâu gan y lliaws o bob tu i'r môr. Nid oedd Arthur ond deuddeg oed, ac felly yn rhy ieuanc i wneyd dim dros ei achos ei hun. Mor gynted ag y bu farw Richard, cyhoeddodd yr holl daleithiau perthynol i Loegr ar y Cyfandir, oddieithr Normandy, o blaid Arthur, a chefnogwyd hwy gan Philip o Ffrainc. Yr oedd lliaws yn Lloegr hefyd yn barod i wneuthur yr un peth. Yn y cyfamser cymerodd John feddiant diwrthwynebiad o Dduciaeth Normandy, a chroesodd i Lundain. Coronwyd ef yn Westminster, Mai 27, 1199, gan archesgob Canterbury, ac aeth drosodd i'r Cyfandir i wrthwynebu brenin Ffrainc, a darostwng cefnogwyr Arthur. Yn ngwanwyn y flwyddyn ganlynol, ar ol cryn ymryson, gwnaed heddwch rhwng John a Philip, un o amodau yr hwn, fel y dywedir, oedd, os byddai brenin Lloegr farw yn ddiblant, fod brenin Ffrainc i gael ei holl diriogaethau ar y Cyfandir; ac felly cytunwyd difeddianu Arthur o'i holl etifeddiaeth. Yn ei ymdaith y tro hwn tarawodd John wrth Isabella, merch landeg Iarll Angouleme, yr hon oedd eisoes wedi ei dyweddio i Iarll de la Marche, a chwenychodd hi. Mynodd ysgar rhyngddo a'i wraig Avisa, merch Iarll Caerloyw, a phriododd ag Isabella, yr hyn a ddygodd ddrwg am ei ben oddiwrth y pab, ac oddiwrth la Marche a'i gyfeillion.

Arthur, Duc Llydaw. Mab trallod oedd Duc Llydaw o'i febyd i'w fedd. Gadawyd ei fam yn weddw, a thraws-feddianwyd llawer o'i etifeddiaeth, fisoedd cyn ei eni. Er hyny yr oedd y Prydeiniaid yn Nghymru a Llydaw yn dysgwyl ac yn prophwydo cyfnod newydd yn eu hanes yn nglŷn â'r tywysog hwn, a dywedir mai hyny barodd iddo gael ei enwi Arthur. Er i Philip o Ffrainc gymeryd arno amddiffyn ei berson a'i hawliau, ni chafodd ond noddwr bradwrus yn y penaeth trahaus-falch hwnw; a bu o flwyddyn i flwyddyn yn bel chwareu rhwng breninoedd Lloegr a Ffrainc, ac mewn helbulon a dychryn oddiwrthynt. Cafodd Arthur ddeall mai holl amcan Philip oedd ei ddefnyddio yn offeryn i gyrhaedd ei amcanion ei hun. Cynorthwyodd ef, mae yn wir, i adfeddianu cyfran o'i etifeddiaeth y tu arall i'r môr, dyweddiodd ei ferch iddo, a chyffrodd ef i godi yn erbyn ei ewythr o Loegr, a chymeryd meddiant o diriogaethau cyfiawn ei dad, tra fyddai yntau

yn ymosod ar Normandy. Yr oedd Arthur yn awr yn 15eg oed, ac yn amddifad o dad a mam; cododd ei faner, ac anrhegwyd ef gan y Llydawiaid â phum cant o farchogion, a phedair mil o draedfilwyr; cafodd beth gwŷr gan Touraine a Poictou; ond ni ddaeth yr hyn a ddysgwyliai oddiwrth Philip. Arweiniodd y llanc anmhrofedig ei fyddin, a chymerodd Mirabeau, gan feddwl cymeryd Eleanor, ei famgu, yr hon a gadwai y ddinas, yn garcharor; ond daeth John arno yn ddisymwth gyda byddin nerthol, a chymerwyd ef a'i holl bendefigion yn garcharorion. Rhwymwyd y pendefigion hyn mewn cadwyni heiyrn, a thaflwyd hwy gyda'r dirmyg a'r creulondeb mwyaf i ddaear-gelloedd yn Normandy a Lloegr. Dywedir i ddau ar ugain o honynt gael eu newynu i farwolaeth yn nghastell Corfe, yn y wlad hon. Taflwyd Arthur yn garcharor i gastell Falaise. Ymwelodd John ag ef yno, a cheisiodd ganddo dori i fyny ei gysylltiad â brenin Ffrainc. Ond safodd y duc ieuanc yn dŷn dros ei iawnderau, a hawliai nid yn unig y tiriogaethau a adawyd iddo ar y Cyfandir gan ei rieni, ond hefyd goron a llywodraeth Lloegr. Gwelodd y brenin fod yn y gwr ieuanc ysbryd peryglus, a barnodd y buasai yn well ei symud oddiar ei ffordd. Symudodd ef i gastell Rouen, ac ni welwyd ef byth mwy.

I'r duc gael ei lofruddio sydd bwnc diddadl, ond y mae y dull y cyflawnwyd y weithred yn cael ei adrodd mewn gwahanol ffyrdd gan haneswyr. Ymddengys mai yr hanes mwyaf tebygol yw yr un a ganlyn:—Ceisiodd y brenin yn gyntaf gan William de Bray, un o'i weision, i wneyd diwedd o'r llanc yn nghastell Falaise, ond gwrthododd hwnw, gan ddweyd mai boneddwr ac nid crogwr ydoedd ef. Wedi hyny ymddiriedodd y brenin y gorchwyl o dynu ei lygaid, medd rhai, ei ladd, medd eraill, i ofal Hubert,* ei ystafellydd, a cheidwad y castell. Gorchfygwyd hwnw gan erfyniadau taerion y llanc, gyrodd y cudd-lofrudd ymaith, a chymerodd arno ei hun gyflawni y gorchwyl. Rhoddodd y gair allan fod Arthur wedi marw, a chyflawnodd yn gyhoeddus holl ddefod y claddedigaeth. Ond pan welodd y cyffro peryglus a barodd y newydd hwn yn mysg pendefigion Llydaw, a'u bod yn benderfynol i ddial llofruddiaeth eu duc, datguddiodd y dirgelwch, a rhoddodd hysbysrwydd fod y duc yn fyw, a than ei ofal. Tawelodd hyn y Llydawiaid, ond cynddeiriogodd y brenin. Parodd i Arthur gael ei symud oddiwrth Hubert, yn Falaise, i gastell Rouen; aeth ef a Peter Maulac, ei yswain, tua'r castell mewn bad ganol nos, a gorchymynodd ddwyn Arthur ger ei fron. Deffrowyd y llanc o'i gwsg, a deallodd wrth yr amser o'r nos, ac wrth wedd ddigofus ei ewythr, fod drwg wedi

*Yn y *drama* ar y "Brenin John," gan Shakspeare, gosodir allan y brenin yn datguddio ei gyfrinach i Hubert, ac erfyniadau llwyddianus Arthur ger bron Hubert am gael cadw ei lygaid, yn alluog ac effeithiol iawn.

ei fwriadu yn ei erbyn, a chwympodd ar ei liniau o'i flaen, gan ddeisyfu maddeuant. Ni wnaeth y brenin yr un sylw o'i gais, ond rhoddodd awgrym i Peter i'w lofruddio; ond yr oedd hwnw wedi ei orchfygu gan erfyniadau y duc ieuanc. Cydiodd y brenin creulon ag un llaw yn ngwallt ei nai amddifad, a gwanodd ef trwy ei galon â'r dagr oedd yn y llaw arall; yna cylymwyd ceryg wrth y corph gwaedlyd, a thaflwyd ef i'r afon Seine. Taflodd y brenin Eleanor, chwaer Arthur, yn garcharor i gastell Caerodor, lle y caethiwyd hi dros ystod bywyd o ddeugain mlynedd.

Cynyrchodd yr ysgelerder hwn deimlad cyffredinol yn erbyn John; cynddeiriogodd y Llydawiaid, ac ymunasant â brenin Ffrainc i wrthryfela yn ei erbyn. A phan wysiwyd ef i ymddangos o flaen cynghorfa i roddi cyfrif am lofruddiad Arthur, gwrthododd ufudd-hau, a chyhoeddwyd ef yn euog o farwolaeth, a'i fod wedi fforffedu ei holl diriogaethau yn Ffrainc. Prysurodd Philip i roddi y ddedryd mewn gweithrediad; arweiniodd ei fyddinoedd, gan ddarostwng tiriogaethau John agos yn ddiwrthwynebiad. Treuliai yntau ei amser mewn crechwen a gloddest yn Rouen, fel pe buasai ei holl lywodraeth yn y tawelwch a'r llwyddiant mwyaf. Ac os soniai am ryfel, dywedai yn ymffrostgar, "Gadewch i'r Ffrancod fyned yn mlaen, enillaf fi yn ol mewn diwrnod yr oll a gymerant hwy mewn blynyddau." Ond yr oedd ei ogoniant ef druan wedi cyrhaedd ei eithafnod, a'i awdurdod a'i feddiant yn prysur ddiflanu. Aeth yn wrthddrych dirmyg ei bobl ei hun, ac nid oedd ond ynfydrwydd iddo gynyg gwrthsefyll goresgyniad ei diriogaethau gan arfau Ffrainc. Apeliodd John o'r diwedd at y pab Innocent III., yr hwn a gymerodd ei blaid, ac anfonodd at Philip i wahardd iddo fyned rhagddo yn mhellach, a'i gynghori i wneyd heddwch â brenin Lloegr. Ond nid oedd y genadwri Rufeinig yn gymeradwy gan frenin a baroniaid Ffrainc y tro hwn, a throisant glust fyddar arni. Yn fuan collodd John bob gafael ar y Cyfandir, oddieithr Guienne ac ychydig o gestyll. Unwyd Normandy â gorsedd Ffrainc, wedi bod ar wahan am agos tri chan mlynedd; gwnaed yr un peth hefyd â Llydaw, Anjou, Maine, Touraine, a Poictou. A thrwy aflerwch ac ynfydrwydd y brenin diwerth John, ac ymroddiad dewr ac amserol yr uchelfrydig Philip, collodd Lloegr, ac enillodd Ffrainc, gymaint tiriogaethau gwerthfawr mewn can lleied o amser.

Yn 1207, wedi gwneyd heddwch â Ffrainc am ddwy flynedd, dechreuodd John anffodus amrafael â'r pab, yn nghylch yr awdurdod i ddewis esgobion. Wedi marw Hubert, archesgob Canterbury, ymgymerodd rhai mynachod â dewis Reignald, is-abad, yn swyddog yn ei le, a'i anfon yn ddirgelaidd i Rufain i dderbyn ei awdurdod. Tra yr oedd hwnw ar ei daith, mynodd y brenin ddewis John Gray i'r un swydd, ac aeth yntau ar ol Reignald tua

Rhufain i'r un pwrpas. Cymerodd y pab y fantais ar yr amgylchiad hwn i ddangos ei awdurdod; gwrthododd y ddau, a phenododd Stephan Langton, Sais o waedoliaeth, ond oedd y pryd hwnw yn ganghellydd Paris, i dderbyn yr anrhydedd. Cyffrodd y brenin, a gyrodd ei farchogion i ddiswyddo mynachod Canterbury, a gwahardd y deyrnas iddynt, ac atafaelodd eu meddianau. Ceisiodd y pab ganddo ymostwng, a rhoddi iawn am y sarhad a'r golled; ond beiddiodd John ei awdurdod, a dechreuodd amrafael pwysig rhwng "un o'r esgobion galluocaf a wisgodd y goron Babaidd ag un o'r breninoedd gwaelaf a ddiraddiodd orsedd Lloegr erioed." Gwyddai y pab nad oedd John ar delerau da â'i ddeiliaid ei hun, a chymerodd fesurau llymion tuag ato. Anfonodd dri o esgobion ato, i fygwth rhoi y deyrnas dan waharddiad (*interdict*—gwaharddiad i gyflawni defodau crefyddol) os nad ymostyngai. Ymgynddeiriogodd y brenin wrth y bygythiad, a thyngodd ei lw arferol ("myn danedd Duw") y buasai yn gyru yr holl eglwyswyr i Rufain, ac yn atafaelu eu meddianau, os cynygient roddi y deyrnas dan waharddiad; ac os caid neb o honynt wedi aros yn y wlad, y buasai yn tori ei drwyn a'i glustiau ymaith. Cyflawnodd y pab ei fygythiad, a rhoddwyd y deyrnas dan waharddiad, Mawrth, 1208. Cauwyd yr eglwysi i fyny; ni roddid claddedigaeth Cristionogol i neb, ond teflid cyrph y meirw i byllau a ffosydd, oblegyd na oddefid eu claddu mewn tir cysegredig. Ni chyflawnid un math o wasanaeth crefyddol, oddieithr bedyddio babanod, a rhoi swper yr Arglwydd i ddynion wrth farw. Parhaodd pethau yn yr agwedd bruddaidd a dyeithr hon am flwyddyn. Dangosodd y brenin y llymder tostaf tuag at y rhai a ufuddhasant i'r gwaharddiad. Dywedir iddo hefyd anfon cenadau at dywysog Morocco, a chynyg gwarogaeth yr orsedd iddo, a derbyn y grefydd Fahometanaidd: ond gwrthododd y Mahometaniad ef gyda dirmyg. Y pryd hwn hefyd y gwnaeth y brenin ymosodiadau olynol ar y Gwyddelod, yr Ysgotiaid, a'r Cymry. Dylynodd yr olaf hyd fynyddoedd Eryri, ond gorfu iddo ef, fel ei rag-flaenoriaid, encilio gyda cholled; ond mynodd wyth ar ugain o bendefigion ieuainc yn wystlon am heddwch y Cymry rhagllaw. Tywalltai y brenin ei ffyrnigrwydd yn erbyn y pab yn gafodydd ar ben ei ddeiliaid. Gosodai y dirwyon mwyaf direswm am yr esgusodion gwaelaf. Gorfodai Iarlles Warwick i dalu mil o bunau am ryddid i aros yn weddw. Gosododd ar Iuddew yn Nghaerodor i dalu deng mil o farciau; a phan oedd hwnw yn gwrthod, gorchymynodd dynu dant bob dydd iddo hyd nes y talai; collodd y gwr saith o'i ddanedd, ac wedi hyny talodd y swm. Un diwrnod cyn boreufwyd, gorchymynodd grogi yr wyth ar ugain o bendefigion ieuainc Cymry oeddent yn wystlon yn ei law.

Wrth weled ystyfnigrwydd John, penderfynodd y pab lymhau ei

fesurau tuag ato; a chafodd gymhellion lawer i ymyryd oddiwrth ddeiliaid gorthrymedig y brenin. Yn 1213, cyhoeddodd esgymundod ar frenin Lloegr, yr hyn a gynwysai ryddid i'w ddeiliaid godi yn ei erbyn, ac i unrhyw frenin Cristionogol i'w ddiorseddu. Yr oedd yn llawen gan frenin Ffrainc gael y fath esgus i godi yn erbyn John. Darparodd fyddin fawr i'r pwrpas; a darparodd John fyddin o driugain mil y tu yma i'r môr i'w wrthwynebu. Yr oedd yma ddigon o deimlad gwrthwynebol i Philip; ond nid oedd gan y fyddin Seisnig ffydd yn yr ymgymeriad, nac ymddiried yn ei brenin. Deallodd Pandolf, cenadwr y pab, sefyllfa brenin Lloegr, a daeth drosodd o flaen byddin Ffrainc, i geisio penderfynu y cweryl ar ryw amodau. Cadwyd cynghor i'r perwyl yn Dover; gwnaeth Pandolf ei oreu i ddychrynu y brenin, trwy ddyweyd fod galluoedd a darpariadau Ffrainc yn llawer mwy nag oeddent, er mwyn cael ganddo ymostwng; a llwyddodd yn ei amcan. John, yn debyg iddo ei hun, a addawodd ymostwng i awdurdod y pab, a dal ei deyrnas fel deiliad iddo—cydnabod Langton yn archesgob—adferu y clerigwyr a'r lleygwyr alltudiedig—dychwelyd eu meddianau iddynt—rhoddi iawn iddynt am bob colled, a thalu £8000 y pryd hwnw fel rhan o hyny. Rhoddodd ei goron i fyny i Pandolf, a derbyniodd hi eilwaith o'i law, fel arwydd ei fod yn derbyn y deyrnas gan y pab; ac wedi iddo dyngu ar ei liniau o flaen Pandolf y cadwai holl orchymynion y pab, tynwyd ymaith yr esgymundod (ond arosodd y gwaharddiad) ac aeth y llys-genadwr Pabaidd drosodd i Ffrainc i atal Philip a'i fyddinoedd i ddyfod drosodd, gan fod John bellach wedi ymostwng, ac o dan amddiffyn y pab. Cyffrodd cenadwri Pandolf Philip i ddigofaint; dywedodd iddo ymgymeryd â'r gorchwyl ar gais y pab, ei fod wedi gwario triugain mil o bunau eisoes, ac yn awr yn cael ei rwystro pan oedd buddugoliaeth yn sicr; a bod yr holl golled i ddisgyn arno ef, a'r holl fantais i fyned i Innocent. Yr oedd hefyd wedi cael addewid "am faddeuant o'i holl bechodau" gan y pab, os diorseddai y brenin John. Felly, cymhellodd Philip ei faroniaid i fyned rhagddynt yn eu hamcan, yn ddiystyr o orchymyn Pandolf. Gwrthododd Ferrand, Iarll Flanders, yr hwn oedd gyfaill dirgelaidd i John, ac ymadawodd ef a'i fyddin. Digiodd y brenin wrth yr iarll, ac, er mwyn dial arno, arweiniodd ei fyddin tua Flanders, i ddarostwng a thraws-feddianu y wlad hono. Anfonodd Ferrand at John am gynorthwy. Yr oedd llynges John yn gorwedd yn barod yn mhorthladd Portsmouth. Hwyliodd pum cant o longau allan yn ddioed, dan arweiniad William, Iarll Holland, a Longspear, Iarll Salisbury, yn cynwys gallu o saith cant o farchogion, a byddin gref o draed-filwyr. Daethant i gyffyrddiad â llynges Ffrainc, yr hon oedd dri chymaint ag eiddo Lloegr, yn angori gyferbyn a phorthladd Bruges. Gwnaethant ymosodiad disymwth,

ac enillasant fuddugoliaeth hollol. Cymerwyd tri chant o longau y Ffrancod, a rhoddwyd cant arall ar dân. Rhoddodd Philip dân yn y lleill, rhag iddynt syrthio i ddwylaw ei elynion, ac felly amddifadodd ei hun o allu i gario ei ymgyrch yn mhellach. Hon oedd y frwydr gyntaf rhwng llyngesoedd Lloegr a Ffrainc, yn yr hon y llwyr ddinystriwyd yr olaf.

Yn ngorfoledd y fuddugoliaeth hon yr oedd yn rhaid i John groesi i'r Cyfandir i geisio adfeddianu peth o'i diriogaethau colledig; ond gwrthododd ei faroniaid ei ganlyn. Mynai ddial ar ei holl bendefigion o herwydd eu hanufudd-dod, ond fel yr ataliwyd ef gan archesgob Canterbury. Pan symudwyd yr esgymundod, dychweledd yr holl glerigwyr alltudiedig i Loegr, yn cael eu blaenori gan yr archesgob Langton. Aeth y brenin i'w cyfarfod, syrthiodd i lawr wrth eu traed, ac erfyniodd gyda dagrau am eu bendith arno ef a'i deyrnas. Parodd Langton i John eto i dyngu llw o ufudd-dod i esgobaeth Rhufain, caru, cynal, ac amddiffyn yr eglwys a'r clerigwyr, a gweinyddu cyfiawnder i'r bobl, ac adferu iddynt gyfreithiau St. Edward. Yr oedd dedryd y gwaharddiad heb gael ei galw yn ol eto, oblegyd nad oedd iawn cyflawn wedi ei dalu. Yr oedd y swm a ofynid gan y clerigwyr yn aruthrol. O'r diwedd cynygiodd John y swm o gan mil o farciau; ond gwrthodai y clerigwyr gyda dirmyg. Beth bynag, wrth weled y brenin mor ymostyngar i'w awdurdod, caniataodd y pab iddo gael myned yn rhydd wrth dalu deugain mil. Yna, yn Mehefin, 1214, symudwyd y gwaharddiad, ar ol iddo fod ar y deyrnas am fwy na chwe' blynedd.

Yr oedd taeogrwydd a gormes John wedi hen fagu drwg rhyngddo a'i faroniaid; ac yr oedd y diraddiad a'r gwarth a dynai arno ei hun yn ei holl symudiadau yn cynyddu casineb ei bendefigion tuag ato. Teimlent yn fwy fwy anewyllysgar i ufuddhau iddo, ac elai ei awdurdod a'i ormes yn fwy annyoddefol; ac o'r diwedd penderfynasant droi arno, a hawlio eu hiawnderau. Cawsant arweinydd a chefnogydd craff a galluog yn Langton. Dygodd y gwr hwn freinlen o eiddo Henry I. at ychydig o faroniaid mewn cyfarfod neillduol yn Llundain, dangosodd fod ei chynwys yn cyfarfod â'u hachwynion hwy, ac y dylasent fynu eu breintiau gan y brenin. Tyngodd y baroniaid hyny y buasent yn colli eu bywydau cyn y buasent heb y fath iawnderau rhesymol. Ymledodd yr un teimlad dros y wlad. Galwodd Langton gyfarfod lliosocach yn nghyd yn Bury St. Edmund, ar ddydd gwyl y sant hwnw, a chyffrodd y pendefigion yn fwy eto i wrthwynebu gormes ynfyd y brenin, a gwneyd iddo ganiatau cyfiawnder a rhyddid i'r bobl. Tyngodd pawb gyda'r unfrydedd mwyaf gydweithrediad a ffyddlondeb yn y symudiad hwn; ac ar y 6fed o Ion. 1215, ymgynullasant yn Llundain i osod yr achos o flaen y brenin. Dychrynodd John wrth weled sel ac

unfrydedd y pendefigion, a dymunodd am gael o hyny i'r pasg o amser i ystyried y peth, ac y cawsent atebiad cyflawn ganddo y pryd hwnw. Caniatawyd hyny iddo, ac ymadawyd yn heddychlon. Yn y cyfamser ymroddodd y brenin â'i holl egni i amddiffyn ei hunan. Caniataodd rai breintiau ychwanegol i'r eglwyswyr, cymerodd arwydd y groes, ac addawodd arwain byddin o ryfelwyr y groes i'r dwyrain, ac anfonodd genad i Rufain i geisio gan y pab gymeryd ei blaid yn erbyn y baroniaid. Anfonodd y baroniaid hwythau genad i Rufain i'r un pwrpas. Ond cymerodd Innocent blaid y brenin, ac anfonodd at y baroniaid i wahardd eu gwrthryfel. Ond yr oedd cyfiawnder eu hachos, a brydaniaeth eu teimlad, yn gorbwyso awdurdod y pab, a phenderfynasant fyned yn mlaen.

Ar yr amser apwyntiedig ymgynullasant gyda rhwysg milwrol yn Stamford; cynwysent ddwy fil o farchogion, heblaw tyrfa anferth o ganlynwyr. Aethant yn eu blaen tua Rhydychain, lle yr oedd y brenin; ond daeth cenadau oddiwrth y brenin—Langton, a Ieirll Penfro a Warenne—i'w cyfarfod yn Brackley. Cyflwynodd y baroniaid eu hysgrif iddynt, yr hon a gynwysai brif erthyglau eu cais. "Dyma ein hawliau," meddent; "ac os na chaniateir hwynt ar unwaith, caiff ein harfau fynu cyfiawnder i ni." Dygwyd yr ysgrif at y brenin, ac eglurodd Langton ei chynwysiad iddo. Atebodd y brenin yn gyffrous, "Paham na hawlient fy nghoron hefyd?" a thyngodd ei lw cableddus arferol, "na chaniatäai ryddid iddynt a'i gwnelai ef ei hunan yn gaeth." Wedi llawer o siarad gan y brenin a Pandolf o un ochr, a Langton o'r ochr arall, cynygodd y brenin adael yr holl achos i'w derfynu gan y pab, ac wyth o bersonau wedi eu dewis ganddo ef a'r baroniaid. Gwrthododd y baroniaid yn ddiysgog, a chyhoeddasant eu hunain yn "fyddin Duw a'r eglwys santaidd," a dewiswyd Robert Fitz-Walter yn gadfridog. Gwarchaeasant Northampton; ond yn mhen pymtheg niwrnod codasant y gwarchae, a chymerasant Bedford yn ddiwrthwynebiad. Yno daeth cenadau i'w cymhell i Lundain; prysurasant hwythau tuag yno, a chyrhaeddasant y brif ddinas boreu Sabbath, Mai 24. Cawsant borth Aldgate yn agored o'u blaen, aethant i mewn yn drefnus a dystaw, a chymerasant y lle heb un gwrthwynebiad. Dranoeth rhoddwyd cyhoeddiad allan yn galw ar bawb i ymuno â hwy o blaid cyfiawnder a rhyddid, ac y byddai pawb a gadwent ymaith yn profi eu hunain yn elynion eu gwlad. Ymgynullodd yr holl bendefigion atynt o bob parth o'r deyrnas. Digalonodd y brenin wrth weled ei ddeiliaid yn troi mor unfrydol yn ei erbyn, ac addawodd ganiatau iddynt yr hyn a ofynent, a cheisiodd ganddynt hwy enwi y diwrnod a'r lle i gyfarfod. Penodwyd ar y 15fed o Fehefin i gyfarfod yn Runnymead, maes agored ar lan y Thames, rhwng Staines a Windsor. Pan ddaeth y diwrnod, wele y

brenin, Pandolf, cenadwr y pab, wyth o esgobion, a phymtheg o faroniaid a marchogion, yn dyfod tua'r lle o Windsor; a holl bendefigion Lloegr, yn cael eu blaenori gan Fitz-Walter, yn dyfod i'w cyfarfod o Staines. Sefydlodd y ddwy blaid gyferbyn a'u gilydd, fel pe buasent yn darparu ymosodiad. Wedi bod yno yn ymgynghori am ran o bedwar diwrnod, ar y 19eg rhoddodd y brenin ei enw a'i sel wrth y freinlen, heb gyfnewidiad nac amod. Dyma y "MAGNA CHARTA," neu y FREINLEN FAWR—dechreuad a sylfaen rhyddid ein gwlad, yr hon y bydd ei hawdwyr, ei chefnogwyr, a'i chynwys, mewn coffa bendigedig tra parhao yr ymerodraeth Brydeinig.

Cynwysai y freinlen tua 63 o erthyglau, yn Lladin, wedi eu hysgrifenu yn y modd mwyaf syml, eglur, ac awdurdodol, y rhai oeddent yn dal cysylltiad â'r brenin, y baroniaid, a'r bobl gyffredin. Yn mysg pethau eraill, gofynai un pwysau a mesur trwy yr holl deyrnas—rhyddid i'r neb a fynai i fyned allan o'r deyrnas, a dychwelyd wrth ei ewyllys—rhyddid i ddyn tlawd roddi cyfraith ar ddyn cyfoethog—fod llys cyfiawnder i fod yn sefydlog, ac nid i ganlyn person y brenin—nad oedd neb i gael ei brofi heb reithwyr—fod hawl gan bob dyn i roddi ei feddianau mewn ewyllys i'r neb a fynai—fod meddianau dyn a fyddai farw heb ewyllys i fyned i'w berthynasau agosaf, ac nid i'r brenin—nad oedd un swyddog i'r goron i ddefnyddio ceffyl, cart, na choed neb heb genad y perchenog, &c., &c. Yr oedd yn wir yn freinlen fawr rhyddid Lloegr hyd y dydd hwn, ac yn cynwys amddiffyniad ar ei deiliaid yn eu personau a'u meddianau.

Nid yw y flwyddyn ganlynol i gyhoeddiad y freinlen—gweddill bywyd John, ond un gyfres o symudiadau ynfyd er dial ar ei ddeiliaid. Mor gynted ag yr ymwasgarodd y cyfarfod bythgofiadwy ar faes Runnymead, meddianwyd y brenin gan ffit o ddigllonedd gwallgof: rhegai, cablai, melldithiai y freinlen, rhinciai ei ddanedd, rholiai ei lygaid, a chnoai goed a gwellt gyda ffyrnigrwydd brawychus. Ymneillduodd i'r *Isle of Wight;* ac oddiyno gyrodd am fyddin o ysbeilwyr tramor, y rhai a arweiniodd trwy wahanol barthau y deyrnas, gan gyflawni y difrod a'r galanastra mwyaf ar fywydau a meddianau. Yr oedd y tramoriaid yn dylifo yn barhaus, a'i fyddin yn cynyddu. O'r diwedd penderfynodd y baroniaid anfon i gynyg y goron i Louis, mab Philip o Ffrainc, yr hwn oedd wedi priodi Blanche o Castile, nith y brenin John, a cheisio ganddo arwain byddin drosodd i'r pwrpas. Derbyniwyd y cynygiad yn llawen, a chyrhaeddodd Louis a'i fyddin Lundain ar yr ail o Fehefin, 1216. Derbyniwyd y tywysog ieuanc gyda rhwysg a llawenydd mawr, a thyngodd ef a'r pendefigion ffyddlondeb i'w gilydd. Cyhoeddodd Louis gyfarchiad i frenin Ysgotland a'r pendefigion nad

oeddent yn bresenol, a chafodd hwnw effaith ryfeddol. Heidiodd y bobl ato o bob parth, a chollodd John luoedd o'i ganlynwyr. Bu y pab Innocent, yr hwn oedd yn gwneyd ei oreu o blaid y brenin, farw y pryd hwn hefyd, a chollodd yr olaf gynorthwy pwysig. Yn nghanol prysurdeb yr amgylchiadau hyn, aeth y sî allan fod yn mryd Louis fradychu a disodli y Saeson. Oerodd hyn deimladau llawer tuag ato; dechreuodd ei ganlynwyr ei adael, a chododd amheuaeth ddarfod iddynt wneuthur yn ffol wrth ei wahodd drosodd. Fel yr oedd achos Louis yn tywyllu, yr oedd achos John yn goleuo. Trodd ffrwd teimlad ei ddeiliaid ychydig yn ei ffafr. Ond daeth ei ddiwedd yn ddisymwth: wrth arwain ei fyddin o Lynn, yn Norfolk, croesodd y morfa, a chododd y llanw a golchodd ymaith ei gerbydau, ei arian, a'i holl ystorfeydd. Aeth i fonachlog Swinestead gyda chalon drom; tarawyd ef yno gan dwymyn, symudwyd ef i gastell Newark, ac yn mhen pedwar diwrnod wedi ei gymeryd yn glaf, bu farw, Hydref 18, 1216, yn y 49ain flwyddyn o'i oedran, ac yn y ddeunawfed o'i deyrnasiad.

Mae cymeriad John mor ddu ag y medr yr haneswyr ei liwio; ac y mae yn anhawdd, os nid yn anmhosibl, rhoddi lliw tywyllach nag a haeddai arno. "Mae yn anhawdd dyweyd," meddai Hume, "pa un ai ei ymddygiad at ei dad, ei frawd, ei nai, neu ei ddeiliaid oedd y gwaethaf; neu, pa un a daflwyd hyd y nod y rhai hyn i'r cysgod gan y dyhirwch a ymddangosai yn ei drafodaethau â brenin Ffrainc, y pab, a'r baroniaid." Pan ddaeth i'r orsedd yr oedd tiriogaethau Lloegr yn eangach nag y buont erioed o'r blaen; ond pan fu farw—cyn pen deunaw mlynedd—yr oedd wedi colli ei holl diriogaethau pwysig ar y Cyfandir, a Lloegr ei hun ar fin myned drosodd i ddwylaw brenin Ffrainc. Ac yr oedd rhywbeth rhagluniaethol yn ei farwolaeth ef a'i gefnogwr galluog, y pab Innocent, ar yr adeg bwysig—y foment, debygid, i gadw Lloegr rhag syrthio i feddiant gallu arall. Ac er nad oes un rhinwedd i'w goffa yn hanes John, fel gwleidiadwr, fel rhyfelwr, nac fel dyn, mai yn hynod hefyd mai dan ei deyrnasiad ef y rhoddwyd rhai o'r cyfreithiau goreu mewn grym. Heblaw erthyglau rhagorol y *Magna Charta*, efe a roddodd hawl i ddinas Llundain i ddewis maer, a chynghor trefol yn flynyddol o fysg ei dinaswyr; yr oedd y maer cyn hyn i barhau yn ei swydd am ei oes. Yn ei amser ef hefyd y gorphenwyd pont geryg Llundain, oblegyd o goed y gwnaed y bont flaenorol. Gadawodd John bump o blant cyfreithlon ar ei ol; Henry, Richard, Jane, Eleanor, ac Isabella, y rhai oll a aned iddo o'i ail wraig, Isabella o Angouleme.

VIII.—HANES CREFYDD.

MAE crefydd y cyfnod hwn yn dyoddef yn drwm oddiwrth ddau ddylanwad niweidiol; sef, ymyriad y penaduriaid gwladol â llywodraeth yr eglwys, a thra-arglwyddiaeth y pabau a'u swyddogion arni. Nid oes dim o bwys wedi cymeryd lle yn y cyfansoddiad eglwysig yn ystod y chwyldroadau Normanaidd, ond y mae agos holl hanes yr eglwys yn gynwysedig mewn ymrysonau rhwng pabau Rhufain a phenaethiaid gwahanol deyrnasoedd. Mynai breninoedd Lloegr, y rhai oeddent yn gwbl estronol i ysbryd Cristionogaeth, gael holl lywodraeth yr eglwys i'w dwylaw eu hunain, tra yr honai y pab, o'r tu arall, yr awdurdod iddo ei hun; ac o'r ymryson hwn am y flaenoriaeth rhwng y penadur gwladol ac eglwysig, y rhedai ffrwd gyson o amrafaelion a blinderau. Yr oedd William y Gorchfygwr yn llawer mwy ffafriol i swyddogion a sefydliadau Cristionogol nag i oruwch-lywodraeth y pab. Pan achwynid wrtho, ar ol cloddio sylfaen monachlog Battle, nad oedd dwfr yn gyfleus, ac y buasai yn well ei hadeiladu mewn man arall, atebodd, "Gweithiwch, gweithiwch yn mlaen! Os rhydd Duw fywyd i mi, bydd mwy o win i'r mynachod yma i'w yfed nag sydd o ddwfr glân mewn un fonachlog arall trwy holl wledydd cred." Ond pan wnaeth Gregory VII. gais am geiniogau Pedr, ac ymostyngiad i esgobaeth Rhufain, atebodd William y buasai yn talu y cyntaf iddo, yn ol yr arferiad blaenorol, ond am ymostwng dan warogaeth i Rufain, nad oedd neb o'i rag-flaenoriaid yn Lloegr wedi gwneyd hyny, ac na wnai yntau byth mo hono.

Yr oedd yn yr eglwys y pryd hwn ddau ddosbarth o glerigwyr, y rhai a deimlent, ac a arferent eu dylanwad yn fynych, yn wrthwynebol i'w gilydd; sef y clerigwyr mynachol, a'r clerigwyr cyffredin. Preswyliai y cyntaf yn y mynachdai; yr oeddent yn gwbl gysegredig i'w swydd, ac yr oedd ganddynt fwy o awdurdod yn newisiad uwch swyddogion; ond preswyliai yr olaf yn eu tai eu hunain, a dalient diroedd fel lleygwyr. Yn y dadleuon mynych rhwng y brenin a'r pab am yr awdurdod i ddewis swyddogion eglwysig, byddai y clerigwyr cyffredin fynychaf yn pleidio y brenin, a'r clerigwyr mynachaidd yn pleidio y pab.

Yr oedd y sefydliadau eglwysig y pryd hwn yn llawn annhrefn, heb unffurfiaeth na rheol yn nghyflawniad eu defodau. Tua diwedd teyrnasiad y Gorchfygwr, cymerodd Thurston, abad Normanaidd Glastonbury, arno ei hun gyfansoddi ffurf-wasanaeth i fynachod y lle hwnw, a chymerodd lu o saethyddion a phicellwyr gydag ef i'r eglwys er eu gorfodi i'w ddefnyddio. Gwrthwynebodd y mynachod yn gyndyn, a chymerodd brwydr boeth le o amgylch yr allor. Defnyddiwyd nid yn unig saethau, ond canwyllbrenau,

croesau, a meinciau, yn lle arfau, a lladdwyd amryw yn y cythrwfl. Awgrymodd hyn yr angen am ffurf-wasanaeth awdurdodedig, a chyfansoddwyd un gan Oswald, esgob Salisbury, yr hwn a ddaeth i arferiad cyffredinol trwy y deyrnas.

Yn nechreuad y ddeuddegfed ganrif, cadwyd cynghor yn Llundain er gorfodi gweddwdod ar y clerigwyr. Yr oedd Anselm, archesgob Canterbury, yn gystal a'i ragflaenor Lanfranc, yn selog dros hyny. Pasiwyd penderfyniadau mwy llym nag erioed i'r perwyl. Gorchymynwyd i bob offeiriad priod o bob gradd roddi ymaith ei wraig, ac ni chaniateid iddynt gael cymaint ag ymddyddan â hwynt mwy oddigerth ar amgylchiadau o bwys, ac yn ngwydd tystion. Ac am y trosedd o briodi cospid hwy â gwaharddiad i weini yr offeren am dymhor, yn nghydag amryw benydiau. Diswyddid ac esgymunid pawb na roddent eu gwragedd heibio, atafaelid eu meddianau, ystyrid y gwragedd yn odineb-wragedd, i gael eu darostwng yn gaethion i esgob yr esgobaeth lle y trigent.*

Y symudiad cyntaf a gofnodir o eiddo yr awdurdodau yn erbyn y rhai a ystyrient yn hereticiaid, a gymerodd le yn y flwyddyn 1166. Cadwyd cymanfa yn Rhydychain yn mhresenoldeb y brenin, er dwyn achwynion yn erbyn rhyw dramorwyr a gyhuddid o heresi. Ryw bum mlynedd cyn hyny daeth deg ar ugain o wŷr a gwragedd i Loegr o Germany, a dechreuasant hau eu golygiadau crefyddol; ond gan na lwyddent i enill dysgyblion, cawsant lonydd hyd y pryd hwn. Wrth eu holi yn awr, atebodd Gerard, eu blaenor, mai Cristionogion oeddent, a'u bod yn credu athrawiaeth yr apostolion. Ond wedi gwneyd arholiad manylach, cafwyd eu bod yn siarad yn anmharchus am swper yr Arglwydd, bedydd, a phriodas. Gwrthodasant ddadleu dros eu credo, na'i gadael; a phan fygythiwyd hwy â chospedigaeth, eu hateb oedd, "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd." Ni wyddai y barnwyr yn iawn beth i wneyd â'r cyfryw; o'r diwedd dedfrydwyd hwy i gael eu nodi â haiarn poeth yn eu talcenau, a'u fflangellu yn gyhoeddus, a'u taflu allan o Rydychain, gyda gwaharddiad i holl ddeiliaid y brenin eu dyogelu na'u hamddiffyn. Derbyniodd y trueiniaid y gospedigaeth yn llawen dan ganu, "Gwyn eich byd pan y'ch casao dynion, ac y'ch erlidant." Torwyd eu gwisgoedd ymaith am eu canol, seriwyd eu haeliau, a rhwygwyd eu cefnau â'r fflangell; crwydrasant yn y wedd yma dros y maesydd cylchynol, yn noeth a gwaedlyd, yn nyfnder y gauaf, heb dŷ na chysgod, na llygad yn tosturio wrthynt, hyd nes i angau roddi gwaredigaeth iddynt. Barna rhai mai Cathariaid neu Albigensiaid oedd y dyoddefwyr anffodus.

* Knight's History of England, vol. 1, 552.

Yr Eglwys Gymreig.

Bu yr eglwys Gymreig yn cadw ei hannibyniaeth oddiwrth Rufain a Lloegr am ganrifoedd, er, efallai, fod hyny i'w briodoli yn fwy i elyniaeth at y Saeson, nag i unrhyw wahaniaeth mewn athrawiaeth na defodau o bwys. Ond yn raddol ciliodd y teimlad hwn; ac yn hir cyn i'r Cymry ymostwng dan iau Lloegr, yr oedd yr eglwys Gymreig wedi ymostwng i awdurdod y pab, ac wedi cydymffurfio â'r Saeson yn ei harferion a'i defodau crefyddol. Yn brawf o hyn, cawn Asser Menevensis, eglwyswr o Dyddewi, yn y nawfed ganrif, yn cael ei wneyd yn esgob yn Lloegr; ac yn y ganrif ganlynol, cawn frenin Cymreig—neb amgen Hywel Dda—yn myned i Rufain i ymgynghori â'r pab yn nghylch ffurfiad cyfreithiau. Nis gellir dyweyd yn fanol pa bryd y cymerodd y cyfnewidiad hwn le; ond ychwanegwyd dylanwad eglwysig Rhufain a Lloegr yn fawr yn Nghymru pan orchfygwyd Morganwg, yn yr unfed ganrif ar ddeg, a phan ranwyd hi rhwng y penaethiaid Normanaidd. Y pryd hwnw sefydlodd gallu eglwysig nerthol yn Llandaf, ac adeiladwyd lliaws o eglwysi a monachlogydd yn yr esgobaeth. Cawn hefyd i'r eglwys Gymreig wrthwynebu awdurdod archesgob Canterbury am ysbaid maith wedi iddi ymostwng i awdurdod y pab, gan ddal fod ganddi archesgobaeth iddi ei hun yn Nhyddewi. Ar yr un pryd goddefai i eglwyswyr Lloegr ymyryd â'i hamgylchiadau, feddianu ei chorau, ac arglwyddiaethu yn orthrymus arni. Ond pan ddaeth Baldwin, archesgob Canterbury, ar daith trwy Gymru i bregethu rhyfeloedd y groes, gweinyddodd yr offeren yn y pedair eglwys gadeiriol, a chymerodd yr awdurdod arnynt yn hollol i'w law ei hun. Yn mhen deng mlynedd ar ol hyny, pan fu farw esgob Tyddewi, dangosodd yr archesgob fod yr awdurdod yn ei law. Etholodd y canoniaid Giraldus Cambrensis, i fod yn esgob; ond gwrthodwyd ef gan yr archesgob, yn cael ei gefnogi gan y brenin John a'r pab, oblegyd ei fod yn Gymro, er i Giraldus ymweled â Rhufain dair gwaith yn yr achos.*

Yr oedd ofergoeliaeth y wlad yn y cyfnod hwn braidd yn annghredadwy. Yr oedd tair allor yn eglwys gadeiriol Canterbury; un i Grist, un i Mair Forwyn, a'r llall i Thomas à Becket. Offrymwyd mewn ystod blwyddyn, gan y pererinion a ymwelent a'r lle, i Grist, dim; i Mair Forwyn, £4 1s. 8c.; i Thomas à Becket, £954 6s. 3c.! Rhydd y ffaith hon olwg bruddaidd ar gyflwr Cristionogaeth y dyddiau hyny. A diamheu fod rhyfeloedd y groes—symudiad pwysicaf y cyfnod hwn—i'w priodoli, i raddau helaeth, i ofergoeliaeth y byd Cristionogol.

Rhyfeloedd y Groes.

Mae yn bosibl y byddai cystal i ni roddi cipolwg i'r darllenydd yn y fan hon ar y croes-gadau, y rhai a rifir gan rai yn saith, gan eraill yn wyth, a chan eraill yn naw; a'r rhai sydd yn dwyn mwy

* Hanes Cymru, gan Carnhuanawc, tudal. 605—608.

neu lai o gysylltiad â hanes y wlad hon, ac yn esboniad ar gyflwr yr eglwys Gristionogol.

Yr oedd wedi bod yn arferiad bellach er ys canoedd o flynyddoedd, ac yn awr yr oedd yr arferiad wedi dyfod yn fwy poblogaidd nag erioed, i Gristionogion selog fyned ar bererindod i Jerusalem; a thybid fod ymgrymu ar y bedd y bu y Gwaredwr yn gorwedd ynddo, a sangu ar y tir y bu yntau yn sangu arno, yn ddigon i sicrhau maddeuant pechodau. Wedi i'r ddinas hono fyned i ddwylaw y Mahometaniaid, y rhai oeddent yn elynion i Gristionogaeth, cafodd y pererinion hyn eu sarhau a'u hanmharchu ar eu hymweliadau, a dygent achwyniadau tost yn erbyn yr anffyddwyr gorthrymus yn Mhalestina. O'r diwedd cyffrodd ysbryd Cristionogion Ewrop, a phenderfynasant fyned i ddial ar y Mahometaniaid, a chymeryd llywodraeth Jerusalem oddiarnynt. Tua'r amser hwn, 1086-7, bu Pedr y Meudwy, brodor o Amiens yn Ffrainc, yn ymweled â Jerusalem; gwnai yntau gyffelyb achwynion, a dygodd hefyd lythyr oddiwrth batriarch Jerusalem, yn dymuno am gymhorth Cristionogion Ewrop yn yr achos. Cafodd Pedr awdurdod y pab i deithio holl Ewrop, ac i gyffroi yr holl deyrnasoedd i godi er myned i gymeryd y lle santaidd o ddwylaw yr anffyddwyr. Dyn bychan afluniaidd oedd Pedr, yn gwisgo hen gochl gwlanen mynachaidd garw, yn marchogaeth ar asyn, ac yn droed-noeth a phennoeth; ond yr oedd yn berchen ar hyawdledd tanllyd, a'i ben a'i galon yn llosgi gan sel. Derbynid ei eiriau fel eiddo oracl, a heidiai y miloedd i'w wrando y ffordd yr elai. Dywed llygaid dystion, na welsant erioed y fath barch yn cael ei dalu i ddyn. Dygai y bobl anrhegion iddo; ac yr oeddynt yn awyddus iawn am gael rhywbeth ganddo, pe na fuasai ond rhawnyn ei asyn. Rhoddodd y dyn hynod hwn yr holl wledydd yn fflam o ysbryd croes-gad. Cadwyd cynadleddau aruthrol yn Placentia a Clermont, er mwyn hwylusu yr amcan. Cyhoeddodd Urban y pab fod llawn faddeuant o'i bechodau i bob un a ymunai, ac y cai pob un a syrthiai yn Mhalestina byrth y nef yn agored; ac anogodd hwynt oll i wisgo llun croes ar ei ysgwydd ddeheu, yr hyn, yn nghyda'r amcan oedd ganddynt mewn golwg, a barodd eu galw yn rhyfelwyr y groes.

Yn gynar yn 1096, ymgasglodd y byddinoedd, a dechreuasant eu taith tua'r dwyrain. Cychwynodd y llu cyntaf o bymtheg mil o Ffrainc, dan lywyddiaeth Walter Ddigeiniog. Dylynwyd hwy gan ddeugain mil, dan arweiniad Pedr y Meudwy. Canlynwyd y lluoedd hyn gan fyddinoedd mawrion dan lywyddiad Godfrey o Bouillon; Gotteschald, mynach Germanaidd; Hugh Fawr, brawd Philip o Ffrainc; Raymond, Iarll Toulouse; Stephen, Iarll Blois; Robert, Iarll Flanders: a Robert, Duc Normandy. Nid gorchwyl

hawdd ydoedd arwain a llywodraethu byddinoedd mor lliosog, yn cynwys dynion o bob gradd a chymeriad, ac heb fod ganddynt ddarpariadau priodol ar gyfer eu cynaliaeth. Dywedir i wyth can mil fyned allan o Ewrop yn y groes-gad hon. Difrodent y gwledydd y ffordd yr elent, a chododd hyny wrthryfeloedd yn eu herbyn. Bu can mil o honynt farw trwy y cleddyf, newyn, a chlefydau, cyn cyrhaedd Caercystenyn. Cyfarfuant oll ar gyffiniau Asia Leiaf, y rhai oeddent yn rhifo saith can mil—y fyddin fwyaf, efallai, yn holl hanes y byd. Aethant yn mlaen trwy Asia Leiaf a Syria, a chymerasant Nice, Antioch, ac Edessa; ac yn 1099, cymerasant Jerusalem, a gosodasant yr enwog Godfrey yn frenin arni. Ond bu hwnw farw yn fuan, a chymerwyd ei le gan Baldwin ei frawd. Felly cafodd y pererinion Cristionogol ffordd rydd yn eu hymweliadau â Jerusalem am lawer o flynyddoedd.

Ond cyn canol y ganrif nesaf yr oedd y Tyrciaid wedi casglu nerth eilwaith, ac yn peri blinder mawr i Gristionogion Jerusalem a Phalestina, y rhai a apelient drachefn at benaduriaid Ewrop am gynorthwy. Yn y flwyddyn 1147, pan oedd Stephan yn frenin Lloegr, ac Eugene III. yn eistedd yn nghadair St. Pedr, llwyddodd St. Bernard, abad enwog Clairvaux yn Ffrainc, i gyffroi Lewis VII., brenin Ffrainc, a Conrad III., ymerawdwr Germany, i gymeryd byddinoedd o groes-ryfelwyr i Palestina, i gospi y Tyrciaid gorthrymus. Arweiniodd y penaethiaid hyn luoedd dirfawr ar hyd lwybrau gwahanol tua'r dwyrain; ond cyn cyrhaedd Jerusalem, yr oedd nifer y byddinoedd wedi lleihau cymaint, ac ymrysonau wedi codi rhwng yr arweinwyr, fel nas gallasent ymgymeryd ag unrhyw orchwyl o bwys; dychwelasant gydag ychydig weddillion o'u gwŷr adref mewn dianrhydedd, a dau can mil o wŷr wedi myned yn aberth i'r ymgymeriad, heb unrhyw ffrwyth oddigerth difrodi Ewrop o gymaint golud a thrigolion.

Yr ydym eisoes wedi rhoddi cipolwg ar y drydedd groes-gad, (yr hon a gychwynodd yn 1189) yn hanes Richard, brenin Lloegr, yr hwn a enillodd gymaint clod yn yr ymgyrch. Dylid ychwanegu fod Cymru wedi cymeryd rhan bwysig yn y groes-ryfel hono. Yn 1188, daeth Baldwin, archesgob Canterbury, a Giraldus Cambrensis, archddiacon Aberhonddu, ar daith trwy Gymru, i gyffroi y trigolion i ymuno â'r groes-ryfel; ac y mae hanes eu taith, yr hon a ysgrifenwyd gan yr olaf, eto ar gof a chadw. Dywedir iddynt hwy, yn nghyda Glanville, prif ynad Lloegr, fyned dan bregethu trwy Henffordd, Maesyfed, y Gelli, y Clâs, Llanddew, ger Aberhonddu, (preswylfa Giraldus), Abergyfeni, Brynbyga, Caerlleon ar Wysg, Caerdydd, Llandaf, Abertawy, Caerfyrddin, Hwlffordd, Tyddewi, ac Aberteifi. Hebryngwyd hwy trwy Geredigion gan Arglwydd Rhys, ac aethant dros afon Dyfi i Tywyn, Nefyn, Caernarfon,

Bangor, Ynys Fon, Rhuddlan, Llanelwy, Caerlleon Gawr, a'r Amwythig. Felly cylchynodd yr archesgob holl Gymru, gan bregethu yn frwd a chydag effeithiau neillduol. Yn yr iaith Seisnig y pregethai, ac eraill yn cyfieithu; a llwyddodd yn yr hynt hon i gael tair mil o ddewrion ein gwlad i ymuno â'r groes-ryfel. Pregethodd Baldwin yn holl eglwysi cadeiriol Cymru: ac yn ystod ei arosiad yn Bangor, gorchymynodd godi corph Owain Gwynedd o'i fedd yn yr eglwys, a'i gladdu y tu allan i'r muriau. Yr oedd Owain wedi bod dan esgymundod Thomas à Becket yn hir cyn ei farwolaeth oblegyd priodi cyfnithder iddo; ac wele yr estron hwn yn aflonyddu ar ei lwch wedi iddo fod yn gorwedd am ugain mlynedd yn eglwys gadeiriol Bangor. Esgymunodd Baldwin Owain Cyfeiliog hefyd, oblegyd mai efe yn unig o holl dywysogion Cymru, wrthododd ddyfod i'w gyfarfod ef ar yr hynt hon. Dywedwyd yn barod i'r drydedd groes-ryfel derfynu mewn cytundeb rhwng Richard o Loegr a Saladin, brenin galluog y gelynion. Lladdwyd dros gan mil mewn brwydrau ynddi; collwyd mwy na hyny trwy glefyd a llong-ddrylliadau, ac ni ddychwelodd ond ychydig o'r nifer aruthrol a aeth allan yn ddyogel i'w gwledydd trigianol.

Cymerodd pedair neu bump o groes-gadau eraill le o hyn i'r flwyddyn 1270, ac yn y rhai mwyaf llwyddianus o honynt, adfeddianwyd Jerusalem, cymerwyd Caercystenyn, ac amryw leoedd pwysig yn ngwlad Groeg, oddiar y Tyrciaid. Y prif lywyddion yn y rhai hyn oeddent Frederic II., ymerawdwr Germany, a Lewis IX. o Ffrainc. Yn y chweched groes-gad, daliwyd Lewis yn garcharor yn yr Aipht, a gorfu iddo dalu y swm anferth o gant a phedwar ugain a deg o filoedd o bunau am ei ryddhad; ac o 2800 o bendefigion aethent allan gydag ef o Ffrainc, nid oedd ond cant yn fyw pan gychwynodd adref o Palestina. Arweiniodd y brenin hwn groes-gad aruthrol arall allan i Affrica, yn 1270, gyda'r bwriad ffol o droi brenin Tunis yn Gristion trwy rym arfau. Wedi iddo gymeryd Carthage, ymwelodd haint marwol â'i fyddinoedd, a medodd hwynt i lawr o'r trwch; bu yntau farw yn ei gaban, a dychwelodd y gweddill o'i wŷr. Hon oedd y groes-gad ddiweddaf, oblegyd er i Gregory X., a Nicholas V., gyda'r ymerawdwr Frederic III., wneyd ymgais egniol i godi byddinoedd drachefn, methasant yn eu hamcan.

Esgorodd rhyfeloedd y groes ar lawer o ddrwg a da i holl Gyfandir Ewrop. Ar y naill law, amddifadwyd Ewrop trwyddynt o fwy na haner ei thrigolion;* ac o gyfoeth uwchlaw cyfrif. Gwerthodd llawer eu hetifeddiaethau i gael modd i fyned allan, a thaflasant eu hiliogaeth i dlodi, a dyoddefodd sefyllfa gymdeithasol pob gwlad yn drwm ar y pryd oddiwrth y cyffroadau. Ychwanegwyd dylanwad

*Mosheim's Eccles. History.

y pab hefyd, iau drom yr hwn oedd eisoes yn llethu y teyrnasoedd. Ar y llaw arall, pa mor ynfyd bynag yr edrychir ar y rhyfeloedd dyeithr a digyffelyb hyn, dan oruwch-reolaeth Rhagluniaeth dygasant lawer o ffrwythau dymunol i'w canlyn. Agorwyd ffordd, a sefydlwyd cymundeb newydd rhwng y gwledydd gorllewinol a'r dwyrain, a chadwyd y llwybr yn agored gan dramwyfa byddinoedd mawrion am ddau can mlynedd; ffurfiwyd cyfeillgarwch rhwng penaduriaid a theyrnasoedd; agorwyd masnach a thrafodaethau newyddion rhyngddynt; dygodd yr Ewropeaid lawer o wybodaeth a dyfeisiau ganddynt adref; a chyffrowyd ysbryd morwriaeth ac anturiaethau eraill. Cwympodd cynifer o'r baroniaid hefyd, fel y torwyd nerth y gyfundrefn wriogaethol yn Ewrop, yr hon oedd yn atalfa nerthol i ryddid a dyrchafiad y dosbarth cyffredin o'r bobl; torwyd i lawr y coedydd mawrion oeddent yn mygu y tyfiant cyffedin, a chafodd yr olaf le ac awyr rydd i godi eu penau a thyfu.

## IX.—LLYWODRAETH, CYFREITHIAU, A CHYNYDD.

Yn nghanol rhyferthwy gymysglyd teyrnasiad y Normaniaid, gwelwn un o elfenau pwysig y llywodraeth Brydeinig o hyd yn cadw yn ddyogel ar wyneb y dyfroedd, sef ei *deddfwriaeth annibynol.* Nid oedd unrhyw gyfreithiau yn cael eu gwneyd gan y penadur heb gydsyniad ei bendefigion. Yn hyn yr oedd yn gwahaniaethu oddiwrth deyrnasoedd y Cyfandir, a hyn yw un o brif sylfeini y cyfansoddiad presenol. Eto, yr oedd awdurdod a gallu y brenin i bob dybenion ymarferol, a rhyddid ac iawnderau y bobl dan gymaint gorthrwm, yn Lloegr ag yn Ffrainc neu Germany. Byddai y trethi mwyaf gorthrymus ac afresymol yn cael eu treisio oddiar y bobl wrth ewyllys y brenin, heb gydsyniad y Cynghor. Cododd y Gorchfygwr y swm aruthrol o un filiwn ar ddeg o bunau yn y modd hwn, o'r dreth a elwid *danegelt;* a chodwyd cymaint a hyny neu fwy mewn ystod dwy flynedd, gan De Burgh, yr hwn a adawodd Richard yn fflangell ar y deyrnas pan aeth ef ar ei hynt ddwyreiniol. Yr oedd y Gorchfygwr a'i ganlynwyr yn ormeswyr creulon, a'u gormes hwy, mewn rhan, fu yn foddion i ddwyn cyfnewidiad er gwell oddiamgylch. Dan y gyfundrefn wriogaethol, yr hon a gyrhaeddodd ei heithafnod yn Lloegr yn y cyfnod hwn, nis gallasai rhyddid a gwareiddiad gynyddu ond hyd derfynau penodol. Yr oedd baroniaid y wlad yn allu pwysig er amddiffyn y brenin rhag ymosodiadau gelynion; ond wedi i'r llywodraeth ymsefydlu, a heddwch gymeryd lle, yr oedd gallu y baroniaid yn beryglus i'r brenin, yn atalfa ar ei rwysg, ac yn ffynonell ymrysonau mynych. Nis gallasai y penadur eu hebgor, na'u darostwng. Gwelwyd fod y goron yn cael ei thraws-feddianu gan y naill ar ol y llall, megys Rufus, Henry I., a Stephan; yr oedd hyn yn gofyn am

gymhorth y baroniaid i'w cydnabod a'u cadarnhau yn eu hawdurdod. Codai hyn bleidiau eilwaith yn mysg y pendefigion; cefnogid y brenin gan un dosbarth, a gwrthwynebid ef gan y llall. Felly o'r diwedd aeth yr ymryson, nid rhwng y Saeson a'r Normaniaid—yr oedd y rhai hyn yn prysur doddi i'w gilydd—ond rhwng y llywodraeth a'r bendefigaeth. Yr oedd yma ddau allu annibynol yn codi yn wrthwyneb i'w gilydd; a dylanwad gwrthwynebol y bendefigaeth dynodd allan y gwahanol freinleni *(charters)* oddiar y penaduriaid a'u pleidwyr. Rhoddodd y Gorchfygwr un wrth addaw cadarnhau cyfreithiau Edward y Cyffeswr. Rhoddwyd un arall gan Henry I., am yr hon y dywed Arglwydd Lyttelton, ei bod ar ryw olwg yn fwy manteisiol i ryddid na'r *Magna Charta* ei hun. Cyhoeddodd Stephan ddwy freinlen—un i'r baroniaid, ac un i'r clerigwyr. Adnewyddodd Henry II. yr addewidion hyn mewn breinlen drachefn; a than deyrnasiad John cafwyd y Freinlen Fawr, yr hon y bydd ei choffadwriaeth byth yn fendigedig. "Wrth ddarllen y Freinlen Fawr, tarewir ni gan y manyldeb cyfreithiol â pha un y mae wedi ei geirio. Mae yn amlwg iddi gael ei hysgrifenu gan ddynion oeddent a'u deall mor llym a chleddyfau y baroniaid a'i treisiasant hi oddiwrth y brenin anfoddog, yr hwn oedd yn berchen ewyllys, ond heb y dewrder a'r gallu i fod yn ormeswr."*

Y prif ddiwygiadau a gymerasant le yn y cyfnod hwn oeddent mewn sefydliad a rheolaeth llysoedd barn, a gweinyddiad cyfiawnder ynddynt. Cadwyd a pherffeithiwyd amryw o gyfreithiau y Sacsoniaid, ac ychwanegwyd atynt fwy o eiddo y Normaniaid; esgorodd y rhai hyn ar ddiwygiadau rhagllaw, ac ymffurfiasant o'r diwedd i'r hyn a elwir Cyfraith Gyffredin Lloegr. Mae yn orchwyl anhawdd heddyw i roddi hanes ffurfiad graddol cyfansoddiad a chyfreithiau presenol Prydain; "yn mysg y fath amrywiol ddefnyddiau, a chymysgedd o gyfreithiau," meddai Syr Matthew Hale, "mae yn orchwyl o fferyllwaith anmhosibl i olrhain pob cyfran i'w tharddiad gwreiddiol, fel ag i ddyweyd fod y darn yma yn perthyn i'r Daniaid, hwn i'r Normaniaid, a hwn i'r Saeson, neu y Brythoniaid." Ond y mae dygwyddiadau pwysig y cyfnod hwn wedi esgor ar gyfansoddiad gogoneddus, yr hwn sydd wedi parhau i ymberffeithio ac ymgadarnhau hyd y dydd hwn.

"Yma mae hanes y genedl Seisnig yn dechreu. Nid yw hanes dygwyddiadau blaenorol ond hanes camwri yn cael ei weinyddu a'i ddyoddef gan amrywiol lwythau, y rhai oeddent yn wir oll yn preswylio ar dir Lloegr, ond oeddent yn teimlo y fath elyniaeth at eu gilydd na welwyd ond anaml ei fath rhwng pobloedd yn cael eu gwahanu gan derfynau daearyddol. Oblegyd nid yw cyd-elyniaeth gwahanol wledydd a fyddont yn rhyfela â'u gilydd ond eiddil o'i

*Knight's History of England, 577.

gydmaru a gelyniaeth cenedloedd fyddo yn foesol wahanedig, ond yn preswylio yn nghyd. Ni chariwyd gelyniaeth cenedl yn mhellach mewn un wlad nag yn Lloegr. Nid yw camrau y gweithrediad trwy ba un y toddwyd yr elfenau gelynol i un pentwr cydnaws yn wybyddus i ni. Ond y mae yn sicr fod y gwahaniaeth rhwng y Saeson a'r Normaniaid yn ddigon amlwg ar esgyniad John i'r orsedd, a chyn diwedd teyrnasiad ei ŵyr ei fod wedi agos diflanu. Yn amser Richard I., rheg gyffredin boneddwr Normanaidd oedd, "Elwyf yn Sais!" Ei ffurf gyffredin o wadiad digofus oedd, "A ydych yn meddwl mai Sais ydwyf?" Yr oedd hiliogaeth y boneddwr hwnw gan mlynedd yn ddiweddarach yn falch o'r enw Seisnig.

"Rhaid chwilio am darddiant yr afonydd ardderchocaf, y rhai sydd yn taenu ffrwythlonder dros gyfandiroedd, ac yn dwyn llyngesoedd goludog i'r môr, mewn broydd mynyddig, gwyllt, a diffrwyth, a gam-nodir mewn mapiau, ac nad ymwelir â hwynt ond yn anfynych gan deithwyr. I fro gyffelyb y gellir yn briodol gydmaru hanesiaeth ein gwlad yn y drydedd ganrif ar ddeg. Er mor ddiffrwyth a thywyll yw y gyfran hono o'n hanes, yno y rhaid i ni chwilio am darddiant ein rhyddid, ein llwydd, a'n gogoniant. Y pryd hwnw y ffurfiwyd mawredd y genedl Seisnig, y dechreuodd y nodweddiad cenedlaethol amlygu y neillduolion hyny y mae byth wedi eu cadw, ac y daeth ein tadau yn ynyswyr gwirioneddol; ynyswyr, nid yn unig o ran sefyllfa ddaearyddol, ond yn eu gwladyddiaeth, eu teimladau, a'u harferion. Y pryd hwnw yr ymddangosodd, gyda dim eglurder, y cyfansoddiad sydd byth oddiar hyny wedi cadw ei hunanedd trwy bob cyfnewidiadau; y cyfansoddiad hwnw nad yw holl gyfansoddiadau rhyddion eraill y byd ond copiau o hono; a'r hwn, er gwaethaf rhai diffygion, sydd yn deilwng o gael ei ystyried y goreu y bu unrhyw gymdeithas fawr am lawer o oesoedd erioed yn byw dano. Y pryd hwnw y cynaliodd Tŷ y Cyffredin, cynddelw yr holl gymanfaoedd cynddrychioledig sydd yn awr yn cyfarfod, yn yr hen fyd neu y newydd—y pryd hwnw y cynaliodd ei eisteddiadau cyntaf. Y pryd hwnw y cododd y gyfraith gyffredin i fri gwyddoniaeth, ac y daeth yn brysur i gystadlu â'r ynadaeth ymerodrol. Y pryd hwnw y gwnaeth y morwyr dewrion a gyflenwent longau annghelfydd y Pum Porthladd faner Lloegr, am y waith gyntaf, yn ddychryn ar y moroedd. Y pryd hwnw y sylfaenwyd y colegau hynaf, y rhai ydynt eto yn parhau yn mhrif eisteddleoedd cenedlaethol dysgeidiaeth. Y pryd hwnw y ffurfiwyd yr iaith hono, yr hon yn wir sydd yn llai cerddorol nag ieithoedd y deheu, ond mewn grym, mewn godidogrwydd, mewn addasrwydd at holl ddybenion uchaf y bardd, yr athronydd, a'r areithiwr, nad yw yn ail i un dafodiaith, oddigerth Groeg yn unig.

Y pryd hwnw hefyd yr ymddangosodd y wawr wanaidd gyntaf o'r llenyddiaeth ardderchog hono, y mwyaf ysblenydd a'r mwyaf parhaus o liaws rhagoriaethau Lloegr."*

## X.—MASNACH, LLAFUR, AC ARFERION.

Yn y cyfnod hwn yr oedd ychydig o fasnach forwrol yn cael ei chario yn mlaen rhwng y wlad hon a'r Cyfandir. Y prif borthladdoedd, y rhai a gawsant yr enw "Pum Porthladd" (*Cinque Ports)*, oeddent Dover, Hastings, Romney, Hythe, a Sandwich, y rhai oeddent yn rhwym, ar ddeugain niwrnod o rybudd, i anfon nifer o longau rhyfel allan at wasanaeth y brenin. Yr oedd cryn fasnach hefyd yn cael ei dwyn yn mlaen rhwng Iwerddon a Bristol a Chester. Y prif nwyddau a yrid allan o'r wlad hon oeddynt gynyrchion naturiol yr ynys; megys alcan, plwm, gwlan, crwyn, ac eidionau. Yr oedd yma law-weithfeydd arian ac aur hefyd o gryn enwogrwydd.

Yr unig arian bathol yn yr amser hwn oedd *ceiniog arian*, yr hon oedd, fel yn awr, yn ddeuddegfed ran o swllt, a'r swllt yn ugeinfed ran o bunt. Pwys o arian yn cynwys oddeutu $11\frac{1}{4}$ wns oedd y bunt. Buasai cymaint a hyny o bwysau o arian yn gwneyd £2 16s. 3c. o'r arian presenol. Felly yr oedd y swllt y pryd hwnw gymaint a 2s. $9\frac{3}{4}$c. o'n harian ni, a'r geiniog ychydig yn fwy na $2\frac{3}{4}$c. Ni ddechreuwyd bathu aur hyd amser Henry III., na chopr hyd amser James I., 1620.

Llafur mwyaf cyffredin y wlad oedd trin y ddaear, a bugeilio. Yr oedd sefyllfa wrteithiol y ddaear yn wael, gan nad oedd y trigolion oedd i'w cynal ar y cynyrch ond tua dwy filiwn; ac os byddai y cnydau yn ddrwg ambell flwyddyn, neu haint ar yr anifeiliaid, byddai yn achosi caledi mawr yn y wlad. Gwelir y gwahaniaeth wrth gofio fod cynyrch y wlad yn awr yn ddigon i gynal un filiwn ar bymtheg. Yr oedd y trigolion yn cael llawer o'u cynaliaeth trwy hela a physgota. Cyflenwai Sandwich fynachod eglwys Crist yn Canterbury â deugain mil o ysgadan yn flynyddol; ac yr oedd Sir Gaerlleon yn talu mil o leisiaid (*salmon*) yn flynyddol fel treth bysgota. Yr oedd melinau dwfr at falu ŷd yn y wlad cyn dyfodiad y Normaniaid; ond yn y ddeuddegfed ganrif y daeth melinau gwynt i arferiad. Cedwid y felin bob amser gan arglwydd y faenor, a byddai yr holl ddeiliaid dan rwymau i fyned ato i falu. Cadwai yr un gwr ffwrn i bobi bara hefyd at wasanaeth y deiliaid. Yr oedd y bara gwenith goreu yn gyfyngedig i'r dosbarthiadau uchaf, a boddlonai y dosbarth cyffredin ar fara rhyg, ceirch, a haidd.

Dygodd y Normaniaid ddiwygiad pwysig i'r wlad mewn adeiladu, yn gystal anedd-dai ag eglwysi. Yn amser Henry I. y gwnaed

*Macauley's History of England, vol. 1, 16—18.

simneiau gyntaf i dai; o'r blaen byddai y mwg yn cael dianc goreu y gallai trwy dwll yn y mur neu y tô. Ychydig o ddefnydd oedd ar lô; y tanwydd cyffredin oedd coed a thyweirch. Nid oedd nemawr o chwareli ceryg i'w cael, a dygwyd ceryg at lawer o adeiladau eglwysig drosodd o Normandy.

Yr oedd ffasiynau y gwisgoedd mor gyfnewidiol a mympwyol y pryd hwn ag y bu mewn unrhyw oes ddiweddarach. Un adeg byddai y gwŷr yn eillio yr holl wallt oddiar eu gwegil, a'r benywod yn tori eu cydynau prydferth ymaith: ar adeg arall byddai y gwrywod yn gadael eu holl wallt a'u barfau i dyfu, nes byddai yr offeiriaid yn ffromi wrthynt, ac yn eu galw yn "eifr aflan;" a'r benywod yn gadael eu gwallt i dyfu yn llaes ac i hongian, weithiau yn rhydd, weithiau yn blethedig, ac weithiau wedi ei orchuddio mewn math o wain sidan. Byddai eu gwisgoedd hefyd yn gostus a gwrthun, godrau eu gwisgoedd yn llusgo ar eu hol, a'r napcyn fyddai yn cylymu y pen, a llewys y gynau, mor hir fel y byddent yn gorfod rhoddi cwlwm arnynt i'w cadw rhag llusgo y llawr. Y pryd hwn hefyd y ceir hanes yr esgidiau mwyaf clogyrnaidd a gwrthun. Yr oedd eu blaenau yn codi i fyny, weithiau yn syth, ac weithiau yn droellog, ac mor hir fel y byddid yn gorfod cylymu llinyn am eu blaenau, a'i sicrhau wrth y benlin tuag at eu cynal.

Yr oedd cyflogau gweithwyr cyffredin yn amrywio o dair ffyrling i geiniog y dydd, gyda'u bwyd. Byddai pris y gwenith yn amrywio yn ol yr amgylchiadau, ac efallai y byddai rhoddi y canolbris yn 4s. y crynog, neu 6ch. y pwysel yn bur agos i'w le. Yn 1185 cawn bris ieir yn ddimai yr un; defaid, 5½c; hyrddod, 8c; moch, 1s.; gwartheg, 4s. 6ch.; ychain, 5s. 6ch.; cesyg magu, 3s. Yn mhen ugain mlynedd ar ol hyn cawn fod ceffylau da yn cyrhaedd pris uchel, cyffelyb i'w prisoedd presenol. Cawn fod y brenin yn y 12fed ganrif yn talu 5s. 6ch. y llath am frethyn ysgarlad, a 2s. 10c. y llath am frethyn gwyrdd, a 1s. 6ch. y pâr am esgidiau. Pris sachaid o wlan (308 o bwysi) yn y ganrif ganlynol oedd 3p. 6s. 8c. Traul codiad dau fwa o bont Llundain yn 1140 ydoedd £25. Ychydig o flynyddoedd yn ddiweddarach gwerthwyd darn o dir yn Llundain a thŷ ceryg wedi ei adeiladu arno am ddwy bunt.* Mae y ffeithiau hyn yn awgrym i'r darllenydd am gyflwr y wlad.

Yn mysg dynion enwog y cyfnod hwn, heblaw y rhai a nodwyd eisoes, mae y rhai canlynol:—Ingulphus, abad Croyland (Swydd Lincoln), yr hwn a ysgrifenodd hanes ei fonachlog. Simeon o Durham, mynach a dysgawdwr yn Rhydychain yn amser Henry I., yr hwn a ysgrifenodd hanes Lloegr o oresgyniad y Daniaid hyd ei amser ei hun. William o Malmesbury, mynach, yr hwn a ysgrifenodd hanes Lloegr o ddyfodiad y Saeson hyd ei amser ei hun;

*Knight's History of England, vol. 1, 668.

hanes yr eglwys, ac amryw lyfrau eraill. Bu farw yn nghanol y ddeuddegfed ganrif. Ysgrifenwyd hanes Lloegr gan y mynachod canlynol tua'r un amser:—Geoffrey o Fynwy; John o Salisbury; Henry o Huntingdon; William o Newburgh; Roger o Hoveden, yn Swydd York; Giraldus Cambrensis, ac amryw awdwyr a beirdd eraill. Cododd un dyn tlawd o'r enw Nicholas Breakspear, yn Swydd Hertford, i enwogrwydd mawr, ac esgynodd i'r gadair Babaidd, dan yr enw Adrian IV.; ac efe oedd yr unig Sais a dderbyniodd yr anrhydedd hwnw. Bu farw yn nghanol y ddeuddegfed ganrif, trwy gael ei dagu gan wibedyn. Yr oedd Ranulph de Glanville hefyd, yr hwn a gasglodd yn nghyd gorph o gyfreithiau y deyrnas, yn gydoeswr ag amryw o'r enwogion hyn. Yr ydym eisoes wedi son am Stephan Langton, yr hwn y mae ei enw mor nodedig fel y gwr a ranodd y Bibl i benodau ac adnodau yn y flwyddyn ddiweddaf o deyrnasiad John. Tua'r un amser hefyd yr ysgrifenodd Pedr o Blois, arch-ddiacon Llundain, amryw bregethau a thraethodau hanesyddol, ac yr ysgrifenodd Gervais o Canterbury, mynach, gronicl o freninoedd Lloegr ac archesgobion Canterbury.

---

## PENOD III.

### O ESGYNIAD HENRY III. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD RICHARD II., 1216—1399.

---

#### I.—HENRY III. (O WINCHESTER), 1216—1272.

GELWID ef yn Henry o Winchester oblegyd mai yno y ganwyd ef. Mab hynaf y brenin John ydoedd; cafodd ei goroni yn Nghaerloyw pan nad oedd ond deng mlwydd oed, gan esgobion Winchester, Bath, a Worcester; a Gualo, cenadwr y pab. Collwyd y goron, gyda thrysorau eraill y brenin diweddar, wrth groesi y morfa, a defnyddiwyd cylch aur yn ei lle i gyflawni defod y coroniad. Etholwyd William Marshall, Iarll Penfro—gwr doeth a medrus—i fod yn rhaglaw y deyrnas hyd nes delai y brenin i oed. Rhoddodd Henry y deyrnas dan warogaeth i'r pab, a thyngodd lw o ffyddlondeb iddo, yr hyn a enillodd ddylanwad y pab a'i genadwr o'i blaid. Cadarnhaodd y Freinlen Fawr, a gwnaeth lawer o addewidion daionus i'w ddeiliaid.

Casglodd Penfro fyddin yn nghyd i wrthwynebu Louis o Ffrainc, yr hwn oedd wrthi yn brysur, gyda gallu mawr, yn ceisio darostwng Lloegr. Parodd ynfydrwydd John, fel y dangoswyd eisoes, i lawer o'r baroniaid gymeryd plaid Louis; ond wedi i'r brenin farw, trodd llawer o honynt yn eu hol; ac enillodd rhaglawiaeth ddoeth a llwyddianus Iarll Penfro ychwaneg o honynt o blaid Henry. Enillodd y rhaglaw fuddugoliaeth bwysig ar Louis yn Lincoln. Casglodd gwraig Louis lynges nerthol yn Ffrainc, a gyrodd hwy drosodd gyda phob brys i gynorthwyo ei gwr; ond aeth Hubert de Burgh, y prif ynad, â gallu llawer llai i'w cyfarfod, a dinystriodd hwy agos yn llwyr. Parodd hyn i Louis geisio amodau heddwch. Ac yn Medi, 1217, caniatawyd iddo ef a'i gymdeithion ymadael â'r wlad, rhoddwyd maddeuant i'w holl gefnogwyr Seisnig, a dychwelodd yr holl bendefigion i bleidio Henry. Ymroddodd Penfro gydag egni a llwyddiant i wellhau cyflwr y wlad; ond, er galar cyffredinol, bu farw yn Mai, 1219; claddwyd ef yn eglwys y *Knights Templars*, Llundain, lle mae ei feddfaen i'w weled hyd y dydd hwn. Dewiswyd Hubert de Burgh, a Peter des Roches, esgob Winchester, i weinyddu y llywodraeth yn ei le; y cyntaf i weinyddu y rhaglawiaeth, a'r olaf i ofalu am berson y brenin. Hubert oedd y mwyaf ei ddylanwad gyda'r bobl; ond Peter oedd y mwyaf ei ddylanwad yn y llys.

Dechreuodd teimladau eiddigus a gelynol fagu rhwng y ddau flaenor hyn; a thorasant allan mewn amrafaelion yma a thraw. Coronwyd Henry yr ail waith yn 1220, gan Langton archesgob Can-

terbury, yr hwn oedd yn awr wedi cael rhyddid i ddychwelyd i'r deyrnas. Y flwyddyn ganlynol priododd Joana, chwaer hynaf Henry, ag Alexander brenin Ysgotland, a phriododd de Burgh â thywysoges Ysgotaidd. Yn 1223, gyda chydsyniad y pab, a chynghorfa y genedl, cyhoeddodd de Burgh fod y brenin wedi cyrhaedd i'w oedran; ond er hyn, yn nghyda bygythion y pab, gwrthododd amryw o'r pendefigion roddi y cestyll breninol i fyny hyd nes i de Burgh eu cymeryd trwy nerth arfau. Nis gallasai brenin oedd mor amddifad o fedr a gwroldeb ag oedd Henry, feddu dylanwad ar ei bendefigion; y canlyniad oedd fod yr olaf yn afreolus a gormesol tu hwnt i bob terfynau. Fel engraifft o hyn, cafwyd un Hawkes yn euog mewn nifer mawr o gyhuddiadau, a chyhoeddodd y barnwr ddedryd arno yn ol hyny. Ond beiddiodd Hawkes fyned â nifer o wŷr arfog gydag ef i'r llys, a chymeryd y barnwr oddiar ei fainc, a'i daflu yn garcharor i gastell Bedford, lle y cadwyd ef, er gwaethaf pob ymdrechion i'w ryddhau, am lawer o fisoedd. Yr oedd medr, awdurdod, ac enwogrwydd de Burgh yn magu gelyniaeth yn ei erbyn mewn llawer mynwes heblaw eiddo ei gydymgeisydd des Roches. Cyngreiriai y pendefigion ymrysongar yn ei erbyn, a beiddiai Richard, Iarll Cernyw, brawd y brenin, ei awdurdod yn fynych. O'r diwedd llwyddasant i droi y brenin yn ei erbyn. Ffodd yntau i ymnoddi i'r eglwys. Gorchymynodd y brenin ei lusgo oddiyno, a'i ddwyn ger bron. Tynodd y gorchymyn hwnw yn ol eilwaith; a chadarnhaodd ef drachefn. Cymerai y brenin anwadal ei droi i ymddwyn fel hyn neu fel arall gan yr olaf a'i cynghorai. O'r diwedd taflwyd de Burgh yn garcharor i gastell Devizes. Adferwyd ef drachefn i ffafr y brenin; ond ni chymerodd ran eilwaith yn achosion y llywodraeth.

Codwyd des Roches yn lle de Burgh yn brif weinidog y deyrnas. Ffrancwr ydoedd, a rhoddodd ei fryd ar gasglu estroniaid, a'u sefydlu yn mhrif swyddi y wlad. Cefnogwyd hyn fyth trwy waith y brenin yn priodi (1236) Eleanor, merch Iarll Provence, o Ffrainc, yr hon a ddygodd lu mawr o'i pherthynasau a dyeithriaid eraill drosodd gyda hi. Gwnaed esgob Valence, ewythr y frenines, yn brif weinidog. Codwyd Boniface, ewythr arall iddi, yn archesgob Canterbury: a rhoddwyd iarllaeth Richmond i Peter, trydydd ewythr iddi. Dygodd Eleanor liaws o foneddigesau ieuainc drosodd hefyd, a gwnaeth i'r brenin eu priodi â phendefigion y wlad hon. Nid hyn oedd y cwbl ychwaith; yr oedd Isabella, mam y brenin, gweddw John, wedi priodi yr ail waith â Count la Marche, ac wedi cael pedwar o blant o hono; Guy, William, Geoffrey, ac Aymer. Gyrwyd y pedwar i Loegr i gael darparu bywioliaethau iddynt. Tywalltodd y brenin ffafrau ar benau yr haner brodyr hyn, a thynasant hwythau eilwaith gynffon o estroniaid ar eu hol. Erbyn hyn yr

oedd y baich yn annyoddefol. Galwai y brenin am arian; ond gwrthodai y pendefigion ei gais, oddigerth ar yr amod iddo yru allan yr estroniaid, a gosod y brodorion mewn swyddau yn eu lle. O'r diwedd gorfu i'r brenin ddiswyddo des Roches, addaw gyru dyeithriaid ymaith, ac addaw glynu wrth gynwys y freinlen fawr. Gwnaeth addewidion o'r fath drosodd a throsodd; ond ni phrisiai welltyn am gadw ei air na'i lw. Ar ol hyn, bu amryw ddynion diwerth yn brif gynghorwyr iddo, ac nis gallasai pethau lai na gwaethygu pan oedd y fath ddynion wrth lyw y llywodraeth.

Yn 1242, cyffrowyd Henry i fyned â byddin i Ffrainc i weini cerydd ar Louis, ac i geisio adenill peth o'i diriogaethau colledig yn y wlad hono. Galwodd yn nghyd ei senedd—y pryd hwn y dechreuwyd galw cynghorfa y genedl ar yr enw *Parliament*—a cheisiodd gymhorth arianol i fyned ar ei hynt ryfelgar; ond gwrthodwyd ei gais. Beth bynag, llwyddodd i gasglu swm mawr o arian, trwy ffordd nad oedd yn un clod iddo, fel y bernir, a chroesodd y môr gan gymeryd ei wraig, Richard ei frawd, tri chant o farchogion, a byddin fawr, gydag ef. Ond gorchfygwyd ef unwaith ac eilwaith gan Louis, a dychwelodd i'w wlad wedi gwario ei holl arian, ac heb enill na thiriogaethau na chlod. Gwrthododd ei senedd eilwaith ei ddiwallu ag arian, oddieithr swm penodol i'w ferch ar ei phriodas â brenin Ysgotland, a derbyniodd gerydd llym am ei anffyddlondeb a'i ynfydrwydd. Mynai y pendefigion gael y llywodraeth i'w dwylaw eu hunain; ond gwrthododd y brenin unrhyw delerau, oddieithr ei ddefod arferol o gadarnhau y freinlen fawr. Ar ol hyn edrychai ar gyfarfyddiad ei senedd fel cyfarfyddiad ei elynion, a cheisiai ysgoi hyny hyd ag y gallai. Yr oedd erbyn hyn wedi syrthio i gymaint tlodi, fel nad oedd ganddo fodd i gyflenwi ei angenrheidiau, ac ymroddodd i ysbeilio y wlad yn y modd mwyaf digywilydd. Gosodai y dirwyon mwyaf diachos a disynwyr ar ei ddeiliaid, a rhuthrai ar yr Iuddewon diamddiffyn, gan gymeryd ymaith eu holl feddianau. Yn wir, cerddai o dref i dref, ac o gastell i gastell, i ddim ond i gardota: a chafodd y cymeriad o fod y "*beggar* penaf yn y deyrnas." Cadwodd ei wyliau Nadolig yn Llundain, a gorfododd y dinaswyr i roddi iddo ddwy fil o bunau o galenig.

Yn 1253, galwodd Henry ei senedd yn nghyd eilwaith, ac yr oedd ganddo ddyfais newydd i geisio enill ei hymddiried, a thynu arian oddiwrthi. Dywedai ei fod yn myned i'r dwyrain gyda chroes-gad, i ymladd yn erbyn yr anffyddwyr, gan dybied y buasai yn sicr o lwyddo. Ond edrychwyd ar ei fwriad a'i gais gyda'r dirmyg mwyaf. O'r diwedd addawyd rhoddi swm o arian iddo, ar yr amod iddo wneyd cytundeb newydd â hwy am eu hiawnderau, ei gadarnhau â llw, a'i gadw. Ymgynullwyd i'r pwrpas hwnw yn neuadd Westminster; daeth llu mawr o faroniaid yn nghyd, a'r

esgobion a'r abadau yn eu gwisgoedd swyddogol, a chanwyllau goleuedig yn eu dwylaw. Safodd yr archesgob ger eu bron, a chyhoeddodd esgymundod, yn y modd mwyaf difrifol, ar bwy bynag a droseddai freinleni y deyrnas. Ar ol myned trwy y ddefod, tarawodd yr esgobion a'r abadau y canwyllau goleuedig yn erbyn y llawr, ac fel yr oedd y fflam yn myned allan mewn mwg, dywedent, "Bydded i enaid pwy bynag a dyno yr esgymundod hwn arno ei hun, fel y canwyllau hyn, fygu a diffodd yn uffern!" Atebodd y brenin, "Cadwaf y breinleni (*charters*) hyn heb eu troseddu, fel yr wyf yn ddyn, fel yr wyf yn Gristion, fel yr wyf yn farchog, ac fel yr wyf yn frenin wedi fy nghoroni a'm heneinio, fel yr atebaf i Dduw!" Ond nid cynt yr aeth y ddefod drosodd, ac y cafodd y brenin ei bwrs yn llawn, nag y dechreuodd ar ei lwybr arferol, gan ddibrisio ei lwon, a llwyr ddinystrio ymddiried pob dyn yn ei air.

Gyda'r arian a gafodd y tro hwn aeth drosodd i Guienne, ar fedr ceryddu Alphonso, brenin Castile, am hawlio iarllaeth y parth hwnw; ond gwnaed heddwch rhyngddynt, a phriododd Edward, mab hynaf Henry, a merch Alphonso. Dychwelodd y brenin eilwaith i'r wlad hon, gyda llogell wag. Yn 1256, trwy ymyriad ac offerynoliaeth y pab, rhoddwyd breniniaeth a choron Sicily, (yn Itali) i Richard, Iarll Cornwall, brawd Henry. Yr oedd Richard o duedd gybyddlyd, yn berchen etifeddiaethau mawrion, ac wedi casglu yn nghyd gyfoeth dirfawr; ac yr oedd ei ddylanwad yn myned yn mhell er cadw pethau rhag myned i eithafoedd gyda'r brenin a'i bendefigion. Felly bu ei symudiad ef o'r wlad yn foddion i dynu llyfethair arall oddiar y baroniaid aflonydd, ac yn achlysur i ymrysonau newyddion. Heblaw hyn, yr oedd y brenin yn parhau i ddangos ei wendidau, ei anwadalwch, a'i anffyddlondeb arferol. Hyn, yn nghyda blwyddyn o brinder a newyn mawr yn y wlad, barodd i'r baroniaid benderfynu cymeryd yr awenau o ddwylaw Henry.

Yn 1258, ymgasglodd y senedd yn nghyd yn Westminster. Yr oedd yr holl faroniaid yn eu gwisg filwrol; tarawyd Henry â syndod pan welodd hwynt; a gofynodd, "Beth yw hyn? a ydwyf yn garcharor?" "Nac ydych," ebe Roger Bigod; "ond y mae eich cyfeillion tramor a'ch gwastraff eich hun wedi darostwng y deyrnas hon i'r trueni dygnaf; gan hyny yr ydym ni yn gofyn am i awdurdod y llywodraeth gael ei drosglwyddo i bwyllgor o esgobion a baroniaid, fel y gallont symud ymaith y gorthrwm, a gosod cyfreithiau da mewn grym." Penderfynwyd i'r senedd i gyfarfod drachefn yn Rhydychain, er dewis y cyfryw bwyllgor, a gwneyd pob darpariadau angenrheidiol ar gyfer y cynllun newydd.

Yn blaenori yn mysg y pendefigion y pryd hwn yr oedd Simon de Montfort, Iarll Leicester. Mab ydoedd i Ffrancwr o'r un enw,

yr hwn a hynododd ei hun mewn erledigaeth a chreulonder tuag at yr Albigensiaid. Priododd etifeddes yn Lloegr, a daeth iarllaeth Leicester i'w feddiant. Canlynwyd ef yn ei ditl gan ei fab, yr iarll presenol. Priododd hwn â gweddw William, Iarll Penfro, a chwaer Henry y brenin. Daeth cyfoeth ac awdurdod eang i'w ddwylaw, ac yn raddol collodd ffafr y brenin, ac enillodd ymddiried y bobl. Cododd ei lef yn uchel yn erbyn gwastraff ac ynfydrwydd Henry, ac yn erbyn yr heidiau o estroniaid oeddent yn bwyta brasder y wlad; dangosodd yr angen am gael gwell gweinyddiad o'r cyfreithiau, ac enillodd radd helaeth o gydsyniad ac ymddiried y pendefigion.

Ar yr 11eg o Fehefin, 1258, ymgyfarfu y senedd yn Rhydychain, yr hon a alwyd wedi hyny, gan bleidwyr y brenin, yn "senedd wallgof" (*mad parliament*). Yno dewisodd y brenin ddeuddeg o eglwyswyr a phendefigion o'i du ef, a'r baroniaid ddeuddeg o'u tu hwythau, a rhoddwyd awdurdod hollol iddynt i drefnu achosion y llywodraeth. Yn mysg cynghorwyr y brenin yr oedd Henry, mab Richard ei frawd, Guy a William, ei haner brodyr, esgobion Llundain a Winchester, ac Ieirll Warwick a Warenne. Ac yn mysg etholedigion y baroniaid yr oedd esgob Worcester, Ieirll Leicester, Caerloyw, Henffordd, Norfolk, ac arglwyddi Roger Mortimer, Hugh Bigod, Fitz-Geoffrey, Richard de Gray, ac eraill. Penderfynwyd yn mhellach fod pedwar o farchogion i gael eu hethol gan rydd-ddalwyr pob sir, er gosod pob achosion a throseddau o flaen y senedd; a bod sirydd newydd i gael ei ddewis yn flynyddol gan rydd-ddalwyr y siroedd; a bod y senedd i gyfarfod dair gwaith yn y flwyddyn. Yr oedd y trefniad yma yn gwbl groes i ewyllys y brenin; ond yr oedd dan orfod i ymostwng, a thyngu cydsyniad â hwynt. Yr hwn a safai ar ben rhestr y weinyddiaeth newydd hon, a'r mwyaf ei ddylanwad, oedd Simon, Iarll Leicester.

Nid hawdd i bwyllgor o'r fath, dan y cyfryw amgylchiadau, roddi boddlonrwydd i'r brenin, i'r bendefigaeth, ac i'r wladwriaeth. Heblaw hyn, buan y torodd ymrysonau allan yn mysg aelodau y cynghor; a chyn hir cymerodd y brenin fantais ar eu hamrafaelion, a phenderfynodd fynu gweinyddiad y llywodraeth yn ol i'w law ei hun. Apeliodd at y pab; rhyddhaodd hwnw ef o'i rwymedigaeth i'r llw a wnaeth o flaen y "senedd wallgof." Achosodd hyn derfysgoedd blin rhwng y brenin a'i gefnogwyr, a'r baroniaid. Arweinid gwrthwynebwyr y brenin gan Leicester. Cymerodd brwydr boeth le rhyngddynt yn Lewes, yn Sussex. Yr oedd byddin y brenin wedi ei dosbarthu yn dair adran, a'r adranau hyny yn cael eu llywyddu gan y brenin, Edward ei fab, a'i frawd, brenin y Rhufeiniaid. Syrthiodd o bob tu lawn ddeng mil yn y frwydr hon, a chymerwyd y brenin a'i frawd yn garcharorion. Rhoddodd y

tywysog Edward, a'i gefnder Henry, mab brenin y Rhufeiniaid, eu hunain i fyny, fel gwystlon am ryddhad eu rhieni; a gwnaed cytundeb i'r perwyl. Ond araf iawn y bu Leicester—yr hwn yr oedd llywodraeth y wlad mewn gwirionedd yn awr yn ei law—i gyflawni y cytundeb hwn: ond cadwodd y tadau a'r meibion dan wyliadwriaeth fanwl am dymhor maith. Beia yr haneswyr Leicester yn fawr am y camddefnydd a wnaeth o'i awdurdod mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth hon. Dangosodd orthrwm diangenrhaid tuag at y brenin eiddil ac ansefydlog; cymerodd feddiant o etifeddiaethau lawer, ac ymddygodd yn anngharedig a brwnt hyd y nod at ei gyfeillion. Yn raddol cododd teimlad cryf a pheryglus yn ei erbyn mewn gwahanol gylchoedd. Ymunodd y pab â brenin Ffrainc hefyd i arfer eu holl ddylanwad yn ei erbyn. Gwelodd Leicester ei berygl, a dyfeisiodd ffordd i adenill ymddiried y wladwriaeth.

Yn nechreu y flwyddyn 1265, gyda'r amcan a nodwyd, mae yn debyg, o'i flaen, cawn ef yn gosod i lawr sylfaen ein *Tŷ y Cyffredin* presenol. Galwodd y senedd yn nghyd, a pharodd fod i gynnrychiolwyr gael eu dewis dros siroedd, dinasoedd, a bwrdeisdrefi, er cynnrychioli y wlad yn neddfwriaeth y deyrnas. Ac o'r pryd hwn allan, mae y sefydliad yma wedi bod yn un o brif destunau ymffrost y cyfansoddiad Prydeinig. Ond er gosod y symudiad pwysig hwn ar droed, yr oedd anhawsderau mawrion ar ffordd Leicester. Yr oedd y prif faroniaid wedi ei adael oblegyd ei ormes. Yr oedd dylanwad y tywysog Edward yn fawr, a'r senedd wedi pasio penderfyniad i'w ryddhau; ond nid oedd y rhyddid a ganiateid iddo gan Leicester ond mewn enw yn unig. Pan ddygodd Leicester fyddin i Henffordd i geryddu y baroniaid terfysglyd ar gyffiniau Cymru, dygodd y brenin a'r tywysog Edward gydag ef, er mwyn rhoddi gwedd mwy awdurdodol i'w ymgymeriad.

Yn y cyfamser dyfeisiodd Iarll Caerloyw, a Roger Mortimer, ac eraill o elynion Leicester, i ddwyn y tywysog Edward ymaith. Darparasant farch buan iddo, a llwyddodd yntau i gael gafael ynddo wrth fyned allan ar dro i gael awyr iach. Wedi hyny ymunodd Edward â'r gwrthwynebwyr, casglwyd byddinoedd cryfion yn erbyn Leicester, ac ymladdwyd brwydr derfynol yn Evesham. Torodd Edward holl bynt y Severn i lawr, fel nad allai Leicester dderbyn adgyfnerthion. Felly yr oedd nerth a sefyllfa yr olaf yn anfanteisiol, a gwelodd ar ddechreu y frwydr nad oedd gobaith am oruchafiaeth, a dywedodd, "Yr Arglwydd drugarhao wrth ein heneidiau, o herwydd mae ein cyrph yn eiddo y tywysog Edward." Yr oedd y brenin mewn gwisg filwrol wedi ei osod i ymladd yn y rhengau blaenaf; a phan oedd un wedi ei daflu i lawr, ac yn anelu ergyd marwol ato, gwaeddodd allan, "Dal dy law! Harry o Winchester ydwyf!" Clywodd Edward ei waedd, adnabu lais ei dad,

a phrysurodd i'w waredu. Lladdwyd ceffyl Leicester dano: a phan oedd yn ymladd yn ddewr ar ei draed, tarawyd yntau, a syrthiodd yn gelain ar draws corph marw ei fab. Lladdwyd y rhan fwyaf o'r dewrion hefyd a ymladdent gydag ef, ac enillwyd buddugoliaeth gyflawn. Cymerwyd corph Leicester, a drylliwyd ef gan ei elynion yn ddarnau mewn cynddaredd: ond er hyny, yr oedd ei goffadwriaeth yn fendigedig yn nghalonau miloedd; ac er ei fod wedi ei esgymuno gan y pab, dywedid fod gwyrthiau yn cael eu cyflawnu ar ei fedd.

"Er i Simon de Montfort gael ei ladd; er i'w gorph marw gael ei ddarnio, a'i weithredoedd gael eu dirmygu fel eiddo trawsfeddianydd; ac er na choffeid ei enw ond gyda dygasedd gan y galluog, ac na chafodd ond bendith y tlodion, a chlod y dysgedig; eto, er gwaethaf awdurdod a rhagfarn, mae ei ddiwygiadau dewr a ffortunus wedi parhau."*

Bellach cafodd y brenin, ei frawd, a'i fab, a charcharorion eraill, eu cwbl ryddid. Cymerodd Henry y deyrnwialen i'w law, ac ar gais ei fab caniataodd i'r bobl amryw bethau a geisent, er mwyn sefydlu heddwch. Cafodd y tywysog ymroddgar orchwyl blynyddau i ddarostwng y gwrthryfel yn llwyr, yr hyn a ychwanegodd lawer at ei glod a'i ddylanwad. Ymladdodd ymgyrch lawlaw ag un Adam Gourdon, baron rhyfelgar; gorchfygodd ef, a chymerodd ef yn garcharor. Rhoddodd faddeuant i Gourdon wedi hyn yn ddioed; derbyniodd ef i'w ffafr, a chafodd ynddo wasanaethwr ffyddlon dros ystod ei oes.

Mor gynted ag yr adferwyd tawelwch yn y deyrnas, aeth Edward a'i wraig, a Henry ei gefnder, ac oddeutu cant a haner o arglwyddi a marchogion, allan tua Jerusalem i'r groes-ryfel (1270). Yr oedd Louis o Ffrainc wedi myned allan ar yr ail groes-gâd, a bu farw yn ei gaban ar gyffiniau Affrica. Syrthiodd celaneddau llawer o wroniaid Lloegr y tro hwn hefyd ar gyffiniau Syria. Anfonwyd Henry ei gefnder yn ol gan Edward ar neges benodol i'r wlad hon; lladdwyd ef ar ei ffordd, pan oedd mewn eglwys yn Itali, gan ddau o blant Leicester, y rhai oeddent wedi eu halltudio o'r deyrnas. Pan gyrhaeddodd y newydd am ei lofruddiad at Richard ei dad, cafodd y fath ergyd fel y bu farw yn fuan. Bu Henry III. farw hefyd y flwyddyn ganlynol, Tach. 16, 1272, a chladdwyd ef yn monachlog Westminster, yn 66ain oed, ac wedi bod yn teyrnasu, mewn enw o leiaf, un ar bymtheg a deugain o flynyddau, y teyrnasiad hwyaf, oddigerth George III, yn holl hanes breninoedd Lloegr. Gadawodd ddau fab ar ei ol, Edward ei ganlynydd, ac Edmond, Iarll Lancaster; a dwy ferch, Margaret, brenines Ysgotland, a Beatrix, duces Llydaw.

* Syr James Mackintosh.

Yr oll ellir ddyweyd am nodweddiad Henry yw, ei fod yn hollol amddifad o gymhwysderau llywodraethwr. Nid oedd yn meddu ar ddigon o fedr na gwroldeb i fod yn frenin da, nac yn ormeswr creulon. Gallasai fod yn ddyn digon diniwed mewn cylch mwy annghyhoedd; ond pan eisteddai ar orsedd gwlad yr oedd yn wrthddrych dirmyg cyffredinol.

## II.—EDWARD I., 1272—1307.

YR oedd Edward (yr hwn a elwid *Longshanks*, oblegyd ei fod yn dal, a'i goesau yn hirion) yn y groes-ryfel yn y dwyrain pan fu farw ei dad, Henry III., ac y daeth coron Lloegr i'w feddiant. Er hyny, cydnabyddwyd ei hawl yn ddiwrthwynebiad, a dewiswyd Gifford, archesgob York, Iarll Cornwall (cefnder Edward), a Iarll Caerloyw, i weinyddu y llywodraeth yn ei absenoldeb. Enillodd Edward glod mawr yn Mhalestina, a gwnaeth gytundeb â'r *sultan*, cyn ymadael â'r wlad, am ddeng mlynedd o heddwch. Tra fu yn aros yn Acre, gwnaed cynygiad bradwrus am ei fywyd. Cymerodd penaeth Tyrcaidd Jaffa arno ei fod yn Gristion; enillodd ymddiried Edward, a chadwodd ohebiaeth yn mlaen ag ef am dro. Un diwrnod daeth cenadwr hwnw â llythyr at Edward, a chafodd ef wrtho ei hun yn ei ystafell, yn gorwedd ar orweddfainc. Tynodd y gelyn ddagr cuddiedig allan yn y fan, ac anelodd ergyd at ei galon. Daliodd Edward yr ergyd â'i fraich, neidiodd i fyny, taflodd ei elyn i lawr, a lladdodd ef â'i arf ei hun. Cafodd archoll peryglus yn ei fraich, a thybiwyd fod yr arf wedi ei gwenwyno. Dywed rhai haneswyr i Eleanor ei wraig roddi ei genau wrth yr archoll, a sugno y gwenwyn allan; ond mae yr awduron goreu yn amheu hyn, ac yn priodoli y gwellhad i fedrusrwydd y meddygon.

Yr oedd Edward ar ei ffordd adref pan glywodd am farwolaeth ei dad. Bu plentyn iddo ei hun farw tua'r un amser. A phan awgrymodd un wrtho ei syndod am ei fod yn galaru mwy am farwolaeth ei dad na marwolaeth ei blentyn, atebodd, "Mae yn yn beth posibl i mi gael plentyn eto; ond y mae colli tad yn golled anadferadwy." Wrth ddeall fod pob peth yn myned yn mlaen yn dawel yn Lloegr, ni phrysurodd Edward i ddychwelyd. Ymwelodd â'r pab yn Rhufain, a chafodd groesaw mawr ganddo. Aeth i Paris i dalu gwarogaeth i Philip am ei diriogaethau yn Ffrainc, ac ymwelodd â'r tiriogaethau hyny. Yn y cyfamser derbyniodd hèr oddiwrth dywysog Chalons yn Burgundy i ymladd rhith-ymgyrch (*tournament*). Derbyniodd Edward yr hèr, a dygodd tua mil o wŷr i gyfarfod a'i wrthwynebydd a chymaint arall. Ond cyn diwedd y chwareu, aeth y rhith yn frwydr wirioneddol; collwyd llawer o

waed, ac enillodd Edward yr oruchafiaeth. Galwyd hon yn "Rhyfel fach Chalons."

Yn Awst, 1274, glaniodd Edward yn Lloegr, yn mhen dwy flynedd wedi claddu ei dad, ac wedi bod yn absenol am bedair blynedd. Yr oedd yn awr yn 36ain oed. Derbyniwyd ef gyda rhwysg a llawenydd, a choronwyd ef yn nghydag Eleanor ei wraig yn Westminster. Yr oedd Edward yn llawer mwy galluog brenin na'i dad; yr oedd ei fedr a'i wroldeb yn destunau clod cyffredinol; ond ar hyn o bryd, a throion wedi hyn, yr oedd yn yr un cyflwr ag y byddai ei dad bob amser—mewn diffyg arian. Ac, fel ei dad hefyd, nid oedd yn orofalus am y llwybr a arferai tuag at eu cael. Y diffyg hwn, yn ddiau, oedd y prif achos iddo ymddwyn mor greulon at yr Iuddewon.

Dyoddefiadau yr Iuddewon. Yr oedd yr Iuddewon, druain, yn wrthddrychau dirmyg ac erledigaeth o oes i oes. Yr oedd yn ddigon caled arnynt yn y wlad hon, er fod hon yn noddfa ddyogel iddynt o'i chydmaru â gwledydd eraill; a hyn sydd yn rhoddi cyfrif am fod cynifer yn ymfudo iddi yr amseroedd hyny. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at lawer o gamwri a chreulonderau ddangoswyd tuag at grwydriaid Israel, ac y mae un o'r cymylau duaf ar ymdori ar eu penau yn awr ar ddychweliad Edward i'w freniniaeth. Yr oedd ei sel fel croes-ryfelwr, a'i frwydrau â'r anffyddwyr yn y Dwyrain, wedi cynyddu yn fawr ei gasineb at yr Iuddew. Nid oedd angen arno gan hyny i gael ond esgus bychan i ddial arnynt, yn enwedig gan y gallasai trwy hyny lenwi ei goffrau gweigion â'u golud. Unwaith ac eilwaith y parodd Edward ddwyn cwynion yn erbyn yr Iuddewon; ac yr oedd cwyn yn erbyn Iuddew agos yr un peth a dedryd marwolaeth arno. Ac yn y cyfryw achosion byddai eu holl feddianau yn eiddo i'r brenin. Ar un adeg, crogwyd 280 o Iuddewon yn Llundain yn unig, dan y cyhuddiad o docio arian bathol, heb un sail i hyny oddigerth eu bod yn cael arian tociedig yn eu meddiant. Yn 1290, pasiwyd penderfyniad yn y senedd ar fod i bob Iuddew ymadael â'r deyrnas am byth, o hyny i ben dau fis o amser. Derbyniodd dros un fil ar bymtheg a haner docynau ymadawiad gan y brenin, gyda rhyddid i ddwyn cymaint o gyfoeth ganddynt ag a dalai draul eu cludiad yn unig. Ond ni chaniatawyd hyny i lawer o honynt, oblegyd boddwyd llawer yn y porthladdoedd er mwyn lladrata yr ychydig oedd yn eu llogellau. Cymerwyd meddiant o'r holl gyfoeth a adawyd ganddynt yn y deyrnas gan Edward. Cospodd bawb eraill am ysbeilio yr Iuddewon, "am ei fod yn penderfynu na chai neb fod yn ysbeiliwr yn ei deyrnas ond efe ei hunan."

Ymgymerodd y brenin ag amryw lwybrau eraill hefyd mwy anrhydeddus, tuag at lenwi coffrau gweigion y llywodraeth. Cynil-

iodd yn y treuliadau, parodd i'r senedd osod trethi ar amryw nwyddau, gosododd ar y pab ganiatau cyfran o'r cyllidau eglwysig iddo am ysbaid tair blynedd, a pharodd wneuthur ymchwiliad i ditlau etifeddiaethol y deyrnas. Dygwyd yr ymchwiliad hwn yn o bell mewn rhai achosion. Pan ofynwyd i Iarll Warenne, yr hwn oedd wedi bod o wasanaeth mawr i'r wlad dan y brenin diweddar, am ei ditl, dangosodd ei gleddyf, a dywedodd, "Dyma fy nhitl i; a chaiff hwn ei amddiffyn." Gwelodd y brenin y perygl, a rhoddodd atalfa ar y cyfryw ymchwiliadau.

Wedi i Edward sefydlu ei hun, casglu trysor i'w goffrau, gwneuthur amryw drefniadau newyddion yn ei lywodraeth, a gwneuthur gwelliadau mor bwysig fel ag i newid yn fuan agwedd gyffredinol y wlad, dechreuodd feddwl am waith i'w wneyd. Yr oedd ei ysbryd yn llawn gweithgarwch; ac yn lle gwastraffu ei nerth a'i feddianau mewn rhyfeloedd dibwrpas ar y Cyfandir, fel ei ragflaenoriaid, daeth i'w fryd ddarostwng yn hollol wahanol barthau y wlad hon. Trodd ei lygaid at Gymru ac Ysgotland, y rhai oeddent hyd yma wedi parhau i ddal eu hannibyniaeth.

Sefyllfa pethau yn Nghymru. Pe ceisid rhoddi hanes manwl am helyntion y Cymry yn amser teyrnasiad y breninoedd hyn, ni byddai ond poeni y darllenydd â chyfres ddidor o fân-frwydrau rhyngddynt â phenaduriaid a phendefigion Lloegr. Cwynir yn fynych gan haneswyr ar ysbryd aflonydd a rhyfelgar y Cymry; ond dylid cadw mewn cof eu bod dan gyffroadau cyson i hyny gan ormes, bradwriaethau, a chreulonderau diddiwedd eu cymydogion gorthrymus. Dywed Giraldus Cambrensis nad oedd neb yn fwy tawel a moesgar yn amser heddwch na'r Cymry; y cai Normaniad a Sais, os byddent heb arfau, dderbyniad croesawgar ganddynt; a difyrent hwynt gyda gwleddoedd a chaniadau. Yr oeddent yn llawn o ysbryd barddoniaeth, ac yn hynod hoff o'u cerddoriaeth genedlaethol. Byddai telyn yn mhob tŷ, a'r cwmni yn eistedd yn gylch o gwmpas y telynwr, yn canu penillion bob yn ail, a'r rhai hyny weithiau yn ddifyfyr. Dywed yr un awdwr fod y Cymry yn ddieithriad, o'r uchaf i'r iselaf, yn rhydd a pharod yn eu hymadrodd, ac yn meddu gwroldeb mawr i ateb tywysogion a breninoedd. Pan oedd Henry II. unwaith yn myned trwy barth o'r Dywysogaeth, a'i osgordd ysblenydd yn ei ganlyn, taflai olwg ddirmygus ar y boneddigion Cymreig yn marchogaeth eu ceffylau geirwon, a'r dosbarth tlotaf wedi ymwisgo mewn crwyn defaid neu eifr. Aeth gwr mynyddig yn mlaen at y brenin, a dywedodd mewn tôn wrol, "A weli di y bobl dlodion hyn? ond fel y maent, nis gelli di byth eu darostwng—mae hyny yn aros yn unig i Dduw yn ei ddigofaint!" Ac er y gallai i'r digofaint hwn gael ei amlygu yn narostyngiad eu gwlad gan or-ŵyr Henry, ni ddaliodd un genedl erioed wrthsafiad

meithach a dewrach dros eu rhyddid. Yr oeddent yn llawer llai eu nifer na'r Ysgotiaid, ac yn fwy agored i ymosodiadau eu gelynion; ac os buont yn llai ffortunus na hwy dan eu gorchfygiad, mae eu dewrder yn hawlio yr un edmygedd a chydymdeimlad. Ac y mae yn bosibl fod nodwedd genedlaethol uchel teyrnas gyfunol Prydain Fawr yn ddyledus mewn rhan i'r ffaith, na ddarfu un rhan o honi syrthio yn goncwest hawdd a diraddiedig i'r llall.*

Ceisiodd Henry III. orchfygu Cymru unwaith ac eilwaith, ond profodd yn ormod gorchwyl iddo. Pan anfonodd archesgob Canterbury at Llewelyn Fawr (ap Iorwerth), tywysog Cymru, i gytuno ar heddwch, gorfu iddo ildio i amodau Llewelyn yn gwbl. Yr oedd hwn yn un o'r tywysogion dewraf, a bu yn teyrnasu ar Gymru am 46 o flynyddoedd. Priododd â Joana, merch y brenin John o Loegr; felly yr oedd yn frawd yn nghyfraith i Henry III. Dywed Matthew Paris iddo, wedi cyrhaedd gwth o oedran, roddi ei gyfoeth dan nawdd Henry, cynyg ufudd-dod iddo, ac ymostwng i ddal ei diriogaeth dano, ac i amryw o'i wŷr gytuno, ac i eraill wrthod. Bu farw yn 1240, a chladdwyd ef yn Aber Conwy, wedi iddo eangu llawer ar diriogaethau cyffiniol Cymru. Priododd merch iddo â Roger Mortimer, arglwydd Ludlow a Wigmore, ac o'r briodas hon y disgynodd Edward IV. Gadawodd ddau fab ar ei ol, Grufydd yr hynaf, ac etifedd yr orsedd; a Dafydd. Traws-feddianwyd yr awdurdod gan yr olaf, a thrwy gymhorth Henry ei ewythr taflwyd Gruffydd i'r Twr yn Llundain, yr hwn a gollodd ei fywyd wrth geisio dianc. Ymostyngodd Dafydd i dalu gwriogaeth i frenin Lloegr, a diraddiodd ei hun yn fawr â'i amodau annewr, a rhoddiad i fyny y tiriogaethau a enillodd ei dad. Bu farw yn ddiblant, a rhanwyd breniniaeth Cymru rhwng y ddau hynaf o blant Gruffydd, Llewelyn ac Owain. Ceisiodd Owain a Dafydd (brawd ieuangach) draws-feddianu y llywodraeth oddiar Llewelyn; ond gorchfygodd Llewelyn, carcharodd ei frodyr terfysglyd, a daeth yr holl awdurdod i'w law ef ei hun. Yn 1254, cyhoeddodd Llewelyn ryfel â Lloegr. Ei brif wrthwynebydd oedd y tywysog Edward, mab Henry III., i'r hwn yr oedd ei dad wedi rhoddi tywysogaeth Cymru, a'r pab wedi caniatau hyny trwy orchymyn. Cymerodd amryw ryfeloedd le; gyrai Llewelyn fyddinoedd Lloegr yn ol gyda cholledion, ac eangai ei diriogaethau cyffiniol yn mhob man. Ar ol i'r rhyfel barhau am dros ugain mlynedd, yn 1267 gwnaed cytundeb heddwch, wedi ei arwyddo gan y brenin, a chenadwr y pab, yn mha un yr oedd y tywysog Edward yn rhoddi pob hawliau yn y dywysogaeth i fyny, ac arglwyddiaeth gyffredinol Llewelyn dros holl Gymru yn cael ei chydnabod.†

*Knight's History, 695, 696. †Morgan's Cambrian History.

Gorchfygiad Cymru a'i huniad â Lloegr.

Wedi i Edward ddyfod i orsedd Lloegr, anfonodd unwaith ac eilwaith at Llewelyn i geisio ganddo ddyfod i dalu gwriogaeth iddo, ac yntau bob tro yn gwrthod. Yr oedd teimlad gelynol wedi hen fagu rhwng y ddau benadur, a'r naill yn ddigon parod i geisio achlysur i godi yn erbyn y llall. Yn y rhyfel rhwng Henry III. a'r baroniaid, cymerodd Llewelyn blaid Montfort, Iarll Leicester; cynorthwyodd ef yn mrwydr Evesham, a daeth y ddau wron yn gyfeillion mynwesol. Ac wedi i'r iarll gael ei ladd, a'i deulu anffortunus gael eu halltudio i'r Cyfandir, yr oedd cyfeillgarwch Llewelyn yn parhau, a gwnaeth gytundeb priodas ag Eleanor de Montfort, merch y diweddar iarll. Pan oedd y foneddiges hono ar ei thaith drosodd o Ffrainc i Gymru, anfonodd Edward bedair o longau o Bristol i'w chyfarfod, a chymerwyd hi fel carcharor i lys y brenin. Tybiai Edward y gallai ddirgymhell Llewelyn, trwy garchariad ei ddyweddi, i ddyfod i ryw amodau mwy manteisiol iddo ei hun. Llidiodd Llewelyn yn fawr, a dywedir iddo ddechreu ymosodiad ar gyffiniau Lloegr. Bernir fod yn dda gan Edward glywed y newydd, oblegyd ei fod ar ei ddysgwyliad am achlysur i godi yn erbyn Cymru. Darparodd fyddin nerthol; cyhoeddodd y senedd Llewelyn yn derfysgwr, a'i fod wedi fforffedu ei feddiant; rhoddodd hefyd swm mawr o arian i'r brenin i ddwyn y rhyfel yn mlaen, ac esgymunwyd y tywysog Cymreig gan yr awdurdodau eglwysig. Parotodd Llewelyn yntau ei fyddin i gyfarfod yr ymosodwyr; dywedai wrth ei wŷr, "Ni chawn ymdrechu dros ein rhyddid, ond o hyn allan bygythir ni â cholledigaeth; ni chawn wrthwynebu gormeswyr tymhorol, heb i ni, meddent hwy, beryglu ein hiachawdwriaeth dragywyddol. Gwell yw i ni, trwy farwolaeth anrhydeddus ar faes y frwydr, i esgyn ar unwaith at Dduw a'n tadau, na byw ar y ddaear hon yn gaethion i unrhyw allu dynol."

Yn 1277, arweiniodd Edward y fyddin Seisnig tua chyfeiriad Caerlleon Gawr; croesodd y Dyfrdwy, a chymerodd gestyll Flint a Rhuddlan. Yr oedd gan y brenin lynges fawr hefyd yn cydweithredu ag ef ar hyd y cyffiniau, ac yn tori rhwng Llewelyn a phob cyflenwadau o Sir Fon a lleoedd eraill. Felly gwarchaewyd ar y Cymry yn y mynyddoedd, a buan y daethant i ddyoddef yn drwm oddiwrth angen a newyn. Ofnai Edward anturio i wneyd rhuthr arnynt i'r mynyddoedd, a phenderfynodd adael i newyn eu dyfetha yno. O'r diwedd aeth eu cyflwr yn annyoddefol, a gorfu i'r tywysog gwrol ymdaflu ar haelfrydedd ei elyn. Cyhoeddodd Edward y telerau yn nghastell Rhuddlan, Tach. 10. Yr oedd ar Llewelyn i dalu £50,000, rhoddi ei diriogaethau mor bell a'r afon Conwy i fyny, talu gwriogaeth i frenin Lloegr, rhoddi gwystlon am ffyddlondeb, a thalu ardreth flynyddol am Sir Fon, yr hon oedd i fyned at Loegr ar ol marwolaeth Llewelyn, os na fyddai etifedd

gwryw gan yr olaf. Wedi hyny, rhyddhaodd Edward ef o'r swm arian uchod, gan y gwelai, mae yn debyg, fod yn anmhosibl eu talu.

Ar ol hyn priododd Llewelyn ag Eleanor de Montfort, a bu Edward yn ddiwyd yn ceisio hudo pendefigion Cymru i droi yn erbyn eu tywysog. Llwyddodd i droi Dafydd, brawd Llewelyn, o'i blaid; priododd ef â merch i iarll, a gwnaeth ef yn faron. Ond wedi i hwnw ddychwelyd i fysg ei gydwladwyr i fynyddoedd Cymru, taniwyd ef ag ysbryd Cymreig, edifarhaodd am ei ffolineb, ac ymunodd â'i frawd i amddiffyn rhyddid ei wlad. Yr oedd y Saeson yn awr, yn ymfalchio yn eu buddugoliaeth ar y Cymry, yn fwy trahaus-falch a gormesol nag erioed. O'r diwedd cyffrodd eu sarhad ddigofaint y gorthrymedig, a chymerasant eu harfau i fyny eilwaith, gan ddewis yn hytrach gael eu lladd gan gleddyf eu gelynion, na goddef y fath orthrymder gwaradwyddus. Ar Sul y Blodau, 1282, rhuthrodd Dafydd ar gastell Hawarden, eiddo Roger Clifford, y prif-ynad, lladdodd amryw oedd yno, a chymerodd Clifford yn garcharor. Taflodd hyn wreichionen i'r pylor, a chanlynodd gwrthryfel cyffredinol. Am beth amser enillai y Cymry y dydd, a gyrent Edward a'i wŷr yn eu hol gyda cholledion mawrion. Ond yr oedd yr adgyfnerthion a ddylifai at Edward yn gwneyd achos y Cymry yn anobeithiol. Heblaw pobl Lloegr, cyflogodd Edward heidiau o filwyr tramor o ardaloedd y *Pyrenees*, y rhai oeddent, fel y Cymry, yn gyfarwydd â chilfachau mynyddig, a defnyddiwyd y rhai hyny mewn lleoedd nad allai byddin y brenin actio; ac felly ymlidiwyd y Cymry allan o'u holl noddfeydd. Cymerodd Edward feddiant o Ynys Fon trwy offerynoliaeth ei lynges; ond dyoddefodd golled drom wrth groesi y Menai i Arfon. Gwnaethant bont fadau ar ei thraws, wrth le a elwid Mael y Don, yn agos i'r bont grogedig. Cododd y Cymry, dan lywyddiaeth Richard ap Walwyn, wrthgloddiau gyferbyn a hwynt; ac wedi gadael i nifer mawr o'r gelyn groesi, pan ddaeth y llanw i mewn, rhuthrasant arnynt, gyrasant hwy yn ol i'r afon, a gwnaethant alanastra echrydus arnynt. Rhwng y cleddyf a'r afon, syrthiodd tri ar ddeg o farchogion, llawer mwy o ysweiniaid, ac amryw ganoedd (mil medd un) o draed-filwyr. Mewn brwydr ganlynol, gorfu i Edward ei hun ffoi i un o'r cestyll am nodded, a gadael Arglwyddi Audley a Clifford yn farw ar y maes. Wedi hyn parodd y brenin i Ieirll Caerloyw a Mortimer arwain byddinoedd eraill i fyny trwy y Deheudir, a dyfod o'r tu cefn i Llewelyn. Pan ddeallwyd hyn, gadawodd Llewelyn ei wŷr yn y Gogledd dan ofal Dafydd ei frawd, ac arweiniodd fyddin i gyfarfod y byddinoedd newyddion. Tybir iddo gael ei gynghori i wneyd hyn gan gyfeillion gau, er mwyn ei fradychu. Cyrhaeddodd ardal Llanfair-muallt, ac yn ddisymwth cafodd ei hun am yr afon (Wy) a byddin Seisnig nerthol dan

arweiniad Mortimer; a thra yr oedd, wedi gosod rhan o'i wŷr i amddiffyn pont oedd ar yr afon, yn aros amryw bendefigion i ddyfod yn nghyd, mewn man neillduedig, heb un arf yn ei law, daeth haid o'i elynion arno, a brathwyd ef â phicell gan un Adam Francton, fel y bu farw. Lladdwyd yno tua dwy fil o wŷr. Torwyd pen Llewelyn, ac anfonwyd ef i Ruddlan at Edward, yr hwn a'i hanfonodd i Lundain, a choronwyd ef yn watwarus ag eiddew (arian, medd rhai); dygwyd ef ar bicell trwy ystrydoedd y ddinas, ac wedi hyny gosodwyd ef ar binacl y Twr, lle y bu am amser maith. Claddwyd ei gorph yn agos i'r fan y syrthiodd. Collodd y Cymry eu nerth pan gollasant eu hanwyl dywysog Llewelyn, ac ymostyngodd y rhan fwyaf o'u penaethiaid i Edward. Yn mhen tua chwe mis, bradychwyd Dafydd, brawd Llewelyn, gan rai o'i gydwladwyr, a dygwyd ef a'i wraig a'i blant mewn cadwynau i gastell Rhuddlan. Galwodd Edward senedd yn nghyd yn Amwythig, a thraddodwyd Dafydd i gael ei lusgo gan geffyl i le y dienyddiad, ei grogi, llosgi ei ymysgaroedd, ei ddarnio yn bedwar, a gyru y darnau i wahanol barthau y deyrnas; a chyflawnwyd y ddedryd farbaraidd i'r llythyren. Anfonwyd ei ben i'w osod yn ymyl pen ei frawd ar ben Tŵr Llundain.

Yma terfyna annibyniaeth y Cymry, wedi iddynt ddal i'w amddiffyn mor wrol yn wyneb nerth mor annghyfartal, am wyth cant o flynyddoedd. Mae yn ddiau yn syndod, fel y dywed "Morgan's *Cambrian History*," fod y Cymry wedi gallu dal i fyny o oes i oes, trwy y fath gyfres o ryfeloedd dinystriol, i wynebu galluoedd mor fawrion, heb gymhorth gan unrhyw gyngreiriaid cartrefol na thramor, ac heb geiniog yn eu trysorgell; a bod eu hymdrech faith dros gadwraeth eu hiawnderau, heb unrhyw gymhorth dynol oddigerth ffyddlondeb y frawdoliaeth, ac heb un wobr i'w cymhell oddigerth caniad y bardd, yn rhoddi ger ein bron amlygiad o wroldeb ac adderchawgrwydd egwyddor nad oes yn hanes y byd ei gyffelyb—yn mhell tu hwnt i ddim sydd i'w gael yn hanesiaeth Groeg a Rhufain.

Dywed traddodiad i Edward, wrth weled nad oedd dim mor effeithiol i enyn gwroldeb milwrol yn mysg y Cymry a chaniadau y beirdd, gasglu holl blant y gân yn nghyd, a gorchymyn eu rhoddi oll i farwolaeth. Mae llawer yn amheu gwirionedd hyn, oddiar ddiffyg profion digonol, yn gystal ag oddiwrth ei annghydweddiad ag ysbryd Edward. Beth bynag, arosodd y brenin yn Nghymru, ar ol ei darostwng, am dros flwyddyn, i gario allan y trefniadau angenrheidiol tuag at ei llywodraethiad gan goron Lloegr. Dosbarthodd hi hefyd, fel Lloegr, yn siroedd a chantrefi, a ffurfiodd gorphoriaethau trefol. Rhoddodd y tiroedd o gwmpas y cestyll i faroniaid Seisnig, ond gadawodd y tiroedd eraill gan mwyaf yn

meddiant y perchenogion gwreiddiol. Er hyn oll, nid oedd y Cymry yn foddlon i ymostwng i lywodraeth brenin Lloegr, ond mynent gael tywysog arnynt o'u gwlad eu hunain. O'r diwedd tybiodd y brenin am lwybr i gyfarfod â'r dymuniad. Anfonodd Eleanor ei wraig, yr hon oedd yn feichiog, i gastell Caernarfon, ac yno y rhoddodd enedigaeth i fab, yr hwn a alwyd Edward. Galwodd y brenin y pendefigion Cymreig yn nghyd, a dywedodd fod ganddo dywysog iddynt, yn enedigol o Gymru, ac heb allu siarad gair o Seisnig, sef ei faban, yr hwn oedd newydd ei eni yn Nghaernarfon. Galwyd ef yn Dywysog Cymru, a thybiodd y bobl y caent lywodraeth annibynol ar Loegr; ond pan fu farw mab hynaf y brenin, daeth Edward Caernarfon yn etifedd gorsedd Lloegr, a chafodd y Cymry siomedigaeth eto. Byth oddiar yr amgylchiad hwn, mae mab hynaf brenin Lloegr yn cael ei alw yn Dywysog Cymru.

Helyntion Ysgotland. Wedi terfynu achosion Cymru aeth y brenin drosodd i'r Cyfandir i athrywynu rhwng breninoedd Ffrainc ac Arragon, mewn ymrafael am eu tiriogaethau, a bu yno yn enill clod mawr iddo ei hun am dros dair blynedd, hyd nes i annhrefn yn ei lywodraeth ei hun ei orfodi i ddychwelyd. Ac yr oedd sefyllfa pethau yn Ysgotland hefyd yn gyfryw ag y parwyd i Edward ymyryd. Bu Alexander III., brenin Ysgotland, farw yn ddisymwth trwy syrthio oddiar ei geffyl. Yr oedd hawlfraint y goron yn disgyn ar ei ol i ŵyres iddo, merch Eric, brenin Norway. Cynlluniodd Edward briodas rhwng ei fab a'r etifeddes hono, a chafwyd boddlonrwydd cyffredinol i'r cysylltiad. Ond yn anffodus, cymerwyd y foneddiges ieuanc yn glaf pan ar ei thaith i'r wlad hon, a bu farw. Erbyn hyn yr oedd tri ar ddeg yn dyfod yn mlaen i hawlio y goron. Rhoddwyd y pwnc dyrys i'w benderfynu gan Edward, yn nghyda chyngor lliosog o Ysgotiaid a Saeson. O'r diwedd dygwyd nifer yr ymgeiswyr i lawr i ddau, sef John Baliol, a Robert Bruce. Gwnaeth Edward i'r ddau gydnabod ei oruwch-awdurdod ef arnynt cyn penderfynu, ac ufuddhasant hwythau. Wedi agos blwyddyn a haner o ymgynghori, terfynwyd yr achos o blaid Baliol, yr hwn a goronwyd Tachwedd 30, 1292, a daeth drosodd i Loegr i dalu gwriogaeth a thyngu ffyddlondeb i Edward.

Yn fuan ar ol hyn, cododd terfysg eto rhwng brenin Ffrainc ac Edward, yr hwn a achoswyd trwy ffrae rhwng morwyr y ddwy wlad. Tua'r un amser y cododd y Cymry wrthryfel yn erbyn y Saeson; a daeth gair i glustiau y brenin fod Baliol yn cyngreirio â brenin Ffrainc yn ei erbyn. Anfonodd fyddin i Ffrainc dan arweiniad Edmund ei frawd; aeth â byddin ei hun i Gymru, a darostyngodd y terfysgwyr; ac ar ol i Baliol wrthod cynorthwyo y brenin â milwyr, nac ymddangos ger ei fron i roddi cyfrif, dygodd fyddin fawr i Ysgotland, gan benderfynu ei llwyr ddarostwng.

Darparodd yr Ysgotiaid i'w wrthsefyll; ond yr oedd Edward yn drech na hwynt; a gorfu iddynt ffoi, gan adael deng mil o lladdedigion ar y maes. Gorchfygwyd Ysgotland yn y frwydr hon; a rhoddodd Baliol y deyrnas i fyny i Edward, a rhoddodd Edward Dŵr Llundain yn gartref iddo, gydag ugain milldir o gwmpas y Tŵr o ryddid. Gosodwyd Iarll Warenne yn rhaglaw ar y wlad, a Saeson ac Ysgotiaid yn brif swyddogion eraill. Cymerodd Edward ymaith y gareg fawr o Scone, ar yr hon y byddai breninoedd Ysgotland yn cael eu coroni, ac anfonodd hi i fonachlog Westminster. Nid oes seiliau digonol i'r traddodiad ddarfod iddo ddystrywio yr holl ysgrifau a gynwysent brofion o annibyniaeth Ysgotland.

Ar ol tawelu Ysgotland, aeth Edward drosodd i Ffrainc, ac wedi cryn amser, gwnaed heddwch a Philip, cafodd ei diriogaethau colledig yn ol, priododd â Margaret, chwaer brenin Ffrainc (yr oedd Eleanor ei wraig gyntaf yn awr wedi ei chladdu), a gwnaed cytundeb priodas rhwng Tywysog Cymru a merch Philip. Erbyn hyn yr oedd terfysgoedd yn codi eto yn Ysgotland, yn cael eu cyffroi gan annoethineb a gormes y llywodraethwyr Seisnig. Dyma y pryd y gwnaeth y gwrol William Wallace ei ymddangosiad—gwr o fri anfarwol yn nghoffadwriaeth y wlad hono. Nid oedd yn ymgeisydd am orsedd na swydd; ond safodd i fyny i ymladd dros annibyniaeth ei wlad a'i genedl, a chasglodd fyddin fawr i'w ganlyn. Canlynodd brwydrau o'r mwyaf ffyrnig a gwaedlyd, am rai blynyddoedd. Yr oedd Edward yn awr yn cael y trechaf, ac yn medi ei elynion i lawr fel glaswellt. Ac yn mrwydr fythgofiadwy Falkirk, Gorphenaf 22, 1298, enillodd Edward fuddugoliaeth hollol; rhwygodd y fyddin Ysgotaidd yn ddarnau; ac ni chollasant gymaint o wŷr mewn un frwydr erioed yn eu hanes. Mae nifer eu lladdedigion yn amrywio gan wahanol haneswyr o bymtheg i haner can mil. Ond er hyn, nid oedd dyddiau annibyniaeth Ysgotland eto wedi eu rhifo. Wedi i Wallace gael ei fradychu gan ei was, ei ddwyn i Lundain, ei grogi, ei ddarnio, a rhoi ei ben ar y Tŵr, daeth amryw ddewrion ar ei ol yn barod i gymeryd ei le, ac i golli eu bywydau dros eu hannibyniaeth. Yn eu mysg yr oedd Robert Bruce (mab y Bruce fu yn ymgystadlu â Baliol), Wishart, a Mowbray. Yr oedd Wallace wedi cyfarfod â Bruce, ac wedi rhoddi ei ysbryd yn fflam, mewn araeth nerthol. Coronwyd Bruce yn frenin yn Scone (1306), a dechreuodd wrthwynebu hawliau a byddinoedd Lloegr. Yr oedd Edward yn meddu ar ysbryd di-ildio; er ei fod bellach wedi tori gan gystudd a henaint, penderfynodd fyned unwaith eto i ddial ar yr Ysgotiaid terfysglyd. Gwnaeth ei fab, ac amryw bendefigion ieuainc eraill, yn farchogion; ac yn y wledd ar yr achlysur hwnw, tyngodd i Dduw y cai y gwrthryfelwyr deimlo pwysau ei fflangell; a gorchymynodd i'r cwmpeini, os byddai ef farw cyn gwneyd hyny,

am beidio ei gladdu hyd oni chyflawnai ei fab ei adduned. Dacw ef unwaith eto, yn hen wr afiach, o flaen ei fyddin; ond pan yn agos i Carlisle, cryfhaodd ei glefyd, a bu farw dranoeth, Gor. 7, 1307, yn 69ain oed, ac yn y 35ain flwyddyn o'i deyrnasiad. Gadawodd ar ei ol, o'i wraig gyntaf, un mab (Edward), a phedair merch; ac o'r ail wraig, ddau fab, Thomas, Iarll Norfolk, ac Edmund, Iarll Kent.

Mae yn hawdd nodi beiau a diffygion yn Edward I., yn enwedig os edrychir arno oddiar safle yr Iuddew, y Cymro, neu yr Ysgotiad; rhydd ffordd i'w drachwant trwy ysbeilio y cyntaf o'i arian, a thrwy ysbeilio yr ail a'r trydydd o'u gwledydd a'u hannibyniaeth. Ond beth bynag a ddywedir am ei feiau, yr oedd ei gymhwysderau i lywodraethu yn amlwg ac yn enwog. Meddai ar lygad craff, ysbryd dewr ac anturiaethus, doethineb eang, a dyfalbarhad di-ildio. Yr oedd yn wleidiadwr da, ac yn rhyfelwr cadarn. Cafodd y deyrnas o law ei dad mewn cyflwr digon canolig; ond gadawodd hi i'w fab yn y cyflwr goreu y bu erioed o'r blaen. Bu farw a'i holl fryd ar orchfygu Ysgotland, a chael yr holl ynys dan un pen. Dywed rhai o'r haneswyr iddo cyn marw wneuthur i'w fab dyngu, y buasai yn ei ferwi ef mewn pair, mor gynted ag y buasai farw, hyd nes byddai y cnawd wedi gadael yr esgyrn; ac yna gladdu y cnawd, a chadw yr esgyrn; a phob tro y gwrthryfelai yr Ysgotiaid, fod iddo ddwyn ei esgyrn gydag ef o flaen y fyddin i'w darostwng. Os gwnaed y cyfryw lw, nid oes un hanes iddo gael ei gadw.

## III.—EDWARD II. (O GAERNARFON), 1307—1327.

WRTH ddyfod at Edward II., yr hwn a elwid Edward o Gaernarfon, oblegyd mai yn nghastell Caernarfon y ganed ef, yr ydym yn dyfod i gyffyrddiad â dyn o nodweddiad gwahanol iawn i'w dad Edward I. Dengys ei holl hanes ei annghymhwysder i ddal teyrnwialen gwlad mewn amseroedd mor helbulus. Cyhoeddwyd ef yn frenin yn Carlisle, ar farwolaeth ei dad, pan oedd o dair i bedair ar ugain oed. Bu ei dymher serchog a chyfeillgar yn demtasiwn flin iddo dros ystod ei fywyd, oblegyd yr ymollyngai gyda'r duedd hono i eithafoedd ffol a direswm.

Cyn marwolaeth ei dad yr oedd wedi ffurfio cyfeillgarwch eithafol ag un Piers Gaveston, pendefig ieuanc o Gascony. Dywedodd ei dad lawer wrtho am y ffolineb hwn, gwaharddodd y deyrnas i Gaveston, a rhybuddiodd ei fab cyn marw i beidio ei alw yn ol mwy. Ond y peth cyntaf a wnaeth Edward ar ol ei esgyniad oedd tori gorchymyn synwyrol ei dad, a gyru am Gaveston: a chododd ef i gymaint o fri ac awdurdod ag oedd yn rhwym o'i wneyd yn wrthddrych cenfigen a dygasedd ei bendefigion. Rhoddodd iarllaeth

eang Cornwall iddo, priododd ef a'i nith, Margaret de Clare, a gwnaeth ef yn arglwydd ystafellydd. Trwy ei ddylanwad ar y brenin newidiwyd holl brif swyddogion y deyrnas; a dywedir fod y brenin yn ei anwylo mor fawr, fel y dywedai y rhoddasai y deyrnas iddo, pe gallasai. Yn Ionawr, 1308, pan aeth Edward drosodd i Ffrainc i briodi y landeg Isabella, gadawodd Gaveston yn rhaglaw y deyrnas, ac awdurdod ddiderfyn yn ei law. A phan aeth y pendefigion i gyfarfod y pâr ieuanc breninol ar eu dychweliad, ymdaflodd Edward i freichiau Gaveston, gan ei gofleidio a'i gusanu, yn hollol ddisylw o bawb eraill, ac hyd y nod o'r briodferch ei hun. Ar ddydd y coroniad eilwaith yn Westminster, Chwef. 24, nid oedd neb yn gymaint ei wychder a'i rwysg a Gaveston. Cyffrowyd dygasedd y pendefigion yn fawr yn erbyn y brenin ac yntau; ac yn mhen pedwar diwrnod ar ol y coroniad, aethant at y brenin i ofyn ganddo yn ddiseremoni i yru Gaveston allan o'r deyrnas, ac nad oedd i ddychwelyd dan berygl marwolaeth. Yn mhen rhai misoedd gorfu i'r brenin ufuddhau. Aeth gydag ef i Bristol, ac ymadawsant gyda dagrau. Yn fuan cafwyd allan fod Gaveston yn rhaglaw Iwerddon, a'i fod yn arfer rhwysg anarferol yn y wlad hono. Ac yn mhen tua blwyddyn yr oedd y brenin wedi rhyddhau ei ffordd i ddychwelyd eilwaith i Loegr. Tywalltodd Edward bob ffafrau ar ei ben eto, ac aeth yntau i ymddwyn yn fwy trahaus nag erioed. Collodd y pendefigion eu hamynedd. Cyfarfu y senedd, yn 1310, a gorfododd y brenin i gydsynio i nodi pwyllgor o bendefigion i ddiwygio a gweinyddu y llywodraeth. Enwodd yr archesgob (Winchelsea) saith esgob, wyth iarll, a thri ar ddeg o farwniaid, y rhai a alwyd "Ordeinwyr." Ymneillduodd y brenin yn ffromedig gyda'i anwesyn Gaveston i Berwick, lle buont yn mwynhau eu gilydd am flwyddyn. Yna galwyd arno i gyfarfod y senedd i'r dyben i gadarnhau rhes o benderfyniadau pwysig. Yn mysg y penderfyniadau hyny yr oedd, cyfarfyddiad blynyddol y senedd, ac alltudiad uniongyrchol Gaveston o'r deyrnas. Gorfodwyd Edward, wedi hir wrthod, i gydsynio, a chanu yn iach a'i hoff-ddyn unwaith eto, yr hwn a aeth drosodd i Flanders. Cyn pen dau fis yr oedd Gaveston drachefn gyda'i feistr breninol yn York, yn cael ei lwytho â ffafrau ac anrhegion.

Gweithiodd hyn deimlad digofus pendefigion y deyrnas i gynddeiriogrwydd. Cymerodd Ieirll Lancaster a Phenfro, ac eraill, y flaenoriaeth mewn gwrthryfel yn erbyn y brenin, a dechreuasant ymlid ar ei ol ef a Gaveston. Wedi helfa faith, cymerwyd Gaveston i fyny gan Penfro yn Scarborough, a dygodd ef i gastell Dedington, ger Banbury, lle y gadawodd ef dan ofal ychydig wylwyr. Cymerwyd ef oddiyno gan Iarll Warwick, cadwyd cynghor ar ei achos, a thorwyd ei ben. Pan glywodd y brenin am dynged

ei hoff-ddyn, enynodd ei lid yn fawr, a bu am chwech mis mewn amrafael â'i faroniaid o'r herwydd.

Wedi heddychu â'i bobl yn achos Gaveston, aeth Edward â byddin i Ysgotland (1314), i geisio gwrthsefyll ymdrechion llwyddianus Robert Bruce i yru y Saeson allan o'i diriogaethau, ac adfeddianu eu cestyll a'u tiroedd. Heblaw goreuon byddinoedd Lloegr, yr oedd Edward wedi cyflogi cymhorth oddiar y Cyfandir, o Iwerddon, a chorph nerthol o Gymry, nes chwyddo ei fyddin, os derbyniwn dystiolaeth yr Ysgotiaid, i gan mil o nifer, i gyfarfod â rhyw ddeng mil ar ugain gan Bruce. Cyfarfu y byddinoedd mewn lle a elwid Bannockburn, o fewn dwy filldir i Stirling, a chymerodd brwydr fawr a hir-gofiadwy le, yn yr hon yr enillodd yr Ysgotiaid fuddugoliaeth drwyadl. Sicrhawyd annibyniaeth y wlad yn y frwydr hon, sefydlwyd Bruce ar ei orseddfainc, a chafodd y Saeson y dymchweliad mwyaf oddiar y Gorchfygiad.

Cymerodd Bruce y fantais ar y fuddugoliaeth hon, a gwnaeth ymosodiad llwyddianus ar barthau cyffiniol Lloegr. Gyrodd ei frawd, Edward Bruce, drosodd i Iwerddon hefyd, a chymerodd hwnw arno y titl o frenin y wlad. Arweiniodd Robert fyddin ar ei ol i'w gynorthwyo; ond parodd y newyn mawr oedd yno, yn gystal ag yn Lloegr, i Bruce ddychwelyd gyda cholledion pwysig. Gorchfygwyd a lladdwyd Edward ei frawd mewn brwydr gerllaw Dundalk, ac aeth y cynlluniau i ddarostwng Iwerddon yn ofer.

Yr oedd meddwl eiddil a benywaidd Edward II. yn anabl i ymgynal arno ei hun, ac nid oedd yr arferiad o ddewis prif-weinidog i lywyddu achosion y deyrnas, a rhyddhau y brenin o'r baich a'r cyfrifoldeb, eto mewn bod. Felly cawn ef dan fath o angenrheidrwydd i gadw cyfeillach ryw hoff-ddynion, y rhai a'i darostyngent ef yn hawdd a hollol dan eu dylanwad. Wedi colli Gaveston, daeth un Hugh Despenser, neu Spenser, pendefig ieuanc o waedoliaeth Seisnig, i lenwi ei le, mewn ffafr a dyrchafiad gyda'r brenin. Meddai ar ddigon o gymhwysderau i swyno serch ei feistr breninol, ond nid i'w gyfarwyddo i lywodraethu achosion y deyrnas, fel y dylasai. Priododd Edward ef â merch Iarll Caerloyw, a rhoddodd etifeddiaeth dywysogaidd iddo, yn cynwys Morganwg, a rhanau o gyffindiroedd Cymru. Rhoddodd y brenin diriogaethau llawn mor eang i'w dad hefyd, er ei fwyn; a daeth gallu ac awdurdod Edward yn hollol dan ddylanwad y ddau Spenser. Cynhyrfodd hyn lid y baroniaid a'r pendefigion yn eu herbyn, fel yn achos Gaveston, a darostyngodd y brenin ei hun yn fwy o wrthddrych dirmyg y bobl nag o'r blaen. Yn 1321, cododd y baroniaid mewn arfau, a rhuthrasant ar diriogaethau y ddau Spenser, a gwnaethant ddifrod mawr. Yn mysg y blaenoriaid, yr oedd Ieirll Lancaster (cefnder y brenin), a Henffordd, Mortimer, a Clifford. Anfonasant at y brenin i geisio

ganddo ddiswyddo neu garcharu y ddau Spenser, ac os na wnai hyny, nad oedd i'w hystyried hwy mwyach dan rwymedigaeth iddo. Yr oedd eu cynddaredd yn llosgi mor boeth, fel mai prin y gallasent aros am yr atebiad. Dadleuodd y brenin yn eu herbyn, a dywedai nad oedd yr un o'r ddau Spenser gartref i ateb drostynt eu hunain. Ond mynodd y pendefigion eu ffordd, a chyhoeddodd y senedd, yr hon oedd yn eistedd ar y pryd, waharddiad y deyrnas iddynt. Yr oedd y brenin wedi myned mor ddirmygus yn ngolwg y wlad trwy ei gysylltiad a'r ddau Spenser, fel, pan alwodd y frenines, pan ar ei thaith, am lety noson yn nghastell Arglwydd Badlesmere yn Kent, nid yn unig gwrthodwyd ef iddi, ond ymosodwyd ar amryw o'i chymdeithion, a lladdwyd hwy yn y fan.

Safodd y brenin, beth bynag, yn gyndyn o blaid ei ddau gyfaill, a chododd fyddin o ddeng mil ar ugain i fyned i ddarostwng terfysg y pendefigion. Anfonodd Lancaster am gymhorth yr Ysgotiaid, a chafwyd allan y pryd hwn ei fod ef yn ffafriol i'r Ysgotiaid, ac wedi chwareu y bradwr o'u tu yn y rhyfeloedd diweddar. Addawodd Douglas a Murray anfon adgyfnerthion; ond ni ddaethant. Lladdwyd Iarll Henffordd gan Gymro mewn brwydr yn Boroughbridge (Swydd York), a chymerwyd Lancaster yn garcharor. Dygwyd ei achos i brawf, gwrthodwyd iddo gael amddiffyn ei hun, a dangoswyd y cyffelyb ddirmyg tuag ato ag a ddangosodd ef tuag at Gaveston. Rhoddwyd ef ar geffyl llwyd heb un ffrwyn; cerddai ei gyffesydd yn ei ochr; lluchiai y bobl ef â llaid. "Brenin y nefoedd," ebe y pendefig, "cymer drugaredd arnaf, o herwydd mae brenin y ddaear wedi fy ngwrthod!" Torwyd ei ben, a chrogwyd wyth ar ugain o farchogion fel teyrnfradwyr.

"Felly y terfyna hanes Thomas, Iarll Lancaster, tywysog o waed, ac un o'r baroniaid galluocaf fu erioed yn Lloegr. Nid yfodd daear Lloegr erioed, ar yr un adeg, gymaint o waed ei phendefigion, mewn achos mor iselwael, ag a wnaeth y tro hwn." Taflwyd amryw eraill i garchar, cymerodd y brenin eu hetifeddiaethau, rhanodd lawer o honynt rhwng y ddau Spenser, a gwnaeth yr hynaf yn Iarll Winchester.

Un o'r prif garcharorion a gadwyd yn fyw, oedd Roger Mortimer o Wigmore, un o arglwyddi cyffindirol Cymru. Ond taflwyd yntau i'r Tŵr, a dygwyd dedryd marwolaeth yn ei erbyn. Llwyddodd Mortimer ryw noson, fel Flambard dan Henry I., i feddwi ei wylwyr, tori trwy fur ei gell, dringo allan trwy simnai yr ystafell nesaf, a chyda chymhorth cortynau, ollwng ei hun i lawr i'r afon. Croesodd hono ar fad, a chiliodd i Ffrainc, lle y rhoddodd ei hun i wasanaeth Charles, brawd brenines Lloegr. Yr oedd Charles wedi ei ddigio am nad ymddangosodd Edward ar ddydd ei goroniad i dalu gwriogaeth iddo am ei diriogaeth yn Ffrainc, ac yn dyfeisio

i'w dwyn oddiarno. Barnodd Edward yn briodol anfon y frenines drosodd i eiriol gyda'i brawd. O'r diwedd cytunwyd fod i Edward roddi i fyny Guienne a Ponthieu i'w fab, yr hwn nad oedd ond deuddeng mlwydd oed, a bod i Charles dderbyn gwriogaeth hwnw am danynt. Anfonwyd y tywysog ieuanc drosodd, a chyflawnwyd y seremoni. Ond yr oedd Isabella a'i mhab yn hwyrfrydig iawn i ddychwelyd adref. Ysgrifenodd y brenin lythyrau serchog i'w cymhell; ond dadleuai y frenines ei bod yn ofni Spenser. Cyn hir daeth y pwnc yn destun siarad holl Ewrop. Ysgrifenodd Edward lythyrau yn ei achos at y pab, a brenin a phendefigion Ffrainc; ond nid oedd dim yn tycio. Y dirgelwch am hyn oedd ei bod wedi ffurfio cyfeillgarwch gormodol â Roger Mortimer; a dywedid, ac nid heb sail, ei bod yn byw mewn cysylltiad anweddus. O'r diwedd cyhoeddodd Edward ryfel â brenin Ffrainc. Aeth y frenines a'r tywysog ieuanc i lys Iarll Hainault, a gwnaed cytundeb priodas rhwng tywysog Lloegr â Phillipa, merch yr iarll. Cododd yr iarll fyddin nerthol at wasanaeth y frenines, â'r hon yr ymunodd holl alltudedigion Lloegr, i fyned yn erbyn y brenin, i beri iddo ddiswyddo y ddau Spenser, a Baldock y canghellydd. Tiriodd y frenines a'i byddin yn Orewell, (Suffolk, Medi, 1236), a derbyniwyd hi yn llawen fel gwaredydd y wlad. Ymunodd Ieirll Norfolk a Leicester, ac esgobion Ely, Henffordd, a Lincoln, â hi. Ceisiodd y brenin godi dinaswyr Llundain i'w gwrthsefyll, ond gwrthodasant. Ffodd y brenin, a gadawodd y ddinas dan lywyddiaeth esgob Exeter. Gyda'i fod wedi troi ei gefn, cyhoeddodd y dinaswyr o blaid y frenines, torasant ben yr esgob, a gollyngasant yr holl garcharorion yn rhydd o'r Tŵr. Gwnaeth y brenin amryw gynygion mewn gwahanol barthau i godi byddin, ond yn ofer. Nis gallasai gael neb, oddigerth y ddau Spenser, Baldock, ac ychydig weision. Ni adawyd brenin erioed mewn sefyllfa mwy dirmygus. Yr oedd gwraig, mab, brodyr, a chefnder, dan arfau yn ei erbyn, ac nis gallasai addewidion na bygythion gyffroi neb o'i blaid. Ymlidiwyd ef gan fyddin y frenines i Bristol. Yr oedd Edward wedi gadael y Spenser hynaf yno i amddiffyn y castell a'r ddinas; ond trodd y dinaswyr yn ei erbyn, ac yn mhen tridiau gorfu iddo roddi y ddinas, y castell, a'i hunan i fyny i'w ymlidwyr. Cyhuddwyd ef o ddylanwadu yn anmhriodol ar feddwl y brenin, ei anog i ddienyddio Lancaster, &c. Ni chaniatawyd iddo gael gwneyd amddiffyniad, ond crogwyd ef yn hen wr penwyn, dros 90ain oed fel bradwr, a thynwyd ei ymysgaroedd allan tra yr oedd eto yn fyw. Wedi bod yn nghrog am ddiwrnodau, darniwyd ei gorph, a thaflwyd ef i'r cwn.

Gadawodd Edward a'r Spenser ieuangaf Bristol ar fedr hwylio i ynys Lundy, wrth geg y *Bristol Channel;* ond dygwyd hwy ymaith gan wynt croes, a glaniasant yn Abertawy. Bu y brenin yn ym-

guddio am beth amser o gylch monachlog Nedd; ond daliwyd Spenser yn nghoed Lantrissen (Llantrisant?). Dygwyd ef i Henffordd, a chondemniwyd ef i farwolaeth gyffelyb i'w dad gan yr un barnwr (Trussel). Crogwyd ef ar grogbren haner cant troedfedd o hyd; torwyd ei ymysgaroedd allan, a darniwyd ei gorph; a thaflwyd Baldock i garchar Newgate, lle y bu farw. Cymerwyd y brenin i fyny hefyd, a chauwyd arno yn nghastell Kenilworth. Galwyd y senedd yn nghyd, cyhoeddwyd y tywysog ieuanc yn frenin, a diorseddwyd ei dad gyda'r unfrydedd mwyaf. Anfonodd y senedd genadau hefyd at y brenin, y penaf o ba rai oedd Trussel, i'w hysbysu am orseddiad ei fab, ac i geisio ganddo yntau roddi i fyny ei awdurdod; a llwyddodd addewidion a bygythion Trussel i gael gan y brenin wneuthur eu cais. Dychwelasant i Lundain, a choronwyd y tywysog yn Westminster, gan archesgob Canterbury, Ion. 29, 1327. Ond gan nad oedd y brenin ieuanc eto ond pedair ar ddeg oed, disgynodd awenau y llywodraeth i ddwylaw ei fam a Roger Mortimer.

Cadwyd Edward II. yn garcharor, gan ei symud o gastell i gastell. Dygwyd ef o'r diwedd i gastell Berkeley, a rhoddwyd ef dan ofal Arglwydd Berkeley a Syr John Maltravers. Yn absenoldeb arglwydd y castell, ymddiriedwyd y carcharor breninol i ofal dau swyddog creulon o'r enw Thomas Gourney a William Ogle. Ac ar noson dywell tua diwedd mis Medi, clywyd lleisiau a gruddfanau yn adseinio trwy yr holl gastell, ac hyd y nod trwy ranau o'r dref. Dranoeth taflwyd pyrth y castell yn agored i bawb fyned i mewn i weled corph marw y brenin. Nid oedd arwyddion o gamdriniaeth ar y corph, oddigerth fod ei wynebpryd wedi ei anffurfio gan ddirdyniadau. Claddwyd y corph yn monachlog Caerloyw, heb wneuthur ymchwiliad i'r achos. Aeth y sî allan yn fuan, er hyny, iddo gael ei lofruddio yn greulon gan y ddau wyliwr, a hyny trwy anfon gwifren gochboeth i fyny i'w ymysgaroedd, trwy bibell gorn, fel na byddai olion oddiallan yn ganfyddadwy. Yr oedd yn 43ain oed, ac wedi bod ar enw brenin am bedair blynedd ar bymtheg a haner.

Mae nodweddiad Edward II. yn ddigon amlwg i'r darllenydd yn y fraslinell a roddwyd o brif amgylchiadau ei deyrnasiad. Anaml y cyfarfyddir â brenin mwy diniwed, a mwy anabl i gymeryd awenau llywodraeth gwlad yn ei law. Nis gallai, ac ni fynai ddwyn baich y llywodraeth ar ei ysgwyddau ei hun, a byddai yn dra anffodus yn newisiad ei gyfarwyddwyr. Wedi'r cyfan, nid yn y brenin yr oedd yr holl ddrwg. Yr oedd anniddigrwydd a gwanc y pendefigion, balchder ac anffyddlondeb y frenines, yn gystal a gwendid a ffolineb y brenin, yn elfenau terfysgoedd y deyrnas yn amser ei deyrnasiad. Ond mewn amgylchiadau o'r fath, yr

oedd yn beth digon nodweddiadol o blant dynion i daflu holl feiau y deyrnas wrth ddrws penadur oedd mor annghymhwys.

## IV—EDWARD III. (O WINDSOR), 1327—1377.

GELWIR Edward III. yn Edward o Windsor, oblegyd mai yno y ganed ef, ac iddo godi castell Windsor yn goffadwriaeth o hyny. Pan wnaed ef yn frenin, ryw wyth mis cyn llofruddiad ei dad, gan nad oedd ond pedair ar ddeg oed, enwyd deuddeg o brif ddynion yr eglwys a'r wladwriaeth i gymeryd rhaglywiaeth y deyrnas hyd nes delai i oed. Gwnaed Iarll Lancaster yn amddiffynydd ei berson; atafaelwyd eiddo y ddau Spenser, a chaniatawyd y swm o ugain mil o bunau y flwyddyn i Isabella, yn llaw yr hon, yn nghyda Mortimer, yr oedd yr holl awdurdod.

Er nad oedd amser y cytundeb heddwch ag Ysgotland i fyny, cymerodd Robert Bruce y fantais ar y cyfnewidiadau hyn i ymosod ar y tiriogaethau Seisnig. Cymerodd y brenin ieuanc fyddin o ddeugain mil, ac yn llawn ysbryd rhyfelwr, aeth i Durham i'w gyfarfod. Bu Edward am tua deng niwrnod yn chwilio am y gelynion, ac yn methu yn lân a dyfod o hyd iddynt; ac o'r diwedd cynygiodd wobr o gant punt y flwyddyn i'r neb a roddai hysbysrwydd iddo. Enillodd un Thomas Rokeby y wobr, a chafwyd y gelyn yn gwersyllu ar lan yr afon Tyne. Cyfleodd Edward ei wersyll gyferbyn, o'r tu arall i'r afon. Yr oedd tri o ryfelwyr penaf Ysgotland ar y maes y pryd hwn, sef Robert Bruce (y brenin), Iarll Murray, ac Arglwydd Douglas. Ond ni chymerodd brwydr le y pryd hwn, oddigerth i ryw ddau cant o wŷr, dan arweiniad Douglas, ruthro ganol nos yn ddiarwybod i wersyll y Saeson, a lladd dros dri chant cyn dychwelyd; a bu agos i'r brenin gael ei ladd yn y rhuthrgyrch. O'r diwedd collwyd y fyddin Ysgotaidd yn ddiarwybod yn y nos, ac ymwasgarodd y Saeson. Y flwyddyn ganlynol cytunwyd ar heddwch rhwng y ddwy wlad, yn yr hwn y cydnabyddid annibyniaeth Ysgotland; ac i'w gadarnhau yn dynach, dyweddiwyd Joana, neu Jane, chwaer Edward, i Dafydd, etifedd Robert Bruce.

Cyn fod y cytundeb hwn wedi ei gwblhau, yr oedd Edward wedi priodi â Phillipa o Hainault, yr hon ddefod a weinyddwyd yn York, Ion. 24, 1328; a phrofodd y foneddiges hon yn wraig anwyl a rhinweddol iddo.

Cymerodd Mortimer i'w law ei hun yn fuan awdurdod penadur; gwnai y cynghor rhaglywyddol yn gwbl ofer, a gosodai fesurau pwysig ar y wlad heb ymgynghori â neb. Ac yr oedd ef yn awr wedi dyfod yn wrthddrych y genfigen a'r dygasedd a deimlid at Gaveston a'r ddau Spenser, ac yn ei haeddu yn fwy cyfiawn. Yr oedd Mortimer yn ddigon gwybyddus o elyniaeth Ieirll Kent, Norfolk, a Lancaster, y rhai oeddent oll yn berthynasau agos i'r brenin, a

dyfeisodd lwybr i ddial ar un o honynt beth bynag, er ei fod yn prysuro ei ddinystr ei hun wrth hyny. Parodd osod allan y sî fod Edward II. eto yn fyw, ac yn garcharor yn nghastell Corfe; hudwyd Iarll Kent i gredu y sî, ac ysgrifenu llythyrau ato i geisio ganddo hawlio ei deyrnas drachefn. Gweithiodd y ddyfais fel y mynai Mortimer. Cymerwyd Kent i fyny, a dygwyd ei lythyrau ei hun yn dystion yn ei erbyn. Condemniwyd ef gan senedd, yn gymysgedig o bleidwyr Mortimer ac Isabella, i gael tori ei ben am geisio codi dyn marw i'r orsedd. Cadwyd yr iarll ar y dienyddle am bedair awr, yn herwydd methu cael neb i gydio yn y fwyall i gyflawni y ddedryd. O'r diwedd cafwyd gan ddrwg-weithredwr condemniedig ei wneyd, ar yr amod ei fod i gael ei ryddhau am hyny. Rhoddwyd etifeddiaethau yr iarll i Geoffrey, mab ieuangaf Mortimer. Taflwyd Lancaster i garchar dan y cyhuddiad o gydsynio â Kent, a chospwyd amryw bendefigion eraill.

Yn mhen tri mis ar ol dienyddiad Kent ganwyd etifedd i Edward, yr hwn a ddaeth i goffadwriaeth enwog wedi hyn dan yr enw "*Black Prince*" (tywysog du—am fod ei arfogaeth yn ddu, a'i fod yn marchogaeth ceffyl du.) Yr oedd llygad yn mhen Edward, ac yr oedd ei galon wedi teimlo llawer oddiwrth ormes a thraarglwyddiaeth Mortimer. Yr oedd yn awr yn ddeunaw oed, ac yn dad; a thybiai ei bod yn bryd iddo gael yr awdurdod i'w law ei hun. Gwyddai yn dda y buasai Isabella ei fam, a Mortimer, yn groes iddo; a gwyddai lawn cystal y cawsai ddylanwad y pendefigion a'r bobl gyffredin o'i blaid. Datguddiodd ei gyfrinach i Arglwydd Montacute, a dyfeisiwyd y cynllun. Yr oedd y senedd i gyfarfod yn Nottingham yn mis Hydref, 1330; aeth Isabella, Mortimer, a'r brenin yno, a gwnaethant eu harosiad yn y castell. Nid oedd Mortimer yn symud heb lu o warchodwyr o'i gwmpas; ac yr oedd Isabella yn cadw agoriadau y castell bob nos yn ei hystafell wely. Beth bynag, yr oedd Montacute wedi datguddio ei gyfrinach i lywodraethwr y castell, a hwnw wedi addaw ei arwain i mewn trwy ogof ddirgel na wyddai Mortimer ddim am dani. Yn nyfnder y nos, wele Montacute a'i wŷr yn cripio trwy yr ogofau tywyll i'r castell: yn y fan daeth Edward i'w cyfarfod, ac arweiniodd hwy i fyny dros y grisiau i ystafell dywell. O'r fan hono clywent swn ymddyddan o neuadd gysylltiedig ag ystafell Isabella. Mortimer ac esgob Lincoln oedd yn ymgynghori â'u gilydd. Rhuthrodd Montacute ac Edward, a'r rhai oedd gyda hwynt, i mewn, gan ladd dau farchog oedd yn cadw y drws. Neidiodd Isabella o'i gwely, ac mewn ing a dagrau eiriolodd ar "ei hanwyl blentyn," i arbed "ei haddfwyn Mortimer." Llusgwyd Mortimer allan o'r castell, a rhoddwyd ef dan wyliadwriaeth ddyogel. Dranoeth cyhoeddodd Edward ei fod yn cymeryd awenau y llywodr-

aeth i'w law ei hun, a galwodd senedd newydd i gyfarfod yn Westminster y mis canlynol. Yno dygwyd Mortimer ger bron, a chyhuddwyd ef o achosi marwolaeth Edward II., a'i frawd Iarll Kent, yn nghydag amryw bethau eraill. Condemniwyd ef yn unfrydol, a chrogwyd ef wrth yr "Elms," yn Tyburn. Cyflewyd y frenines Isabella i'w chastell yn Risings, ger Llundain, lle y cadwyd hi am saith mlynedd ar ugain—hyd ddydd ei mharwolaeth. Difeddianwyd hi o'r ugain mil y flwyddyn o waddol; ond rhoddodd y brenin dair, ac wedi hyny bedair mil o bunau y flwyddyn at ei gwasanaeth, a thalai ymweliad blynyddol â hi yn ei chastell.

Bellach yr oedd Edward wedi cael yr holl awdurdod i'w law ei hun, a dechreuodd a'i harfer er llesiant cyffredinol ei bobl a'i wlad. Ond buan y rhedodd ei fryd ar y dymunoldeb o ddarostwng Ysgotland. Nid oedd yr amodau heddwch a wnaed wedi eu cadw yn fanwl, a bu hyny yn esgus cyfleus dros ymyryd. Yr oedd yr enwog Robert Bruce wedi marw, ac wedi gadael y deyrnas i'w fab, dan ofal Iarll Murray. Yr oedd Arglwydd Douglas hefyd wedi syrthio o flaen y Mooriaid yn Spain, tra yn ceisio dwyn calon ei feistr (Bruce) i wlad Canaan. Yr oedd Murray hefyd wedi myned i ffordd yr holl ddaear; ac felly amddifadwyd Ysgotland mewn ychydig amser o dri o'u rhyfelwyr penaf. Diorseddwyd Dafydd Bruce, a chodwyd Edward, mab John Baliol, yn ei le. Ond ni fu gorchfygiad yr olaf ond byr; yn mhen tri mis codwyd yn erbyn Baliol, a gorfu iddo ffoi am nodded i Loegr. Cydnabyddodd Baliol, yn ystod ei ffoedigaeth, oruwch-awdurdod Edward mewn cynghor dirgelaidd, ac addawodd briodi Joana ei chwaer, yr hon oedd wedi ei dyweddio i Dafydd Bruce. Ac wedi i Edward gael cenad ei senedd, aeth i Berwick i gynorthwyo Baliol i adenill ei orsedd golledig. Cymerodd brwydr fawr le ar fryn Halidon, ac enillodd Edward fuddugoliaeth benderfynol, pryd y lladdwyd, meddir, dair mil ar ddeg o'r Ysgotiaid. Cadarnhawyd Baliol ar ei orsedd, ac adnewyddodd ei ymostyngiad i Edward. Ffodd Bruce a'i ddyweddi i Ffrainc; ond tua'r flwyddyn 1341 cododd yr Ysgotiaid eilwaith yn erbyn Baliol, daeth Bruce drosodd, ac adsefydlwyd ef ar orsedd Ysgotland.

Tynwyd llygad Edward y pryd hwn oddiar Ysgotland gan ragolwg am feddu trysor mwy godidog—dim llai na choron Ffrainc. Yr oedd ei fam Isabella, merch Philip IV., yn chwaer i dri o freninoedd olynol y wlad hono—Lewis X., Philip V., a Charles IV., yr olaf o ba rai a fu farw yn 1328. Nid oedd un o'r breninoedd hyn wedi gadael mab ar ei ol; ac ni bu benyw yn teyrnasu yno oddiar y bumed neu y chweched ganrif, am yr ystyrient y rhyw hono yn annghymhwys i ddal y cyfryw swydd. Hawliai Edward y goron yn eithaf disail, er fod y Ffrancod, yn rheolaidd wrth eu cyfraith

hwy, wedi ei rhoddi i'w gefnder, Philip de Valois. Yn raddol magodd teimlad drwg rhwng y ddau frenin, a chafwyd achlysuron o bob tu i beri i'r teimlad hwnw ddangos ei hun. Enillodd Edward amryw dywysogion o'r tu arall i'r môr o'i blaid; ac yn mysg eraill yr oedd ei frawd yn nghyfraith, Count Hainault, ymerawdwr Germany, a thywysog Flanders. Wedi gofyn cenad ei senedd, ysbeilio y masnachwyr o lawer o'u cyfoeth, a gwerthu hyd y nod berlau ei goron ei hun, yn 1339 aeth Edward drosodd i'r Cyfandir, ac ymddangosodd o flaen byddin o haner can mil. Yr oedd brenin Ffrainc wedi casglu byddin o ddwbl y nifer i'w gyfarfod. Ond er i'r ddwy fyddin ddyfod wyneb yn wyneb, nid ymladdwyd yr un frwydr. O'r diwedd ymwasgarodd y byddinoedd; ond nid cyn i Edward wario ei holl arian, a suddo i dri chan mil o bunau o ddyled.

Y flwyddyn ganlynol enillodd Edward fuddugoliaeth hynod ar lynges Ffrainc yn mhorthladd Sluys, lle y cymerodd agos bedwar cant o longau y gelyn, ac y lladdwyd o ddeg i bymtheg mil, medd rhai, deng mil ar ugain, medd eraill, o Ffrancod, trwy y cleddyf a boddi yn y môr, a thua phedair mil o wŷr Edward. Yr oedd y galanastra a ddyoddefodd Ffrainc yn gyfryw fel yr ofnai neb o'r gweinidogion hysbysu Philip am dano, a rhoddwyd y gorchwyl hwnw i ffwl a gedwid gan y brenin. "Cachgwn yw yr holl Saeson!" ebe y ffwl. "Pa fodd?" gofynai y brenin. "Am nad oeddent yn ddigon dewr i neidio i'r môr yn Sluys, fel y Ffrancod a'r Normaniaid," oedd yr ateb.

Parhaodd yr amrafael hwn mewn gwarchae a brwydrau yn Ffrainc am flynyddau, hyd nes y gorfodwyd Edward o'r diwedd i ddyfod i amodau heddwch. Dychwelodd i Loegr mewn ysbryd drwg, a dechreuodd ffrae â'i weinidogion ei hun am na fuasent yn ei gyflenwi ag arian yn ol ei archiadau. Cyn hir, daeth achos cynen newydd rhwng Edward a Philip, yn nghylch yr etifedd cyfreithlon i dduciaeth Llydaw; a'r canlyniad fu i Edward, yn 1346, arwain byddin gref o Saeson, deng mil o Gymry, a chwe mil o Wyddelod, drosodd i Normandy. Aeth yn ei flaen gan gyflawni difrod mawr dros y wlad. Ac ar ddydd Sadwrn, Awst 26, 1346, yr ymladdwyd brwydr ofnadwy Crecy, yn yr hon yr enillodd Edward, a'i fab dewr y Tywysog Du, y fath glod. Yr oedd byddin Ffrainc yn llawer mwy o nifer, ond cafodd ei dystrywio yn llwyr. Yn mhoethder y frwydr anfonwyd at Edward i geisio ychwaneg o wŷr i adgyfnerthu ei fab—y "Black Prince." Gofynodd os oedd ei fab wedi syrthio. Atebwyd nad oedd, ond ei fod ag ychydig o wŷr yn cyflawni gwrhydri. Gyrodd y brenin yn ol i ddyweyd wrth ei fab am ddal ati â'r nerth oedd ganddo, a sefydlu ei glod trwy yr amgylchiad; a'i fod ef yn benderfynol iddo ef a'i ychydig wŷr gael holl ogoniant y diwrnod. Calonogwyd hwy yn fawr gan eiriau y brenin; ac erbyn

hwyr y dydd yr oedd y fuddugoliaeth yn gyflawn. Rhedodd Edward i gyfarfod ei fab, cymerodd ef yn ei freichiau yn ngwydd yr holl fyddin, a chusanodd ef, gan ddyweyd, "Fy anwyl fab! Duw roddo ddyfalbarhad i ti; fy mab gwirioneddol i ydwyt! Ffyddlawn yr ymddygaist heddyw, ac yr wyt yn deilwng o dderbyn coron!" Cafwyd o'r gelynion wedi eu gadael yn feirw ar faes y gwaed 11 o dywysogion, 80 o fanerwyr, 1200 o farchogion, ac oddeutu 30,000 o filwyr cyffredin. Yn eu mysg yr oedd Luxemburg, brenin Bohemia. Pan ddywedwyd wrth hwnw fod ei fab wedi ei glwyfo ac wedi gadael y maes, ac nad oedd yn bosibl gwrthsefyll tywysog ieuanc Cymru; er ei fod yn ddall gan henaint, mynodd fyned i'r frwydr i gael "ergyd ar y Saeson." Parodd rwymo ei farch rhwng dau farchog arall, a myned a'i arf yn ei law yn erbyn y gelyn; ac yno y syrthiodd. Cymerodd y tywysog ei grib-addurn *(crest)*, yr hwn oedd yn cynwys tair pluen estrys, gyda'r arwyddair, "*Ich Dien*" (yr wyf yn gwasanaethu); ac y mae yr arwyddnod yma wedi ei ddwyn hyd heddyw gan Dywysog Cymru.

Yn mhen ychydig ddyddiau gwarchaeodd Edward dref Calais, gan benderfynu cael porthladd cyfleus iddo ei hun y tu arall i'r môr. Tra yr oedd Edward yn dwyn y gwarchae yma yn mlaen, daeth Dafydd Bruce, trwy ddylanwad brenin Ffrainc, fel y tybir, â byddin fawr i barthau gogleddol Lloegr, gan gymeryd y fantais ar absenoldeb y brenin a goreuon ei wŷr. Dywedir i Phillipa, y frenines, gymeryd ei mharch, ac arwain byddin i wrthwynebu brenin Ysgotland. Ymladdwyd brwydr yn *Nevil's Cross*, enillodd y Saeson y dydd, cymerwyd Bruce yn garcharor, a thaflwyd ef i'r Tŵr. Yn mhen ychydig amser, cymerwyd tywysog arall—Charles de Blois—yn garcharor yn Ffrainc, ac anfonwyd yntau i'r Tŵr; ac nid bychan oedd eu llawenydd yn Lloegr wrth lwyddiant arfau y brenin yn mhob parth.

Yr oedd tref Calais yn dal yn gyndyn o fis i fis, dan ofal ei llywydd dewr, John de Vienne. Gyrodd hwnw 1700 o'r trefwyr mwyaf diwerth iddo ef, yn wŷr a gwragedd, allan, gan eu taflu ar drugaredd Edward, er mwyn arbed defnyddiau cynaliaeth o fewn. Ond er clod i'w enw, ymddygodd Edward yn garedig tuag atynt. Gwleddodd hwynt oll â chinio dda, a gollyngodd hwynt ymaith, gan roddi ychydig o arian yn llaw pob un. Yn mhen rhai misoedd gyrodd Vienne bum cant eraill allan i'r un pwrpas; ond yr oedd Edward wedi ei gyffroi erbyn hyn gan feithder y gwarchae, a chawsant oll drengu o newyn rhwng rhengau y gwarchaewyr a'r muriau. Ymddangosodd Philip gyda byddin fawr ar fedr ymladd ag Edward a rhyddhau y dref; ond gorfu iddo ddychwelyd, a gadael y dref i'w thynged. Pan welodd Vienne i Philip gefnu, a phan oedd y gwarchae wedi parhau tua blwyddyn, anfonodd gynygiad i roddi y dref i fyny,

os caent eu bywyd. Gwrthododd Edward unrhyw delerau. Ond ar eiriolaeth Syr Walter Manny, y dewraf o'i wŷr, boddlonodd Edward ar gael bywydau chwech o'r prif fwrdeiswyr. "Syr Walter," ebai y brenin, "dywedwch wrth y llywydd, y rhaid i haner dwsin o'r prif fwrdeiswyr ddyfod allan, yn droednoeth, coesnoeth, heb ddim ond eu crysau am danynt, a rhaffau am eu gyddfau, ac allweddau y dref a'r castell yn eu dwylaw. Gwnaf fy ewyllys ar y rhai hyny, a dangosaf drugaredd i'r lleill." Casglodd y llywydd holl drigolion y dref, yn wŷr, gwragedd, a phlant i'r farchnadfa, a rhoddodd amodau celyd Edward ger eu bron. Wylent oll yn hidl, a methent ddyfod i unrhyw benderfyniad. Yn nghanol yr olygfa hon, wele St. Pierre, dinasydd mwyaf cyfoethog y dref, yn dyfod yn mlaen, gan ddyweyd, "Foneddigion! fychain a mawrion, trueni fyddai i'r holl bobl yma drengu: yr ydwyf fi yn mlaenaf yn cynyg fy mywyd trosoch i'ch arbed." Dylynwyd ef yn fuan gan bump eraill. Dylynwyd hwy at y pyrth gydag ocheneidiau a dagrau, a gollyngwyd hwy allan i wyddfod Edward a'i wŷr. Rhoddasant yr agoriadau i'r brenin, ymgrymasant o'i flaen, ac erfyniasant am arbediad. Yr oedd yr holl bendefigion, ac eraill oeddent o gwmpas, yn wylo dagrau o dosturi; ond yr oedd Edward yn hollol ddigyffro, a gorchymynodd dori eu penau ymaith. Deisyfai ei wŷr arno i'w harbed, ond ni wrandawai arnynt. Agorodd Manny ei enau eto dros y trefwyr dewrion oeddent o flaen y brenin. "Anwyl syr," ebai, "erfyniaf arnoch i ffrwyno eich digofaint! Yr ydych yn glodfawr am adderchawgrwydd eich ysbryd,—na warthruddwch eich clod gyda'r fath weithred a hon. Mae y dynion dewrion hyn yn wirfoddol wedi taflu eu hunain ar eich trugaredd, er mwyn achub eu cyd-drefwyr." Yr oedd y brenin o hyd yn gwbl ddiystyr, a gorchymynodd alw y dienyddwr. Ar hyn, wele Phillipa, y frenines, yn ymdaflu ar ei phenliniau o flaen y brenin, ac yn dywedyd gyda dagrau, "Fy anwyl syr, nid wyf wedi ceisio dim genych er pan groesais y môr trwy lawer o beryglon; yn awr yr wyf yn ceisio yn ostyngedig, er mwyn Mab y Forwyn Santaidd, a'ch cariad ataf fi, am i chwi gymeryd trugaredd ar y chwech dyn hyn." "Arglwyddes," ebe y brenin, "buasai yn dda genyf pe buasech yn rhyw le arall; nis gallaf wrthod eich cais chwi. Dyna hwynt yn eich llaw chwi; gwnewch a fynoch â hwynt." Gorchymynodd Phillipa dynu y rhaffau oddiam eu gyddfau, rhoddodd ddillad iddynt i'w gwisgo, anrhegodd hwynt â chinio dda, a gollyngodd hwynt ymaith, gan roddi chwech darn o arian yn llaw pob un. Cymerwyd y dref gan Edward, ac arosodd ef a'r frenines yno hyd nes y ganed merch iddynt, yr hon a alwyd Margaret o Calais; ac wedi cytuno ar heddwch â Philip am chwe blynedd, dychwelasant i Loegr, a bu Calais yn meddiant y Saeson am tua dau can mlynedd.

Yn y flwyddyn 1348, ymwelodd pla dinystriol ag Ewrop, yr hwn a fedai y trigolion i lawr wrth y canoedd o filoedd, ac a ddiboblogai ganoedd o ddinasoedd a threfi yn ei lwybr. Dywed haneswyr i haner trigolion Lloegr gael eu tori i lawr ganddo. Eto ni roddodd y trychineb ofnadwy hwn atalfa ar y cleddyf, y bwa, a'r fwyall, gyda lladd a dystrywio. Mae y rhan fwyaf o weddill hanes Edward a'i fab—Tywysog Du Cymru, yn gynwysedig mewn amrywiol frwydrau ychwanegol â'r Ysgotiaid a'r Ffrancod. Prynodd Edward y titl i orsedd Ysgotland, gan Baliol, am bum mil o farciau, a thâl blynyddol o ddwy fil o bunau, yr hyn oedd yn llawer gormod am unrhyw ditl ag oedd gan Baliol allu i'w drosglwyddo. Beth bynag, cymerodd y brenin fyddin fawr yno eilwaith, a chyflawnodd ddifrod truenus dros y wlad, o Berwick hyd Edinburgh.

Tua'r un amser yr oedd y Tywysog Du yn arwain byddin trwy Ffrainc, ac yn gadael y wlad yn ddiffaethwch anrheithiedig ar ei ol. Mewn ysbaid saith wythnos, dinystriodd dros bum cant o ddinasoedd, trefi, a phentrefi. Bu Philip, brenin Ffrainc, farw yn 1350, a daeth John ei fab, Duc Normandy, i'r orsedd ar ei ol. Yn 1356, yr ymladdwyd brwydr nodedig Poictiers, pryd yr enillodd Tywysog Cymru fuddugoliaeth mor enwog gyda deng mil o wŷr, ar John o Ffrainc gyda byddin o driugain mil; a dygodd y tywysog John a'i fab yn garcharorion i Lundain. Profodd y tywysog ei hun yn wir wron yn ei ymddygiad hael a charedig at John pan oedd dan ei ofal fel carcharor. Wrth ddyfod i mewn i Lundain, rhoddodd y brenin ar farch ardderchog o liw hufen, a marchogai yntau fel gwas ar ebolyn du ar ei ol. Talai iddo y parch dyledus i'w fri, a gweinai arno bob amser fel gweinidog. Rhoddwyd palas Savoy, yn Llundain, at wasanaeth John. Rhoddwyd ei ryddid iddo yn mhen pedair blynedd, ar amodau penodol; ond pan wrthododd ei wŷr gadw at yr amodau hyny, rhoddodd John ei hun i fyny i Edward eilwaith yn 1364; cafodd balas Savoy i fyw ynddo drachefn, ac yno y bu farw. Wedi i Bruce fod yn garcharor yn y Tŵr am un ar ddeg o flynyddoedd, rhyddhawyd ef gan Edward ar yr amod fod i'r Ysgotiaid dalu can mil o farciau o bridwerth mewn deng mlynedd o amser. Bu Edward yn ceisio cael gorsedd Ysgotland i'w law eilwaith trwy ei ddylanwad ar feddwl Bruce; ond syrthiai eu holl gynlluniau yn ofer. Bu Bruce farw yn 1371, a daeth ei nai, Steward o Ysgotland, dan yr enw Robert II., i'r orsedd ar ei ol yn ddiwrthwynebiad; ac nid aflonyddwyd arnynt mwy gan Edward o Loegr.

Wedi i Charles V., mab John, ddyfod i orsedd Ffrainc, ni fu arfau Lloegr mor llwyddianus yno. Yr oedd y Tywysog Du wedi priodi â'i gyfnithder, Jane, merch Iarll Kent, a'i dad wedi ei anrhegu â'r tiriogaethau Seisnig ar y Cyfandir, yn cynwys Aquitaine a Gascony. Oddiyno gwnaeth rai rhuthr-gyrchiadau i Spain, a chynaliodd ei

ddewrder milwrol yn ddifrychau hyd y diwedd. Yr oedd ei iechyd bellach yn gwaelu, a deng mlynedd ar ugain o frwydro caled wedi gwanychu ei gyfansoddiad. Dychwelodd i Loegr er mantais i'w iechyd; ond bu farw yma, Mehefin 8, 1376, pan yn 46ain oed, gan adael un mab cyfreithlon ar ei ol (Richard), i'r hwn y sicrhaodd y brenin goron Lloegr. Claddwyd ef yn eglwys Canterbury, ac y mae ei fedd-faen i'w weled yno hyd y dydd hwn.

Yr oedd y "Black Prince" yn cael ei haner addoli gan y bobl, a mawr fu y galar am ei farwolaeth. Ac wrth ystyried ei oes, a'r amgylchiadau yr oedd ynddynt, rhaid dyweyd fod llawer o ragorion dymunol—teilwng o glod ac efelychiad, yn perthyn i'w gymeriad. Yr oedd yn ufudd a pharchus iawn o'i rieni—rhinwedd anfynych iawn yn nhywysogion yr oesoedd hyny. Meddai ar galon haelfrydig, ac ysbryd hynaws a charedig. Gadawodd enwogrwydd mawr ar ei ol fel llywydd medrus, fel gwleidiadwr doeth, ac fel rhyfelwr dewr a llwyddianus. Caniatawn hefyd, gydag un hanesydd, nad oedd ei wroldeb a'i dalentau milwrol ond y rhagorion lleiaf ynddo, a bod ei haelfrydedd, ei ddynoliaeth, ei dynerwch, a'i gymedroldeb, yn swyno serchiadau pawb. Ond nis gallwn gytuno ag ef i ddyweyd fod ei nodweddiad "yn enwog am bob rhinwedd clodfawr," a'i fod "yn llewyrchu, nid yn unig ar yr oes anwaraidd yr oedd yn byw ynddi, yr hwn a gadwodd heb gael ei anafu gan ddim o'i llygredigaethau, ond fod ei nodweddiad yn llewyrchu ar unrhyw gyfnod mwyaf dysglaer o hanesiaeth hen neu ddiweddar." Mae hyn yn cael ei wrth-ddyweyd gan y ffaith ddarfod iddo, wrth gymeryd dinas Limoges, er ei fod yn glaf o'r clefyd y bu farw o hono, ac yn cael ei ddwyn yn y rhyfelgyrch ar glud-wely, wrthod trugaredd i neb o'r dinaswyr,—gwŷr, gwragedd, a phlant, er eu bod yn ymgrymu wrth ei draed gydag erfyniadau a dagrau.

Ergyd trwm i Edward fu marwolaeth Edward ei fab, ac ni fu byw ond blwyddyn ar ei ol. Bu yntau farw yn Shene, Mehefin 21, 1377, yn 64ain oed, ac wedi teyrnasu dros haner can mlynedd.

Yr oedd Edward III. yn ddyn o alluoedd a thalentau anarferol, ac yn frenin enwocaf ei oes. Yr oedd ei ddewrder milwrol yn deilwng o'i gystadlu, yn ddiau, ag eiddo unrhyw filwr ar lechres hanesiaeth, a hyn oedd un o brif elfenau enwogrwydd yr oesoedd hyny. Gwir fod ei wanc a'i uchelgais yn annghymedrol, ac nad oedd ei ymdrechion ofer ac annghyfiawn i feddianu coronau Ysgotland a Ffrainc yn un clod iddo; eto, deilliodd da i Loegr oddiwrth ei ymyriadau, ei fuddugoliaethau amserol, a'r enwogrwydd a enillai y tu allan i'w diriogaethau ei hun. Ychwanegodd hyn at ei ddylanwad ar ei bendefigion, a chynorthwyodd ef i gario allan fesurau da i'r bobl. Ystyrir teyrnasiad a gorchestion Edward y mwyaf clodforus yn hanes penaduriaid Lloegr; ond y mae mwy o glod yn deilwng

i'w enw fel llywodraethwr a gwleidiadwr da, nag fel rhyfelwr medrus, er cymaint fu llwyddiant ei arfau. Mwynhaodd y wlad hon fwy o lonyddwch, a mwy o degwch ac uniondeb, dan ei deyrnasiad nag a gafodd dan un o'i ragflaenoriaid. "Fel pe buasai tynged dda Lloegr," meddai Walsingham—cydoeswr â'r brenin—"yn nglŷn wrth ei berson, llwyddodd yn ei iechyd, gwanychodd yn ei glefyd, a bu farw yn ei farwolaeth; oblegyd gydag ef bu farw holl obeithion y Saeson; ac yn ei amser ef nid ofnent oresgyniad gelyn, na gorchfygiad mewn brwydr." Eto cymylwyd ei ogoniant i raddau yn ei ddyddiau diweddaf. Bu Phillipa ei wraig farw tuag wyth mlynedd o'i flaen; syrthiodd yntau mewn cariad â gwraig ieuanc o'r enw Alice Perrers, yr hon a ddaeth i feddu cymaint o ddylanwad arno, a hwnw mor annymunol, fel y cyfryngodd y senedd i beri iddi ymadael â'r llys. Er hyny, llwyddodd Alice i aros gyda'r brenin hyd y boreu diweddaf y bu byw, pryd y tynodd y fodrwy werthfawr oedd ar ei fys, ac yr aeth ymaith. Yr oedd ei weision yn brysur yn ysbeilio ei dŷ pan oedd y brenin yn ymdagu ag angau; ond arosodd mynach wrth erchwyn ei wely i geisio gweini cysuron iddo, hyd nes iddo anadlu yr olaf. Claddwyd ef mewn rhwysg mawr yn eglwys gadeiriol Canterbury, gerllaw bedd Thomas à Becket.

Cafodd Edward saith o feibion a phump o ferched o Phillipa o Hainault. Bu dau o'r rhai hyn farw yn eu babandod; bu dau eraill —Edward, Tywysog Cymru, a Lionel, Duc Clarence—farw o flaen eu tad. Y meibion a adawodd y brenin ar ei ol oeddent John o Gaunt, Duc Lancaster; Edmund, Iarll Cambridge; a Thomas, Iarll Buckingham.

## V.—RICHARD II., 1377—1399.

DAETH Richard II. (o Bordeaux—lle ei enedigaeth) mab Edward y Tywysog Du, i'r orsedd ar farwolaeth ei dadcu, Edward III., yn ddiwrthwynebiad. Coronwyd ef gyda rhwysg mawr yn Westminster, Gorphenaf 16, 1377, pan nad oedd ond un ar ddeg oed. Galwyd senedd newydd yn nghyd, penodwyd llefarydd *(speaker)* yn Nhŷ y Cyffredin am y waith gyntaf—sef Syr Peter de la Mare; a nodwyd nifer o bersonau i lywyddu achosion y deyrnas tra fyddai Richard dan oed. Yr oedd gan y brenin ieuanc dri ewythr, fel y nodwyd, brodyr ei dad, y rhai a edrychent arno ef yn ddiau gyda llygad eiddigus. Ond yr oedd y parch dwfn a deimlai y genedl at y Tywysog Du, yn nghyda glendid a sirioldeb y llanc, yn gadernid diysgog dano ef, ac yn gwneyd unrhyw gystadleuaeth ag ef am yr orsedd yn beth hollol ofer. Yr oedd nodweddiad yr ewythrod hyn hefyd yn gyfryw, fel pe buasai un yn codi i hawlio yr awdurdod, y buasai y lleill yn sicr o'i wrthwynebu. John o Gaunt, Duc Lan-

caster, a brenin Castile, oedd y penaf o honynt; ond nid oedd yn anturiaethus na phoblogaidd. Cododd Richard Edmund i dduciaeth York, a Thomas i dduciaeth Gloucester. Diog, llwfr, ac anfedrus oedd Edmund; ond yr oedd Thomas yn wrol, terfysglyd, a phoblogaidd.

Yr oedd llawer o bethau yn annymunol yn nghyflwr y deyrnas yn amser marwolaeth Edward. Yr oedd ei thrysorgell yn wag: yr oedd tymhor y cytundeb heddwch wnaed â Ffrainc wedi rhedeg i fyny, a chymerodd Charles y fantais ar ieuangrwydd Richard i wneyd ymosodiad ar lanau deheuol Lloegr. Yr oedd Robert Steward, brenin Ysgotland, hefyd ar delerau cyfeillgar â Charles o Ffrainc, a'r cysylltiad hwnw yn ymddangos yn fygythiol i Loegr. Yr oedd y pethau hyn yn galw am ddarpariadau milwrol pwysig; a thuag at hyny rhaid oedd cael arian. Ac i gyfarfod y diffyg hwn cawn dreth yn cael ei gosod ar ffurf newydd. Rhoddwyd ar bob un o bymtheg oed ac uchod, gwryw a benyw, i dalu swllt o dreth; ond mewn dinasoedd a threfi yr oedd y swm i gael ei ranu, fel y gallai y cyfoethogion gynorthwyo y tlodion.

Parodd y dreth ffol hon derfysg mawr trwy y wlad. Yr oedd cyflwr Lloegr yn addfedu yn awr i gyfnewidiadau diwygiadol pwysig; goleuni gwareiddiad a rhyddid eisoes wedi taflu ei lewyrch, ond fod y beichiau eto heb eu symud. Yn Flanders, yn gystal ag yn Ffrainc, yr oedd y bobl gyffredin wedi codi yn un llaw i hawlio eu hiawnderau, ac yr oedd yr un teimlad yn casglu nerth yn brysur yn Lloegr. Cymerodd un John Ball, offeiriad digymeriad, yr hwn oedd dan ddysgyblaeth eglwysig, y gorchwyl mewn llaw o bregethu yn erbyn gormes y pendefigion, ac o blaid cydraddoldeb cyffredinol; a rhoddid derbyniad gwresog i'w athrawiaeth gan y miloedd. Yr oedd gosodiad y fath dreth ag a nodwyd ar adeg mor gyffrous, yn ynfydrwydd o'r mwyaf, ac yn rhwym o danio y nwy gasgledig i ffrwydriad. Ac yr oedd dyhirwch a chreulondeb casglyddion y dreth yn ei gwneyd yn fwy annyoddefol fyth. Yr oedd dadleuon yn nghylch yr oedran yn beth digon naturiol, ac yn esgor ar flinderau parhaus. Ac yn fynych, pan ddadleuai y fam nad oedd y ferch ond pedair ar ddeg oed, haerai casglwr y dreth ei bod yn bymtheg, a dywedai y torai ef y ddadl trwy gynyg y sarhad mwyaf anweddus ar y ferch ieuanc. Aeth un o'r casglyddion hyn i dŷ un Wat Tyler, gof yn Dartford, a gofynodd am y dreth dros eneth ieuanc. Dywedodd ei mham nad oedd eto wedi cyrhaedd yr oedran hwnw, ac nad oedd yn rhwymedig. Dywedodd y casglydd y buasai ef yn ei phrofi, a chynygiodd ymddwyn yn anweddus ati. Gwaeddodd y ferch a'r fam allan, a daeth gwr y tŷ i mewn â morthwyl yn ei law, a tharawodd y dyn nes oedd ei ymenydd dros y lle. Canmolodd ei gymydogion ei ymddygiad, a dywedasant y

buasent yn sefyll un ac oll o'i blaid. Cododd holl swydd Kent o gongl i gongl, a gwnaethant Wat Tyler yn flaenor iddynt. Ymunodd gwrthryfelwyr Essex â hwy, dan arweiniad un Jack Straw. Rhedodd yr ysbryd fel tân gwyllt dros yr holl siroedd cylchynol, fel yr aeth y gallu yn ormod i'w lywodraethu na'i wrthsefyll cyn i'r llywodraeth gael amser i wneyd unrhyw ddarpariadau. Erbyn i'r gwrthryfelwyr gyrhaedd Llundain, yr oeddent yn rhifo can mil o wŷr. Ysbeilient dai a meddianau y cyfoethogion ar eu ffordd, a lladdent bob barnwr, cyfreithiwr, a phendefig a syrthiai i'w dwylaw. Ar y ffordd o Canterbury i Lundain dygwyddodd i weddw y *Black Prince*, mam Richard, ddyfod i'w dwylaw; ond ni wnaethant niwed iddi, eithr gollyngwyd hi i'w ffordd, wedi iddi orfod cusanu amryw o wynebau bawlyd y terfysgwyr. Gwnaethant ddifrod mawr ar fywydau a meddianau yn Llundain. Torasant i mewn i Newgate, a gollyngasant yr holl garcharorion yn rhydd; rhoddasant balas ardderchog Savoy, tŷ Duc Lancaster, ar dân; gwnaethant yr un peth â'r Temple, yn nghydag amryw leoedd eraill. Y cwestiwn a ofynent i bob un a gyfarfyddent oedd,—"Gyda phwy yr wyt ti yn dal?" ac os na atebai, "Gyda'r brenin Richard a'r cyffredin," torent ei ben yn ddiseremoni. Yr oedd y brenin a'i fam, ac amryw eraill, wedi ffoi i'r Tŵr am ddyogelwch. Boreu y 14eg o Fehefin, 1381, anfonodd y brenin genad atynt i ddyweyd y buasai ef yn eu cyfarfod wrth Mile end, i roddi iddynt yr hyn a ofynent. Prysurodd y rhan fwyaf o'r terfysgwyr tuag yno, ac yn y man yr oedd y brenin ieuanc (pymtheg oed) ag ychydig gwmni yn nghanol triugain mil o honynt. Y pedwar peth a geisient oedd—llwyr ddyddimiad caethwasiaeth iddynt hwy a'u plant am byth; gostyngiad ardreth tir da i bedair ceiniog yr erw; cyflawn ryddid i brynu a gwerthu, yn y ffeiriau a'r marchnadoedd, heb doll na threth; a maddeuant cyffredinol o'u holl droseddau. Atebodd y brenin iddynt yn serchog y cawsent eu holl ddymuniad; gosododd ddeg ar ugain o ysgrifwyr ar waith yn ddioed i ysgrifenu copiau o freinlen i'r perwyl hwnw, a dychwelodd llawer o'r bobl tua'u cartrefleoedd.

Tra yr oedd Richard yn gwneyd amodau â'r terfysgwyr yn Mile end, torodd Wat Tyler, gyda phedwar cant o'i ganlynwyr, i mewn i'r Twr, a lladdodd archesgob Canterbury, canghellydd y deyrnas, a Syr Robert Hales, y trysorydd, yn nghydag amryw bendefigion eraill; ond gadawsant y frenines i ddianc a'i bywyd ganddi eilwaith, er iddi gael ei chymeryd ymaith mewn llewyg gan ddychryn.

Dranoeth marchogai Richard i'r ddinas, yn cael ei ganlyn gan oddeutu triugain ar feirch; ac wrth groesi Smithfield, cyfarfyddodd â Wat Tyler, yn arwain ugain mil o derfysgwyr. Gwnaeth Tyler arwydd ar ei wŷr i sefyll, a marchogodd yntau yn mlaen at y brenin. Wedi ychydig o ymddyddan, a Tyler yn arfer geiriau balchaidd,

collodd Walworth, maer Llundain, ei amynedd, a gwanodd Tyler â dagr yn ei wddf; y foment nesaf yr oedd cleddyf gwr arall o'r enw Standish, yswain y brenin, trwy ei galon, a syrthiodd i lawr yn farw. Cododd ei ganlynwyr eu bwäau, ar fedr dial gwaed eu blaenor, pan nesaodd Richard yn mlaen atynt gyda phresenoldeb meddwl anarferol, ac a'u cyfarchodd yn serchog, "Beth yw ystyr y terfysg hwn, fy mhobl dda i? a ydych yn cyffroi oblegyd i'ch blaenor syrthio? Myfi yw eich brenin; a byddaf fi yn flaenor i chwi." Tawelodd geiriau serchog Richard y terfysgwyr, ac arweiniodd hwynt i faes yn Islington; erbyn hyny yr oedd byddin fawr o eiddo y brenin wedi cyrhaedd, yr hon nad oedd gwiw i'r gwrthryfelwyr eu gwrthsefyll. Ymgrymodd llawer o flaen Richard am drugaredd; ac er fod amryw o'r pendefigion am ruthro arnynt a'u lladd o'r trwch, gwrthododd y brenin ganiatau; ond yn fuan cynghorwyd y brenin i alw y freinlen a ganiatawyd i'r terfysgwyr yn ol, a chrogwyd pymtheg cant o'r rhai mwyaf blaenllaw o honynt.

Y flwyddyn ganlynol (1382), priododd Richard ag Anne, merch brenin Bohemia, boneddiges gall a rhinweddol, teilwng o well gwr na Richard, a'r hon a elwid gan y bobl "y frenines dda Anne." Wedi dangos cymaint o wroldeb a medr i dawelu y terfysgwyr, ac yntau mor ieuanc, ac wedi cael cydmar mor rhagorol, yr oedd dysgwyliad y wlad yn fawr wrtho; a thybient y caent ynddo frenin teilwng o'i dad a'i dadcu. Ond po hynaf yr âi Richard, mwyaf oll y siomid dysgwyliadau ei bobl ynddo.

Yn fuan aeth ei fryd yn fwy ar wychder, moethau, a phleserau, nag ar lywodraethu ei bobl yn dda. Ac fel Edward II., dewisodd gyfeillion, yn enwedig Robert de Vere, Iarll Oxford, i'w arwain ar gyfeiliorn, ac i'w lygru yn fwy. Dywedir iddo dalu £80,000 am hugan; fod ganddo ddau gant o gogyddion; a'i fod wrth gadw ei wyliau Nadolig yn Westminster yn difa bob dydd 28 o ychain, 300 o ddefaid, ac ednogiaid *(fowls)* yn ddirifedi. Cododd De la Pole, mab i fasnachydd galluog, gwr o fedr a thalentau, yn ganghellydd y deyrnas, a gwnaeth ef yn Iarll Suffolk. Buan y gwnaeth ei oferedd a'i wastraff ef yn llai poblogaidd gyda'r werin, a'i ffafr a'i anrhegion diddiwedd i'w gymdeithion afradlon yn wrthddrych dygasedd y pendefigion. Ac yr oedd ei holl nodweddiad yn tueddu i gyffroi anniddigrwydd a therfysg yn ei lywodraeth.

Ymadawodd Duc Lancaster â'r deyrnas gyda byddin i geisio gwneyd yn dda ei hawl i freniniaeth Castile, yn Spain, ond ni lwyddodd yn ei amcan, a dinystriwyd y rhan fwyaf o'i wŷr gan haint ac afiechyd. Yn ei absenoldeb ef cododd terfysgoedd gartref. Yr oedd Gloucester, ewythr arall i'r brenin, yn cyffroi amryw o'r pendefigion i sefyll yn erbyn annhrefn y llywodraeth. O'r diwedd yn 1386, cododd ei senedd yn erbyn Richard, diswyddwyd De la

Pole, a nodwyd cynghor o bedwar ar ddeg, y rhai oeddent agos oll yn bleidiol i Gloucester, i lywyddu achosion y deyrnas. Er mor groes i feddwl y brenin oedd y pethau hyn, ac er ei fod yn awr yn 21ain oed, cydsyniodd â'r trefniadau, y rhai oeddent mewn gwirionedd yn ei ddiorseddu. Gwelodd y brenin ei fod wedi diraddio ei hun, a cheisiodd adenill ei awdurdod. Gwnaeth ei oreu gyda siryddion y gwahanol siroedd er cael ganddynt i roi eu dylanwad o'i blaid yn yr etholiad nesaf. Galwodd hefyd bwyllgor o'r prif farnwyr yn Nottingham, y rhai a roddasant eu barn o blaid y brenin, ac a ddywedent ddarfod i'r pendefigion wneyd yn afreolaidd, a'u bod yn fradychwyr. Rhoddasant eu sel wrth eu tystiolaeth, ac addawsant gadw y cwbl yn gyfrinachol. Prysurodd y brenin i godi byddin i fŷnu yr awdurdod eilwaith i'w law ei hun, ac i gospi ei wrthwynebwyr. Daeth holl symudiadau y brenin i glustiau Gloucester, ac yn mhen ychydig ddyddiau yr oedd ef, a Henry o Bolingbroke, Iarll Derby, Ieirll Arundel, Nottingham, a Warwick, yn arwain byddin o ddeugain mil yn erbyn y brenin. Anfonwyd cenad at Richard i geisio ganddo roddi y barnwyr a'i twyllasant ef, ac a brofasant eu hunain yn deyrnfradwyr trwy hyny, i fyny iddynt hwy. Galwyd y senedd yn nghyd Chwefror, 1388, a chondemniwyd pump o honynt i farw. Rhoddwyd Brembre, maer Llundain, a Tresilian, i farwolaeth, a ffodd archesgob York, De la Pole, a De Vere i'r Cyfandir. Dienyddiwyd ac alltudiwyd amryw eraill oeddent wedi dangos pleidgarwch i'r brenin. Gwnaed ymdrech mawr i gadw bywyd Syr Simon Burley, yr hwn oedd wedi bod yn gyfaill mawr i Edward III., ac i'w fab y Tywysog Du. Bu Richard ei hun yn eiriol drosto ger bron Gloucester; bu Derby eilwaith; ac yn olaf, bu y frenines ar ei gliniau o'i flaen am oriau; ond mynodd Gloucester ddigalon gyflawni ei ewyllys ar Burley er eu gwaethaf oll. Erbyn hyn yr oedd cystadleuaeth am y goron rhwng Gloucester a Richard wedi dyfod yn un o brif elfenau y cyffro a'r terfysg.

Cadwodd Gloucester a'i gymdeithion yr awdurdod yn eu dwylaw am flwyddyn arall; ond mewn cynghor a gadwyd yn Mai, 1389, gofynodd Richard yn sydyn i'w ewythr Gloucester, "Beth ydych yn feddwl yw fy oedran?" "Mae eich uchelder yn 22ain," ebe Gloucester. "Yna," ebe Richard, "yr wyf yn ddigon hen i lywodraethu fy achosion fy hun. Yr wyf wedi fy nghadw yn hŵy dan warcheidwaid na neb yn fy nheyrnas. Yr wyf yn ddiolchgar i chwi, fy arglwyddi, am eich gwasanaeth yn yr amser a basiodd, ond nid oes arnaf angen am dano mwy." Penododd ganghellydd a thrysorydd yn lle y rhai o'r blaen, a chymerodd y llywodraeth i'w law yn ddiwrthwynebiad. Yr oedd Duc Lancaster, yr hwn oedd o duedd gymedrol a heddychlon, yn awr wedi dychwelyd i'r wlad, ac yr oedd ei ddylanwad yn gryn atalfa ar rwysg ei frawd, Gloucester.

Felly aeth pethau yn mlaen yn weddol o dawel am tuag wyth mlynedd.

Yn 1394, wedi claddu y frenines rinweddol Anne, aeth Richard drosodd i Iwerddon, tawelodd rai amrafaelion yno, ac wedi dychwelyd i Lundain, cytunodd ar heddwch am bum mlynedd ar ugain â Charles VI., brenin Ffrainc. Yn 1396, priododd ag Isabella, merch seithmlwydd oed i'r penadur hwnw, a choronwyd y frenines blentynaidd y flwyddyn ganlynol yn Westminster.

Ar ol hyn, dangosodd Richard ysbryd mwy gormesol nag arfer, a rhoddodd fwy o ffordd i'w elyniaeth at ei wrthwynebwyr. Dangosodd ei deimlad drwg at y Lollardiaid, fel y gelwid canlynwyr Wicliffe, y rhai a gollasant nodded pwysig yn marwolaeth y frenines Anne. Yr oedd y brenin ar delerau da a'i ddau ewythr, Lancaster a York; ond nid oedd wedi teimlo yn dda at eu brawd, Gloucester, oddiar y gwrthryfel yn 1386. Yr oedd ei elyniaeth ato wedi dal i losgi trwy yr holl flynyddoedd, a phenderfynodd o'r diwedd gyflawni ei ewyllys arno. Cymerwyd ef i fyny yn fradwrus, a gyrwyd ef yn garcharor i gastell Calais. Taflwyd Ieirll Arundel a Warwick i garchar. Galwyd y senedd yn nghyd, condemniwyd Arundel i farw, a thorwyd ei ben ar y diwrnod hwnw. Gwaharddwyd y deyrnas i Warwick, ac archesgob Canterbury, ac eraill. Anfonwyd i Calais am Gloucester, iddo gael sefyll ei brawf; ond dygwyd y newydd yn ol ei fod wedi marw yn sydyn yn y castell. Y farn gyffredin yw i Richard orchymyn ei lofruddio yn ddirgelaidd, ac y mae hyn yn ysmotyn du ar gymeriad y brenin.

Wedi i'r brenin fel hyn dywallt ei lid ar ei elynion, ceisiodd gadarnhau ei orsedd trwy ddangos ffafrau i'w gyfeillion; rhoddodd ditlau uwch i'r rhan fwyaf o'i bendefigion; rhoddwyd toll ar wlan, yr hon oedd i fyned i logellau y brenin; a nodwyd deuddeg o'r pendefigion, a chwech o'r cyffredin, i weinyddu penderfyniadau y ddeddfwriaeth. Yna ymollyngodd Richard i'w rwysg, ei wleddoedd, a'i loddest fel arfer. Ond yr oedd gruddfanau yn codi "o ddyfnderoedd cymdeithas" yn erbyn ymddygiadau y senedd a'r llys; ac yr oedd amryw o'r pendefigion yn mhell o gael eu boddio yn sefyllfa pethau. Y prif ddynion yn awr yn fyw, a fuont yn blaenori yn y gwrthryfel yn erbyn y brenin, oedd Henry, mab Duc Lancaster, yr hwn oedd newydd gael ei wneyd yn Dduc Hereford; a Mowbray, yr hwn a wnaed yn Dduc Norfolk. Mewn cydymddyddan rhwng y ddau bendefig hyn ar y ffordd rhwng Brentford a Llundain, siaradodd pob un o honynt yn anmharchus am y brenin. Cyhuddwyd Norfolk o hyny gan Hereford yn ngwydd y senedd; gwadodd yntau, a heriodd Hereford i ymladd ornest *(duel)*. Dangosodd Richard foddlonrwydd i hyny ar y cyntaf; ond ar foreu yr ymladdfa, cymerodd y mater i'w law ei hun i'w benderfynu, a chyhoeddodd

fod yn rhaid i Hereford adael y deyrnas am ddeng mlynedd, a Norfolk dros ei fywyd. Caniataodd y brenin i Hereford gael cadw ei holl etifeddiaeth yr un fath. Torodd Norfolk ei galon yn fuan, a bu farw yn Venice; ac arosodd Hereford yn Ffrainc. Yn y cyfamser bu farw Duc Lancaster, ac yr oedd y titl a'r etifeddiaeth yn dyfod yn eiddo ei fab alltudiedig Hereford. Ond yn groes i'r amodau blaenorol, atafaelodd Richard yn yr etifeddiaeth, a gwrthwynebodd hawliau Hereford. Cyffrodd ymddygiad gormesol y brenin deimlad y lliaws yn ei erbyn ef, ac o blaid Hereford. Penderfynodd Hereford fynu ei iawnderau; ac yr oedd yn meddu ar gallineb a phwyll i gario allan ei gynlluniau.

Yn mis Mai, 1399, aeth Richard drosodd i Iwerddon, i ddial ar y Gwyddelod am lofruddio Iarll March, a gadawodd ofal y deyrnas yn llaw ei ewythr, Duc York. Cymerodd Hereford y fantais ar ei absenoldeb, a daeth drosodd, yn cael ei ganlyn gan yr archesgob alltudiedig, yn nghydag amryw eraill; ac erbyn cyrhaedd Llundain yr oedd byddin o ddeugain neu driugain mil yn ei ganlyn. Aeth Hereford a'i wŷr yn eu blaen i Bristol a Chester. Hwyliodd y brenin drosodd o Iwerddon gyda byddin fawr. Ond wedi cyrhaedd Milford, gadawodd y rhan fwyaf o'i wŷr ef. Aeth yn ei flaen i Sir Fon, ond nid oedd yn bosibl iddo gael byddin i'w ganlyn, a bu ar fedr ffoi i'r Cyfandir; ond rhwystrwyd ef gan ei gyfeillion. Bu yn gwibio yn ol a blaen am beth amser rhwng cestyll Conwy, Beaumaris, a Chaernarfon. O'r diwedd cymerwyd ef gan Iarll Northumberland i gyfarfod ei gefnder Hereford i gastell Flint. Pan ddaeth y brenin i mewn i'r ystafell lle yr oedd Hereford, dynoethodd yr olaf ei ben, a phlygodd ei lin. "Mae i chwi roesaw, anwyl gefnder o Lancaster," ebai y brenin. "Fy arglwydd," ebe Henry, "daethum cyn fy amser. Ond y rheswm am hyny yw, fod eich pobl yn cwyno eu bod wedi eu llywodraethu yn rhy galed am ugain mlynedd. Os gwel Duw yn dda, cynorthwyaf chwi i'w llywodraethu yn well."

Arweiniwyd y brenin tua Llundain. Pan yn aros noson ar ei daith yn Lichfield, amcanodd ddianc; ymollyngodd i lawr trwy ffenestr ei ystafell, ond daliwyd ef yn yr ardd, a chadwyd gwyliadwriaeth fanylach arno ragllaw. Wedi cyrhaedd Llundain, taflwyd ef i'r Twr. Anfonwyd cenadau ato yno, a dirdynwyd oddiwrtho gydnabyddiaeth o'i anallu i lywodraethu, ac o'i ewyllys i drosglwyddo y goron i Henry o Lancaster. Galwyd y senedd yn nghyd, darllenwyd cyffes y brenin, cyhuddwyd ef o lawer o bethau, a chyhoeddwyd ei ddiorseddiad. Yna nesaodd Henry yn mlaen at yr orsedd, gwnaeth lun y groes ar ei dalcen ac ar ei fynwes, a dywedodd, "Yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, yr wyf fi, Henry o Lancaster, yn hawlio teyrnas Lloegr, gan fy mod yn disgyn trwy

waedoliaeth reolaidd o Henry III.; ac yn rhinwedd yr hawl hono mae Duw o'i ras wedi fy anfon, gyda chymhorth fy ngheraint a'm cyfeillion, i'w meddianu; yr hon deyrnas oedd ar fin cael ei dystrywio trwy ddiffyg llywodraeth, a cham-arferiad y cyfreithiau daionus." Cydnabyddwyd ei awdurdod, arweiniwyd ef i'r orsedd gan yr archesgob, diolchodd iddynt oll, ac addawodd beidio aflonyddu ar iawnderau na meddianau un dyn. Symudwyd Richard i gastell Pomfret, lle y cafodd ei lofruddio gan ei wylwyr trwy ei newynu, mae yn debyg; a dywedir iddo fyw pythefnos wedi i'r tamaid diweddaf gael ei weini iddo. Bu farw yn 34ain mlwydd oed, wedi teyrnasu dwy flynedd ar ugain, ac heb adael un plentyn, cyfreithlon nac annghyfreithlon, ar ei ol.

Yr oedd Richard yn ddyn o ymddangosiad prydweddol a benywaidd, o feddwl gwanaidd ac anwadal, ac o ysbryd moethus, ofer, a dialgar. Yn yr olwg allanol ar bethau, yr oedd terfysg a chwyldroadau y llywodraeth yn cael eu hachosi yn gymaint gan ysbryd aflonydd ei wrthwynebwyr ag oeddent gan ymddygiadau y brenin; ond rhaid cofio fod gwendid ac annghymhwysder yr olaf yn achosi y cyntaf. Pe buasai Richard yn meddu ar gymhwysderau llywodraethwr, buasai ei ddylanwad yn atalfa ar uchelgais ei bendefigion, ac yn rhagflaenu llawer o'r blinderau ddaethant i'w gyfarfod. Rhaid cyfaddef hefyd i'r brenin gael ei yru yn ynfyd lawer tro gan ynfydrwydd eraill, ac nad oedd ei holl ddiffygion yn galw am oruchwyliaeth mor chwerw oddiar eu dwylaw. Yn hanes teyrnasiad y brenin hwn mae y gair yn cael ei wirio yn hynod,—"nad yw holl hanes hynafol Lloegr ond un gyfres o ddymchweliadau. Mae un blaid yn gyson yn dadwneyd yr hyn a gadarnhawyd gan y llall; a'r llwon lliosog y mae pob plaid yn fynu er sicrhau y gweithrediadau ar y pryd, yn bradychu ymwybyddiaeth parhaus o'u hansefydlogrwydd." Y mae yn beth tarawiadol hefyd i feddwl am ddyn fel Richard—wedi treulio ei fywyd yn nghanol cymaint o foethau, afradlonedd, a gloddest, yn marw yn nghanol ei ddyddiau o eisiau bwyd!

## VI.—HANES CREFYDD.

Mae y cyfnod hwn o hanes y grefydd Gristionogol yn bwysig, gan mai yn hwn y cyrhaeddodd y gallu Pabaidd uchaf-nod ei nerth, ac yr ymddangosodd seren foreu y diwygiad yn mherson yr enwog John Wicliffe. Mae yn ddiamheuol mai y pab Boniface VIII., dyn hollol amddifad o unrhyw werth moesol, ddygodd yr annibyniaeth Pabaidd i'r gris uchaf ag y cyrhaeddodd erioed. Cyhoeddodd hwn yn ddigon difloesgni nad oedd gan benadur gwladol, na chymanfa, na swyddog eglwysig, unrhyw allu ond a roddid iddo gan "Ficer Crist." Ond bu ei eofndra trahausfalch ef yn un o'r elfenau i gyn-

yrchu y gwrth-weithrediad a'r dadfeiliad sydd wedi parhau i gynyddu am agos pum can mlynedd; yn araf, mae yn wir, "fel enciliad dyfroedd, neu ddyfodiad lladradaidd henaint," ond, fel hwythau hefyd, yn gyson ac anwrthwynebol. Bu tynged Boniface ei hun yn rhyw awgrym o dynged y gyfundrefn a gefnogai. Cyfarfyddodd â darostyngiad mor llwyr, a chafodd ei uchelgais a'i falchder y fath ergyd, ddygodd glefyd meddyliol arno, yr hwn a ddybenodd mewn gwallgofrwydd, ac yn y cyflwr hwnw bu farw.

Ni chafodd un wlad oddef mwy oddiwrth orthrymder a thrais y Babaeth yn y drydedd ganrif ar ddeg na'r wlad hon; ac y mae hyny yn rhoddi cyfrif mewn rhan am y ffaith mai yn y wlad hon y dechreuodd y dylanwad gwrthwynebol godi ei ben, yr hwn a ymledodd yn fuan i'r Cyfandir, a daniodd ysbryd John Huss yn Bohemia, a lanwodd holl awyrgylch grefyddol Germany, a'r hwn o'r diwedd y rhoddodd Luther y *match* ynddo, ac a dorodd allan yn fflam yn y diwygiad Protestanaidd. Cymerai y pab yr awdurdod i'w law i basio cyfreithiau i wahanol deyrnasoedd Ewrop, dyddimai gyfreithiau gwrthwynebol iddo, a rhyddhäai ddynion oddiwrth rwymedigaeth i gadw eu llwon, os byddai hyny yn fanteisiol i'w achos ef. Nis gallesid codi archesgob, nac esgob, nac abad i'w swydd heb ei gydsyniad ef, pa mor unfrydol bynag fyddai dewisiad y cyfryw. Rhoddid y prif swyddau yn yr eglwys i estroniaid o Itali. Dywedir i dri chant o Italiaid gael eu hanfon drosodd, yn y tair blynedd olaf i'r pab Gregory IX., i dderbyn bywioliaethau eglwysig yn y wlad hon: a dywedai llys-genadwyr Seisnig yn nghynghorfa Lyons (1245), fod offeiriaid Italaidd yn derbyn o driugain i ddeg a thriugain o filoedd o farciau yn flynyddol oddiyma—llawer mwy na holl gyllid y goron. Nid oedd yr arian yma ychwaith yn cael eu treulio yn Lloegr, gan fod y rhan fwyaf o honynt yn byw yn Rhufain, neu leoedd eraill ar y Cyfandir, lle byddent yn fynych yn dal swyddi eraill, a'r eglwysi Seisnig fyddent dan eu gofal yn aml heb un math o wasanaeth ynddynt. Byddai yr Italiaid hefyd yn derbyn eu swyddau yn ddidâl, tra fyddai yn rhaid i'r brodorion fyned i Rufain a phwrcasu y titl gyda swm mawr o arian. Dygid pob achos o bwys i Rufain i'w benderfynu; ac yr oedd swm y trethi Rhufeinig yn aruthrol. Dywedir i Gregory IX., mewn ysbaid ychydig o flynyddoedd, godi yn mhob dull yn y wlad hon swm yn cyfateb, yn ol Mr. Hallam, i bymtheg miliwn o bunau o'r arian presenol. A chawn fod y senedd yn y bedwaredd ganrif ar ddeg yn cwyno wrth y brenin fod y Babaeth yn cael mwy bum waith o drethi na'r goron. Dywedai Wicliffe yn un o'i bapyrau, "Pe buasai mynydd mawr o aur yn ein teyrnas, heb neb yn cymeryd dim o hono, ond casglydd yr offeiriad bydol hwn (y pab), cyn hir iawn treulid yr holl fynydd; oblegyd y mae yn dwyn arian yn

gyson allan o'n gwlad, ac heb anfon dim yn ol ond melldith Duw am ei simoniaeth, ac ambell offeiriad melldigedig i annghrist, i gyflawni ysbeiliadau ychwanegol." Dylasid dweyd hefyd, fod agos haner tiroedd y wlad y pryd hwnw yn meddiant yr eglwys. Pan ystyriom hyn oll, nid rhyfedd fod yr iau drom yn gwasgu, ac ambell un yn codi ei lais yn fygythiol yn erbyn y gorthrymder.

Yn y drydedd ganrif ar ddeg, cawn amryw urddau mynachol (*friars*) yn codi; y prif rai oeddent y mynachod du, o urdd St. Dominic, y rhai a elwid hefyd Dominiciaid; a'r mynachod llwyd, o urdd St. Francis, y rhai a elwid Francisciaid. Gelwid hwy ar y lliwiau hyn oblegyd lliw eu gwisgoedd. Daeth y rhai hyn i feddu sefyllfa a dylanwad pwysig yn yr eglwys o hyn i amser Luther. Daethant hefyd, yn enwedig y mynachod crwydrol (*mendicant*), er eu bod yn gwneyd llawer o ddaioni, i wasgu yn drymach ar gyllidau y wlad.

Yr ydym eisoes wedi rhoddi braslinell o hanes y croes-ryfeloedd yn y Dwyrain. Yn ganlynol i'r rhai hyny, cododd cyffroadau cyffelyb yn erbyn y paganiaid, yr Iuddewon, yr Albigensiaid, ac hereticiaid eraill; ac yn ffrwyth y cyffroadau hyn sefydlwyd y chwil-lys: ac nid oedd yr holl bethau hyn ond cynifer o ategion i gynal i fyny awdurdod ac annibyniaeth y gyfundrefn Babaidd.

Ond, fel yr awgrymwyd, mae gallu gwrthwynebol pwysig ar ymddangos. Ar y cyntaf yr oedd prif swyddogion y goron yn swyddogion eglwysig, a bu hyny yn foddion effeithiol i ddarostwng y llywodraeth wladol dan awdurdod yr eglwys. Ond pan ddaeth lleygwyr i lenwi y lleoedd hyny, a'r wladwriaeth i gael mwy o lais yn nghynghorfa y genedl, meddianwyd y senedd ag ysbryd mwy rhydd ac annibynol. Safodd y senedd, dan deyrnasiad Edward III., gyda sel a phenderfyniad diysgog dros hawlfreintiau y llywodraeth, ac yn erbyn gormes y pab. Cafodd yr ysbryd hwn gynorthwy galluog yn Robert Grosshead, esgob Lincoln, yn ysgrifeniadau yr hwn y taenwyd llawer o wirioneddau o duedd ddiwygiadol, y rhai a fuont wedi hyny o wasanaeth i Wicliffe a Huss.* Canlynwyd hwn gan yr athronydd galluog Roger Bacon, ysgrifeniadau yr hwn oeddent eto o gyffelyb duedd ryddfrydig. Cynyddwyd yr ysbryd hwn yn fwy fyth gan yr archesgob Richard o Armagh, yr hwn a ddadleuodd yn erbyn awdurdod ormesol y pab, yn y wlad hon yn gystal ag yn llys Innocent VI. ei hun, ac a adawodd amryw ysgrifeniadau ar ei ol. Yn yr amser hwn yr ymddangosodd Wicliffe, ac

John Wicliffe.

yr oedd holl elfenau rhyddid ei oes yn cydgyfarfod ynddo. "Anaml," meddai Neander, "y mae dyn ag y byddo symudiad mawr yn cychwyn oddiwrtho yn sefyll ar ei ben ei hun; ond mai rhyw elfen gyffredin yn yr awyrgylch ysbrydol sydd yn dwyn y cyfryw ddynion i'r esgynlawr cyhoeddus."

*Neander's Church History, Clark, vol. ix., 182.

Ganwyd John Wicliffe mewn pentref o'r enw Wicliffe (oddiwrth yr hwn y cymerodd yr enw, yn ol arfer yr amseroedd hyny), gerllaw Richmond, yn swydd York, yn y flwyddyn 1324. Anfonwyd ef yn ieuanc i Rydychain i dderbyn addysg, lle daeth ei feddwl galluog a'i dalentau dysglaer yn fuan i sylw. Daeth yn efrydydd caled, yn ysgolor da, yn ysgrifenydd gwawdlym, ac yn ddadleuwr medrus. Athroniaeth, arddansoddiaeth, a duwinyddiaeth, oeddent ei hoff bynciau. Enillodd enwogrwydd mawr trwy ei ysgrifeniadau a'i ddadleuon o blaid y Brif-ysgol, yn erbyn y mynachod crwydrol, y rhai a geisient hudo yr efrydwyr, a'u dwyn ymaith i'w monachlogydd. Yn 1361, gwnaed ef yn feistr Coleg Baliol, ac yn mhen pedair blynedd wedi hyny, gwnaed ef yn warcheidwad Coleg *Canterbury Hall.* Ond dygwyd yr olaf oddiarno oblegyd ei wrthwynebiad i'r pab a'r mynachod. Trwy ffafr Duc Lancaster, cafodd berigloriaeth Lutterworth, yn esgobaeth Lincoln, yr hon a ddaliodd hyd ei farwolaeth, ac yn yr hon y cyflawnodd ei swydd gyda dyfalwch a difrifoldeb mawr. Yn 1372, cafodd y llythyrenau D.D. wrth ei enw, a daeth yn boblogaidd iawn fel darlithydd duwinyddol yn Rhydychain. Yn y rhai hyny rhoddai y fflangell yn drwm ar y pab, y clerigwyr diog ac ariangar, a'r mynachod; a gwrthwynebai yn hyf gyfeiliornadau yr amseroedd gyda golwg ar yr athrawiaeth, a chyfansoddiad yr eglwys Gristionogol. Yn 1374, dewiswyd ef gan Edward III. yn un o'i genadwyr at y pab, i ddadleu yn erbyn ei dra-awdurdod ar yr eglwysi Prydeinig, ac o hyn allan dyrchafodd ei lais yn uwch nag erioed yn erbyn y pab. Galwai ef yn "Annghrist, offeiriad balch a bydol Rhufain, y cneifiwr a'r torwr-pyrsau mwyaf melldigedig." Yn 1376, detholodd y mynachod bedwar ar bymtheg o gyfeiliornadau allan o'i areithiau a'i bregethau, ac anfonasant hwy i'r pab. Y prif ddaliadau y cyhuddent ef o'u plegyd oeddent—Nad oedd ond un eglwys gyffredinol, yn cynwys holl gorph y rhai a ragluniwyd gan Dduw—nad oedd y bara a'r gwin yn y Swper yn wir gorph a gwaed Crist, ond arwydd o hono yn unig—nad oedd Eglwys Rhufain ddim mwy o ben ar yr eglwys gyffredinol na rhyw eglwys arall--nad oedd gan Pedr ddim mwy o awdurdod na'r apostolion eraill—nad oedd gan y pab ddim mwy o awdurdod ar yr agoriadau na rhyw offeiriad arall—os byddai yr eglwys yn cam-ymddwyn, ei bod nid yn unig yn gyfreithlon, ond yn beth canmoladwy i'w hamddifadu o'i meddianu tymhorol—fod yr efengyl yn ddigonol i'r Cristion fel rheol bywyd—na ddylai y pab, nac unrhyw esgob arall, gadw carcharau i gospi y rhai a drosedent yn erbyn dysgyblaeth yr eglwys, &c. Nid rhyfedd fod y dyn a feiddiai gyhoeddi mor ddigel y fath syniadau, pan oedd Eglwys Rhufain yn y fath awdurdod, yn gwneyd i'r pab a'r mynachod wingo. Yn 1377, anfonodd y pab lythyrau (*bulls*) i arch-

esgob Canterbury, i esgob Llundain, i brif-ysgol Rhydychain, ac i'r brenin, i geisio ganddynt draddodi y carcharor i gael ei gospi. Ond yr oedd y brenin wedi marw cyn i'r llythyr gyrhaedd; dirmygodd Rhydychain y cais; ond ymgymerodd yr esgobion â chyflawni y ddyledswydd, a gwysiwyd Wicliffe i ymddangos ger eu bron o fewn deng niwrnod ar ugain. Yn y cyfamser ymgyfarfu y senedd, a daeth y pwnc *a oedd yn gyfreithlon gwrthod anfon trysor allan o'r deyrnas i'r pab*, dan ystyriaeth. Wedi llawer o siarad rhoddwyd y mater i Dr. Wicliffe i'w benderfynu. Atebodd yntau ei bod yn gyfreithlon, ac y gallai ei brofi yn ol egwyddorion cyfraith Crist. Yna aeth, yn nghwmni Duc Lancaster, a'r pen-swyddog, Iarll Percy, i ymddangos ger bron ei farnwyr esgobol. Cododd dadl rhwng y ddau bendefig hyn a'r esgobion, yr hyn a barodd gryn gythrwfl, ac aeth Wicliffe ymaith heb un prawf ar ei achos.

Ymddangosodd Wicliffe eilwaith o flaen yr esgobion yn Lambeth, ond wedi iddynt dderbyn eglurhad ar ei olygiadau, gwelsant yn well ei ollwng yn rhydd. Y flwyddyn ganlynol bu farw y pab; a chan fod Wicliffe yn parhau i gyhoeddi ei syniadau trwy ei areithiau, ei bregethau, a'i ysgrifeniadau, a bod Courtney, esgob Llundain, yn awr wedi ei wneyd yn archesgob Canterbury, gwysiwyd y diwygiwr eto i ymddangos ger ei fron; ond gwrthododd ufuddhau; a'r canlyniad fu, cyhoeddi ei olygiadau yn hereticaidd. Yn y flwyddyn 1380, cyhoeddodd gyfieithiad o'r Bibl yn Seisnig, ond nid argraffwyd ef hyd yn ddiweddar.* Yr oedd hwn yn gam eofn o'i eiddo, ac yn brawf diymwad o lafur a difrifoldeb ei ysbryd. Yn fuan wedi iddo adael Rhydychain, yn 1382, cafodd ffit ysgafn o'r palsi, ac yn mhen dwy flynedd, cafodd un arall yn y pwlpud yn Lutterworth, a bu farw y dydd olaf o'r flwyddyn 1384. Yn mhen deng mlynedd ar ugain, yn ol penderfyniad cynghorfa Constance, codwyd ei weddillion o'r bedd, llosgwyd hwy yn ulw, a thaflwyd eu llwch i'r afon.

Gellir cael awgrym am dduwiolfrydedd Wicliffe yn y dyfyniad canlynol o'i anerchiad i weinidogion crefydd. "Os wyt yn offeiriad ac wrth dy enw yn gurad, arwain fywyd santaidd. Dos heibio i ddynion eraill mewn gweddi santaidd, dymuniad santaidd, ac ymadroddion santaidd; gan gynghori, a dysgu y gwirionedd. Cadw bob amser orchymynion Duw, a bydded ei efengyl a'i glod bob amser yn dy enau. Bydded dy fywyd agored fel hyn yn wir lyfr, yn yr hwn y gallo y milwr a'r lleygwr ddysgu pa fodd i wasanaethu Duw a chadw ei orchymynion. Oblegyd y mae esiampl bywyd santaidd, os bydd yn agored a pharhaus, yn taro dynion anwaraidd

* Wele adnod fel enghraifft o gyfieithiad Wicliffe:—"A man had twey sons, and the yonger of hem seide to the fader, geve me the porcioun of cattel that fallith to me," Luc xv. 11, 12.

gyda mwy o ddwysder na phregethiad y gair yn unig." Gadawodd Wicliffe dri chant o bregethau ar ei ol mewn llaw-ysgrifen, y rhai ydynt ar gael yn awr. Ac er fod yn anhawdd deall ei olygiadau ar rai pynciau, a bod yn anhawdd llunio credo cyson oddiwrth ei ysgrifeniadau lliosog, eto deffrodd ysbryd ymchwiliad, trwy ei bregethau a'i ysgrifeniadau, barhaodd i fyw ac i gynyddu wedi iddo ef farw. Pwnc mawr Wicliffe oedd, mai Gair Duw oedd unig awdurdod a rheol yr eglwys; ac nid i'r esgob yn unig, ond i bob dyn yn bersonol. Ac yn gyson a'i syniad ac a'i sel, profodd ei ddifrifoldeb, ac anfarwolodd ei enw, trwy roddi y Bibl yn eu haith eu hunain yn nwylaw ei gydwladwyr; ïe, "daeth yn fwy cyrhaeddadwy i leygwyr, ac hyd y nod i fenywod allai ddarllen, nag oedd o'r blaen i'r clerigwyr mwyaf dysgedig." Yn mhen ychydig flynyddoedd gwelwyd ffrwyth amlwg i'w lafur, oblegyd cawn nifer lliosog o ganlynwyr iddo, dan yr enw *Lollards* (gair o'r Ellmynaeg yn arwyddo "canu yn fynych," am eu bod yn canu llawer yn eu haddoliadau), yn dal ei olygiadau, ac yn codi eu llef am ddiwygiad.*

"Am gyflwr eglwysig Cymru yn yr amser hyn, mae yn rhaid cyfaddef nad oedd ond gwael. Yr oedd arbenicter eglwys Cymru gwedi ei drosglwyddo i ddwylaw estronol; a diau fod diystyrwch o hyn yn foddion effeithiol i gyflawni darostyngiad y wlad. Pe buasai y Cymry yn sefyll mor wrol yn erbyn traws-feddiant estronawl mewn pethau eglwysig ag y gwnaethant mewn rhai gwladawl, ni fuasai ddim na'r pab nac archesgob Caergaint (*Canterbury*) yn gallu eu blino â'u gormesiadau, nac yn eu llyfetheirio yn eu hymdrechiadau gwladgar trwy ddychrynau esgymundod."†

Eto, mae yn ddigon amlwg fod gwybodaeth grefyddol ar dir mor uchel yn Nghymru, a theimlad crefyddol llawn mor wresog, ag yn Lloegr. Gwelir hyn oddiwrth y dyfyniadau a rydd yr hanesydd uchod o weithiau beirdd yr amseroedd hyny, y rhai a gynwysant yr athrawiaeth Gristionogol yn gyflawn ac yn union-gred, yn nghyda theimlad crefyddol diledryw. Nodwn benill neu ddau o awdl Madawc ap Gwallter i Grist, yn y flwyddyn 1258, er mwyn dangos pa mor debyg oedd y Gymraeg yn cael ei hysgrifenu chwe' chan mlynedd yn ol i'r hyn ydyw heddyw:—

Mab gogoned,
Mab i'n gwared,
Y mab goreu.
Mab fam forwyn,
Grefydd aeddfwyn,
Aeddfed eiriau.

Heb gnawdol Dad,
Hwn yw'r mab rhad,
Rhoddiad rhadau.
Doeth ystyriwn
A rhyfeddwn
Rhyfeddodau.

*Neander's Church History, vol. ix.—Mosheim's Eccles. History.—Knight's History of England. †Hanes Cymru gan Carnhuanawc, 757, 758.

## VII.—CYFANSODDIAD A CHYFREITHIAU.

Y PEDWAR peth hanfodol i lywodraeth seneddol dda ac effeithiol, yn ol Arglwydd Brougham, ydynt—hawl yr aelodau i eistedd ynddi yn annibynol ar ewyllys y brenin—sicrwydd am ei chyfarfyddiad cyson a rheolaidd—ei chydsyniad â phob mesur o bwys—a bod gan y wlad yn gyffredinol gynnrychiolaeth a llais yn ei phenderfyniadau. Dyma sylfaen y cyfansoddiad Prydeinig. Yr oedd yr egwyddorion hyn oll, i raddau mwy neu lai, yn eglur yn y Freinlen Fawr a gafwyd dan deyrnasiad John; a chyn diwedd teyrnasiad Edward III. yr oeddent wedi dyfod, mewn gwirionedd, yn gyfran o gyfansoddiad a chyfreithiau y wlad. Dywedai Syr Matthew Hale i gyfraith Lloegr gael ei gwellhau mor fuan ac mor fawr yn y cyfnod hwn, fel nad oedd wedi cyrhaedd nemawr fwy o berffeithrwydd hyd ei amser ef. Mae Edward I. yn enwog yn mysg breninoedd Lloegr am y gwelliadau a ddygodd oddiamgylch yn nhrefniadau a llywodraeth y wlad. Dano ef y penodwyd terfynau awdurdod y gwahanol lysoedd cyfreithiol, y trefnwyd i'r barnwyr teithiol gadw eu llysoedd dair gwaith y flwyddyn yn mhob sir—fod pyrth y trefi i gael eu cloi o fachludiad hyd godiad haul—fod pob pen-teulu yn atebol am ymddygiadau pawb a drigent dan ei gronglwyd, pan gymerai lladrad le—fod i bawb godi gwaedd ac ymlid ar ol y lleidr, ac os na ddelid ef fod y gantref yn atebol am y golled. Gwnaed amryw gyfreithiau da hefyd gyda golwg ar ddyogelwch personau a meddianau. Enwyd swyddogion i roddi y cyfreithiau hyn mewn grym, y rhai a alwyd wedi hyny yn Ustusiaid Heddwch. Pasiwyd cyfraith o'r tu arall hefyd nad oedd y brenin i godi treth oddiar y bobl heb gydsyniad y senedd, yr hon oedd yn cwtogi awdurdod y cyntaf, ac yn ychwanegu pwysigrwydd yr olaf.

Dan deyrnasiad Edward III. y rhanwyd y senedd yn ddau dŷ; sef Arglwyddi a Chyffredin. Yn y tŷ uchaf yr eisteddai y pendefigion, yn cynwys ieirll, esgobion, abadau, a baroniaid. Nis gellir deall yn iawn pa fodd y tynid llinell y gwahaniaeth rhwng y prif faroniaid oeddent â hawl i'r tŷ uchaf, a dosbarth îs o faroniaid oedd hebddi; na pha faint oedd awdurdod y brenin ar yr hawlfreintiau hyn. Gwysid y Barnwyr a'r Cyfrin-gynghorwyr hefyd i'r senedd; ffurfient ran o Dŷ yr Arglwyddi unwaith, a phleidleisient; ond wedi hyny, nid ymddangosai y Barnwyr yno ond fel cynorthwywyr yn unig—fel yn bresenol.

Yr ydym wedi gweled eisoes fod seiliau Tŷ y Cyffredin wedi eu gosod i lawr gan De Montfort, yn nheyrnasiad Henry III., ac erbyn diwedd teyrnasiad Edward III. yr oedd yn dwyn gwedd gyffelyb i'r hyn ydyw yn bresenol. Ymddangosai pedwar aelod yn y senedd dros bob sir, y rhai a etholid gan y rhydd-ddalwyr yn y

llys sirol; ond ni wyddis pa lwybr a gymerai y bwrdeiswyr i ethol eu cynnrychiolwyr hwy. Nid oedd nifer y bwrdeisdrefi ar y cyntaf dros ugain; ond yn amser Edward III. yr oeddent wedi cynyddu i chwech ugain, a pharasant yr un nifer hyd amser y frenines Elizabeth. Nid oes sicrwydd am yr amser y dechreuodd y ddau dŷ eistedd ar wahan; ond tybir i hyny gymeryd lle dan Edward III., yn fuan wedi i'r bwrdeisdrefi anfon cynnrychiolwyr i'r senedd. Ymddiriedid pob cwestiwn yn nghylch olyniad y goron, gofal am y penadur ieuanc, y priodasau breninol, cytundebau yn nghylch meddianau tramor y goron, a phob cwestiwn na fyddai yn dal cysylltiad a threthi, neu reolaeth masnach, i ofal tŷ yr Arglwyddi. Ond byddai y Cyffredin yn ymyryd weithiau mewn achosion dyrys o'r natur flaenaf, er nad ystyrid fod gan y Cyffredin hawl i siarad ar y blaenaf, na'r Arglwyddi ar yr olaf.

Esgorodd y trefniant hwn ar ddeddfwriaeth y genedl ar ganlyniadau pwysig a dymunol. Enillodd y bwrdeiswyr nerth oddiwrth eu cynnrychioliad. Daeth y pendefigion a'r bobl gyffredin yn nes at eu gilydd. Daeth meibion ieirll a baroniaid yn ymgeiswyr am eisteddle seneddol, ac i gyd-eistedd â dosbarth îs o foneddigion; ymgylymodd y naill a'r llall, a chafodd hyny argraff dda ar gymdeithas. Ac y mae y prif amrafaelion o hyn allan yn codi, nid rhwng gwahanol raddau gymaint a gwahanol bleidiau o bob graddau; ac wrth fod y naill blaid yn atalfa ar eithafoedd y blaid arall, mae y cydfantoliad yn esgor ar gyfansoddiad mwy cadarn a pharhaol.

Yn y bumed flwyddyn ar ugain i Edward III. y pasiwyd Cyfraith Bradwriaeth—un o'r cyfreithiau pwysicaf yn y cyfnod hwn. Yn hono darostyngwyd bradwriaeth i dri pheth:—1, Cynllunio marwolaeth y brenin; 2, Cynllunio rhyfel yn erbyn y brenin; ac yn 3, Ymgysylltu â gelynion y brenin. Rhoddwyd gwaharddiad i'r barnwyr na weinyddent gosp bradwriaeth, os dygwyddai achosion eraill, heb apeilo yn gyntaf at y senedd. Mae y gyfraith hon wedi para yn ddigyfnewid hyd yr amser presenol.

Ordeiniodd Edward III. hefyd ar fod i bob achos cyfreithiol gael ei ddadleu o hyny allan yn yr iaith Seisnig, oblegyd nad oedd y cyhuddedig yn fynych yn deall dim o'r cyhuddiadau a ddygid yn ei erbyn. Ond er i hyn gymeryd lle, parhaodd yr iaith Ffrengig i fod yn iaith y llys am rai canrifoedd wedi hyny.

Un o'r cyfreithiau pwysicaf a basiwyd yn nheyrnasiad Richard oedd yr hon a elwid "Deddf *Premunire.*" Yr oedd hon yn gosod pob un a ddygai lythyrau Pabaidd i'r deyrnas i gael eu cyfieithu gan esgobion, neu i ryw bwrpas arall, yn ddarostyngedig i golli ei holl feddianau, ac i gael ei garcharu dros ei fywyd.

Bu hon yn wrthglawdd cadarn yn erbyn cynlluniau a gormes y Babaeth.*

## VIII.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Llenorion a Llenyddiaeth. Wedi i gyffroad nerthol y Croes-ryfeloedd beidio, cynhyrfwyd y wlad hon, yn gystal a'r Cyfandir, gan ysbryd efrydiaeth. Yr oedd hwn wedi ymdaenu cymaint, fel yr oedd, yn nechreuad y bedwaredd ganrif ar ddeg, ddeng mil ar ugain o efrydwyr yn Rhydychain, a bernir fod llawer mwy na hyny yn Mhrif-ysgol Paris. Yn y cyfnod hwn yr adeiladwyd gwahanol golegau Rhydychain a Chaergrawnt (*Cambridge*) gan wahanol bersonau, y rhai a ddygant enwau eu sylfaenwyr hyd y dydd hwn; adeiladwyd saith yn Rhydychain, a naw yn Nghaergrawnt. Yr oedd efrydiaeth y lliaws yn gyfyngedig agos oll i Resymeg Aristotle, ac arddansoddiaeth. Brodorion y wlad hon oeddent brif enwogion dysgeidiaeth yr oesoedd hyny. Ni oddef ein terfynau ond crybwylliad byr am rai o'r prif gymeriadau. Alexander de Hales ydoedd fynach Franciscaidd enwog am ei ddysg a'i alluoedd dadleuol, yr hwn a fu farw yn Paris yn 1245. John Duns Scotus, y Doctor Craffus, oedd broffeswr duwinyddiaeth yn Rhydychain, yr hwn sydd wedi gadael swm mawr o ysgrifeniadau gwerthfawr ar ei ol. Wedi bod yn dysgu ac enill enwogrwydd digyffelyb yn Rhydychain a Paris, bu farw yn Cologne yn 1308, yn 43ain oed. St. Thomas Aquinas, mynach Italaidd, a ysgrifenodd ddwy ar bymtheg o gyfrolau unplyg ar dduwinyddiaeth. William Occam hefyd, yr Anorchfygol, oedd ddysgybl enwog i Scotus, ac ysgrifenydd galluog yn erbyn cyfeiliornadau Pabaidd. Ac yn eu mysg y cawn Roger Bacon, prif ddyn y drydedd ganrif ar ddeg, a phrif athronydd Ewrop am rai canrifoedd ar ol hyny. Ganwyd ef yn Ilchester, tua'r flwyddyn 1214; a bu farw yn 1292. Gwelir oddiwrth ei weithiau fod cylch ei efrydiaeth yn cynwys duwinyddiaeth, gramadeg, yr ieithoedd tramor, mesureg, seryddiaeth, amseryddiaeth, daearyddiaeth, cerddoriaeth, tremyddiaeth (*optics*), gallofyddiaeth, fferylliaeth, a changenau eraill athroniaeth brofiadol. Mynach Franciscaidd oedd yntau, a threuliodd ei fywyd yn ei gell yn Rhydychain, lle yr enillodd yn gyfiawn y titl o "Dad Athroniaeth." Cafodd allan ac eglurodd egwyddor y "spectol" a'r ysbienddrych; ac os nad efe oedd dyfeisydd pylor, yr oedd yn gyfarwydd a'i gyfansoddiad, ac a'i effeithiau, er na wnaed unrhyw ddefnydd o bwys o hono am dymhor wedi hyn.

Parai darganfyddiadau hynod Bacon i'r oes ofergoelus hono ei gyhuddo o swyn a dewiniaeth. Ac yn atebiad i'r syniad hwn y

*Brougham's British Constitution, Knight's History of England, Hume's History of England, Ferguson, Keightly, &c.

dywed, "Nodaf i chwi yn awr rai o weithredoedd rhyfeddol celfyddyd a natur yn y rhai nad oes dim swyn, ac nad allai swyn na dewiniaeth byth eu cyflawni. Gellid gwneyd offerynau i yru y llongau mwyaf, heb ddim ond un dyn yn eu rheoli, yn llawer cyflymach na phe byddent yn llawn o forwyr. Gellid adeiladu cerbydau i deithio gyda chyflymder annghredadwy, heb gymhorth un anifail; gellid dyfeisio offerynau ehedeg, gyda pha rai y gallai dyn, gan eistedd yn dawel a myfyrio ar unrhyw destun, nofio yr awyr gydag adenydd celfyddydol, fel aderyn; gellid gwneyd offeryn bychan i godi neu suddo y pwysau mwyaf; gellid dyfeisio offeryn trwy ba un y gallai un dyn dynu mil o ddynion ato ei hun yn erbyn eu hewyllys; a gellid gwneyd peirianau gyda pha rai y gallai dynion gerdded gwaelod y môr a'r afonydd yn ddiberygl." Erbyn heddyw mae y rhan fwyaf o'r pethau hynod hyn wedi eu cyflawni, er efallai nad yn y llwybr y dychymygai athronydd y bedwaredd ganrif ar ddeg.

Yr ydym eisoes wedi nodi enw Grosshead, esgob Lincoln, awdwr enwog yn perthyn i'r amser hwn; a Syr Michael Scott o Balwirie, (Ysgotland), yr hwn a ysgrifenodd lyfrau ar wynebddysg, ac ar hanes anifeiliaid; ac yr oedd yn enwog fel athronydd a duwinydd. Yr hanesydd enwocaf yn y drydedd ganrif ar ddeg oedd Matthew Paris, mynach Benedictaidd o fonachlog St. Alban (Swydd Herts), yr hwn a ysgrifenodd hanes y wlad hon hyd ei amser ef. Bu yn cyflawni gorchwylion dan y llywodraeth yn amser Henry III., a bu farw yn 1259. Mae amryw haneswyr eraill yn perthyn i'r un cyfnod, y rhai ydynt yn meddu graddau mwy neu lai o enwogrwydd; megys Wykes, canon Osney, ger Rhydychain; Hemingford, mynach o Gisborough, yn Swydd York; Avesbury, cofrestrydd yn llys archesgob Canterbury, (un enwog am ei gywirdeb, ac yn dyfod yn mlaen hyd 1356); Trivet, penaeth monachlog Dominicaidd yn Llundain; Higden, mynach o Chester; Matthew o Westminster, mynach, a ysgrifenodd hanes y wlad hyd amser Edward III.; Knighton, canon Leicester; a Merimuth, canon St. Paul, Llundain. Ysgrifenwyd hanes fanwl a gwerthfawr o arferion a defodau y wlad hon yn y bedwaredd ganrif ar ddeg gan Froissart, y Ffrancwr. Mae cofrestriadau monachlogydd hefyd yn cynwys llawer o ddefnyddiau hanesiol pwysig, yn enwedig eiddo Mailros, Margan, Burton, Waverley, &c.

Yr ysgrifenydd Seisnig cyntaf ar Feddyginiaeth ag yr argraffwyd ei weithiau oedd Gilbert English, o'r drydedd ganrif ar ddeg, a chanlynwyd ef gan John Gaddesden. Bu yr arferiad meddygol yn hir yn nwylaw y clerigwyr, ac nid oedd y pryd hwnw ond cymysgedd o gwacyddiaeth ac ofergoeledd. Ond tua'r amser hwn cafwyd o hyd i rai egwyddorion a meddyginiaethau gwerthfawr o

lyfrau meddygon Arabaidd, y rhai a gyfieithwyd i'r Lladin. Y Lladin oedd iaith yr ysgrifenwyr hyn, yn gystal a iaith gyfreithiol gyffredin y wlad. Yn Lladin y mae yr holl freinleni rhyddid, a'r un modd y cyfreithiau hyd y flwyddyn 1275. Y gyntaf sydd yn y Ffrancaeg yw cyfraith gyntaf Westminster, yr hon a basiwyd yn y drydedd flwyddyn i Edward I. Ond er mai Lladin oedd iaith y dysgedig, ac mai Ffrancaeg oedd iaith y pendefig, yr oedd corph y bobl yn siarad iaith Seisnig eu hynafiaid. Ac yr oedd y gwahaniaeth hwn yn wrthglawdd anffortunus rhwng gwahanol ddosbarthiadau, a rhwng y bobl gyffredin a manteision gwybodaeth. A'r cyfnod hwn, pan ddyrchafwyd iaith y wlad i fwy o fri trwy orchymyn breninol, yn gystal a thrwy weithiau awdurol enwog ynddi, y llusgwyd cymaint o eiriau Ffrengig i gyfansoddiad yr iaith Seisnig.

Yn mysg y Beirdd boreuaf a ysgrifenodd yn yr iaith Seisnig, y mae Robert o Glos'ter, yr hwn a ysgrifenodd hanes Lloegr yn fydryddol, yn y drydedd ganrif ar ddeg. Dylynwyd ef â gorchwyl cyffelyb gan Robert Mannyng, neu Robert de Brune. Yr oedd Minot a Langland yn rhagori ar y rhai hyn yn fawr mewn coethder iaith, yn gystal ag mewn galluoedd barddonol. Ond bardd enwocaf ei oes, a'r oesoedd dylynol yn Lloegr, oedd Geoffrey Chaucer, brodor o Lundain, yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, yr hwn a gafodd yr enw, "Tad Barddoniaeth Seisnig." Ystyrir y llenor athrylithgar hwn, oblegyd y gwasanaeth a wnaeth i'r iaith, a'i gyfansoddiadau ynddi, yn dad llenyddiaeth Seisnig. Yn moreuddydd ei iaith, cynyrchodd gyfansoddiadau nad oedd y mwyaf talentog o'i gydwladwyr ond prin abl i'w gwerthfawrogi, llawer llai i ymgystadlu â hwy, hyd ar ol dechreuad cyfnod newydd hollol o wareiddiad. Ac nid oes yr un bardd wedi codi yn ein mysg hyd heddyw, gyda'r eithriad o Shakspere yn unig, yn meddu ar fwy o gydgyfarfyddiad amrywiol alluoedd, na bardd enwog y bedwaredd ganrif ar ddeg. "Mae Spencer yn fwy awyrol, a Milton yn fwy aruchel, ond nid yw barddoniaeth y naill na'r llall yn amlygu dim o'r uniad goludog o ragoriaethau gwrthgyferbyniol ag sydd yn rhoddi cymaint o fywyd ac ysblander i weithiau Chaucer—y dychymyg nwyfus sydd yn lliwio ac yn goreuro pobpeth, yn nghyda'r ysbryd sylwgar, manylgraff, a syml, sydd yn tremio trwy bob peth yr edrycha arno—y crebwyll dyrchafedig a chreadigol, gyda'r callineb cartrefol a'r archwaeth iachus i wirionedd pethau—y tynerwch a'r teimlad annghydmarol, gyda'r sirioldeb mwyaf ystrywgar, a'r digrifwch mwyaf gorlawn—y doethineb a'r arabedd—y cwbl sydd oreu mewn barddoniaeth yn gystal a rhyddiaith, oll gyda'u gilydd. Mae eangder ac amrywiaeth athrylith Chaucer yn cael ei brofi gan yr amrywiaeth ffynonellau y bu yn drachtio ei ysbrydoliaeth o honynt. Chwiliodd weithiau beirdd taleithiol deheudir Ffrainc (*troubadours*), ffug-

haneswyr Normanaidd, a gosgordd ser dysglaer barddoniaeth ieuanc Itali, a gwnaeth iddynt oll gyfranu goleuni i'w lusern ef. * * Ni chymerodd un ysgrifenydd gylch eangach gyda golwg ar destunau a dull, ac ni ddangosodd neb feistrolaeth mwy llwyddianus ar holl gwmpasoedd y delyn. Mae ei '*Canterbury Tales*,' yn wir, yn cynwys agos pob amrywiaeth o farddoniaeth ddigrif a difrifol. Yn y gwaith penigamp hwn, mae ei athrylith addfed yn gloddesta yn arddigonedd ei nerth, ac yn ymlawenychu yn y profion lliosog o'i awdurdod ar holl adnoddau ei gelfyddyd."*

Bardd arall oedd yn cydoesi â Chaucer ydoedd John Gower; neu, fel y galwai Chaucer ef, "Gower Foesol," ac yr oedd yn hynotach fel moesolydd nag fel bardd. Y mae un bardd Cymreig hefyd, a flodeuodd yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, yn deilwng o goffadwriaeth anfarwol, sef Dafydd ap Gwilym. Ganwyd ef yn Bro Ginin, ger Aberystwyth, yn 1340. Symudodd oddiyno i Bassaleg, Sir Fynwy, lle bu yn mwynhau caredigrwydd a chyfeillgarwch Ifor Hael, perthynas i'w dad. Mae cyfrol o'i weithiau wedi ei chyhoeddi dan olygiad Dr. Pughe ac Owain Myfyr. Tri bardd enwog addurnodd y cyfnod hwn oeddynt—y bardd Italaidd, Dante; y bardd Seisnig, Chaucer; a'r bardd Cymreig, Dafydd ap Gwilym. "Ac y mae ysgrifenydd Seisnig diweddar, ar ol darllen gwaith yr olaf yn yr iaith Gymraeg, yn ei restru gyda phrif feirdd y byd."†

Masnach a llafur. Nid oedd masnach a llafur yn y cyfnod hwn ond yn eu babandod, ac fel mewn ymdrech yn erbyn myrdd o rwystrau, i gymeryd arnynt ryw agwedd fanteisiol a pharhaus. Rhoddid tollau trymion ar nwyddau masnachol, er llenwi coffrau y brenin, y rhai a lyffetheirient ysbryd ac anturiaethau masnachol. Y nwyddau Prydeinig cyntaf a drethwyd gan y llywodraeth oedd gwlan, gwlan-grwyn, a lledr. Buwyd am lawer o flynyddoedd yn penodi trefi neillduol fel marchnadleoedd y nwyddau hyn, fel na chollid y doll arnynt. Yn awr rhyw dref ar y Cyfandir; bryd arall amryw borthladdoedd yn Lloegr a Chymru; Calais yn unig drachefn. Yn fuan, daeth alcan (*tin*) yn nwydd arall o bwys yn masnach y wlad. Yr un amcan o godi toll freninol ar fasnach barodd gynlluniad ffeiriau. Yn 1245, gorchymynodd Henry III. gyhoeddi ffair yn Westminster, i barhau dros bymtheg niwrnod, a bod i'r holl siopau gau dros yr amser, unig amcan yr hyn ydoedd tynu pobl yn nghyd, a gwneyd arian trwy y tollau marchnadol. Yn 1261, gwnaed cyfraith yn gwahardd dwyn gwlan allan o'r deyrnas, na gwisgo un math o frethynau ond o wneuthuriad Prydeinig. Ac er i hyn ddyrysu masnach yn fawr, a cholledu masnachwyr, ar yr un pryd rhoddodd ddechreuad i gyffroad llaw-weithyddol yn y wlad. Pethau eraill fuont o fawr niwed i fasnach oedd,

*Knight's History of England, vol. i, 851. †Traethodydd am 1855, 324.

gwahardd llongau tramor i ddyfod i mewn heb drwydded oddiwrth y brenin, a gwahardd marchnadyddion i ddwyn arian bathol allan o'r wlad, hyd nes y mynwyd galw y gwaharddiadau hyn yn ol.

Llawer o drafferth diangenrhaid a ffol a gymerid i reoli prisoedd nwyddau, llafur, a chyflogau. Dan deyrnasiad Edward III. cawn gyfraith yn cael ei gwneyd i awdurdodi y trefniadau canlynol:—Am weithio ar y gwair a chwynu, ceiniog y dydd, (heb fwyd); am fedi ŷd, 3c.; seiri maen a choed, a thowyr, os meistri, 4c.; os heb fod yn feistri, 3c. Gweision y cyfryw, 1½c. Pris y gwenith oedd 3s. 4c. y chwarter; ych tew, 16s.; dafad, 1s. 2g.; baedd, 3s. 4c.; gwydd, 2½c.; cwrw (y galwyn), ceiniog; pâr o esgidiau, 4c.; brethyn (y llath), 1s. 4c. Byddai prisoedd bara a chwrw yn cael eu rheoli yn ol pris yr ŷd. Ceisiwyd trefnu mesurau a phwysau y wlad hefyd, ond nid oedd ganddynt eto yr un safon sefydlog. Dywedir mai safon y llathen dan Henry I. oedd hyd braich y brenin. Mewn Act a basiwyd dan Henry III., neu Edward I., dywedir, "yn ol cydsyniad yr holl deyrnas penododd y brenin ar fod i'r geiniog Seisnig gyfreithlon, yn gron ac heb ei thocio, bwyso *deuddeg ar ugain o ronynau sychion o wenith o ganol y dywysen.*" Wedi hyny gostyngwyd hi i bwysau pedwar ar ugain; a hyn yw tarddiad y frawddeg gyfarwydd, "24 *grains make* 1 *pennyweight.*" Codid tollau ar wahanol amserau hefyd ar win, pysgod, llechi, brethynau, coed, glo, &c.

Gwlan oedd prif nwydd masnachol y wlad hon yn y cyfnod dan sylw. Yr oedd y gwlan a gynyrchid yn 1279 yn cyrhaedd agos haner gwerth y tir yn y deyrnas. Dywed Avesbury, fod allforiad blynyddol y gwlan o'r deyrnas yn ei amser ef yn cyrhaedd dros gan mil o sachau; a buasai y doll yma yn ol 50s. y sach, dros ddau cant a haner o filoedd o bunau (£250,000). Ond amheua rhai nas gallasai fod cymaint hyd amser diweddarach na dyddiau Avesbury. Ychydig a garw oedd y brethynau a wnaed yma, hyd nes i Edward III. wahodd gwehyddion a lliwiedyddion drosodd o Flanders yn 1331.

Mae dechreuad defnyddiad glo fel tanwydd cartrefol, yn gystal ag fel nwydd masnachol hefyd, yn perthyn i'r cyfnod hwn, er y myn rhai ei osod yn foreuach. Y cyfrif awdurdodol boreuaf am dano sydd yn 1245, dan Henry III.; ond y mae y crybwylliad a wneir yn rhyw awgrymu fod glo yn dyfod o Newcastle-on-Tyne i Lundain beth amser cyn hyny. Yr oedd heol yn Llundain yn cael ei galw yn "Heol Glo Môr" mewn breinlen yn 1253. Ac o hyn allan, mae y cyfeiriadau ato yn lliosogi. Eto araf y daethpwyd i'w arfer yn gyffredinol, oblegyd y mwg oedd yn nglyn ag ef. Pan ddechreuwyd ei arfer gan ddarllawyr a phobwyr yn nghymydogaeth Llundain, gwnaed achwyniad wrth y brenin yn ei erbyn, fel peth

peryglus i iechyd y trigolion, a rhoddwyd gwaharddiad i'w arfer. Yn 1325, cawn hanes glo yn cael ei gludo o Newcastle i Ffrainc. Prynwyd gwerth deg swllt o lo yr un lle erbyn coroniad Edward III. yn 1327; ac erbyn diwedd y ganrif yr oedd masnach glo yn Newcastle wedi dyfod i gryn bwysigrwydd.

Yn y cyfnod hwn hefyd y ceir hanes yr arferiad cyntaf o gwmpas y morwr. Dywedir mai *Dutchman* o'r enw Murphy, a'i dyfeisiodd gyntaf, ac iddo gael ei berffeithio gan Flavio de Gioia, dinesydd o Naples, yn amser Edward I. Yr amser hwn y dyfeisiwyd awrleisiau hefyd, gan un Richard Wallingford, abad St. Alban; ond ni ddyfeisiwyd y *pendulum* am dri chan' mlynedd wedi hyny. Nid oedd ond dau awrlais yn y wlad yn amser Edward I.; un uwchben porth Westminster, a'r llall yn eglwys gadeiriol Canterbury.

Cyflwr ac arferion y bobl.

Yr oedd cyflwr lliaws trigolion y wlad yn ymddibynu i raddau ar nodweddiad y brenin a phrif swyddogion y llywodraeth ar y pryd; eto, ar y cyfan, yr oedd yn para i wellhau yn raddol. Yr oedd caethwasiaeth yn parhau, mae yn wir, a dynion yn cael eu prynu a'u gwerthu fel anifeiliaid; ond yr oedd ysbryd gwareiddiad a rhyddid yn lefeinio yr holl wlad, ac nid oedd y dosbarth iselaf heb brofi graddau o'r fendith. Yr oedd lliaws o honynt yn dyfod i feddianu rhyddid, rhai trwy ganiatad eu meistriaid, rhai trwy ffoi i barthau eraill o'r wlad, ac eraill trwy aros un dydd a blwyddyn mewn tref, yr hyn fyddai yn pwrcasu eu rhyddid. Cawn fod y rhan fwyaf o'r galwedigaethau a'r crefftau ydynt mewn bri yn bresenol, yn cael eu harfer y pryd hwnw ar gylch cyfyngach; ond yr oedd mwyafrif mawr y bobl yn llafurio y ddaear. Cymerodd gwelliadau pwysig le yn yr adeiladau yn y cyfnod hwn, a daeth llechi i arferiad yn lle tô gwellt. Byddai gwastraff mawr yn cael ei arfer gyda bwydydd a gwisgoedd; yn enwedig dan deyrnasiad Richard II., gloddest ac afradlonedd ynfyd yr hwn, yn y naill beth a'r llall, a wnaeth argraff ddofn ar ei ddeiliaid. Yr oedd gwisgoedd y pendefigion ac eraill yn gostus, yn orwag, a chwerthingar i'r eithaf; ac heblaw eu prisoedd uchel, byddent yn gwisgo botas ar y naill droed, ac esgid ar y llall; hosan o un lliw ar y naill goes, ac o liw arall ar y llall; a'r naill lawes o un lliw, a'r llall o liw arall. Yr afradlonedd hyn barodd basio y cyfreithiau hyny yn gwahardd neb a enillai lai na chant punt y flwyddyn i wisgo aur, arian, na sidan yn eu dillad; ac yn gwahardd mwy na thair o ddysgleidiau gwahanol yr un pryd o fwyd, na bwyta dros ddau bryd y dydd. Ond er cymaint y diffygion a'r annhrefn, er mor anolygus yw agwedd cymdeithas, mae elfenau diwygiadol ar waith na byddant feirw; mae Wicliffe wedi agor seliau Llyfr Duw, ac wedi ei adael yn nghanol y werin yn eu hiaith eu hunain, a chyn hir caiff yr ynys o fôr i fôr weled a theimlo nerth ei egwyddorion.

# PENOD IV.

## O ESGYNIAD HENRY IV. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD RICHARD III., 1399—1485.

### I.—HENRY IV., A GYFENWID BOLINGBROKE, 1399—1413. (TEULU LANCASTER.)

MAE gallu a medr anarferol yn angenrheidiol i ddal meddiant mewn gorsedd wedi ei thraws-feddianu. Deallai pawb mai Edmund Mortimer, Iarll March, orwyr Lionel, Duc Clarence, ail fab Edward III., oedd gwir etifedd yr orsedd, oblegyd mab John o Gaunt, mab ieuangach i Edward III., oedd Henry. Ond gan nad oedd Mortimer yn awr ond plentyn seithmlwydd, a'i fod ef a brawd ieuangach iddo dan gadwraeth anrhydeddus y brenin yn Nghastell Windsor, gwelai y rhai a deimlent o'i blaid na fuasai dwyn ei hawl yn mlaen ond cynhyrfu Henry i'w ddyfetha. Pan gyfarfyddodd y senedd, er sicrhau y freniniaeth yn y teulu, parodd Henry gyhoeddi ei fab hynaf yn Dywysog Cymru, ac yn Dduc Cornwall, &c. Galwyd amryw o gyfreithiau Richard yn ol, collodd llawer o bendefigion ditlau oeddent wedi dderbyn dan y teyrnasiad diweddaf, ac esgorodd hyn ar ddrwg buan. Aeth y pendefigion benben â'u gilydd, a mynent derfynu eu hymrysonau trwy ymladd; ond rhwystrai Henry hwy hyd ag y gallai. O'r diwedd cynlluniodd Ieirll Rutland, Kent, Huntingdon, a Salisbury, ac Arglwyddi Spenser a Lumley, i ladd y brenin trwy frad. Gwahoddwyd ef i ffug-frwydr (*tournament*) i Rydychain, a darparwyd haid o filwyr cuddiedig i ruthro arno. Ond bradychwyd ei gyfeillion gan Iarll Rutland (mab Duc York), ac anfonodd at y brenin i'w rybuddio. Penderfynodd y bradwyr pendefigaidd hyn i fyned yn eu blaen tua Windsor, a chymeryd y brenin i fyny yn ei gastell. Ond, er eu mawr siomedigaeth, yr oedd wedi ffoi i Lundain, ac yn casglu byddin yn eu herbyn. Wedi methu yn eu hamcan ymwasgarasant, gan geisio cyffroi y bobl yn mhob man yn erbyn y brenin. Ond cododd y bobl yn eu herbyn. Torwyd penau Kent a Salisbury yn Circencester; gwnaed yr un peth â Spencer a Lumley gan drigolion Bristol; a lladdwyd Huntingdon ac eraill yn Pleshy, gan hen ddeiliaid Duc Gloucester. Dygodd iarll diegwyddor Rutland ben Arglwydd Spencer, ei frawd yn nghyfraith, ar ben polyn at y brenin, fel prawf o'i ffyddlondeb. Cofier mai hwn, yr hwn a ddaeth yn fuan yn Dduc York ar ol ei dad, fu yn offerynol yn llofruddiad ei ewythr, Duc Gloucester; bradychodd wedi hyny ymddiried Richard; cynlluniodd fradwriaeth eilwaith yn erbyn Henry, i'r hwn yr oedd

wedi tyngu ffyddlondeb; bradychodd ei gyfeillion, y rhai yr oedd wedi eu hudo i'r anturiaeth; ac wele ef yn awr, yn ddigon digywilydd, yn dwyn pen ei berthynas agos ar ben polyn er gwneyd arddangosiad o'i ffyddlondeb. Y mae ei enw yn warthnod ar ddynoliaeth.

Yr oedd drygau yn prysur fagu yn erbyn Henry o lawer cyfeiriad; ac er mwyn cadarnhau ei hunan ar ei orsedd, ymwasgodd â'r eglwyswyr, a cheisiodd enill eu plaid trwy roddi awdurdod iddynt i gospi eu holl wrthwynebwyr; a dyma yr amser y dechreuodd llosgi hereticiaid yn y wlad hon. Ond nid oedd boddio y clerigwyr yn ddigon i ddyogelu heddwch y brenin. Aeth y newydd am ddiorseddiad a llofruddiad Richard i Ffrainc, a chyffrowyd y penadur hwnw gan y fath ymddygiad tuag at ei ferch a'i fab yn nghyfraith; a chymerodd pethau o'r tu arall i'r môr agwedd go fygythiol am beth amser. Arweiniodd Henry ei wŷr tua chyffiniau Ysgotland i geisio gan y brenin, Robert III., i dalu gwriogaeth iddo; ond gwrthodwyd ei gais. Ac er iddo gymeryd meddiant o Edinburgh, eto, pan welodd nad ymladdai yr Ysgotiaid, ac nad ymostyngent ychwaith, enciliodd, ac ymwasgarodd ei fyddin. Yn fuan ar ol hyn daeth dros ddeuddeng mil o Ysgotiaid, dan arweiniad Iarll Douglas, i barthau gogleddol Lloegr, a gwnaethant ddifrod mawr. Arweiniwyd byddin i'w cyfarfod gan Iarll Northumberland, a'i fab, Henry Percy; a chanlynodd brwydr nodedig Homildon, lle y chwilfriwiwyd y fyddin Ysgotaidd, ac y cymerwyd Douglas ac amryw bendefigion eraill yn garcharorion.

Oddeutu yr amser hwn hefyd y cododd gwrthryfel peryglus yn Nghymru dan yr enwog Owain Glyndwr, neu Glyndyfrdwy, mab Gruffydd Fychan, yr hwn oedd yn disgyn oddiwrth dywysogion Powys, ac oedd yn arglwydd y parth a elwid Glyndyfrdwy. Derbyniodd Owain addysg gyfreithiol yn Lloegr, a bu yn ngwasanaeth Iarll Arundel, a Richard y brenin diweddar. Cododd ymryson rhyngddo a'i gymydog Normanaidd, Grey de Ruthyn, am ddarn o dir cyffiniol, ac wedi i Grey fethu a'i gael trwy gyfraith, cymerodd ef trwy drais. Anfonodd Owain at y llywodraeth am amddiffyniad i'w iawnderau, ond ni wnaed sylw o'i gais. O'r diwedd cymerodd y gyfraith i'w law ei hun, a phenderfynodd fynu cyfiawnder. Casglodd amryw o'i gydwladwyr yn nghyd, ac ymosododd ar Grey de Ruthyn. Anfonodd Henry gynorthwy i'r olaf; ond gorchfygodd Owain ef, a chymerodd ef yn garcharor. Anfonwyd Syr Edmund Mortimer, ewythr Iarll March, gyda byddin eilwaith yn ei erbyn; ond gorchfygodd Glyndwr eto, a chymerodd hwnw eilwaith yn garcharor. Cyhoeddwyd Owain yn Dywysog Cymru mewn senedd a gadwyd yn Machynlleth, a heidiodd y Cymry at ei faner wrth y miloedd o bob parth o Loegr, gan adael eu swyddau

a'u galwedigaeth i'r neb a'u cyflawnent. Unwaith eto, wele ysbryd cenedlaethol ac annibynol y Cymro wedi codi i bwynt anorchfygol. Gwnaeth Henry dri chynyg olynol, ond aflwyddianus, i'w gorchfygu. O'r diwedd trefnwyd ar fod i dri ymosodiad gael eu gwneyd ar unwaith arnynt mewn tri phwynt gwahanol, y rhai oeddent i gael eu harwain gan y brenin, a'i fab, ac Iarll Arundel. Ond ymddangosai elfenau natur fel yn ymladd o blaid rhyddid ac annibyniaeth y Cymry dewrion; oblegyd ar adeg yr ymosodiad, dywedid na welwyd y fath wlaw a chenllysg yn disgyn erioed; a gorfu i'r ymosodwyr encilio o flaen nerth y dymhestl gyda'r esgus fod Owain, trwy ysbryd dewiniaeth, yn meddu gallu i reoli y cymylau a'r gwlaw. Arweiniodd Owain ei wŷr trwy siroedd y Deheudir, a darostyngodd y cestyll Seisnig yn mhob man. Cafodd ei gynorthwyo ar brydiau gan rai o bendefigion Lloegr. Ac yn 1405, daeth byddin o Ffrancod drosodd i'w gynorthwyo. Glaniasant yn Milford Haven; llosgasant Hwlffordd, a chymerasant dref Caerfyrddin. Yno ymunodd Glyndwr gyda deng mil o wŷr â hwynt, ac ymladdasant eu ffordd yn mlaen mor bell a Worcester. Ond parodd prinder a gwaeledd yr ymborth i'r Ffrancod ddychwelyd i'w gwlad yn fuan, a gadael Glyndwr a'i bobl i ymdaro oreu y gallent. Daliodd Owain am flynyddoedd wedi hyn i wrthsefyll galluoedd Lloegr, ac ni adawodd iddynt gael llathen o ddeheudir Cymru yn ol ond trwy nerth y cleddyf. Er fod ei wŷr yn lleihau yn eu nifer, a'i adnoddau yn treulio, eto "mae y sicrwydd mwyaf na ddarostyngwyd ei ysbryd anorchfygol gan elynion na chan anffodiau. Bu farw yn ddyn rhydd yn nghanol mynyddoedd ei wlad, amryw flynyddoedd wedi esgyniad Henry V. Profir y ffeithiau hyn gan ysgrifau swyddogol a gadwyd gan Rymer yn nghof-lyfrau y senedd Seisnig. * * * Y mae yn destun gorfoledd yn wir i bob un sydd yn caru ei wlad, i weled gwron ei bobl fel hyn yn cadw ei anrhydedd hyd y cipolwg diweddaf a rydd hanesiaeth i ni ar ei gymeriad gogoneddus. Mae cydwladwyr Owain Glyndwr wedi bod yn anniolchgar tuag at glod eu gwron penaf; neu fe allai i'w hysgrifau gael eu dinystrio mewn chwyldroadau a gymerasant le ar ol hyn. * * * Nid oes sicrwydd am yr amser na'r lle y bu farw, na pha le y claddwyd ef."*

Parodd gwrthryfel y Cymry dan Owain Glyndwr i Henry wneuthur y cyfreithiau mwyaf gorthrymus a dialgar. Yn y flwyddyn 1401, ac wedi hyny yn 1403, gwnaed cyfreithiau yn gwahardd i Gymro unrhyw swydd urddasol, meddianu castell, na dwyn arfau; yn gwahardd i Sais briodi Cymraes, na Saisnes briodi Cymro; ac yn gwahardd defodau a breintiau beirdd a datgeiniaid.

* Knight's History of England, vol. ii. 18.

Ond mae hanesiaeth yn dangos mai ychydig o sylw a dalwyd i'r cyfreithiau hyn.

Yr oedd teulu Northumberland (Percy) wedi bod a'r llaw blaenaf yn nyrchafiad Henry i'r orsedd, a dysgwylient fwy o ffafrau oddiar law y brenin nag a welai ef yn briodol roddi iddynt. Cododd teimlad drwg o'r fan hon, ac yn 1403, cawn ddyfais yn cael ei llunio gan Iarll Northumberland, Glyndwr, ac eraill, i uno galluoedd Cymru ag Ysgotland er adferu coron Lloegr i'w gwir etifedd, Iarll March. Rhyddhawyd Douglas, ac ymunodd yn yr anturiaeth. Cymerwyd Northumberland yn glaf ar adeg yr ymgymeriad, a chymerodd ei fab, Henry Percy, yr hwn, oddiwrth ei dymher danllyd, a elwid HOTSPUR, ei le yn llywyddiaeth y fyddin; ac arweiniodd ei wŷr yn mlaen i Amwythig. Daeth y brenin â'i fyddin yno i'w gyfarfod. Nid oedd Glyndwr eto wedi dyfod; ac ymddangosai y ddwy fyddin yn o gyfartal. Yr oedd y ddwy blaid yn llosgi gan ddigofaint, ac ymladdwyd yno un o'r brwydrau mwyaf gwaedlyd yn hanesiaeth ein gwlad. Daliodd Henry a'i fab, Tywysog Cymru, i ymladd gyda'r gwroldeb mwyaf, yn nghanol poethder y frwydr, hyd y diwedd. Ac nid oedd Percy a Douglas yr un mymryn yn ol iddynt. Cwympodd Percy, a throdd ei gwymp dynged y frwydr o du y brenin. Cwympodd dwy fil a thri chant o bendefigion yn y frwydr hon, ac oddeutu chwe' mil o wŷr cyffredin, dwy ran o dair o ba rai a berthynent i Percy. Cymerwyd Ieirll Worcester a Douglas yn garcharorion; torwyd pen y cyntaf yn Amwythig, ac ymddygwyd at yr olaf yn deilwng o'i radd a'i enwogrwydd. Erbyn hyn yr oedd Northumberland wedi gwellhau o'i glefyd, ac yn arwain byddin i gyfnerthu y gwrthryfelwyr; ond pan glybu yr hanes, gollyngodd ei wŷr, a ffodd. Ymddangosodd ger bron y brenin yn fuan wedi hyn i broffesu ei edifeirwch, ac i geisio ei bardwn, yr hwn a ganiatawyd iddo.

Er fod Henry yn rhyfelwr dewr, a'i arfau ar y cyfan yn llwyddianus, yr oedd blinderau cyson yn ei gylchynu, a dyogelwch ei orsedd yn ymddangos weithiau yn bur amheus. Yr oedd Glyndwr yn para dan arfau; gosodai rhai y gair allan fod Richard, y brenin diweddaf, yn fyw; a dadleuai eraill hawl Iarll March i'r goron. Torodd gwrthryfel allan yn Swydd York, yn cael ei arwain gan yr archesgob, a Ieirll Northumberland a Mowbray. Rhoddwyd papyrau ar ddrysau yr eglwysi yn cyhuddo y brenin o anudoniaeth, terfysg, a llofruddiad Richard. Daeth John, trydydd mab Henry, gyda Iarll Westmoreland, yn eu herbyn. Cymerwyd yr archesgob a Mowbray yn garcharorion, a thorwyd eu penau; a ffodd Northumberland i Ysgotland. Hon yw yr engraifft gyntaf yn y wlad hon o'r fath gospedigaeth yn cael ei gweinyddu ar esgob.

Cymerodd dygwyddiad le yn 1405 roddodd gryn ddylanwad i

Henry ar lywodraeth Ysgotland. Dyn gwanaidd a diniwed oedd Robert III.; ond yr oedd ganddo frawd, Duc Albany, o duedd derfysglyd ac uchelgeisiol, yr hwn yr oedd llywodraeth y wlad mewn gwirionedd yn ei law; ac yr oedd yn gwneyd ei oreu i ddyfetha hiliogaeth Robert, er mwyn sicrhau y freniniaeth yn ei deulu ei hun. Taflodd Dafydd, mab hynaf Robert, i garchar, lle bu farw o newyn. James, brawd ieuangaf Dafydd, yn unig oedd yn awr ar y ffordd. Gwelodd Robert nad oedd ei blentyn yn ddyogel, ac anfonodd ef, pan yn naw mlwydd oed, i Ffrainc i dderbyn addysg. Ond cymerwyd y llong oedd yn ei gludo gan y Saeson, a dygwyd y plentyn yn garcharor i Lundain, lle y cadwyd ef am bedair blynedd ar bymtheg. Gwrthododd Henry ei ryddid iddo ar unrhyw delerau; ond gorchymynodd rhoddi pob cyfleusderau addysg iddo, ac yr oedd holl lawnder y llys at ei wasanaeth. Torodd y newydd am garchariad James galon ei dad, bu farw cyn pen blwyddyn; a chafodd Duc Albany y cwbl i'w law ei hun. Ond yr oedd bygwth gollwng gwir etifedd yr orsedd yn rhydd yn ddigon i gadw Albany dan law Henry.

Yr oedd Tywysog Cymru yn ddewr a medrus mewn brwydr, ond yn wyllt ac ofer ar amser heddwch; a byddai yn achosi blinder i'w dad yn fynych trwy ei loddest a'i derfysgoedd. Dywedir iddo unwaith, pan ddygwyd un o'i gymdeithion terfysglyd o flaen y prifynad enwog Gascoigne, fyned a hawlio ei ryddhad, a phan wrthodwyd, iddo dynu ei gleddyf ar y barnwr. Traddododd Gascoigne ef i garchar yn y fan, ac ymostyngodd yntau yn ufudd i'r ddedryd. Pan ddygwyd yr hanes i'r brenin, dywedodd, "Dedwydd yw y brenin sydd â barnwr mor benderfynol yn nghyflawniad ei ddyledswydd, a mab mor ufudd i ymostwng i'r gyfraith." Dywedir i amheuaeth godi yn meddwl y brenin hefyd, fod y mab yn ceisio traws-feddianu y goron. Pan ddeallodd y tywysog hyn, aeth at ei dad, syrthiodd ar ei liniau o'i flaen, rhoddodd ddagr yn ei law, a dywedodd, "Os ydych yn cymeryd eich ffafr oddiwrthyf, cymerwch fy mywyd hefyd." Mae ambell belydryn fel hyn yn profi fod *calon* i'w chael yma, er ei bod wedi ei gorchuddio â llawer o rwbel.

Mae llawer o fân frwydrau a thrafodaethau dibwys eraill yn hanes Henry, rhyngddo a'i bobl ei hun, Ysgotland, Iwerddon, a thywysogion Ffrainc, na pherthynant i ni eu cofnodi yn y llyfr hwn. Cafodd bedwar o feibion o'i wraig gyntaf Mary Bohun; sef, Henry ei olynydd; Thomas, Duc Clarence; John, Duc Bedford; a Humphrey, Duc Gloucester; a dwy o ferched, y rhai a briodasant Duc Bavaria, a brenin Denmark. Ni chafodd blant o'i ail wraig, Jane o Navarre.

Treuliodd Henry ei fywyd i amddiffyn ei hun, ar orsedd oedd wedi ei thraws-feddianu; ac ni chafodd hamdden i wneyd unrhyw

welliadau yn ei lywodraeth. Fel pendefig penaf y wlad, yr oedd yn meddu parch a dylanwad cyffredinol; ond parodd ei esgyniad annghyfiawn, diorseddiad a llofruddiad Richard—ei frenin a'i gefnder, yn nghyda llawer o greulonderau eraill, i ysbryd ei bobl godi yn ei erbyn. Yr oedd ymwybyddiaeth o'i ymddygiadau annghyfiawn hefyd yn ei ysu. Collodd ei iechyd yn nghanol ei ddyddiau. Blinid ef gan lewygon mynych, a bu farw yn un o honynt, pan yn gweddio o flaen creirgell St. Edward, yn monachlog Westminster, ar y 20fed o Fawrth, 1413, yn y 47ain flwyddyn o'i oedran, a'r bedwaredd ar ddeg o'i deyrnasiad. Claddwyd ef yn eglwys gadeiriol Canterbury.

## II.—HENRY V. (O FYNWY), 1413—1422.

GANWYD Henry V. yn 1388, ac esgynodd i'r orsedd ar farwolaeth ei dad yn 1413, pan oedd yn 25ain oed. Hyd yma yr oedd wedi bod yn hoff o gwmni ofer, ac yn treulio ei amser mewn gloddest a therfysgoedd. Ond ar ei esgyniad i'r orsedd gadawodd ei gyfeillion a'i oferedd, a daeth yn ddyn arall. Dangosodd ofid mawr am dynged Richard, a pharodd symud ei weddillion o Langley i Westminster; rhyddhaodd Iarll March, yr hwn oedd â'r hawl flaenaf i'r goron, a gwnaeth gyfaill mynwesol o hono; adferodd deulu Percy i'w meddianau a'u bri cyntefig; sicrhaodd wasanaeth y dynion mwyaf cymhwys i fod yn weinidogion y llywodraeth; ac yr oedd ei holl ymddygiadau yn gyfryw ag i enill serch ac ymddiried ei bobl ynddo; ac "ymddangosai ei gymeriad yn ddysgleiriach na phe buasai heb ei dywyllu gan ddrygau blaenorol."

Yr anhawsdra cyntaf a gyfarfyddodd, a'r hyn nas gellir ei ryddhau yn hollol oddiwrth y cyfrifoldeb, oedd achos y Lollardiaid, canlynwyr Wicliffe, y rhai a gyhuddid o ddal golygiadau cyfeiliornus, ac o fygwth peryglu yr eglwys a'r wladwriaeth. Blaenorid y bobl hyn yn awr gan un Syr John Oldcastle; neu, fel y gelwid ef yn gyffredin, Arglwydd Cobham. Codent eu llef am ddiwygiad, ac yr oedd eu hathrawiaeth yn taro yn erbyn tra-arglwyddiaeth yr eglwys Babaidd; felly yr oedd yn naturiol i'r clerigwyr eu casâu. Aeth yr archesgob Arundel at y brenin i ofyn ei ganiatad i ddal a chondemnio Cobham, a'i losgi er esiampl i eraill. Gwrthododd Henry y cais hyd nes y cai ef ymresymu â Cobham ei hun, gan ei fod yn hen gyfarwydd ag ef. Ond er dadleu yn faith ac yn fanwl, denu a bygwth, yr oedd Cobham yn ddiysgog. Cyffrodd tymherau Henry o'r diwedd, a rhoddodd yr archesgob at ei ryddid i wneyd fel y mynai. Condemniwyd ef o heresi, a thaflwyd ef i'r Twr i aros ei dynged; ond llwyddodd i ddianc oddiyno, a ffodd am nodded i Gymru. Daliwyd ef yn mhen pedair blynedd; dygwyd ef i Lundain, a chrogwyd ef, gan ei losgi yn fyw tra yr oedd yn hongian.

Dygid llawer o gyhuddiadau yn erbyn y Lollardiaid, y rhai y gellid ar sail dda amheu eu cywirdeb; ac y mae gan y dyoddefwyr boreuol hyny yr anfantais o fod eu hanes wedi ei drosglwyddo i ni yn unig gan eu gelynion. Dyoddefodd llawer o honynt ferthyrdod trwy eu llosgi yn fyw yr amser hwn.

Mae agos holl amser teyrnasiad y brenin hwn wedi ei dreulio mewn ymgais gwrol a llwyddianus i feddianu gorsedd Ffrainc. Nodir amryw bethau fuont yn foddion i'w gyffroi i hyn. Dywedir i'w dad ei gynghori wrth farw, os oedd am heddwch cartrefol, am iddo ofalu rhoddi digon o waith i'w bobl. Yr oedd y senedd hefyd yn awr yn ceisio perswadio y brenin i atafaelu meddianau helaeth yr eglwys, a'u defnyddio at achosion y llywodraeth, a dywedir i'r awdurdodau eglwysig ei gymhell i ymgymeryd â'r anturiaeth, er mwyn tynu ei fryd oddiwrth eu cyfoeth hwy. Beth bynag, mae yn ddigon amlwg fod cyflwr terfysglyd Ffrainc ar y pryd yn gymhelliad cryf i uchelgais milwrol Henry. Yr oedd llywodraeth Ffrainc wedi bod yn hir yn ngofal rhaglawiaid tra yr oedd y brenin Charles VI. dan oed, a hyny wedi achosi ymbleidiau a therfysg. Ac wedi i'r brenin dyfu i fyny, byddai yn cael ffitiau o ddyryswch meddwl a'i gwnai yn hollol annghyfaddas i gymeryd awenau y deyrnas i'w law. Felly yr oedd llyw y wladwriaeth yn nwylaw ei frawd, Duc Orleans, a'i ewythr, Duc Burgundy; a phob un o'r ddau am gael yr holl awdurdod i'w law ei hun, ac yn elynion peryglus y naill i'r llall. O'r diwedd llofruddiwyd Orleans trwy ddyfais o eiddo Burgundy, ac aeth sefyllfa pethau i fwy o annhrefn byth. Yr oedd Henry yn gwylio y symudiadau hyn gyda dyddordeb, a gwelodd ei bod yn adeg iddo ymyryd. Heb sail na rheswm anfonodd i hawlio teyrnas Ffrainc. Gwrthodwyd ei gais yn ddiseremoni. Yna anfonodd i hawlio y parthau hyny o'r wlad a fuont mewn amser blaenorol yn meddiant Lloegr—gweddill y swm addawedig o arian oeddent heb eu talu am ryddhad y brenin John o Ffrainc,—yn nghyda'r dywysoges Catharine, merch brenin Ffrainc, yn wraig, gyda gwaddol o ddwy filiwn o goronau aur. Yr oedd y telerau hyn eto yn rhy galed; ond cynygiwyd holl Aquitaine iddo, yn nghyda'r dywysoges, gyda gwaddol o wyth can mil o goronau. Ond nid oedd Henry yn foddlon ar hyn; galwodd ei genadwr adref, a dechreuodd wneyd darpariadau i ryfel.

Pan oedd wedi casglu byddin nerthol o oreugwyr ei wlad i Southampton, ac yn barod i hwylio, daeth y newydd i'w glustiau am ddrwg yn codi yn ei wlad ei hun. Cafodd allan fod Iarll Cambridge (yr hwn oedd wedi priodi chwaer Iarll March), ac Arglwydd Scrope, a Syr Thomas Grey o Heton, wedi cyd-fwriadu i gymeryd i fyny achos March, a'i gyhoeddi yn frenin yn absenoldeb Henry. Cymerwyd y tri gwr i fyny ar unwaith, cyfaddefasant eu heuogrwydd, a

dienyddiwyd hwynt fel teyrnfradwyr. Yr oedd Iarll March ei hun yn un o'r barnwyr fu yn eistedd ar eu hachos.

Hwyliodd Henry bellach gyda phymtheg cant o longau, a deng mil ar ugain o wŷr, a glaniodd gerllaw Harfleur, Awst 14eg, 1415. Daliodd Harfleur warchae maith, yr hwn a gostiodd yn ddrud i Henry. Cynyrchodd y tir corsog oedd o'i hamgylch, yn nghyda gwres mawr yr haul, afiechyd yn y fyddin, a chollwyd agos dau o bob tri o honynt. Wedi cymeryd y dref, a gosod gwarchodlu i'w chadw, yr oedd byddin Henry yn rhy fechan i fyned yn mlaen i wynebu y Ffrancod. Er hyn penderfynodd y brenin ieuanc dewr na ddychwelai i Loegr heb gyflawni gorchestion gyda'i ddyrnaid gwŷr; ac, yn groes i gynghor amryw o'i bendefigion, cychwynodd gyda rhyw ddeng mil o fyddin, yn mlaen dros y tir tua Calais. Pan ddeallodd y Ffrancod ei symudiadau, daethant â byddin fawr i'w gyfarfod. Pan ddaeth Henry yn agos i Agincourt, gwelai y fyddin Ffrengig wedi llinellu ei ffordd, fel nad oedd bosibl iddo fyned rhagddo. Yr oeddent yn rhifo haner can mil o wŷr ceffylau, ac yn gymaint bum waith o rifedi a'r Saeson. Ymsefydlodd y ddwy fyddin ar gyfer eu gilydd. Yr oedd pob anfantais o du Henry; ei wŷr yn lluddedig, wedi eu gwanychu gan afiechyd, yn brin o ymborth, ac yn ddigalon. Eto nid oedd modd ysgoi brwydr. Treuliasant y prydnawn i edrych ar eu gilydd, a phob un yn dysgwyl y llall i wneyd ymosodiad.

Yr oedd y noswaith yn dywell a gwlawog. Treuliwyd hi gan y Ffrancod mewn gloddest a llawenydd, gan gynllunio beth i wneyd ag ysbail y Saeson; ond treuliodd y Saeson y nos mewn gweddiau a defosiynau. Ymwelodd y brenin â'i holl wŷr, gorchymynodd i'r cerddorion chwareu trwy y nos, a chynullodd hwynt cyn codiad haul i wrando yr offeren, ac aeth o'r gwasanaeth hwnw i'r ymosodiad. Yr oedd gan y Saeson hyder diderfyn yn ngwroldeb a medr eu blaenor. "Dewch yn mlaen!" ebe Henry gyda gwen siriol, "a'r Drindod bendigedig fyddo ein hamddiffyn! Yn mlaen, faneri!" Atebwyd ef gan lon-gyfarchiad taranol yr holl fyddin. Gollyngodd y saethyddion gawod o saethau, y rhai ddygasant farwolaeth a dyryswch anhygoel gyda hwy. Yr oedd Henry wedi dinystrio a gwasgaru adran gyntaf ac ail y gelyn, ac yn trefnu ei wŷr i ymosod ar y drydedd, pan ddaeth y si fod y gelyn wedi eu cylchynu, ac yn ymosod o'r tu cefn. Tarawodd y brenin ar y foment y buasai yn well rhoddi y carcharorion i farwolaeth, a rhoddodd orchymyn i'r perwyl. Ond pan ddeallwyd mai pobl o'r wlad oedd yn ymosod ar ymborth y fyddin, rhoddwyd atalfa ar y galanasdra. Yr oedd y fuddugoliaeth yn awr yn sicr, a'r Ffrancod yn cael eu medi o'r trwch. Ni welodd Ffrainc yn ei holl hanes frwydr mwy colledus. Syrthiodd Duciaid Brabant, Bar, ac Alencon, llyngesydd a phen-

ceidwad Ffrainc, saith iarll, dros gant o fanerwyr, wyth mil o farchogion a boneddigion; a bernir fod y carcharorion a laddwyd tua phedair mil ar ddeg! a rhifa rhai holl golled y Ffrancod yn y frwydr hon yn ddeng mil ar ugain! "O ddaear! mor wlyb ydwyt gan waed y lladdedig! O ddynoliaeth! fel yr wyt wedi dy gigyddio ar faes y rhyfel! O Arglwydd Dduw dynoliaeth! fel y mae dy ddelw a'th ogoniant wedi eu taflu i lawr a'u mathru dan draed!" Heblaw lladdedigion, cymerwyd Duciaid Orleans a Bourbon, ac Ieirll Eu, Vendome, a Richemont, yn garcharorion. Nid oedd colled y Saeson ond un cant ar bymtheg o wŷr, yn cynwys Duc York, Iarll Suffolk, a dau neu dri o farchogion. Aeth Henry a'i fyddin ddewr yn mlaen i Calais; ac wedi aros yno ychydig, daeth drosodd i Loegr, gan ddwyn ei garcharorion pendefigaidd ganddo, a derbyniwyd ef yn Llundain gyda brwdfrydedd annesgrifiadwy.

Dychwelodd Henry i Ffrainc yn 1417 gyda byddin newydd, a bu yno am rai blynyddoedd yn enill ac yn gorchfygu pa ffordd bynag yr elai. Yn Mai, 1420, yn Troyes, gwnaed cytundeb ar yr amodau hyn;—fod Henry i gael y dywysoges Catharine yn wraig; fod Charles ei thad i gael cadw y titl o frenin dros ystod ei fywyd; fod Henry, fel olynydd i'r orsedd, i gael gweinyddiad y llywodraeth bresenol i'w law; fod y goron i gael ei sicrhau i'w etifeddion; a bod y ddwy wlad i gael eu huno am byth dan yr un penaeth, ond i gael eu llywodraethu gan eu cyfreithiau penodol eu hunain. Y cyfryw oeddent amodau y cytundeb; ond prin y gallesid dysgwyl iddynt gael eu cadw, ac ni fuasai hyny yn fantais ychwaith i'r naill wlad na'r llall.

Yn fuan wedi'r cytundeb hwn, priododd Henry â Catharine yn nghanol y gwychder a'r llawenydd mwyaf. Sefydlodd ei lys, un o'r rhai mwyaf gorwych yn Ewrop, yn Paris. Dygodd ei briod drosodd i Loegr, a choronwyd hi yn Westminster gyda rhwysg na welwyd ei gyffelyb o'r blaen yn y wlad hon. Gadawodd Henry ei wraig yn Windsor, a dychwelodd eto i Ffrainc gyda byddin fawr o wyth mil ar ugain, i ddarostwng y gwrthryfeloedd oedd yn codi yn erbyn ei awdurdod. Pan oedd yn brysur yn dwyn yn mlaen warchae tref Meaux, o fewn deng milldir ar ugain i Paris, cafodd y newydd gwerthfawr am enedigaeth mab iddo, yr hwn a alwyd Henry, yn ol enw ei dad. Yn Mai aeth y frenines a'i mhab drosodd, a chadwyd Sulgwyn dedwydd yn Paris gan y teulu breninol a'r ddau lys. Ond pan oedd Henry yn nghanolddydd ei nerth a'i ogoniant, machludodd ei haul yn ddisymwth. Tarawyd ef gan glefyd faeddodd holl fedr y meddygon. Deallai fod angau yn agosau, a wynebai ef gyda thawelwch a hyder diysgog. Awgrymodd ei ewyllys i'w frawd, Duc Bedford, fod yn rhaglaw Ffrainc, a brawd arall, Duc Gloucester, yn rhaglaw Lloegr. Cyflwynodd ei wraig a'i blentyn i

ofal caredig ei frodyr a'i bendefigion, a bu farw yn nghanol wylofain ei geraint ar y dydd olaf o Awst, 1422, yn y 34ain flwyddyn o'i oedran, a'r ddegfed o'i deyrnasiad. Claddwyd ef gyda rhwysg a galar mawr yn monachlog Westminster.

Yr oedd Henry V. yn feddianol ar lawer o ragoriaethau, ac yn deilwng o'i osod yn yr un dosbarth ag Edward III., a'i fab y Tywsog Du. Yr oedd yn gadfridog galluog, yn ynad cyfiawn, ac yn dywysog hael a charedig: ac nid oedd yn llai ei gymhwysderau fel gwleidiadwr nag ydoedd fel milwr. Bu yn hynod o lwyddianus yn ei anturiaethau milwrol, a meddai ar le cynes yn serchiadau ei bobl. Ar yr un pryd yr oedd ei uchelgais yn ddiderfyn, ac ar rai amgylchiadau ymddygodd yn greulon; a threuliodd nerth a chyfoeth y deyrnas i ddim pwrpas. Bu ei dad yn nghyfraith, Charles VI. o Ffrainc, farw yn mhen dau fis ar ei ol. Priododd Catharine ei weddw â Syr Owain Tudor, Cymro o waed tywysogaidd; ac o'r briodas hon y daeth Edmund, Iarll Richmond, a Jasper, Iarll Penfro,—teulu sydd i ddyfod eto i eistedd ar orsedd Lloegr.

### III.—HENRY VI. (O WINDSOR), 1422—1461.

NID oedd Henry VI. ond naw mis oed pan fu farw ei dad, a phan gyhoeddwyd ef yn frenin. Gwrthododd y senedd awgrym y brenin am osod Duc Gloucester yn rhaglaw y deyrnas, ond dewisodd gynghor, yn cael ei flaenori gan Duc Bedford dan yr enw amddiffynwr, i lywyddu achosion y llywodraeth dros ystod mebyd y brenin. Eto, gan fod Bedford yn treulio cymaint o'i amser allan o'r wlad, disgynai y cyfrifoldeb mwyaf ar ysgwydd ei frawd Gloucester.

Gan fod Ysgotland yn awr mewn cyngrair â'r Ffrancod, ac wedi anfon byddinoedd drosodd i gynorthwyo Ffrainc yn erbyn Lloegr, a bod rhai yn ofni ymosodiad ar y parthau gogleddol, penderfynwyd gollwng James, etifedd yr orsedd, yn rhydd o'i garchariad maith. Cytunwyd ei fod i dalu deugain mil o bunau am ei gadwraeth yma am y pedair blynedd ar bymtheg. Priododd James â boneddiges Seisnig, dychwelodd i'w wlad, a phrofodd y penadur galluocaf a eisteddodd erioed ar orsedd Ysgotland.

Mor gynted ag y bu Charles VI. o Ffrainc farw, cyhoeddwyd ei fab, Charles VII., yn frenin, gan ddiystyru hawl Lloegr, a holl drefniadau Henry V. Yr oedd Duc Bedford, rhaglaw Ffrainc dros Loegr, wedi priodi â chwaer Duc Burgundy, ac yr oedd y ddau bendefig galluog mewn undeb yn gwrthryfela yn erbyn Charles. Cariwyd y rhyfeloedd yn mlaen am flynyddoedd, ac yr oedd yr arfau Seisnig yn dra llwyddianus; yn gymaint fel nad oedd gan Charles ond yn brin y bedwaredd ran o'r wlad yn ei feddiant. Pan oedd y Saeson wedi gwarchae yn hir ar dref bwysig Orleans, y

gwarchodwyr ar ei rhoddi i fyny, gobaith cefnogwyr Charles ar ddiffodd, ac yntau ei hun ar fedr ffoi i Spain neu Ysgotland, daeth person hynod yn mlaen i godi tynged syrthiedig Ffrainc, ac adferu ei hannibyniaeth.

Joan o Arc.

Mewn pentref bychan gwledig yn Domremy yr oedd teulu tlawd yn byw, a geneth ieuanc o'r enw Joan ganddynt. Yr oedd yn hynod am ei duwioldeb er yn blentyn. Delai y newyddion am alanasdra y rhyfel i'r pentref, yn awr ac eilwaith, ac nid ymddangosai neb yn teimlo mwy o ddyddordeb yn yr hanes, na mwy o ofid oblegyd darostyngiad ei gwlad, na Joan. Cyn hir, dechreuodd adrodd wrth ei rhieni ac eraill ei bod yn gweled gweledigaethau o angylion a seintiau, a bod lleisiau nefol yn dyweyd pethau rhyfedd wrthi. Aeth y son am dani yn mhell ac yn agos; ond nid oedd ei rhieni yn credu ynddi; a dirmygid ei thystiolaethau gan bawb o'r dynion mwyaf deallus. Beth bynag, llwyddodd o'r diwedd, trwy gymhorth ewythr iddi, i weithio ei ffordd trwy lawer o beryglon i Chinon, lle yr oedd y brenin Charles a'i lys yn aros ar y pryd. Yr oedd wedi gwisgo mewn dillad gwrywaidd, ac adnabu y brenin yn nghanol ei bendefigion, er na welodd ef erioed o'r blaen. Ar y cyntaf chwarddodd y brenin am ei phen; ond gwnaeth argraff ar ei feddwl yn fuan, a gorchymynodd yntau i bwyllgor o gyfreithwyr i'w holi, a chyhoeddodd y rhai hyny ei bod dan ysbrydoliaeth. Holwyd hi eilwaith gan gymanfa o'r duwinyddion penaf, a methwyd a chael dim ynddi yn arwyddo ei bod dan ddylanwad ysbryd dewiniaeth, Nid oedd pob gwawd a dirmyg a deflid arni yn llwfrhau dim ar ei hysbryd. A phan ofynid iddi am arwydd i brofi ei hanfoniad dwyfol, ei hateb oedd, "Yr arwydd yw, symud gwarchae Orleans gydag unrhyw nifer o filwyr a roddwch at fy ngwasanaeth." Wedi hir oedi a phryderu, penderfynwyd iddi gael ei ffordd. Esgynodd ar farch gwyn, a gwisg ryfel wrywaidd am dani, a phicell yn ei llaw; yr oedd dyn yn dwyn baner wen o'i blaen, gweision yn ei chanlyn, a byddin o farchogion dan ei llywyddiaeth. Aeth y son am dani fel trydan o'i blaen, a thaenodd fraw trwy y gwersyll Seisnig. Arweiniodd ei gwŷr i mewn i Orleans yn ddiwrthwynebiad, gan gludo ystor o gynaliaeth i'r gwarchodwyr newynog. Yr oedd purdeb difrycheulyd ei bywyd yn cael argraff ddwys ar feddyliau pawb ddelai i gyffyrddiad â hi. Yn mhen ychydig o ddiwrnodau arweiniodd lu o wirfoddolion allan o'r ddinas, ac enillodd ddau o dyrau amddiffynol y Saeson. Gwnaeth ymosodiad drachefn, pryd yr ymladdwyd yn ffyrnig am ddiwrnod cyfan, ac y cafodd hithau ei harcholli yn ei gwddf; ond enillodd y fantais ar y Saeson.. Yr oedd dyogelwch y dref bellach wedi ei sicrhau gan y Ffrancod, a rhoddodd y Saeson weddill eu hamddiffynfeydd ar dân, ac aethant ymaith ar ei ffordd tua Paris (1429).

O fewn ychydig filldiroedd i Orleans, ymsefydlodd y Saeson mewn amddiffynfa arall; ond cawsant ymosodiad gan Joan yn gynt nag y dysgwyliasant. Wrth ei bod yn dringo dros furiau yr amddiffynfa, syrthiodd careg ar ei phen, a chwympodd i'r ffos. "Yn mlaen, yn mlaen, fy nghydwladwyr!" gwaeddai o'r ffos; "nac ofnwch; mae yr Arglwydd wedi eu rhoddi yn ein dwylaw!" Enillodd y lle hwn eilwaith, a gwasgarodd y Saeson. Aeth Morwyn wrol Orleans yn ei blaen, gan gyflawni gorchestion anhygoel. Bellach rhoddodd ar y brenin i fyned i Rheims i gael ei goroni; oblegyd yr oedd rhan flaenaf ei chenadiaeth wedi ei chyflawni, ac yr oedd yr amser wedi dyfod i gyflawni y gweddill. Penderfynodd y brenin a'i weinidogion i wneyd ei harch, er fod yr ymgymeriad yn dra pheryglus. Ond ciliodd gwarchodlu y gelynion o'r ddinas ar eu dynesiad. Coronwyd ac eneiniwyd y brenin yno, yn ol gair Joan. Ar ddiwedd y ddefod syrthiodd y Forwynig ar ei gliniau, dywedodd fod ei gwaith ar ben, a dymunodd gyda dagrau am gael ei gollwng. Ond ni fynai y brenin ymadael â hi. Dyrchafodd hi a'i theulu i sefyllfa anrhydeddus, a gosododd arni fyned yn mlaen i gwblhau adferiad annibyniaeth y wlad.

Wedi iddi arwain amryw fân frwydrau eraill, a chael ei chlwyfo fwy nag unwaith, cymerwyd hi yn garcharor. Dygwyd hi yn ei dillad gwrywaidd, dan gadwyni trymion, i'w phrofi o flaen llys Rouen. Cyhuddid hi o ddewiniaeth. Parhaodd ei phrawf am un diwrnod ar bymtheg. O'r diwedd condemniwyd hi, fel heretic, i gael ei llosgi. Dychrynai yn fawr rhag y tân, cyfaddefodd mai oddiwrth y diafol yr oedd ei gweledigaethau, ac addawodd na wisgai ddillad gwrywaidd mwy. Yna newidiwyd ei dedryd i garchariad dros ei bywyd. Wedi myned i'w chell, dychwelodd ei gweledigaethau; llanwyd hi eilwaith ag ysbryd rhyfela, a phan ddaeth un diwrnod am draws gwisg milwr, rhoddodd hi am dani. Yr oedd gwisgo y cyfryw ddillad yn awr yn drosedd marwol iddi. Condemniwyd hi i farw, arweiniwyd hi allan o'r carchardy i'r farchnadle, a llosgwyd hi yn fyw, pan nad oedd ond ugain mlwydd oed (Mai 31, 1431). Crochfloeddiai pan welodd y tân yn cael ei gyneu; ac fel yr oedd y fflamiau yn ei hamdoi, gwelid hi yn gwasgu croes at ei mynwes, gan waeddi ar Grist am drugaredd.

Ond er llosgi Morwynig hynod Orleans, ac er dwyn Henry y brenin i Paris i'w goroni, yr oedd llanw buddugoliaethau Lloegr yn Ffrainc yn dechreu cilio, a'r rhagolygon yn tywyllu yn brysur. Gwnaed heddwch rhwng Duc Burgundy a Charles; bu Duc galluog Bedford farw, a chymerwyd ei le gan Duc York; a pharhaodd y rhyfel yno hyd nes y cytunwyd, yn 1444, ar heddwch am ddwy flynedd.

Yr oedd cyflwr Lloegr ar y pryd yn bob peth ond dymunol. Pan

dyfodd y brenin i fyny, gwelwyd ei fod yn rhy ddiniwed i ofalu am dano ei hun, heb son am lywodraethu teyrnas fawr yn llawn o elfenau gwrthbleidiol. Pan tua 23ain oed, priododd â Margaret o Anjou, yn Ffrainc, dynes wrol ac uchelfrydig, yr hon a enillodd lywodraeth buan a hollol ar feddwl ei gwr. Y ddau ddyn mwyaf eu dylanwad y pryd hwn oedd Duc Gloucester (ewythr y brenin), a'i ewythr, esgob Winchester, yr hwn oedd yn awr wedi ei wneyd yn Gardinal Beaufort. Yr oedd y ddau yma yn elynion i'w gilydd, ac wedi rhanu y senedd yn ddwy blaid. Cymerodd y frenines blaid y Cardinal, a dechreuwyd cynllunio drwg yn erbyn Gloucester. Cyhuddwyd Duces Gloucester, a dau neu dri eraill, o swynyddiaeth a theyrnfradwriaeth, oblegyd gwneyd delw gŵyr o'r brenin, a'i gadael i doddi o flaen tân; dedfrydwyd ei chwmni i farwolaeth, a hithau i garchar dros ei hoes. Cynyddodd hyn yr ysbryd drwg rhwng Gloucester a'r Cardinal. Yn fuan cyhuddwyd Gloucester ei hun o deyrnfradwriaeth; taflwyd ef i garchar; ac yn mhen ychydig ddiwrnodau cafwyd ef yn farw yn ei wely. Bernir fod cyfrifoldeb ei lofruddiad yn gorphwys yn benaf ar ysgwyddau y Cardinal a Iarll Suffolk. Dylynwyd Gloucester i'w fedd yn mhen chwech wythnos gan y Cardinal, yr hwn, er ei fod dros bedwar ugain oed, oedd yn llawn awyddfryd a gobaith am gadair St. Pedr.

Erbyn hyn yr oedd dynion galluocaf Lloegr wedi cwympo, a'r pleidiau gelynol yn Ffrainc yn cymodi â'u gilydd. Cymerodd Charles y fantais ar sefyllfa pethau yn y wlad hon i ail-ymosod ar diriogaethau Seisnig ar y Cyfandir, ac erbyn y flwyddyn 1451 yr oedd y cyfan yn Ffrainc wedi ei adenill oddiar Loegr, oddigerth Calais yn unig. Dygwyd cyhuddiad yn erbyn iarll, neu yn awr Duc Suffolk, o bleidio y Ffrancod, ac o fwriadu treisio coron Lloegr i'w gosod ar ben ei fab, yn nghydag amryw bethau eraill llai pwysig. Amddiffynodd y duc ei hun yn fedrus o flaen y senedd; ond heb ei gondemnio na'i ryddhau, cyhoeddodd y brenin o hono ei hun fod yn rhaid iddo ymadael â'r deyrnas am bum mlynedd. Ond cymerwyd ef i fyny gan un o longau y llywodraeth pan yn croesi drosodd i Ffrainc, cadwyd ffug-brawf arno ar fwrdd y llestr, a thorwyd ei ben gyda chwech o ergydion o hen gleddyf rhydlyd. Canlynwyd Suffolk yn y weinyddiaeth gan Duc Somerset, yr hwn oedd yn fwy anmhoblogaidd fyth, a chanlynodd terfysgoedd blinion.

Yn 1451 yr arweiniodd un John Cade, yr hwn a gymerai arno yr enw Mortimer, ugain mil o wŷr Kent tua Llundain, gan alw ar y senedd i wneyd cyfiawnder â llofruddion Cardinal Beaufort, Duc Suffolk, ac eraill, a galw Duc York ac Exeter i gynghor y brenin. Gadawyd Cade gan ei ganlynwyr, lladdwyd yntau, a chrogwyd amryw o'i brif gefnogwyr. Myn rhai fod Cade wedi ei osod ar waith gan Duc York, er mwyn deall teimlad y bobl tuag ato. Yr

oedd yr hawl etifeddol flaenaf i'r orsedd gan York, oblegyd ei fod yn disgyn o Lionel ail fab Edward III., a Henry yn disgyn o John o Gaunt, Duc Lancaster, trydydd mab Edward. Dyma oedd prif ddadl York o blaid ei hawl. Dywedai Henry yntau, fod sefydliad y freniniaeth yn nheulu Lancaster am agos triugain mlynedd yn ddigon o ddadl o'i blaid.

Yr oedd annghymhwysder naturiol yn Henry i fod yn llywodraethwr; ac heblaw hyny, yr oedd clefyd ar brydiau yn effeithio ar ei gorph a'i feddwl, ac yn gwneyd ei annghymhwysder yn fwy fyth. Yr oedd y pendefigion galluocaf yn bleidiol i Duc York, ac yr oeddent yn rhy gryf i blaid y brenin eu gwrthwynebu. Anfonodd y bobl ddeiseb at y brenin yn gofyn amryw ddiwygiadau; ond ni ddangosid parodrwydd i wrando ar eu llais. Penderfynodd York gael gan y brenin ddiwygio ei weinyddiaeth, a symud Somerset o'i swydd. Cododd fyddin, ac aeth yn ei flaen tua'r brif-ddinas; ond wedi brwydr ddibwys, a chydymddyddan personol rhwng y brenin a York, ymwasgarodd y byddinoedd.

Yn 1453, yn mhen saith mlynedd wedi priodi, ganwyd etifedd i Henry; tywyllodd hyn ragolwg Richard o York am yr orsedd, a dechreuodd y terfysg gyda mwy o ysbryd nag o'r blaen. Yma y dechreuodd cyfres o'r rhyfeloedd mwyaf gwaedlyd rhwng teulu York a theulu Lancaster, y rhai a elwid wrth yr enw "*Rhyfeloedd y Rhosynau*," oblegyd fod pleidwyr York yn gwisgo rhosyn gwyn fel arwyddlun, a phleidwyr Henry rosyn coch. Parhaodd y rhyfeloedd hyn am ddeng mlynedd ar ugain, a mwydwyd gwyneb y wlad â gwaed ei thrigolion. Tybiwyd unwaith y gallesid ysgoi tywallt gwaed; teimlai plaid y brenin eu gwendid, ymostyngasant i daflu Somerset i'r Tŵr, a gwnaed Duc York yn rhaglaw, neu amddiffynwr y deyrnas. Ond cyn hir daeth Henry ychydig yn well, a chyffrowyd ef i adfeddianu ei awdurdod. Gollyngodd Somerset yn rhydd, a chanlynwyd hyny gan un o'r penodau tywyllaf yn ein hanes. Mewn brwydr yn St. Albans (1454), lladdwyd pum mil o bobl Henry, cymerwyd y brenin yn garcharor, dienyddiwyd Somerset ac amryw bendefigion eraill, daeth yr awdurdod eto ar ysgwydd York, a gwnaed ef eilwaith yn amddiffynydd. Er hyn parhaodd y rhyfeloedd, ac ymladdwyd deuddeg o frwydrau penodedig, yn y rhai y lladdwyd pedwar ugain o dywysogion o waed, ac y dilewyd agos holl bendefigion hynafol y wlad. Yn 1460, hawliodd York y goron, ond penderfynodd y Tŷ uchaf fod Henry i gael cadw y titl dros ystod ei fywyd, ac yna fod York i dderbyn yr anrhydedd ar ei ol. Yr un flwyddyn lladdwyd York mewn brwydr yn Wakefield, a llofruddiwyd ei ail fab, Iarll Rutland, mewn gwaed oer, pan yn 17eg oed. Syrthiodd tair mil o bobl York, yn cynwys Iarll Salisbury ac enwogion eraill, yn y frwydr hon. Cymerodd Edward,

Iarll March, mab hynaf Duc York, bellach ditl ac achos ei dad i fyny. Yn mlaenaf o'i blaid, yr oedd y galluog Iarll Warwick. Wedi ymladd rhai brwydrau, coronwyd ef yn Westminster yn 1461; gwnaed ei frodyr George a Richard yn dduciaid Clarence a Gloucester, cyhoeddwyd teulu Lancaster yn drais-feddianwyr, ac atafaelwyd eu hetifeddiaethau. Yn mhen deng mlynedd wedi hyn terfynodd Henry ei hoedl yn y Tŵr, lle y treuliodd gymaint o'i fywyd fel carcharor rhyfel. Dywedir iddo yntau hefyd farw trwy ddwylaw llofruddiog.

Ni fu yr un tywysog yn holl hanes y wlad hon a gwell rhagolwg o'i flaen na Henry VI. pan gyhoeddwyd ef yn frenin Lloegr a Ffrainc, pan nad oedd ond baban yn ei gawell. Ond can gynted ag y daeth yr awdurdod i'w law, dechreuodd cyfres dost o flinderau ddisgyn ar ei ben ef a'i wlad. Yr achos o'r blinderau hyn oeddent, annghymhwysder hollol y brenin i lywodraethu, a'r amheuaeth am ei ditl i'r orsedd. Ac er fod mwy o ddewrder a chymhwysderau llywodraethol yn y frenines nag oedd ynddo ef, eto ni wellhaodd ei hymyriadau hi a'i chynghorwyr nemawr ar achos y brenin, nac ar sefyllfa y wlad.

## IV.—EDWARD IV., 1461—1483.
### (TEULU YORK.)

CYHOEDDWYD Edward IV., mab Richard, Duc York (o deulu Lionel, ail fab Edward III.), yn frenin Mawrth 4, 1461; ond yr oedd yn amser rhy brysur, ar hyny o bryd, i fyned trwy ddefod y coroniad. Yn mhen ychydig ddiwrnodau yr oedd Margaret, gwraig Henry VI., a'r blaid Lancasteraidd, wedi casglu byddin o driugain mil yn mharthau gogleddol Lloegr. Arweiniodd Edward gyda'i gyfaill galluog, Warwick, naw mil a deugain i'w cyfarfod. Cymerodd brwydr ofnadwy le rhyngddynt yn Towton, gerllaw York. Dygwyddodd hyn ar y Sabbath, yn nghanol ystorm o eira, a lliwyd wyneb gwyn y ddaear ag ysgarlad. Syrthiodd o bob tu ddeunaw mil ar ugain o wŷr—mwy nag a syrthiodd o Saeson yn yr holl ryfeloedd diweddar yn Ffrainc. Aeth Edward i mewn dranoeth i ddinas York, tynodd benau ei dad a'i frawd i lawr oddiar y tyrau, a thorodd benau Ieirll Devon a Wiltshire, i'w gosod yn eu lle. Ffodd Henry a'i frenines am nodded i Ysgotland. Coronwyd Edward yn Westminster yn Mehefin, a phasiwyd biliau o warthruddiad yn erbyn y brenin a'i deulu, a thros gant a haner o bendefigion, marchogion, a chlerigwyr, o'r blaid Lancasteraidd.

Aeth Margaret drosodd i Ffrainc i geisio cynorthwy gan Dduc Llydaw a Louis XI.; glaniodd gyda byddin, ac ymunodd â'i chefnogwyr yn Northumberland. Ond daeth Warwick i'w chyfarfod, a gwasgarodd ei galluoedd eilwaith. Cymerodd Henry noddfa yn un

o gestyll cedyrn Cymru, ac aeth Margaret drosodd i Flanders i geisio am gynorthwy ychwanegol; ond ni bu ei chenadiaeth y tro hwn yn llwyddianus. Yn 1464, cyrchwyd y brenin o Gymru, ac wele ef eto yn arwain byddin o Ysgotiaid ac alltudiedigion i faes y frwydr; ond gorchfygwyd ef mewn brwydr yn Hexam, gan Arglwydd Montague, brawd Warwick. Wedi bod yn crwydro am beth amser, cymerwyd Henry yn garcharor, a thaflwyd ef i'r Tŵr, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth.

Ond yr oedd dygwyddiadau eisoes wedi cymeryd lle oeddent i esgor yn fuan ar chwyldroadau pwysig. Yr oedd Warwick yn Ffrainc yn ceisio trefnu cysylltiadau priodasol perthynol i Edward a'i deulu. Yn y cyfamser aeth y brenin i hela i Northampton, ac ar ei hynt galwodd i ymweled â Jacquette, duces waddolog Bedford, yr hon oedd wedi priodi yr ail waith â Syr Richard Woodville o Grafton. Tra yr oedd yno daeth Elisabeth, merch y dduces, o Woodville, a gweddw Syr John Grey, yr hwn a gollodd ei fywyd a'i eiddo wrth ymladd yn erbyn Edward—ymgrymodd y weddw ieuanc yma wrth draed Edward, ac ymbiliodd gyda dagrau am iddo ddychwelyd etifeddiaeth ei gwr i'w phlant amddifaid. Tarawyd y brenin gan foesgarwch a dawn digyffelyb y foneddiges, ac nid yn unig cafodd ei chais, ond enillodd ei galon hefyd. Pan wrthododd Elisabeth warthruddo ei chymeriad i foddio nwydau Edward, priododd hi yn ddirgel. Cyn hir, cyhoeddwyd y briodas, a'r flwyddyn ganlynol coronwyd hi gyda bri mawr. Dyrchafwyd ei pherthynasau i sefyllfaoedd uchel. Gwnaed ei thad (Woodville) yn Iarll Rivers, yn brif drysorydd, ac wedi hyny yn ben ceidwad y deyrnas, a phriodwyd ei brodyr a'i chwiorydd â rhai o'r teuluoedd uchaf.

Nid oedd Warwick yn foddlon i'r cysylltiad hwn, na dyrchafiad disymwth teulu Woodville. Anfoddlonodd yn fwy eilwaith oblegyd priodas chwaer Edward â mab Duc Burgundy, gelyn i Warwick. Y canlyniad fu i George, Duc Clarence, brawd y brenin, ymuno â Warwick i wrthwynebu Edward; ac i gadarnhau yr undeb, rhoddodd Warwick Isabella, ei ferch hynaf, yn wraig i'r Duc. Yr oedd Edward yn groes iawn i'r briodas hon; ond aeth Warwick a Clarence drosodd i Calais, a gweinyddwyd y briodas yno gan archesgob York, brawd Warwick. Yr oedd yn y cysylltiad hwn gwmwl du yn ymgasglu uwchben Edward. Gwelai yntau y drwg, ac i geisio parotoi ar ei gyfer, priododd ei chwaer arall â Charles, Duc ieuanc Burgundy, a chadarnhaodd ei heddwch â phenaethiaid tramor. Yn yr un flwyddyn (1469), cododd terfysg yn Swydd York, yn mysg cefnogwyr Warwick, oblegyd trethi trymion, a dyrchafiad teulu Woodville; a chanlynodd brwydr waedlyd Banbury, lle y lladdwyd Arglwydd Herbert a phum mil o'i wŷr gan

y terfysgwyr. Ymlidiwyd ar ol teulu Woodville, daliwyd tad a brawd y frenines yn eu tŷ yn Grafton, a thorwyd eu penau. Gwnaed hyny, meddid, wrth orchymyn Warwick a Clarence. Wedi clywed am y terfysgoedd hyn, a chael llythyrau o dan law y brenin yn dymuno eu help, dychwelodd Warwick a Clarence, gyda'r archesgob, o Calais, a chawsant Edward mewn penbleth yn Olney—ei gefnogwyr wedi ei adael, a'r terfysgwyr ar ei warthaf. Ar gais Warwick, dychwelodd yr holl derfysgwyr adref, a chauwyd ar Edward yn nghastell Middleham. Yr oedd gan Loegr yn awr ddau frenin coronog, a'r ddau yn garcharorion. Ond cododd murmur peryglus yn fuan o achos carchariad Edward, a barnodd Warwick yn oreu ei ollwng yn rhydd. Canlynwyd hyny gan bardwn cyffredinol, a sefydlwyd heddwch rhwng y pleidiau eiddigus.

Yn mhen tri mis gwelwyd fod y drwg eto yn aros, ac nad oedd y pardwn a'r heddwch ond ffugiol. Gwahoddwyd y brenin, gyda Duc Clarence a Warwick, i wledd gan archesgob York; a phan oedd y brenin yn golchi ei ddwylaw cyn swper, sibrydwyd yn ei glust gan un o'i weision fod byddin yn dynesu. Heb gymeryd amser i feddwl na holi ychwaneg, ffodd y brenin heb ei swper, a theithiodd trwy y nos nes cyrhaedd Windsor. Gwnaed rhith o heddwch â'r brenin wedi hyn; ond cyn hir gorfu i Warwick a Clarence adael y deyrnas, a myned drosodd i Normandy. Yn Amboise, cyfarfu Warwick â Margaret, brenines syrthiedig Lloegr, a'i mhab, Tywysog Cymru. Nid oedd gelynion mwy na Margaret a Warwick. Trwy ei gorchymyn hi y torwyd pen tad a chyfeillion Warwick. Ac o herwydd Warwick, yn fwy na neb arall, yr oedd ei gwr breninol hithau yn awr yn garcharor, a hi a'i mhab yn grwydriaid alltudiedig. Ond, fel y mae yn syn yr hanes, cytunasant â'u gilydd i felldithio Edward, a thrwy hyny daethant yn gyfeillion. Penderfynwyd yno fod y tywysog (mab Margaret o Henry VI.) i briodi Anne Neville, ail ferch Warwick, a'u bod i uno â'u gilydd i adferu y goron i deulu Lancaster. Nid oedd gan Edward yn awr yr un etifedd, ac yr oedd ei frawd, Duc Clarence, mewn dysgwyliad am ei ganlyn ar yr orsedd. A diau fod hyn yn ngolwg Warwick pan roddodd ei ferch hynaf yn wraig i Clarence. Ond yr oedd y cytundeb newydd hwn rhwng Warwick a Margaret, a phriodas eu plant, yn tywyllu rhagolygon Clarence. Beth bynag, yr oedd Warwick, wrth gysylltu ei ferched â thywysogion y ddwy blaid, yn benderfynol i wneyd un o honynt yn frenines Lloegr.

Wedi cael cynorthwy llongau a gwŷr gan Louis o Ffrainc, glaniodd Warwick yn Dartmouth, a chyhoeddodd Henry yn frenin. Casglodd triugain mil o wŷr at ei faner. Daeth Edward â byddin i'w gyfarfod gerllaw Nottingham. Ond cyn ymladd, collodd Edward ei ysbryd, a ffodd dros y môr i Holland (1470). Aeth War-

wick i Lundain, ac wele ef unwaith eto yn feistr yr holl deyrnas. Gollyngodd Henry allan o'r Tŵr, galwodd y senedd yn nghyd, cadarnhawyd y cytundeb wnaed rhwng Warwick a Margaret yn Amboise, galwyd yn ol y cyfreithiau a wnaed gan Edward, cyhoeddwyd ef yn draws-feddianydd, a rhoddwyd rhaglywiaeth y deyrnas i Warwick hyd nes y cyrhaeddai Tywysog Cymru ei oedran.

Yn 1471, wedi bod yn alltud am naw mis, ac wedi cael cymhorth byddin gan Duc Burgundy, glaniodd Edward yn Lloegr. Tyngodd lw difrifol nad oedd wedi dyfod i geisio y goron, ond yn unig dyfod i fwynhau etifeddiaeth teulu York; a bloeddiai ei ganlynwyr, "Byw fyddo y brenin Henry;" felly gadawyd ei ryddid iddo. Ond wedi iddo gyrhaedd Nottingham, ac i lawer o bobl ymgasglu ato, taflodd y ffug ymaith, a hawliodd orsedd Lloegr. Yr oedd Clarence yn awr wedi digio wrth drefniadau Warwick, ei dad yn nghyfraith, a throdd o blaid Edward ei frawd. Aeth Edward yn ei flaen i Lundain, a chasglodd miloedd yno at ei faner. Daeth galluoedd Edward a Warwick i gyffyrddiad â'u gilydd yn Barnet, a chymerodd brwydr waedlyd le (1471). Warwick, i ddangos ei wroldeb, a ymladdai y tro hwn ar ei draed; ac wedi brwydr galed ac amheus, lladdwyd Warwick yn nghanol grym y rhyfel. Efe oedd dyn galluocaf ei oes, yr hwn a gafodd yr enw "brenin wneuthurwr," oblegyd y llwyddiant rhyfeddol a ganlynai ei arfau, pa blaid bynag a gefnogai. "Yr oedd yn enwog am yr holl deithi da a drwg sydd yn dysgleirio danbeidiaf mewn oes farbaraidd."

Yr oedd yr oruchafiaeth hon o eiddo Edward yn bwysig iddo ef, ac i'r wlad. Taflodd Henry eilwaith i'r Tŵr, a chymerodd yr awdurdod i'w law. Ond nid oedd y gwaith eto wedi ei orphen. Ar ddydd y frwydr yn Barnet, glaniodd Margaret a'i mhab, Tywysog Cymru, yn Weymouth, gyda chorph bychan o filwyr, ar fedr adgyfnerthu Warwick. Ond pan ddeallodd dynged yr iarll, collodd ei hysbryd. Beth bynag, calonogwyd hi gan ei gwŷr, adgyfnerthwyd ei byddin, ac aeth yn ei blaen trwy Swyddi Devon, Somerset, a Chaerloyw. Daeth Edward a'i wŷr i'w chyfarfod, ac ymladdwyd brwydr yn Tewkesbury (Mai 14, 1471), yr olaf o'r gyfres waedlyd hon. Gorchfygwyd y Lancasteriaid yn hollol, torwyd pen Duc Somerset, a chymerwyd Margaret a'i mhab o'r diwedd yn garcharorion. Taflwyd y fam i'r Twr, a dygwyd y mab o flaen Edward i'w gaban. Pan ofynodd y brenin iddo beth ddaeth ag ef i Loegr, atebodd y gwr ieuanc yn hyf, "Dyfod i adferu teyrnas ac etifeddiaeth fy nhad, yr hon a gafodd oddiwrth ei dad a'i dadcu, a'r hon sydd yn disgyn yn rheolaidd i mi." Tarawodd Edward ef ar ei wyneb â'i ddurfaneg (*gauntlet*), rhuthrwyd arno gan ei wŷr, a lladdwyd ef yn y fan.

Bellach mae gorsedd Edward wedi ei sefydlu; Warwick wedi

marw; y frenines yn y Twr; ei mhab wedi ei ladd; ac yn fuan gwnaed pen ar fywyd Henry, ei dad; ac wele o'r diwedd obaith y Lancasteriaid wedi diffodd yn llwyr. Wedi cael gwared o'i elynion cartrefol, penderfynodd Edward ddwyn byddin i Ffrainc, er enill tiriogaethau a chlod yno. Nid oedd y cynorthwy a dderbyniodd gan ei senedd yn ddigon, am hyny gorchymynodd i'r holl ddinaswyr cyfoethog ddyfod ato; cymerodd yntau arno fod yn dlawd, a cheisiodd ganddynt estyn cynorthwy iddo. Ni feiddient wrthod ei gais, ac yn y llwybr dyeithr hwn llanwodd lawer ar ei goffrau. Arweiniodd ei fyddin drosodd i Ffrainc; ond gan na welai bethau yn argoeli yn dda, gwnaeth gytundeb heddwch, ar amodau penodol, â brenin Ffrainc am saith mlynedd.

Yr oedd hen deimlad drwg wedi magu rhwng Edward a'i frawd, Duc Clarence, oddiar pan gymerodd blaid Warwick yn ei erbyn, ac o'r diwedd gweithiodd allan i ddiwedd gofidus. Pan oedd ar ei dro yn hela yn mharc gwr o'r enw Burdet, yn Swydd Warwick, daeth i glustiau y perchenog fod ei garw gwyn hoff wedi ei ladd. Atebodd yntau yn nheimlad y foment y dymunasai fod cyrn y carw yn mherfedd y lladdwr; ond nid oes sicrwydd y gwyddai ar y pryd mai y brenin oedd y person. Beth bynag, cymerwyd Burdet i fyny oblegyd y frawddeg fyrbwyll, condemniwyd ef o fradwriaeth, a dienyddiwyd ef. Arferodd Clarence eiriau go gryfion yn erbyn ei frawd am y weithred hon, ac eraill cyffelyb iddi. Cymerwyd yntau i fyny o'r herwydd, cafwyd ef yn euog, a rhoddwyd y rhagorfraint iddo o gael dewis llwybr ei farwolaeth; a dywedir iddo gael ei foddi mewn cerwyn o win. Nid oes unrhyw amgylchiadau eraill o bwys yn ngweddill hanes Edward. Twyllwyd ef gan Louis o Ffrainc, trwy i hwnw beidio priodi ei fab â merch Edward, yn ol cytundeb blaenorol; a phan oedd mewn ffyrnigrwydd yn casglu byddin i fyned yn ei erbyn, cymerwyd ef yn glaf, a bu farw Ebrill 6, 1483, yn y 42ain flwyddyn o'i oedran, a'r 23ain o'i deyrnasiad. Claddwyd ef yn nghapel newydd Windsor. Cyn marw, gorchymynodd dalu yn ol o'i goffrau ei hun i bwy bynag yr oedd wedi gwneyd cam â hwynt, neu dreisio arian oddiarnynt. Ond yr oedd dau rwystr mawr ar ffordd gwneyd ei arch; nid oedd yn debygol fod llawer o arian yn nghoffrau gwr mor dreulfawr; a phe buasent, nid oedd yn debygol yr aethant allan o'r dwylaw cyntaf gawsai afael ynddynt. Gadawodd Edward ar ei ol ddau fab, Edward, yn ei drydedd flwyddyn ar ddeg, a Richard yn ei nawfed, yn nghyda phump o ferched.

Yr oedd Edward yn nodedig am degwch ei berson, er fod ei loddest a'i oferedd wedi ei anffurfio cyn diwedd ei oes. Yr oedd yn wrol ac anturiaethus, mae yn wir, ond yn hynod o falch a chreulon. Yr oedd yn ofalus am ei blant, ac yn hael yn ei roddion

i'w wraig, ond yn eithaf anffyddlon i'w wely priodasol. Cadwodd wyneb y wlad yn goch o waed ei thrigolion dros ystod ei deyrnasiad. "Y desgrifiad byraf a llawnaf o'i gymeriad yw, iddo ildio ei hun gyda thueddiadau pob nwyd."

## V.—EDWARD V., 1483.

Yr holl amser y bu Edward V., mab hynaf Edward IV., ar yr enw brenin ydoedd ryw ddeng wythnos, sef o'r 9fed o Ebrill hyd y 26ain o Fehefin. Gwelai y brenin diweddar beryglon ei deulu a'r deyrnas; hyny barodd iddo yn ei fynydau olaf alw y pleidiau gwrthwynebol ger ei fron, a dymuno arnynt fyw yn heddychol a'u gilydd, ac amddiffyn y frenines a'i phlant. Y pleidiau gwrthwynebol oeddent, y frenines a'i pherthynasau ar y naill law, a'r pendefigion hynafol, y rhai oeddent eiddigus wrth ddyrchafiad teulu Woodville, ar y llaw arall. Yn mlaenaf o du y frenines yr oedd ei brawd, Iarll Rivers, y pendefig mwyaf talentog a dysgedig yn y deyrnas; ei dau fab (o'r gwr cyntaf), Grey a Dorset; gyda Syr Thomas Vaughan a Syr William Stanley. Ac yn mlaenaf yn y blaid wrthwynebol yr oedd yr Arglwyddi Hastings, Howard, a Stanley. Pan fu Edward IV. farw, yr oedd Richard ei frawd, Duc Gloucester, ar gyffiniau Ysgotland. Yr oedd Tywysog Cymru yn llencyn tair ar ddeg oed yn nghastell Ludlow, dan ofal ac addysg ei ewythr, Iarll Rivers; ac yr oedd Duc York, mab ieuangaf Edward, gyda'i fam a'r teulu yn Llundain.

Penderfynwyd arwain y brenin ieuanc, dan amddiffyniad Rivers, i Lundain. Daeth Duc Gloucester i Northampton i'w gyfarfod, i uno a'r orymdaith i'r brif-ddinas, a chynorthwyo yn nghoroniad ei nai. Ond yr oedd Rivers wedi dewis ffordd arall trwy Stony Stratford. Eto, pan glywodd fod Richard yn Northampton, pellder o ddeng milldir, dychwelodd ef a Grey i Northampton i'w gyfarch yn enw y brenin. Derbyniwyd hwy yn serchog, a gwahoddwyd hwy i ginio. Yn yr hwyr cyrhaeddodd Duc Buckingham, gyda thri cant o farchogion, yr hwn hefyd oedd yn dyfod i ymuno â gorymdaith y brenin. Aethant gyda'u gilydd boreu dranoeth o Northampton; ond erbyn cyrhaedd Stratford cyhuddodd Richard Iarll Rivers o greu rhagfarn yn meddwl y brenin ieuanc tuag ato. Ac er i Edward ei hun wadu y cyhuddiad, cymerwyd Rivers, Grey, a dau eraill yn garcharorion, a gwasgarwyd eu canlynwyr.

Pan gyrhaeddodd y newydd am hyn i Lundain, dychrynodd y frenines, a rhedodd hi a'i theulu i ymnoddi i eglwys Westminster. Dygwyd Edward i'r Twr, yn ol yr arferiad, i aros dydd ei goroniad, yr hyn a benodwyd i gymeryd lle Mehefin 22ain. Hyd yn hyn yr oedd Richard, Duc Gloucester, yn proffesu bod yn selog o blaid Edward, ac yr oedd wedi ei benodi yn amddiffynydd y deyrnas

dros ystod mebyd y brenin; ond yr oedd ei symudiadau yn cynyrchu amheuaeth; ac o hyn allan mae ei ragrith a'i uchelgais yn dyfod yn amlwg. Yr oedd ei gynllun yn awr yn barod, ac y mae yr adeg wedi dyfod bellach i'w gario allan. Ar y 13eg o Fehefin, aeth Richard i'r Twr, a chymerodd ei eisteddle yn y gynghorfa. Yr oedd ei wynebpryd wedi syrthio, a phawb yn edrych arno mewn mudanrwydd. Yn y man gofynodd yn gyffrous, "Beth haeddai y rhai sydd wedi cynllunio i fy lladd i, amddiffynydd y brenin wrth naturiaeth yn gystal ag wrth y gyfraith?" "Cael eu cospi fel bradychwyr," ebe Arglwydd Hastings. "Mae y ddewines yna," ebai, "gwraig fy mrawd (y frenines), yn nghyda'i chymdeithion, wedi gwneyd hyny." Yna cododd ei lawes i fyny, dangosodd ei fraich fain, a dywedodd, "Edrychwch fel mae y ddewines yna, a Jane Shore (yr hon oedd y pryd hwnw yn ordderch i Hastings), ac eraill o'u cymdeithion, wedi dystrywio fy nghorph." "Yn wir, fy arglwydd," ebe Hastings, "os ydynt wedi gwneyd peth o'r fath, dylent gael eu cospi yn llym." "Beth a feddyliwch wrth eich *os?* a ydych yn meddwl fy mod yn dwyn cam-dystiolaeth yn eu herbyn?" Yna gwaeddodd allan yn llidus, gan daro y bwrdd â'i ddwrn, "Yr wyf yn dweyd wrthych eu bod wedi ei wneyd, a'ch bod chwithau â llaw yn y gorchwyl." Llefodd rhyw un oddiallan, "Bradwriaeth!" a chyda'r gair daeth tŵr o ddynion arfog i mewn. Cymerwyd Hastings, Stanley, ac esgobion York ac Ely, yn garcharorion. "Gwnewch frys i gyffesu," ebe Richard wrth Hastings, "oblegyd, myn St. Paul, ni fwytâf fy nghinio nes gweled eich pen ymaith." Cymerwyd ef yn y fan, a thorwyd ei ben ymaith ar hen foncyff oedd y tu allan i'r Twr. Yr un diwrnod, gorchymynodd Richard dori penau Iarll Rivers, Grey, Vaughan, a Hawse, y rhai oeddent yn garcharorion yn nghastell Pontefract, neu Pomfret. Pan apeliai yr oedranus Vaughan oddiar yr arteithglwyd at orsedd Duw yn erbyn y fath greulondeb, dywedodd Ratcliffe, cenad greulon Richard, "Gwnaethost ymddiheurad da; rho dy ben i lawr." "Yr wyf fi yn marw heb fai," ebe Vaughan; "gwylia na fyddi di farw ar fai."

Wedi cael gwared o'r rhai hyn, y cam nesaf i Richard oedd cael o hyd i'r tywysog ieuanc, Duc York, mab ieuangaf Edward. Gyrodd genadau at y frenines i Westminster i'w geisio. Yr oedd yn anhawdd iawn gan ei fam i ymadael ag ef; eto ofnai y buasai gwrthod cais Richard yn arwain i ganlyniadau gwaeth. Wedi cofleidio y plentyn, ei gusanu, a gwlychu ei wyneb â'i dagrau, cyflwynodd ef i'r cenadau, ac ni welodd ei wyneb ef mwy. Dygasant ef at ei frawd, y brenin ieuanc, i'r Twr; ac yr oeddent hwy yn llawen i gyfarfod â'u gilydd, heb feddwl fawr, druain, am y dynged dost oedd yn eu haros.

Atafaelodd Richard holl feddianau Jane Shore. Bu hon yn wraig i ddinesydd ieuanc cyfoethog. Hudwyd hi oddiar lwybr rhinwedd gan Edward IV., a bu yn ordderch wedi hyny i Hastings. Yr oedd rhyw beth rhagorol yn ei holl gymeriad, oddigerth iddi gael ei hanafu yn y peth hwn. Cyhuddwyd hi o odineb, a chondemniwyd hi i gerdded yn droednoeth, a'i chorph agos yn noeth, trwy ystrydoedd Llundain ar ddydd Sabbath, a gwneyd penyd yn eglwys St. Paul. Bu fyw am ddeugain mlynedd wedi hyn, mewn unigedd a thlodi. Y gorchwyl nesaf o eiddo Richard oedd ceisio profi nad oedd plant Edward ei frawd, y rhai oeddent yn awr yn y Tŵr, yn gyfreithlon. Ar ol i Jane Shore ddwyn ei phenyd, yr un Sabbath rhoddwyd Dr. Shaw, mynach Awstinaidd, brawd maer y ddinas, i bregethu wrth groes St. Paul (croes addurnedig o flaen eglwys St. Paul, lle y pregethid ar achlysuron neillduol,) yn erbyn bastardiaeth. Cymerodd ei destun o'r apocrypha (Doeth. Sol. iv. 3.), a rhoddodd olwg erchyll ar fywyd anllad Edward. Ceisiodd brofi ei fod wedi priodi ag un arall o flaen Elisabeth Woodville, ac am hyny nad oedd y ddau dywysog ieuanc ond bastardiaid. Yna trodd i ganmol a dyrchafu Richard, Duc Gloucester; a dysgwylid i'r bobl waeddi, "Duw gadwo y brenin Richard," ac i Richard ei hun wneyd ei ymddangosiad ar y pryd; ond trwy anfedrusrwydd y pregethwr, neu ddiofalwch eraill, aeth y ddyfais yn fethiant.

Dydd Mawrth canlynol (Mehefin 24), cymerodd Duc Buckingham yr achos i fyny yn y Guildhall; adolygodd sylwedd pregeth Shaw ar y Sabbath blaenorol, a hawl Richard i goron Lloegr, a gwaeddodd rhai gweision cyflogedig i'r perwyl, "Byw fyddo'r brenin Richard." Y diwrnod canlynol aeth cenadau at Richard i gastell Baynard, lle yr arosai, i ofyn ganddo gymeryd y deyrnwialen. Cymerodd yntau arno wrthod am ychydig, a dadleu hawl Edward V., ei nai. Ond pan ddywedodd Buckingham na fynai pobl ryddion Lloegr fastardd i'w llywodraethu; ac os na fuasai ef, yr etifedd cyfreithlon, yn derbyn y goron, fod arall i'w gael yn barod i'w derbyn, derbyniodd Richard yr anrhydedd. Dranoeth, y 26ain, eisteddodd yn y gadair freninol yn mhalas Westminster; a phan ddaeth yr un diwrnod i eglwys St. Paul, i ddiolch i'r Arglwydd am ei ddyrchafiad, derbyniwyd ef yn llawen gan y lliaws.

## VI.—RICHARD III, 1483—1485.

GWNAED Richard, brawd Edward IV., a mab ieuangaf Duc York, yn Dduc Gloucester ar esgyniad ei frawd i'r orsedd. Trawsfeddianodd y goron trwy gyfres o'r gweithredoedd mwyaf ysgeler. Coronwyd ef a'i wraig, Anne Neville, yn Westminster, ar y 6fed o Orphenaf; ac i gadarnhau ei hun ar ei orsedd gwobrwyodd yn helaeth ei gefnogwyr, a rhoddodd faddeuant i'w wrthwynebwyr.

Gwnaeth Arglwydd Howard yn gadlywydd, a chafodd y titl o Dduc Norfolk, a gwnaed ei fab yn Iarll Surrey. Rhyddhawyd Stanley ac archesgob York, a rhoddwyd Morton, esgob Ely, i ofal Duc Buckingham yn ei gastell yn Aberhonddu. Gwobrwyodd y brenin Buckingham ag etifeddiaethau eang, a gwnaeth ef yn ben ceidwad y deyrnas. Yna aeth Richard ar daith trwy wahanol barthau y wlad i gyfarch ei ddeiliaid, i dderbyn eu gwarogaeth, i wrando eu cwynion, ac i weinyddu cyfiawnder iddynt. Cymerodd ei goroni yr ail waith yn York, er mwyn boddio ei gyfeillion yn y parth hwnw.

Tra yr oedd ef yn York cododd murmur yn Llundain yn mysg pleidwyr y frenines, am ryddhau y tywysogion ieuainc oeddent yn y Tŵr. Ond yr oedd hyny yn afreidiol, oblegyd yr oeddent eisoes wedi eu llofruddio. Mae Syr Thomas More, yn amser Henry VIII., yn adrodd hanes eu llofruddiad fel y canlyn:—Pan oedd Richard ar ei daith freninol, anfonodd o gymydogaeth Caerloyw un John Green, â llythyr yn ei law at Syr Robert Brackenbury, ceidwad y Tŵr, yn gorchymyn iddo roddi y ddau dywysog i farwolaeth yn rhyw ffordd. Dychrynodd Syr Robert rhag y fath weithred, a gwrthododd ufuddhau. Dychwelodd y genad â'r atebiad. Gyrodd Richard yn nesaf Syr James Tyrrel, meistr ei feirch, gydag awdurdod i fynu gofal y Tŵr am un noswaith o law Brackenbury. Cymerodd Tyrrel ddau ddyhiryn creulon gydag ef, o'r enw Forest a Dighton. Aethant i mewn i'r Tŵr yn nyfnder y nos, esgynasant y grisiau at yr ystafell lle yr oedd y ddau dywysog diniwed yn cysgu, a thra yr oedd Tyrrel yn gwylio y drws, aeth y ddau eraill i mewn, a mygasant y ddau frawd i farwolaeth trwy wasgu y clustogau ar eu genau. Claddwyd hwy ganddynt yn ddioed wrth droed y grisiau, a gwobrwywyd hwy yn helaeth gan Richard am eu hysgelerder. Dywedir i esgyrn y ddau dywysog gael eu cloddio i fyny yn amser Charles II., ac i'r penadur hwnw orchymyn eu claddu eilwaith, a chodi cofadail farmor arnynt.

Yr oedd Richard wedi bwriadu cadw tynged y ddau frawd yn ddirgelwch; ond pan welodd fod cydymdeimlad â hwy yn debyg o godi terfysg, barnodd yn well gyhoeddi eu marwolaeth. Ond ni wnaeth hyny dawelu y terfysgwyr. Mae yn bosibl y tybient eu bod eisoes wedi gwneyd gormod i gael pardwn gan Richard, a phenderfynasant droi eu golwg i fan arall am berson i ddyfod i hawlio y deyrnwialen. Y gwr hwnw ydoedd Henry, Iarll Richmond, ŵyr Owain Tudor, o Catharine, gweddw Henry V. Yr oedd hwn o waedoliaeth Cymreig, ac o ochr ei fam (Margaret Beaufort, merch Duc Somerset), yn disgyn o'r teulu Lancasteraidd. Yr oedd wedi ei ddwyn drosodd i Lydaw dan ofal ei ewythr galluog, Jasper Tudor, Iarll Penfro, oddiar ffordd peryglon, wedi brwydr Tewkesbury. Penderfynwyd ar fod i Henry Tudor briodi y dywys-

oges Elisabeth, merch hynaf Edward IV., yr hon oedd wedi dyfod yn awr, trwy farwolaeth ei dau frawd, yn gynnrychiolydd nesaf teulu York. Felly, trwy y briodas hon, buasid yn uno etifeddion y ddau deulu gwrthwynebol—York a Lancaster—a'u gilydd. Yr oedd iarlles waddolog Richmond, mam Henry, yn briod ag Arglwydd Stanley, ac yn barod i roddi nerth ei dylanwad o blaid ei mab. Ac, fel mae hynotaf yr hanes, wele Buckingham, yr hwn oedd wedi derbyn ffafrau ac awdurdod diderfyn braidd oddiar law Richard, yn awr yn troi yn ei erbyn, ac yn cymeryd plaid Henry. "Yr esboniad goreu ar ymddygiad Buckingham," meddai Knight, "yr hwn a wnaeth fwy na neb arall i godi Richard i'r orsedd, yw, ei fod yn ffwl ac yn ddyhiryn." Anfonwyd cenad i geisio Henry drosodd i Loegr yn ddioed; ac ar y dydd penodedig, Hydref 18, cyhoeddwyd Henry yn frenin gan Iarll Dorset yn Exeter, gan esgob Salisbury yn Swydd Wilt, gan Buckingham yn Aberhonddu, a chan amryw eraill yn ngwahanol barthau y deyrnas. Rhoddodd hyn y wlad yn un berw drwyddi. Galwodd Richard y terfysgwyr ar bob enw drwg, a gwlawiodd gawodydd o felldithion arnynt. Arweiniodd fyddin yn erbyn Buckingham, a thrwy orlifiad y Severn, a drylliad y pontydd, dyryswyd Buckingham, ac ymwasgarodd ei fyddin. Ffodd Dorset ac esgob Ely i Flanders; daliwyd Buckingham yn nhŷ gwas iddo gerllaw Amwythig, dygwyd ef at Richard i Salisbury, a thorwyd ei ben yn ddiseremoni. Gyrwyd Henry a'i longau yn ol ar lanau Ffrainc gan dymhestl; ac ymddangosai y cwbl hyd yn hyn fel yn gweithio o blaid Richard.

Bellach beiddiodd y brenin alw senedd yn nghyd (Tachwedd 11), yn yr hon y penderfynwyd yr olyniaeth i'w fab Edward, Tywysog Cymru, a phasiwyd atafaeliad a gwarthruddiad ar holl flaenoriaid y gwrthryfel. I ragflaenu hefyd briodas y dywysoges Elisabeth ei nith â Henry Tudor, ysgrifenodd at ei mham i geisio ganddi ddyfod i aros yn y llys, gan addaw pob anrhydedd iddi hi a'i theulu. Wedi hyn daeth y brenin a'i briod yn hoff iawn o'r dywysoges Elisabeth, ac addawodd Richard ei phriodi â'i fab, Tywysog Cymru. A phan fu ei fab farw yn ddisymwth, cynygiodd y brenin ei phriodi ei hun, gan sicrhau y byddai ei wraig bresenol farw yn mis Chwefror canlynol. Er gwarth i'r frenines waddolog, arwyddodd ei boddlonrwydd i'w mherch briodi llofrudd ei brawd a'i thri mab. Ond er i wraig Richard farw yn agos i'r amser y prophwydodd, a bod y dywysoges yn awyddus iawn am briodi, perswadiwyd y brenin i ochelyd hyny, a hysbysodd yn gyhoeddus o flaen y maer ac eraill, na feddyliodd erioed am y fath briodas.

Er holl ddyfeisiau y brenin i atal y gwrthryfel, yr oedd yn parhau i fyned yn mlaen ar gynllun eang a pheryglus. Awst 7, 1485, glaniodd Henry gyda byddin fechan yn Milford Haven. Derbyn-

iwyd ef yno gan y Cymro galluog, Syr Rhys ap Thomas, a dygodd hwnw lawer o wŷr grymus i gyfnerthu ei fyddin. Aeth Henry a'i wŷr i fyny trwy Geredigion, a Syr Rhys trwy Frycheiniog, a chyfarfuasant â'u gilydd yn Amwythig. Aethant yn mlaen yn nghyd, gan gyfeirio tua Nottingham, lle yr oedd Richard yn awr yn aros. Daeth Richard a'i wŷr i'w cyfarfod, ac ymladdwyd brwydr gofiadwy Maes Bosworth, yn Swydd Leicester, ar y 22ain o Awst, 1485. Mae y cyfrif am nifer y byddinoedd yn amrywiol iawn, ond cyfrifir yn gyffredin fod cymaint arall o wŷr yn myddin y brenin. Trodd amryw o wŷr Richard yn anffyddlon, a chymerasant blaid Henry. Yr oedd Arglwydd Stanley, llys-dad Henry, gyda byddin o dair mil, yn sefyll ar wahan, yn cymeryd arno bleidio Richard, ond yn gwrthod ymladd gyda'r naill na'r llall, hyd nes y gwelai pa ochr fyddai yn debyg o enill. Gwelai Richard fod llawer o'i wŷr yn ei adael, ac eraill yn petruso, a phenderfynodd wneyd y goreu o'r gwaethaf, a cheisio troi tynged y frwydr trwy ladd Henry, neu gwympo ei hun. Tua'r pryd hwn daeth Stanley a'i wŷr yn mlaen o du Henry. Gwelodd llygad craff Richard Henry dan gysgod arwydd y Ddraig Goch (eiddo y Cymry), a'r Cymry yn ei gylchynu; tyngodd yn enw St. George, y buasai fyw neu farw yn frenin y diwrnod hwnw. Rhoddodd yspardyniad i'w farch gwyn hoyw, rhuthrodd yn mlaen gyda ffyrnigrwydd gwallgof trwy dewder ei elynion, gan waeddi, "Bradwriaeth!" a gwneyd llwybr syth at y fan y safai Henry. Lladdodd Brandon y banerwr, a tharawodd y nesaf ato oddiar ei farch; ac yr oedd wedi dyfod o hyd ergyd i Henry, a'r ergyd hwnw wedi ei anelu, pan ddisgynodd bwyall nerthol—eiddo Rhys ap Thomas, medd rhai—ar ei ben, ac mewn moment yr oedd cawod o archollion marwol yn disgyn arno, a'r goron, yr hon a wisgai ar ei ben yn y frwydr, wedi treiglo ymaith. Codwyd hi, wedi ei throchi mewn gwaed, gan Arglwydd Stanley, a rhoddodd hi ar ben Henry. Terfynodd hyn y frwydr, a ffodd holl gefnogwyr y brenin syrthiedig; ac ymostyngodd Henry a'i wŷr ar y maes i dalu diolch i'r Arglwydd am y fuddugoliaeth. Hona y Cymry brif anrhydedd y fuddugoliaeth hon, ac ymffrostiant yn yr amgylchiad fel un yn yr hwn y dyrchafwyd y gwaed Cymreig eilwaith i orsedd Prydain.

"Yn Mosworth planwyd mesen
Elai'n brif freninol bren!
A mesen oedd o'n maes ni,
O iawn ddâr ein hen dderi;
Felly, o Gymry, mae'r gwaed;
Rhin eu hanwyl freninwaed,
A gerdd i sirioli'n gain
Wyneb wrid Banon Prydain.
O Gymro teg, mae'r gwaed da
Yn naturiaeth VICTORIA!"—EBEN FARDD.

Taflwyd corph gwaedlyd Richard ar draws cefn ceffyl, a dygwyd ef i Leicester i'w gladdu. Bu farw "yn rhy anrhydeddus yn ngolwg ei elynion, ond yn gydweddol a'i wroldeb milwrol," yn y 33ain flwyddyn o'i oedran, wedi bod yn teyrnasu am ddwy flynedd ac agos dau fis. Dyn bychan o gorpholaeth ydoedd, ag un ysgwydd yn uwch na'r llall. Yr oedd yn wrol iawn fel rhyfelwr, ond mor greulon, fel nad oedd unrhyw weithred yn rhy ddrwg ganddo i'w chyflawni er mwyn cyrhaedd nod ei uchelgais. Ac nid oedd ei galedrwydd creulon ond testun difyrwch iddo. Dywedir iddo unwaith pan ddaeth ar draws un o wylwyr ei fyddin yn cysgu, ei frathu i farwolaeth â'i bicell, a dyweyd yn ddifater wrth fyned heibio, "Yn cysgu y cefais ef, ac yn cysgu y gadewais ef."

Gyda Richard mae teulu Plantagenet yn terfynu, wedi bod yn llywodraethu Lloegr am agos tair canrif a haner; a rhoddodd brwydr Bosworth derfyn ar ryfeloedd y Rhosynau, rhwng teuluoedd York a Lancaster, wedi parhau am ddeng mlynedd ar ugain. Ar ddydd priodas Henry, yr hwn oedd o deulu y rhosyn coch (Lancaster), ag Elisabeth, merch Edward IV., yr hon oedd o deulu y rhosyn gwyn (York), gwisgent ill dau rhosynau gwyn a choch, wedi eu cymhlethu yn UN "rhosyn gwyngoch," i arwyddo undeb y ddau deulu, ac adferiad unbenaeth Prydain.

### VII.—HANES CREFYDD.

MAE agwedd grefyddol Prydain yn y cyfnod hwn lawn mor dywyll, os nid tywyllach, na'i sefyllfa wladwriaethol, ac yn cyfateb yn dda i'r enw sydd ar y cyfnod, "*Oesoedd tywyll.*" Fel y mae swyddogion uchaf yr eglwys a swyddogion y llywodraeth yn myned fwyfwy ar wahan, mae y nerth Pabaidd yn wir yn colli un o'i ategion penaf, a'r elfen ddiwygiadol yn enill grym. Yn nechreuad y bymthegfed ganrif, yr oedd gan yr eglwys ddau ben, Boniface IX. yn Rhufain, a Benedict XIII. yn Avignon (Ffrainc), yn ymryson am y flaenoriaeth. Ac ar ol llawer o ymdrechion ofer i'w cymodi, cawn gynghor eglwysig yn Pisa (1409)yn esgymuno y ddau bab, ac yn dewis trydydd—Groegwr dan yr enw Alexander V.—yn eu lle. Parhaodd yr ymryson am gadair St. Pedr dros yr haner cyntaf o'r ganrif, hyd farwolaeth Eugenius, pryd yr etholwyd Nicholas V., ac y rhoddodd Felix ei hawl i fyny, er mwyn rhoddi pen ar y gwaradwydd. Nis gallesid dysgwyl i eglwys oedd â chymaint o ddyryswch yn ei phen, fod â'i chorph mewn sefyllfa iachus a dymunol. Beth bynag, gwnaed heddwch cyffredinol ar ol penodiad Alexander, a diflanodd yr yni gwrthwynebol i oruwch-awdurdod y pab mewn difaterwch anobeithiol, fel mae y penadur eglwysig wedi cael ei lwybr yn rhydd o hyny hyd yn awr (o fewn yr eglwys) i arfer ei awdurdod ormesol.

Yn y wlad hon daliai yr eglwys a'r wladwriaeth o hyd law yn llaw, a gwelid y naill frenin ar ol y llall ar adeg ei esgyniad yn ymroddi i enill ffafr a dylanwad yr eglwys o'i blaid. Ac anfynych, os o gwbl, y cafwyd corph yr eglwyswyr yn troi yn erbyn y brenin. Ond er hyn yr oedd dylanwad cyson ar waith oedd yn peri i'r eglwys golli ei gafaelion yn raddol yn serchiadau y bobl, a hwnw oedd yr ateg cadarnaf a feddai. Dywedwyd yn barod fod Wicliffe a'i ganlynwyr, y Lollardiaid, yn peri blinder mawr i'r eglwyswyr gyda'u syniadau gwrthbabyddol a diwygiadol. Sect o darddiad tramor oedd y Lollardiaid, ond iddynt gael yr enw Wicliffiaid oblegyd eu bod o gyffelyb olygiadau; a daeth pawb a ddalient olygiadau diwygiadol i gael yr un enw. Yr oedd hyn, efallai, yn ddigon priodol, gan mai ysbryd ac ysgrifeniadau Wicliffe yn benaf oedd yn gweithio fel lefain yn y blawd. Yn fuan ar ol esgyniad Henry IV., llwyddodd yr awdurdodau eglwysig i gael gan y brenin basio cyfraith i awdurdodi llosgi hereticiaid. Yr oedd y gyfraith hono yn orthrymus i'r pen; nid oedd neb i gael pregethu na dysgu, yn gyhoeddus na neillduedig, heb ganiatad esgob yr esgobaeth lle byddai yn byw; na neb i gael siarad nac ysgrifenu dim fyddai yn wrthwyneb i athrawiaeth yr eglwys. Ac yr oedd pob un oedd yn feddianol ar lyfrau yn cynwys syniadau o'r fath, i'w rhoddi i fyny i'r awdurdodau o fewn deugain niwrnod ar ol cyhoeddiad y gyfraith. Meddai yr esgob awdurdod i ddal a charcharu y neb a droseddai; ac os profid un yn euog o heresi, ac yntau yn gwrthod tynu yn ol trwy lw, condemnid ef i'w losgi yn gyhoeddus, er mwyn dychrynu meddyliau eraill, a pheri iddynt ochelyd yr un llwybrau. Y cyntaf a syrthiodd dan gondemniad y gyfraith hon oedd un William Sawtre, offeiriad St. Ossith, Llundain, yr hwn a losgwyd yn Smithfield yn mis Mawrth, 1401. Dyma y pryd y cyneuwyd tân merthyrdod yn y lle bythgofiadwy hwnw,—tân i geisio atal cynydd gwirionedd, a lladd egwyddorion rhyddid ar doriad glaswawr y diwygiad. Ond yn lle eu hatal gwnaeth ei ran i'w lledaenu, ac anfarwolodd enwau y merthyron a ddyoddefasant ynddo.

Rhoddodd y gospedigaeth newydd a dychrynllyd hon atalfa ymddangosiadol ar rwysg y Lollardiaid am rai blynyddau; ond yr oedd yr egwyddorion a ollyngwyd yn rhydd i ganol y werin gan Wicliffe, trwy gyfieithiad y Bibl, a'i ysgrifeniadau ei hun, yn gwreiddio, ac nid oeddent ond aros am hin wanwynaidd yn yr awyrgylch wladol i dori allan i'r golwg. Ac felly y bu; cafodd yr awdurdodau eglwysig fwy o waith llosgi hereticiaid yn fuan. Parhaodd y ffaglau yn Smithfield yn ystod teyrnasiad Henry V. a Henry VI., a chynyddent fwyfwy, nes y gorfu i'r awdurdodau o'r diwedd ddyfeisio cospedigaethau eraill llai llymdost, yn ol graddau y trosedd. Yn 1457, y dygwyd yr enwog Peacock, esgob Chiches-

ter, gerbron yr awdurdodau, ar y cyhuddiad o bleidio y Lollardiaid, er nad oedd wedi gwneyd nemawr oddigerth ceisio enill y Lollardiaid, trwy ymresymu â hwynt yn lle eu cyhuddo a'u cospi. Casglwyd ei lyfrau rhagorol, a gwnaed coelcerth o honynt, a thaflwyd yntau i garchar truenus, lle y porthid ef "â bara cystudd a dwfr blinder," hyd ddydd ei farwolaeth, yn mhen tair blynedd. Ond er gwaethaf cynddaredd ei elynion, cyrhaeddodd rhai o'i ysgrifeniadau i lawr i'n dyddiau ni, ac y maent, medd Hallam, yn cynwys darnau teilwng o Hooker, o ran pwysigrwydd y meddyliau, ac ardderchawgrwydd yr arddull.

Bu rhyfeloedd cartrefol y Rhosynau yn gysgod i'r Lollardiaid, a diffoddwyd tanau Smithfield am dro gan nerth y dymhestl ddychrynllyd hon. Ar ol i'r cynhyrfiadau hyn dawelu, cawn fod y bobl yn ymranu yn dri dosbarth yn eu cysylltiad â chrefydd—gelynion penderfynol yr Eglwys Babaidd—aelodau yn yr eglwys yn galw am ddiwygiad—ac ymlynwyr selog wrthi fel yr oedd. Y pethau mwyaf tramgwyddedig yn ei hathrawiaeth, a'r hyn fyddai yn achlysur dyoddefiadau y rhan fwyaf o'r merthyron boreuol oblegyd eu gwadu, oeddent,—trawsylweddiad, neu yr haeriad fod "dyn yn gallu creu ei Greawdwr;" athrawiaeth y purdan, ac mai swm da o arian oedd yr unig foddion effeithiol i symud yn fuan oddiyno; addoliad delwau y seintiau, a'r cyffelyb. Er fod rhai ser dysglaer mewn duwioldeb yn yr eglwys trwy bob cyfnod, eto yr oedd bucheddau lliaws o'r clerigwyr eu hunain yn anfoesol i'r eithaf. Tystia yr archesgob Bourchier, fod lliaws o glerigwyr oddifewn ac oddiallan i'r monachlogydd, yn gwbl amddifad o gymhwysderau clerigol na llenyddol, yn treulio eu hamser i grwydro gyda benywod digymeriad, ac yn gwario eu holl dderbyniadau mewn yfed a gloddesta. Yn y flwyddyn 1449, anfonodd y clerigwyr ddeiseb i'r senedd, yn cwyno fod yr offeiriaid yn cael eu blino yn dost gan gyhuddiadau mynych o ladrad, ac yn dymuno am i bob offeiriad gael ei bardynu am bob lladrad a thrais (*rape*) a gyflawnent hyd y 1af o Fehefin nesaf ar ol hyny, trwy fod *noble*=6s. 8c. am bob offeiriad trwy y deyrnas i gael ei dalu i'r brenin. Mae y ffaith yma, yr hon a geir yn nghof-ysgrifau y senedd, yn dyweyd cyffrolau am foesoldeb cymeriad yr offeiriaid Pabaidd yn y cyfnod hwn.

Ceir awgrym am ddull pregethu yr amser hwn oddiwrth benderfyniadau cymanfa a gynaliwyd yn nhalaeth York yn 1466. Cynwysant y dull yr oedd y clerigwyr i bregethu, yn gystal a'r athrawiaeth a bregethid ganddynt. Yn ol y penderfyniadau hyny, yr oedd pob offeiriad plwyfol i bregethu i'w braidd, yn ei berson ei hun neu arall drosto, bedair gwaith yn y flwyddyn. Yr oeddent ar yr achlysuron hyny i egluro yn Seisnig, mewn ymadroddion syml a diaddurn, bedwar pwnc ar ddeg y ffydd, y deg gorchymyn,

dau orchymyn yr efengyl, y saith o orchwylion trugaredd, y saith pechod marwol, a'r saith sacrament.

Yr oedd Ysgotland hefyd, fel Lloegr, dan ddylanwad y pab. Yr oedd yno hefyd Wicliffiaid yn codi eu llef yn erbyn gormes a chyfeiliornadau yr athrawiaeth Rufeinig. Ac yr oedd y llywodraeth wladol yno, fel yn Lloegr, yn eu cymeryd i fyny, yn eu condemnio fel hereticiaid, ac yn eu llosgi.

Ni raid diolch i babau Rhufain a'u dylanwad am ein dyrchafiad. Bu y gallu Pabaidd yn gadwynau am ddynoliaeth dros ganrifoedd, yn ei dal yn gaeth a thruenus mewn tywyllwch, ac yn ymroddi am ei fywyd i ddiffodd pob pelydryn o oleuni ac ysbryd diwygiadol. Gelyn penaf Pabyddiaeth oedd gwybodaeth; ac un o'i hymdrechion penaf hithau oedd atal ei lledaeniad. Nid gwybodaeth ysgrythyrol a duwinyddol yn unig, ond pob gwybodaeth fuddiol yr un fath. Carcharwyd Galileo ac eraill, er engraifft, am gyhoeddi eu darganfyddiadau seryddol. Ond yr ydym yn dynesu yn awr at ddydd drylliad y cadwynau, ac ymlidiad y tywyllwch—dydd bendigedig y Diwygiad Protestanaidd—dydd rhyddid meddwl, tafod, ac ysgrifell, ac y caiff cenedloedd oesoedd dyfodol hyd ddiwedd y byd brofi o'i fendithion.

## VIII.—LLYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

Yr ydym bellach wedi dwyn yr hanes yn mlaen hyd ddiwedd teulu Plantagenet; "hiliogaeth o dywysogion na ragorwyd arnynt mewn yni meddyliol gan unrhyw linach o benaduriaid." Gyda hwy collodd y trefniant gwriogaethol a Phabaidd eu grym yn y wlad hon, ac y mae y cyfnod sydd yn canlyn yn gyfnod o draws-symudiad i gyflwr newydd. Rhyw fath o unbenaeth, a'i hawdurdod yn cael ei chyfyngu gan lais y bobl, yw llywodraeth Lloegr o'r dechreu. Y mae llawer o'r cyfnod dan sylw wedi ei dreulio mewn ymdrechion, o du y brenin i eangu ei awdurdod; ac o du y bobl i'w gyfyngu. Eto mae y cyfansoddiad yn cadw ei brif nodweddion yn eglur. "Mae cyfansoddiad presenol y wlad," meddai Macauley, "i'r hyn oedd ei chyfansoddiad bum can' mlynedd yn ol, yr hyn yw y pren i'r planhigyn, yr hyn yw y dyn i'r plentyn. Mae y cyfnewidiad yn fawr. Eto ni fu moment nad oedd y prif bethau oedd yn y cyfansoddiad a fodolai yn hen. * * * Mae cymdeithasau eraill yn meddu cyfansoddiadau ysgrifenedig mwy trefnus. Ond nid oes un gymdeithas arall eto wedi llwyddo i uno chwyldroad gyda hyfforddiad, cynydd gyda sefydlogrwydd, yni ieuenctyd gyda mawrhydi hynafiaeth cyn cof."

Wrth edrych yn ol o amser esgyniad Henry IV. dros ystod teyrnasiad Richard II., gwelir fod awdurdod gyfansoddiadol Tŷ y Cyffredin wedi cynyddu yn fawr mewn dwy flynedd ar ugain. Yr

oedd hawlfreintiau y brenin yn helaeth, mae yn wir. Yr oedd ei ddyrchafiad i'r orsedd trwy eneiniad ag olew cysegredig gan y prif esgob yn rhoi mawredd arno. Ganddo ef yn unig yr oedd awdurdod i alw y senedd yn nghyd: gallasai ei thori i fyny wrth ei ewyllys; ac yr oedd ei gydsyniad yn angenrheidiol i basio pob cyfraith. Efe oedd pen y weinyddiaeth weithredol; efe oedd yn dwyn yn mlaen bob cymundeb â galluoedd tramor, yn ben cadben y galluoedd milwrol, ac yn ffynonell cyfiawnder, trugaredd, a bri. Yr oedd ei gyfoeth a'i feddianau yn fawr; a'i ddylanwad yn eang ar fasnach y wlad yn gystal ag ar y trigolion. Ond yr oedd y gallu yma yn cael ei gyfyngu gan y tair egwyddor gyfansoddiadol, y rhai ydynt mor hen, fel nas gall neb ddyweyd pa bryd y dechreuasant; ac mor nerthol, fel y gwnaeth eu dadblygiad naturiol, wedi parhau am gynifer o genedlaethau, gynyrchu y trefniant ag yr ydym ni yn awr yn byw dano.* Yr egwyddorion hyn oeddent,—nas gallasai y brenin basio cyfraith heb gydsyniad y senedd—nas gallasai godi treth heb gydsyniad ei senedd—a bod gan y senedd awdurdod i'w alw i gyfrif pan wrthodai weinyddu y cyfreithiau. Cyn diwedd y cyfnod hwn yr oedd y gyntaf a'r ail wedi eu caniatau, a'r drydedd wedi ei chadarnhau gan arferiad. "Yr oedd Tŷ y Cyffredin," meddai Hallam, "wedi mynu dau beiriant newydd ychwanegol o effeithiolrwydd aruthrol—yr hawl i lywodraethu cymhwysiad arian cynorthwyol i'r brenin, a galw am y cyfrifon ger eu bron—a hawl i alw gweinidogion y brenin i gyfrif am gam-ymddygiadau. Tyfodd y planhigyn rhyddid gwrol hwn fwyfwy dan deyrnasiad y tri brenin Lancasteraidd (Henry IV., V., VI.), a sugnodd gymaint o rym a chynaliaeth o galon haelfrydig Lloegr, fel, mewn amser dyfodol, er i'w dyfiant gael ei arafu gan rwystrau, y methodd gwyntoedd gallu traws-arglwyddol ei dori, na malldod barn wasaidd beri iddo wywo."

Ni oddef ein terfynau i ni nodi y cyfreithiau daionus a basiwyd yn y cyfnod hwn; cawn amryw o honynt dan benaduriaid Lancaster, ac yn enwedig ar ddechreuad teyrnasiad Richard III., y rhai ydynt oll yn brofion o gynydd graddol y gyfundrefn lywodraethol a gwareiddiad. Yr oedd sefyllfa pendefigion Lloegr hefyd, ar un olwg, yn fanteisiol i'r bobl gyffredin, ac i egwyddorion rhyddid. Yr oedd eu tiriogaethau a'u meddianau yn wasgaredig dros y wlad, fel nad oedd modd iddynt wrthsefyll y brenin heb uno â'u gilydd. Yr oedd nerth pob pendefig eilwaith yn dybynu ar nifer ei ddwylaw, y rhai oeddent bobl gyffredin. Felly yr oedd mantais y pendefig a'r dyn cyffredin yn gymhlethedig.

Peth fu yn foddion i gynyrchu cyfnewidiad pwysig yn sefyllfa cymdeithas oedd gwanychiad neu ddystrywiad holl deuluoedd cryf-

* Macauley.

ion y gyfundrefn wriogaethol; fel rhaglaw na cheir neb, fel de Montfort neu Hotspur, yn beiddio holl nerth y goron mewn rhyfel agored. Ond daw canlyniadau pwysig y cyfnewidiadau hyn dan sylw yn mhellach yn mlaen.

Gwelwn hefyd fod caethwasiaeth, a'r holl ddrygau cysylltiedig ag ef, yn prysur ddiflanu, ac yn marw o hono ei hun, heb na chyfraith na gorchymyn yn ei wahardd. "Mae yn hynod," meddai Macauley, "fod y ddau chwyldroad cymdeithasol mwyaf dymunol a gymerasant le yn Lloegr—y chwyldroad hwnw yn y drydedd ganrif ar ddeg, a roddodd derfyn ar ormes un genedl ar y llall, a'r chwyldroad hwnw, ychydig genedlaethau yn ddiweddarach, a roddodd derfyn ar eiddo un dyn yn y llall, wedi eu dwyn oddiamgylch yn ddystaw ac annghanfyddadwy. Ni tharawsant gydoeswyr â syndod, ac ni chawsant fawr o le yn ysgrifau haneswyr. Ni ddygwyd hwy oddiamgylch gan drefniadau cyfreithiol, na chan nerth anianyddol. Dilewyd y gwahaniaeth rhwng Normaniad a Sais yn gyntaf, ac yna rhwng meistr a chaethwas, gan achosion moesol digynhwrf. Nis gall neb nodi yr amser penodol y darfu y naill na'r llall. Mae yn bosibl y gellid cael olion gweiniaid o'r hen deimlad Normanaidd yn mhell yn y bedwaredd ganrif ar ddeg. Cafwyd rhai olion aneglur o sefydliad caethwasiaeth (*villenage*) gan y craffus mor ddiweddar a dyddiau y Stuartiaid; nid yw y sefydliad hwnw hyd yr awr hon wedi ei ddyddimu trwy gyfraith."

## IX.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Cyn croesi y linell sydd rhwng cyfnod tywyll a therfysglyd y canol oesau a'r cyfnod newydd o wareiddiad sydd yn ei ganlyn, yr hwn sydd yn dechreu dan deyrnasiad Henry VII., nodwn rai pethau mwy neu lai pwysig ydynt yn perthyn i'r blaenaf. Un o brif ddygwyddiadau y cyfnod dan sylw yw dyfais ardderchog yr argraffwasg. Mae Haerlem yn Holland, a Mayence a Strasburg yn Germany, yn ymryson am yr anrhydedd o roddi bodolaeth i'r gelfyddyd. Hòna Holland mai un Coster o Haerlem yw tad y gelfyddyd. Ond cytuna y Germaniaid mai un Gutenburg yw tad y ddyfais o argraffu gyda llythyrenau gwahanol a symudol, ac iddo gael ei gynorthwyo i'w chario allan gan John Faustus; ac mai Schoeffer yw awdwr y ddyfais o fwrw (*cast*) llythyrenau metel. Y llyfr cyntaf a argraffwyd gan Faustus oedd y Bibl. Pan welodd y Ffrancod y Bibl argraffedig a'i holl lythyrenau mor unffurf, llinellau cochion o amgylch y tudalenau, ac yn cael ei werthu am haner y pris arferol, cyhuddasant Faustus o fod mewn cyngrair a'r ysbryd drwg, a thaflasant ef i garchar. Bu y gelfyddyd mewn arferiad yn Germany am tua deng mlynedd ar ugain cyn dyfod i Ffrainc na

Lloegr. Y gwr anfarwolodd ei enw trwy ddwyn y gelfyddyd drosodd i'r wlad hon oedd William Caxton, brodor o Kent. Masnachwr cyfoethog ydoedd, a threuliodd flynyddoedd ar y Cyfandir, yn dysgu y gelfyddyd. Argraffodd lyfrau yn Lladin, Ffrancaeg, a Saesneg cyn dyfod i'r wlad hon. O'r diwedd symudodd i Loegr, gosododd argraffwasg i fyny yn Westminster, a'r llyfr cyntaf a argraffwyd yn Lloegr oedd "*The Game and Playe of the Chesse*," yr hwn a orphenwyd ar yr olaf o Fawrth, 1474. Yn mhen tair blynedd cyhoeddodd Caxton argraffiad o "Ddoethineb y Philosophyddion, &c.," wedi ei gyfieithu o'r Ffrancaeg gan y dysgedig a'r enwog Anthony Woodville, Iarll Rivers, brawd yn nghyfraith Edward IV., dan addysg yr hwn yr oedd y tywysog ieuanc Edward V. ar y pryd. Dywedwyd eisoes am y modd creulon y torwyd pen Woodville gan Duc Gloucester, wedi hyny Richard III.* Bu Caxton farw cyn diwedd y bymthegfed ganrif; ond yr oedd amryw eraill wedi dechreu argraffu yn Llundain a Rhydychain cyn ei farwolaeth. Cyhoeddodd Caxton tua 60 o lyfrau gwahanol, a'r rhan fwyaf o honynt wedi eu hysgrifenu neu eu cyfieithu ganddo ef ei hun. Yr oedd y llyfrau hyn yn cynwys pob amrywiaeth llenyddol i'r darllenydd cyffredin; megys pregethau, ffug-hanesion, hanesyddiaeth, a barddoniaeth. Cyhoeddodd ddau argraffiad o "*Canterbury Tales*" Chaucer.

Nid oes un llyfr gwyddonol gwerth ei goffa wedi ei gynyrchu yn y cyfnod hwn, ac nid yw yr awdwyr, er eu bod yn lliosog iawn, yn deilwng o'u rhesu gydag awdwyr goreu amseroedd blaenorol. Mae enw Humphrey, Duc Gloucester, yn enwog fel cefnogwr brwd i lenyddiaeth, ac fel sefydlydd llyfrgell prifysgol Rhydychain. Tiptoft hefyd, Iarll Worcester, ydoedd bendefig arall cyffelyb, yr hwn y torodd Warwick ei ben am ymuno â theulu York yn Rhyfeloedd y Rhosynau. Dywedodd Fuller "i'r fwyall y pryd hwnw dori ymaith ag un ergyd fwy o ddysgeidiaeth nag a adawyd yn mhenau yr holl bendefigion oeddent ar ol." Mae Thomas Walsingham, mynach o St. Alban, yn un o'r prif haneswyr Lladinaidd, yr hwn a ddygodd yn mlaen hanes Lloegr o'r fan y gadawyd ef gan Matthew Paris hyd ddechreu teyrnasiad Henry VI., ac a ysgrifenodd hefyd hanes Normandy. Robert Fabyan oedd hanesydd Seisnig hefyd o gryn fri. Y prif feirdd oeddent Thomas Occleve, John Lydgate, a James I., o Ysgotland. Ystyrir "*King's Quair*" yr olaf y cyfansoddiad barddonol goreu yn y bymthegfed ganrif.

Llenyddiaeth Gymreig y Cyfnod. Nis gallwn gau y cyfnod hwn i fyny heb gyfeirio y darllenydd eto at lenyddiaeth Gymreig, fel rhan bwysig yn hanesiaeth yr ynys. Dywed Mr. Stephens am weithiau barddonol y Cymry o flaen y bymthegfed ganrif, "fod eu gwerth

* Gwel tu dalen 168, 169.

hanesyddol yn deilwng o sylw arbenig. Taflant oleuni nid yn unig ar lenyddiaeth Gymreig, ond hefyd ar hanesyddiaeth Seisnig: ac nis gall lai na bod yn ddyddorol i Saeson diragfarn i wybod y farn a goleddid am eu cydwladwyr y pryd hwn gan eu gwrthwynebwyr mwy gwareiddiedig. Mae rhyfeloedd y breninoedd Seisnig yn erbyn y Cymry yn ffurfio rhan bwysig o hanesiaeth Seisnig, er yr addefir ei bod yn anmherffaith; a rhaid iddi barhau felly hyd nes y delo dysgawdwyr Seisnig yn gyfarwydd â'n llenyddiaeth, neu i ryw Gymro gyflenwi y diffyg o ystorfeydd cyfoethog barddoniaeth Gymreig; oblegyd y mae yr ysgrifeniadau barddonol yn taflu diluw o oleuni o'r mwyaf ffyddlon, a theilwng o ymddiried, ar hanesiaeth gyfoesol. Mae Mr. Turner yn addef yn rhydd werth barddoniaeth foreuol Taliesyn, Aneurin, a Llywarch i egluro a chyflawni hanes yr *Anglo-Saxons.* Mae y beirdd yma yn arwain y darllenydd i wlad newydd, at feddyliau newydd, arferion newydd, ac at bobl newydd. Cofnodant frwydrau nad oes unrhyw hanes arall am danynt, a desgrifiant gyda ffyddlondeb tarawiadol ymosodiadau na chlywodd darllenydd Seisnig erioed son am danynt: a pha fodd y gall darllen gweithiau yr unig bobl lenyddol a fodolent y pryd hwnw lai na bod yn ddyddorol ac addysgiadol? * * * * Mor fychan yw y lle a roddir i Owain Glyndwr gan y Saeson; ac mor ddibwys, o'i gymharu a'r pwysigrwydd y gwyddis ei fod yn haeddu! Ac mor llawn yw y manylion yn Iolo Goch a Gruffydd Llwyd. Yn ystod Rhyfeloedd y Rhosynau, yr oedd Cymru yn gyson yn faes ymgyrchiadau, dichellion, ac ystrywiau; a thra mae y Saeson mor ddiffygiol yn ei hanes, mae gan y Cymry drysorfa o hanesiaeth fywiog, wirioneddol, a chydoesol yn ngweithiau Lewis Glyn Cothi, Tudur Aled, Gutyn Owain, a'r cylch dysglaer o feirdd a flodeuasant yn ystod y cyfnod. Ac, i ddyfod yn nes i lawr fyth, pwy, ar ol darllen darluniau cyffrous Huw Morus o symudiadau, tueddiadau, a phersonau y dydd, a ystyriai yr hanes presenol o'r rhyfeloedd cartrefol yn ddim cyffelyb i hanesiaeth gyflawn?"*

Mae amrywiol ddyfeisiau a sefydliadau eraill a'u dechreuad yn codi o'r cyfnod hwn; megys y "*Post*," neu sefydliad trefniant i gludo llythyrau a newyddion o'r naill fan i'r llall. Dygwyd hyn i arferiad gyntaf yn Ffrainc gan Louis XI., oddeutu y flwyddyn 1476, ac yn Lloegr yn fuan wedi hyny gan Duc Gloucester (wedi hyny Richard III.) wrth ddwyn y rhyfeloedd Ysgotaidd yn mlaen. Cludid llythyrau y pryd hwnw, trwy newid y ceffylau bob ugain milldir, gyda'r cyflymdra o gan milldir y dydd. Ond dylid cofio nad oedd y "*post*" y pryd hwnw, yn Ffrainc na Lloegr, ond at wasanaeth y llywodraeth yn unig. Hefyd, defnyddiad pylor mewn rhyfeloedd. Ond nid oedd wedi dyfod i gymaint o arferiad eto ag

* "Stephens's Literature of the Kymry," p. 510, 511.

i droi y bwa, y bicell, a'r fwyall—hen offerynau mwy hynafol, o'r neilldu. Dyma y pryd hefyd, dan Henry VI., y dechreuodd y ddyled wladol ymffurfio, yr hon sydd erbyn hyn wedi myned yn fynydd mawr; er na bu ei chynydd ond bychan hyd amser William III. Henry IV., ar amser ei goroniad, sefydlodd yr urdd filwrol a adwaenir wrth yr enw "*Knights of the Bath*" (Marchogion y Baddon); a chawsant yr enw oddiwrth eu bod yn baddo cyn derbyn yr anrhydedd, er arwyddo fod eu meddyliau a'u bwriadau yn bur a ffyddlon tuag at eu brenin. Dyma yr amser hefyd y codwyd prif-ysgolion St. Andrews a Glasgow, yn Ysgotland, ac yr adeiladodd Syr Richard Whittington, ar ei draul ei hun, garchar Newgate, Ysbyttai Bartholomew a Christ, yn nghydag amryw elusendai. Gellir nodi hefyd, fod poblogaeth yr ynys yn cynyddu yn fawr, masnach yn y wlad ac â gwledydd eraill yn ymledu, amaethyddiaeth yn enill tir yn raddol, a chyflogau llafurwyr a chrefftwyr wedi codi yn ddirfawr.

---

## PENOD V.

### O ESGYNIAD HENRY VII. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD HENRY VIII., 1485—1547.

---

#### I.—HENRY VII., 1485—1509.

(TEULU TUDOR).

CYHOEDDWYD Iarll Richmond yn frenin, dan yr enw Henry VII., ar faes Bosworth, Awst 22ain, 1485, pan oedd yn 29ain oed. Oedwyd ei goroniad hyd Hydref 30ain, oblegyd clefyd peryglus oedd yn y brif-ddinas. Yn y cyfamser cauodd Henry ar Edward Plantagenet, Iarll Warwick, mab Duc Clarence, yn y Tŵr, a gwnaeth ei ewythr Jasper Tudor, Iarll Penfro, yn Dduc Bedford; Arglwydd Stanley yn Iarll Derby; a Syr Edward Courtney yn Iarll Devon. Nid oedd titl Henry i'r orsedd ond gwanaidd a niwlog. Y tri pheth y dadleuai drostynt oedd, ei ddisgyniad o deulu Lancaster, ei gytundeb i briodi Elisabeth, etifeddes teulu York, a hawl gorchfygiad. Ond yr oedd gwendid yn perthyn i bob un o'r dadleuon, ac yr oedd Henry ei hun mor ymwybodol o hyny a neb. Beth bynag, wedi galw senedd yn nghyd, penderfynwyd sefydlu hawl y goron yn mherson a theulu Henry; ac ar gais y brenin, cadarnhawyd ef ar ei frenin-fainc gan lythyr oddiwrth y pab, Innocent VIII. Galwyd yn ol yr holl anrhegion a roddwyd gan y goron er y 34ain flwyddyn i Henry VI., a chyhoeddwyd deddf ebargofiad yn enw y brenin ei hun, ar ran pawb oedd wedi pleidio achos Richard yn y rhyfel diweddar.

Hwyrfrydig iawn oedd Henry i briodi y dywysoges Elisabeth; ond wedi i'r ddau Dŷ osod arno yn galed, ufuddhaodd, a chymerodd y briodas le yn Ionawr, 1486. Felly cafodd Elisabeth o'r diwedd yr anrhydedd yr hir ddysgwyliodd am dano, o gael ei chydnabod yn frenines Lloegr; er i'w dyrchafiad barhau yn hir yn fwy mewn enw nag mewn gwirionedd; oblegyd parodd y brenin oedi ei choroniad am agos dwy flynedd ar ol priodi. Yr oedd Henry yn rhy hoff o awdurdod ei hun i gyfranu ond mor lleied ag y gallai i na senedd na phriod.

Wedi i Henry drefnu materion y llywodraeth, a gwobrwyo llawer o'i gefnogwyr, aeth ar daith ymweliadol trwy barthau gogleddol Lloegr. Pan ar y daith hon daeth y newydd ato fod Arglwydd Lovell a Syr Humphrey a Thomas Stafford wedi codi byddin o wrthryfelwyr yn ei erbyn. Anfonodd Henry ei ewythr, Duc Bedford, â byddin fechan i'w gwasgaru. Ffodd Lovell i Flanders cyn ymladd un frwydr, dienyddiwyd Syr Humphrey Stafford,

a rhoddwyd maddeuant i'r lleill. Yn fuan wedi hyn, cafodd Henry y newydd fod etifedd wedi ei eni iddo, yr hwn a alwyd yn Arthur, er cof am y gwron Cymreig o'r enw hwnw, yr hwn y dywedai Henry ei fod yn disgyn oddiwrtho.

Er mai cysylltiad y brenin ag etifeddes teulu York oedd yr ateg gryfaf i'w ddyrchafiad, yr oedd yn casâu yr holl deulu hwnw, ac yn gwylio pob cyfleusdra i'w darostwng, a chodi y blaid Lancasteraidd. Yr oedd Iarll ieuanc Warwick yn y Tŵr; edrychai y brenin yn eiddigus ar ei fam yn nghyfraith; a chyn hir cauodd arni yn monachlog Bermondsey; a dywedid nad oedd ei wraig yn cael y parch dyledus ganddo, er efallai ei bod yn cael cymaint o barch a allasai ei natur sychlyd ef hebgor, oblegyd nid oedd gan Henry galon i garu neb. Enynodd ymddygiad y brenin anfoddlonrwydd yn meddyliau llawer, ac esgorodd hwnw yn fuan ar ymgais arall i'w ddisodli. Yr oedd offeiriad cyfrwys ac anturiaethus yn Rhydychain o'r enw Simon, a chanddo lanc ieuanc tua 15eg oed dan ei ofal, o'r enw Lambert Simnell; mab i bobwr o'r dref oedd Lambert, ac yr oedd yn nodedig am ei brydferthwch a'i foesgarwch. Rhoddwyd y gair allan y pryd hwnw fod Richard, Duc York, ail fab Edward IV., wedi dianc yn ddirgelaidd o'r Tŵr er ysgoi creulondeb ei ewythr, a'i fod yn ymguddio yn rhyw le yn Lloegr. Cymerodd Simon y fantais ar y sî hon, a gosododd ar y llanc Lambert i gymeryd arno enw y tywysog hwnw. Ar y pryd aeth y gair ar led fod Iarll Warwick wedi dianc o'r Tŵr, a pharodd hyn i Simon newid ei gynllun, a dodi ei lanc i gymeryd enw y pendefig hwnw. Oblegyd fod enw Warwick yn uchel yn Iwerddon, am fod ei dad, Duc Clarence, wedi bod mewn bri mawr yno fel rhaglaw, penderfynwyd fyned drosodd i roddi y cynllun mewn gweithrediad. Glaniodd Simon a'r llanc, dan enw Iarll Warwick, yn Dublin. Cymerodd Iarll Kildare, yr arglwydd rhaglaw, ei achos i fyny yn selog; a dylynwyd ei esiampl gan bendefigion eraill, a chan y bobl. Cymerodd Iarll Lincoln hefyd, yr hwn a enwodd Richard yn etifedd y goron, blaid y gwrthryfel; ac anfonodd Margaret, duces waddolog Burgundy, ddwy fil o Germaniaid, dan arweiniad Arglwydd Lovell a phenaethiaid eraill, i gynorthwyo yn nadymchweliad Henry. Glaniwyd yn Dublin; coronwyd y twyllwr ieuanc wrth orchymyn Lincoln (Mai, 1487), dan yr enw Edward VI., a dygwyd ef ar ysgwyddau gwr nerthol o Sais o'r eglwys gadeiriol i'r castell. Galwyd senedd yn nghyd, a phenderfynwyd gwneyd ymosodiad dioed ar Loegr. Daethant drosodd, a glaniasant yn Swydd Lancaster. Casglodd Henry fyddin yn Kenilworth i'w gwrthsefyll. Arweinid y gwrthryfelwyr gan Lincoln. Ymladdwyd brwydr yn Stoke, ger Newark, yn yr hon y dinystriwyd y gwrthryfelwyr, ac y gadawyd eu haner yn feirw ar y maes. Yr oedd Lincoln, Kildare,

a'r prif arweinyddion eraill yn mysg y lladdedigion. Ffodd Lovell, ac ni chlywyd am dano mwy; ond bernid mai ei ysgerbwd ef a gafwyd, yn mhen tua dau can mlynedd, yn naeargell ei dŷ ei hun. Cymerwyd Simon a Lambert yn garcharorion. Wedi i Simon gyfaddef yr holl dwyll, taflwyd ef i garchar, lle y bu farw. Gwnaed Lambert yn was bach yn nghegin y brenin, a dyrchafwyd ef wedi hyny yn hebogydd. Aeth y brenin eilwaith ar daith trwy y parthau gogleddol, gan gospi cefnogwyr y gwrthryfel. Pan ddychwelodd i Lundain parodd i'r frenines gael ei choroni, yr hyn a roddodd foddlonrwydd cyffredinol.

Bellach cafodd Henry hamdden i feddwl am ei gysylltiadau tramor. Wedi cytuno ar heddwch â'i gymydog o Ysgotland, trodd ei lygad i'r Cyfandir. Yr oedd Ffrainc erbyn hyn wedi uno yr holl daleithiau yn y wlad hono â'i choron, ar amodau penodol, oddigerth Llydaw, yr hon oedd yn parhau yn annibynol; ond yr oedd yn gwylio y cyfleusdra i gymeryd meddiant o hono hefyd. Torodd ymrafael allan rhwng Duc Llydaw a brenin Ffrainc, ac apeliodd y ddau at Henry. Ond cyn terfynu yr ymryson bu y duc farw, gan adael y dduciaeth i Anne, ei unig ferch. Wedi gorchfygu llawer o anhawsderau, llwyddodd brenin Ffrainc (Charles VIII.) i briodi y dduces, ac felly daeth Llydaw eilwaith i'w feddiant. Cymerodd Henry arno ddigio yn fawr wrth frenin Ffrainc am y llwybr a gymerodd i briodi y dduces; galwodd ei senedd yn nghyd, dangosai ei hun yn llawn ysbryd myned i ryfel yn erbyn Charles, a pharodd iddynt ganiatau swm o arian iddo er dwyn y rhyfel yn mlaen. Ond nid oedd y cwbl ond ffug er mwyn cael arian, a gwyddai y ddau esgob, Morton a Fox, ac ychydig eraill, nad oedd un bwriad gan Henry i fyned i ryfel o gwbl. Ar ol gadael tymhor yr haf i fyned heibio, arweiniodd fyddin fawr drosodd yn nechreu y gauaf; ond yr oedd cytundeb heddwch wedi ei wneyd yn ddirgel dri mis cyn hyny; ac wedi ffug warchae ar Boulogne am fis, dychwelodd Henry a'i wŷr, gan gyhoeddi fod heddwch wedi ei sefydlu, a bod brenin Ffrainc i dalu swm mawr o arian. Cynghorwyr Henry, wedi cael eu gwobrwyo gan Charles, a ganmolasant ymddygiad eu brenin; ond yr oedd llawer o'r pendefigion oeddent wedi cael eu trethu yn drwm i ddwyn y rhyfel yn mlaen, yn anfoddlon, ac yn dyweyd yn agored nad oedd y brenin yn prisio dim am ddiblufio ei bendefigion a'i bobl er mwyn plufio ei hun.

Yn yr un flwyddyn (1492) glaniodd llong o Portugal yn Cork, Iwerddon, yn dwyn ar ei bwrdd wr ieuanc moesgar, oddeutu ugain oed. Dywedai mai efe oedd Richard, Duc York, ail fab Edward IV., ac iddo ddianc o'r Tŵr i ysgoi ei lofruddiad gan ei ewythr. Yn gwbl ddiystyr o dynged Simnell, mab y pobwr, heidiodd y Gwyddelod ato, ac ymledodd y son am dano dros y wlad.

Gan fod y cytundeb heddwch rhwng Lloegr a Ffrainc eto heb ei wneyd, a Henry yn bygwth ymosodiad, gwelodd Charles y gallasai wneyd defnydd da o'r gwr hwn, pwy bynag ydoedd; gyrodd am dano, a derbyniodd ef fel gwir etifedd coron Lloegr. Daeth llawer o alltudedigion Seisnig ato i Paris i gynyg eu gwasanaeth iddo. Ond pan wnaed heddwch â Lloegr, gyrodd Charles ef allan o'i diriogaethau. Derbyniwyd ef yn serchog gan Margaret o Burgundy, yr hon a'i galwai yn Rhosyn Gwyn Lloegr, a rhoddodd warchodlu i amddiffyn ei berson. Anfonodd Yorkiaid Lloegr genadwr—Syr Robert Clifford—drosodd i gael sicrwydd yn ei gylch, a chawsant atebiad cadarnhaol. Dywed Bacon i'r newydd ddyfod drosodd i Loegr yn fflamiau a tharanau, fod Duc York yn sicr yn fyw. Anfonodd y brenin yntau genadon i ymholi, a chawsant mai un Perkin Warbeck ydoedd, mab Iuddew dychweledig o Tournay. Bu y teulu yn byw yn y wlad hon, ac yr oeddent yn adnabyddus ag Edward IV.; a myn rhai briodoli y tebygolrwydd oedd rhwng Warbeck a'r tywysog y cymerai ei enw arno, i gymundeb godinebus rhwng Edward a mam Warbeck. Mynai Henry i'r archdduc Philip o Burgundy roddi Warbeck i fyny, neu ei alltudio; ond atebodd hwnw nad oedd yn iawn iddo ef ymyryd â'r dduces yn ei hetifeddiaeth waddolog. I ddial arno am hyn, symudodd Henry farchnad Seisnig brethynau o Antwerp, a gwaharddodd bob cymundeb rhwng y ddwy wlad.

Wedi i'r brenin gael amser i feddwl, dyfeisiodd ffordd i roddi y gwrthryfel hwn i lawr heb fyned i ryfel. Llwgr-wobrwyodd Clifford a'i gyfaill Baily am ddatguddio enwau y personau yn y wlad hon a deimlent o blaid Warbeck. Cymerwyd nifer mawr o enwogion llen a lleyg i fyny, condemniwyd hwynt; dienyddiwyd rhai, a gollyngwyd eraill yn rhydd. Yn mysg eraill cyhuddodd Clifford yr arglwydd ganghellydd, Syr William Stanley, o fod yn gefnogydd i Warbeck. Cyffesodd Stanley y cyhuddiad mor bell ag iddo ddyweyd, "Pe bawn yn sicr mai mab Edward yw y gwr ieuanc, ni ddygwn arf byth yn ei erbyn." Cafwyd fod hyn yn ddigon o sail i'w gondemnio. Eto, gan fod Henry mor ddyledus i deulu Stanley, dysgwylid y buasai yn cael maddeuant. Syr William ddaeth yn mlaen, ac a achubodd fywyd y brenin ar faes Bosworth, a'i frawd Arglwydd Stanley osododd y goron waedlyd ar ei ben. Ond yr oedd un peth yn rhwystr anorfod i Henry ddangos trugaredd yn yr amgylchiad hwn; yr oedd Stanley "yn berchen da lawer," y rhai a ddylifent i goffrau y brenin; felly torwyd ei ben.

Wedi i Warbeck fod yn Burgundy am rai blynyddoedd, a pheri i'r wlad hono ddyoddef colledion o'i herwydd, aeth y bobl i rwgnach, a daeth yntau drosodd gyda byddin fechan i Loegr. Amcanodd lanio yn Deal, ond gyrwyd ef yn ol, a chymerwyd tua chant a

haner o'i wŷr yn garcharorion, a chrogwyd hwynt oll. Dychweldodd i Flanders; ond yr oedd cytundeb masnachol wedi ei wneyd rhwng Lloegr a'r wlad hono erbyn hyn, ac ni chai dderbyniad. Yr oedd Henry wedi sicrhau ffyddlondeb y Gwyddelod hefyd, fel na chai roesaw yn Iwerddon. Ond cafodd dderbyniad croesawgar yn Ysgotland, a rhoddodd y brenin James IV. yr arglwyddes Catharine Gordon, merch Iarll Huntley, a pherthynas agos iddo ei hun, yn wraig iddo. Wedi hyny ymunodd James ac yntau i ymosod ar barthau gogleddol Lloegr. Cymerodd Henry y fantais ar yr amgylchiad hwn i alw y senedd yn nghyd, ac i osod treth ar y bobl i'w gynorthwyo i fyned yn erbyn Warbeck a James. Cododd pobl Cornwall yn erbyn y dreth, dan arweiniad dynion cyffredin o'r enw Flammoc a Joseph, a daeth un fil ar bymtheg o honynt tua Llundain i geisio gan y brenin ddiswyddo yr archesgob, Morton, a Syr Reginald Grey, y rhai a ystyrient hwy yn gynllunwyr y dreth. Ar y ffordd cyfarfuasant ag Arglwydd Audley, a chymerodd hwnw eu llywyddiaeth. Daeth y brenin â byddin i'w cyfarfod, ac ymladdwyd brwydr waedlyd yn Blackheath, Mehefin 22ain, 1497. Lladdwyd tua dwy fil o'r terfysgwyr, a chymerwyd pymtheg cant yn garcharorion. Torwyd pen Audley, crogwyd Flammoc a Joseph, a rhoddwyd maddeuant i'r lleill.

Ymadawodd Warbeck a'i wraig ac ychydig o ganlynwyr ffyddlon ag Ysgotland, a glaniasant yn Cornwall. Yno cymerodd Warbeck y titl Richard IV., Brenin Lloegr a Ffrainc, ac Arglwydd Iwerddon, a gyrodd ei wraig am ddyogelwch i Mount St. Michael. Casglodd miloedd o'r Cernywaid at ei faner, ac arweiniodd hwynt yn mlaen trwy Swydd Devon i Exeter. Methasant a chymeryd y dref, ac aethant yn eu blaen i Taunton, yn Swydd Somerset. Yno cyfarfu byddin nerthol y brenin â hwynt. Gwnaed darpariadau i ymladd. Yr oedd pobl Cornwall yn barod i ymosod, ac ymladd hyd y dyn diweddaf. Ond nid oedd Perkin Warbeck yn meddu ar y cyffelyb wroldeb. Ganol nos ffodd ef ac amryw o'i gyfeillion ymaith yn ddystaw, ac ymnoddasant yn eglwys Bewdley, yn y Fforest Newydd. Boreu dranoeth nid oedd gan fyddin Warbeck yr un blaenor, ac ymdaflasant ar drugaredd y brenin heb daro ergyd, yr hwn a grogodd y rhai blaenaf, ac a ollyngodd y lleill ymaith yn "noeth a newynllyd." Gwarchaewyd ar Warbeck yn yr eglwys yr ymnoddai. Gyrwyd cenadau i geisio ei wraig, y rhagorol Catharine Gordon, a dygwyd hi ger bron Henry. Dynes enwog am ei phrydferthwch a'i rhinweddau ydoedd. Cyffrodd ei dagrau hyny oedd o galon yn Henry, ac ymddygodd ati yn garedig. Anfonodd hi at y frenines i'r llys, a chafodd yno lety cysurus. Priododd wedi hyny â marchog Cymreig o'r enw Matthew Caradoc; ac y mae eu gwedd-

illion ill dau yn gorwedd yn hen eglwys Abertawy, lle y mae eu beddfaen a'u bedd-argraff yn ganfyddadwy hyd y dydd hwn.*

Arweiniwyd Warbeck i Lundain, ac wedi iddo gyffesu ei hanes gollyngwyd ef yn rhydd, ar yr amod nad oedd i adael y ddinas. Blinodd ar ei gaethiwed, ac yn mhen chwech mis ffodd, gan feddwl croesi i'r Cyfandir. Ond daliwyd ef yn Shene; rhoddwyd ef mewn cyffion am ddeuddydd yn Westminster a Cheapside, a gwnaed iddo ddarllen ei gyffes yn gyhoeddus. Yna taflwyd ef i'r Tŵr. Yno llwyddodd i agor cymundeb â Iarll Warwick, yr hwn oedd yn garcharor yn y Tŵr er yn blentyn. Dywedir iddo ef a Warwick gytuno â'r gweision i ladd y ceidwad, a dianc. Beth bynag, dygwyd cyhuddiad o'r fath yn eu herbyn, a chrogwyd Warbeck yn Tyburn, a thorwyd pen Warwick ar *Tower Hill.* Dywed rhai mai dyfais o eiddo y brenin oedd hon, er mwyn cael gwared o Warwick, am fod Ferdinand, brenin Aragon, yn gwrthod ei ferch i fab Henry tra fyddai Iarll Warwick yn fyw.

Yr oedd gorsedd Henry bellach wedi ei sefydlu. Rhoddwyd terfyn ar y gelyniaeth rhwng Lloegr ac Ysgotland trwy briodas Margaret, merch hynaf Henry, â James. Pan ddywedodd un o gynghorwyr Henry, ar ol y briodas hon, ei fod yn ofni, os pallai y linach wrywaidd, y gallai Lloegr syrthio i frenin Ysgotland, atebodd Henry, "Os bydd hyny, ni fydd Ysgotland ond ychwanegiad at Loegr, oblegyd fe dŷn y mwyaf y lleiaf ato ei hun." Yn hyn cyflawnwyd ei brophwydoliaeth.

Yr oedd y tywysog Arthur wedi priodi â Catharine o Aragon, merch brenin Spain (1501), pan nad oedd ond pymtheg oed. Gwnaed gwleddoedd rhagorol ar yr achlysur, a phenodwyd Ludlow ar gyffiniau Cymru yn lle preswylfod y pâr ieuanc. Ond ni fu eu cysylltiad priodasol ond byr. Bu Arthur farw ddechreu y flwyddyn ganlynol, er galar ei rieni a'i wlad. Wedi gweled nad oedd ffrwyth i'r briodas hon, mynodd Henry, o anfodd y llanc, wneyd cytundeb priodas rhwng Henry, ei ail fab (Henry VIII. wedi hyny, yr hwn nad oedd yn awr ond deuddeg oed), a Catharine, gweddw ei frawd. Er fod hyn yn groes i'r gyfraith, ac yn groes i deimladau ei gynghorwyr, cafodd gan y pab i gyfreithloni y briodas. Y rheswm fod Henry mor dŷn dros y cysylltiad oedd, fod triugain mil o bunau o waddol gan Catharine. Yn mhen blwyddyn claddodd Henry ei briod, yr hon a fu farw ar enedigaeth plentyn, ac ni fu y baban fyw ond ychydig ar ei hol.

Yr oedd holl diriogaethau Henry yn awr yn heddychlon, ac ymollyngodd yntau gyda ffrwd ei nwyd lywodraethol, i bentyru cyfoeth. Fel yr oedd yn cynyddu mewn dyddiau, yr oedd ei wanc am arian yn cynyddu hefyd; ac ychydig a brisiai pa lwybr a gymerai i'w

*Knight, Keightly.

casglu. Yr oedd ganddo ddau offeryn cymhwys at ei wasanaeth, Empson a Dudley, cyfreithwyr, y rhai a daflent bobl i garchar, ac a'u dirwyent o symiau mawrion, heb un rhith o sail. Ac amddiffynai y brenin bob ysgelerderau o'r eiddynt i'r pwrpas hwn. Gorfyddai ei senedd i dalu symiau o arian iddo, heb fod ganddo ryfel nac anturiaeth o fath yn y byd ar droed yn esgus dros hyny. Dywedir fod ganddo y swm anferthol o agos tair miliwn o bunau o'n harian ni (gesyd rhai y swm yn llawer mwy) wrth law yn arian sychion. Yr oedd mewn ymchwil am wraig, ond methai daro ar un ddigon cyfoethog.

Yn 1505, gwnaed y tywysog Henry yn farchog, a rhoddwyd deng mil ar ugain o bunau iddo gan y senedd. Dechreu y flwyddyn ganlynol, pan oedd yr archdduc Philip a Joana ei wraig ar fordaith i Spain, gyrwyd hwy gan dymhestl ar draeth Lloegr. Talasant ymweliad â Henry yn Windsor, lle yr arosasant am dri mis, a chadarnhasant gytundeb heddwch a masnach rhwng eu tiriogaethau. Ond cymerodd Henry fantais ar yr amgylchiad i gyrhaedd amcan arall. Yr oedd Edmund de la Pole, Iarll Suffolk, yr hwn a alltudiwyd o Loegr, yn cael ei noddi gan Philip. Disgynydd o deulu York oedd Suffolk, ac yr oedd y brenin wedi cael allan ei fod yn cydfwriadu drwg eto, a'i fod mewn cymundeb ag amryw yn Lloegr. Oblegyd cefnogi yr Iarll y condemniwyd Tyrrel, llofrudd y ddau dywysog, plant Edward IV., a chyfaddefodd yr holl hanes cyn cael tori ei ben ymaith. Cafodd Henry fantais bellach i gael de la Pole i'w law, a theimlai y buasai ei anadl yn cerdded yn llawer esmwythach wedi hyny. "Syr," ebai Henry wrth Philip, "yr ydych chwi wedi eich arbed ar fy nhraeth i, gobeithio na oddefwch i mi gael fy ninystrio ar eich traeth chwi." Wedi iddo egluro ei feddwl, dywedodd yn mhellach ei fod am iddo draddodi Iarll Suffolk i'w law. "Ni fyddai hyny yn gydweddol â'm hanrhydedd i," ebai Philip, "a llai a'ch anrhydedd chwi; oblegyd meddylid wrth hyny eich bod yn fy nhrin fel carcharor." "Os felly," ebe Henry, "dyna y pwnc ar ben; cymeraf fi y dianrhydedd, a chewch chwi gadw eich anrhydedd." Wedi i'r brenin roddi ei air y buasai yn arbed ei fywyd, gyrodd Philip am yr iarll, yr hwn a ddaeth drosodd, a rhoddodd Henry lety dyogel iddo yn y Tŵr. Ac er i'r brenin gadw ei air i beidio ei ladd, un o'r gorchymynion diweddaf wrth farw a roddodd i'w fab oedd llofruddio yr iarll anffodus, a chyflawnwyd ei ddymuniad.

Tua dwy flynedd ar ol hyn, pan oedd y brenin yn brysur yn ceisio gwneyd cytundeb priodas ag un o ferched Ferdinand o Spain, ac wedi dirdynu mwy o arian gwaddol gyda Catharine ar gyfer priodi â'i fab Henry, cymerwyd ef yn glaf. Yr oedd yn cael ei flino gan y darfodedigaeth a'r gymalwst, a bu farw yn Richmond, Ebrill 21ain,

1509, yn y 24ain flwyddyn o'i deyrnasiad, ac yn y 53ain o'i oedran; a chladdwyd ef yn y capel prydferth adeiladodd, ac a elwir ar ei enw, yn monachlog Westminster. Yr oedd y rhagolwg ar farw yn ddychrynllyd iddo; a cheisiodd wneyd iawn am ei annghyfiawnder. Gorchymynodd ryddhau yr holl garcharorion am ddyled, adferu meddianau treisiedig, adeiladu tai i ddybenion crefyddol, a rhoddi elusen i'r tlodion.

Ar y cyfan, effeithiodd teyrnasiad Henry yn dda ar y wlad. Meddai ar lawer o gymhwysderau llywodraethwr. Yr oedd ynddo lawer o wroldeb, ond yr oedd yn caru heddwch yn fwy na rhyfel. Yr oedd yn llawn cyfrwysdra, ac yn gallu cadw ei gyfrinach ei hun. Medrai adgyweirio ei gamsyniadau yn well na'u rhagflaenu. Talai y sylw manylaf i amgylchiadau ei lywodraeth, ac yr oedd ei lafur a'i ymroddiad yn ddiflino. Dywed ei fywgraffwyr nad oedd yn greulon naturiol. Os felly, rhaid dyweyd ei fod yn gwbl amddifad o bob peth tebyg i dynerwch a thosturi. Cyflawnai y gweithredoedd mwyaf ysgeler er mwyn cyrhaedd ei amcanion. Ond ariangarwch oedd ei nwyd lywodraethol. Yr oedd ei wanc am gyfoeth yn ddiderfyn; ac y mae "yn un esiampl hynod o ddyn mewn sefyllfa uchel, a thalentau at achosion pwysig, a'i gybydd-dod yn gorbwyso ei uchelgais." Ni ddangosodd yr un brenin oddiar gyhoeddiad y Freinlen Fawr y fath ormes unbenaethol a Henry VII. Ychydig a brisiai am gydweithrediad ei senedd, oddigerth i osod trethi i lanw ei goffrau ef. Yr oedd llawer o bethau yn rhoddi cyfrif am oddefgarwch y bobl: daeth i'r orsedd ar ol y fath gyfres o ryfeloedd gwaedlyd; yr oedd pendefigion galluocaf y wlad wedi syrthio yn y rhyfeloedd hyny; ac yr oedd yn well gan y lliaws oddef llawer o gamwri na dechreu terfysgoedd cartrefol drachefn. Y pethau hyn mewn rhan barodd iddo gael ei oddef i wneyd llawer o bethau na oddefasid mewn breninoedd blaenorol, ac a wnaeth ei deyrnasiad yn gyfnod yn hanesiaeth y wlad.

Yn amser teyrnasiad Henry VII. (Awst 2, 1492), yr hwyliodd Columbus allan o Spain yn ei ymchwil am America. Yr oedd Henry ar fedr cynorthwyo Columbus yn ei anturiaeth, a phan na chafodd y cyfleusdra, anfonodd allan un Sebastian Cabot, brodor o Venice, yr hwn oedd yn byw yn Bristol, i chwilio am wledydd newyddion. Darganfyddodd Cabot Ogledd America o Labrador i gulfor Florida. Cafodd yr enw oddiwrth un Americanus Vespatius, brodor o Florence yn Itali, yr hwn a fu yn morio gyda glanau y wlad yn fuan ar ol ei darganfod. Ychydig flynyddoedd wedi hyn y darganfyddwyd *Cape of Good Hope* (Penrhyn Gobaith Da) gan Vasquez de Gama, o Portugal, ac yr agorwyd y ffordd i'r India.

## II.—HENRY VIII., 1509—1547.

YSTYRIR teyrnasiad Henry VIII. y cyfnod pwysicaf ar lawer cyfrif yn hanes y wlad hon. Derbyniwyd y newydd am farwolaeth y brenin trachwantus, Henry VII., gyda llawenydd, a thranoeth cyhoeddwyd ei fab, Henry VIII., yn frenin, yr hwn oedd yn awr yn ddeunaw oed. Dyrchafwyd y brenin ieuanc i'r orsedd gydag unfrydedd mawr, ac ymddengys mai dyma yr unig benadur a esgynodd i orsedd ei wlad gyda thitl diamheuol er amser Richard II. Meithrinid syniadau ffafriol iawn am dano yn ei berson, ei alluoedd, a'i gymeriad, gan agos bawb, yn nyddiau ei ieuenctyd. Meddai ar berson golygus, talentau, a dysg; yr oedd ynddo lawer o hoffder at lenyddiaeth, ac yr oedd yn hynod o boblogaidd.

Yn nechreu Mehefin, yn mhen tua phump wythnos wedi ei esgyniad, priododd â Catharine o Aragon, merch Ferdinand, brenin Spain, a gweddw ei frawd Arthur, yr hon oedd wyth mlwydd yn hynach nag ef. Bu cryn wrthwynebiad iddo briodi ei chwaer yn nghyfraith; ond cafodd gan y pab, Julius II., i droi pob rhwystrau oddiar y ffordd, a rhoddi sel ei awdurdod wrth y briodas. Yn fuan wedi priodi coronwyd Henry a Catharine yn Westminster. Un o'r gorchwylion cyntaf o eiddo Henry VIII. oedd cyflawni ewyllys ei dad, trwy adferu y meddianau a dreisiwyd oddiar y bobl trwy annghyfiawnder. Adnewyddodd hyn deimlad digofus y bobl at Empson a Dudley, y ddau ddyn fuont yn offerynau yn llaw y brenin i gyflawni yr ysbeiliadau. Taflwyd hwy i garchar; ond er methu cael un sail i'r cyhuddiad yn eu herbyn hwy yn bersonol, dienyddiwyd y ddau y flwyddyn ganlynol, oddiar yr esgus o'u bod wedi cynllunio yn erbyn bywyd y brenin diweddar. Gyda chyfarwyddyd ei famgu, y synwyrgall Iarlles Richmond, etholodd Henry y dynion mwyaf medrus a phrofedig i fod yn weinidogion y llywodraeth. Yn eu mysg yr oedd Warham, archesgob Canterbury, yn ganghellydd; Fox, esgob Winchester, yn ysgrifenydd; Iarll Surrey yn drysorydd; Iarll Shrewsbury, Arglwydd Herbert, Lovell a Poynings, yn llenwi swyddi eraill.

Yr oedd Lloegr yn awr mewn sefyllfa heddychol; ond yr oedd Itali yn destun ymryson rhwng penaethiaid Ewrop, ac nid hir y bu Henry cyn rhoddi ei fys yn yr achos. Cyffrodd sefyllfa annibynol a llwyddianus gweriniaeth nerthol Venice eiddigedd Julius II., yr hwn oedd yn llawn cymaint o filwr ag ydoedd o esgob. Llwyddodd i gael ymerawdwr Germany, a breninoedd Ffrainc a Spain, o'i blaid i lethu y Venetiaid. Gwnaed cyngrair i'r perwyl hwnw rhwng y penaethiaid hyn yn Cambray (1508), a chyrhaeddwyd yr amcan. Y cam nesaf o eiddo Julius oedd gyru estroniaid allan o Itali. Brenin Ffrainc oedd yr unig benadur o bwys oedd yn meddu

tiriogaethau yn y wlad hono; a dechreuodd y pab aflonydd bigo ffrae â Louis XII., a ffurfio cyngrair â'r penaethiaid eraill i'w wrthwynebu. Enillodd frenin Spain i'w bleidio, yn nghyda'i fab yn nghyfraith, Henry o Loegr. Dechreuodd Louis barotoi i wrthwynebu cynlluniau Julius; ond gyrodd Henry genad ato i'w rybuddio i beidio myned i ryfel yn erbyn y tad o Rufain. Anfonodd Henry yr ail genad i hawlio holl diriogaethau cyntefig Lloegr yn Ffrainc, yr hyn oedd yr un peth a chyhoeddiad rhyfel. Galwodd Henry ei senedd yn nghyd, a phleidleisiwyd arian iddo i ddwyn yn mlaen ryfel â Ffrainc. Gyrwyd byddin o ddeng mil o wŷr allan dan arweiniad Ardalydd Dorset, ac amryw bendefigion eraill, er ymuno â byddin gyffelyb o eiddo Ferdinand. Hudwyd Dorset gan Ferdinand i dirio yn Spain, trwy ddangos y fantais o daro ar Ffrainc o'r cyfeiriad hwnw. Ond yr oedd gan y penadur twyllodrus hwnw amcan dirgelaidd arall mewn golwg, sef darostwng teyrnas fechan Navarre, yr hon oedd yn gorwedd rhwng Spain a Ffrainc. Ac oni bai am bresenoldeb y fyddin Seisnig er rhwystro cynorthwy o Ffrainc, nis gallasai lwyddo yn ei amcan. O'r diwedd enynwyd digofaint y Saeson gan ymddygiadau twyllodrus Ferdinand, a dychwelasant i'w gwlad, wedi dyoddef yn fawr oddiwrth brinder a chlefyd. Cymerodd amryw frwydrau morwrol le yr amser hwn rhwng llyngesoedd Lloegr a Ffrainc. Dyma y pryd y syrthiodd Syr Edward Howard mewn ymosodiad ffyrnig yn mhorthladd Brest; a bu y fantais yn troi am beth amser o du Ffrainc.

Yn 1513, gorchymynodd Henry dori pen Iarll Suffolk, yr hwn oedd yn garcharor yn y Tŵr, ac arweiniodd fyddin nerthol yn ei berson ei hun drosodd i Ffrainc. Wedi bod yn ymwledda am rai wythnosau yn Calais, aeth at ei fyddin, yr hon oedd yn gwarchae dinas Terouenne. Yno ymunodd Maximilian, ymerawdwr Germany, ag ef, yr hwn oedd wedi derbyn swm mawr o arian o drysorgell Lloegr er ei gynorthwyo i godi byddin i ddyfod i Ffrainc. Wedi i'r gwarchae barhau am wythnosau, daeth byddin Ffrengig i'r golwg, ar fedr dwyn cynorthwy i'r ddinas warchaëedig. Ymladdwyd brwydr rhwng y cyngreiriaid a'r Ffrancod, yr hon a alwyd yn frwydr *Spurs (Yspardynau)*, oblegyd i'r Ffrancod wneyd mwy o ddefnydd o'u hyspardynau i ffoi, nag o'u cleddyfau i ymladd. Ffoisant mewn terfysg, a rhoddwyd y ddinas i fyny i'r gorchfygwyr. Gwarchaewyd eilwaith ar ddinas Tournay, a chymerwyd hi; yna dychwelodd Henry i Loegr dros y gauaf.

Yn y cyfamser yr oedd pethau wedi myned yn ddrwg rhwng Lloegr ac Ysgotland. Er mai chwaer Henry oedd gwraig James, nid oedd teimlad da yn bodoli rhwng y ddau benaeth Prydeinig. Cymerodd James yn awr ei demtio gan anogaethau ac anrhegion o Ffrainc i ymosod ar diriogaethau Lloegr. Daeth â byddin gref

dros y cyffiniau i Northumberland. Gwrthwynebwyd ef yn llwyddianus gan y Saeson dan arweiniad Iarll Surrey a'i fab. Ymladdwyd brwydr ofnadwy yn Flodden Hill, pryd y lladdwyd brenin Ysgotland, a thua deng mil o'i wŷr, yn cynwys amryw o enwogion y wlad. Gwnaed Iarll Surrey yn Dduc Norfolk, a'i fab yn Iarll Surrey, fel gwobr am eu gorchestion.

Wedi marwolaeth James, rhoddwyd rhaglywiaeth Ysgotland i Mary ei weddw, chwaer Henry, hyd nes y deuai ei mhab, Henry V., i'w oed. Yn fuan rhoddodd y frenines enedigaeth i ail fab, a phriododd â Iarll Angus, pryd y collodd y rhaglywiaeth, ac y rhoddwyd hi, yn groes i ewyllys Henry, i Duc Albany.

Yr oedd Henry yn brysur yn gwneyd darpariadau i adnewyddu y rhyfel yn Ffrainc; ond yr oedd ychydig fisoedd o amser wedi newid agwedd gyffredinol pethau dros y Cyfandir. Yr oedd Louis lawn mor brysur yn ceisio sefydlu heddwch â Lloegr; a llwyddodd trwy addaw talu swm mawr o arian i Henry. Yr oedd y pab, Julius II., wedi marw, a Leo X.—un o'r pabau enwocaf—wedi cymeryd y gadair yn ei le. Y flwyddyn ganlynol (1514) collodd Louis o Ffrainc ei briod, ac anfonodd at Henry o Loegr i ofyn am law Mary ei chwaer. Cytunodd Henry â'i gais, er fod Louis yn 53ain, ac nad oedd y dywysoges Mary ond 16eg oed. Gweinyddwyd y briodas trwy ddirprwy yn Greenwich a Paris. Dygwyd y dywysoges drosodd i Ffrainc gan Duc Norfolk ac eraill. Cyfarfu Louis â hwynt yn Abbeville, ac yno yn yr eglwys gadeiriol y cymerodd y briodas le. Ar ol priodi gyrodd Louis yr holl weinyddion Seisnig adref, oddigerth Anne Boleyn, geneth ieuanc, ac un neu ddau eraill. Yr oedd Mary yn anfoddlon iawn i hyn, ac anfonodd lythyr achwyngar at Wolsey, esgob Lincoln. Coronwyd y dywysoges yn St. Denis, ac ymlawenychai y brenin yn fawr yn ei frenines ieuanc landeg. Ond cyn pen tri mis, bu Louis farw, a gadawyd Mary yn weddw. Daeth coron Ffrainc i Francis I., yr hwn oedd wedi priodi merch hynaf Louis. Gyrodd Henry Charles Brandon, Duc Suffolk, i gyrchu ei chwaer weddw i Loegr. Yr oedd Suffolk wedi bod ar fedr priodi Mary o'r blaen; a phan gyfarfuasant â'u gilydd yn awr, gofynodd Mary iddo a oedd yn meddu y dewrder i'w phriodi hi ar unwaith. Dywedodd yntau ei fod, a phriodwyd hwy yn ddioed yn Paris. Gwyddent eu bod yn troseddu yn erbyn Henry, trwy briodi heb ei ganiatad ef; ond dywedai Mary y cymerasai hi yr holl fai, ac ysgrifenodd Suffolk lythyr at Wolsey yn yr achos. Cymerodd Henry arno ar y cyntaf fod yn anfoddlon iawn i'r fath ymddygiad, ond maddeuodd yn fuan, a buont fyw rhagllaw yn ffafr y brenin.

Cardinal Wolsey. Y prif ddyn yn ngweinyddiaeth Henry oedd Thomas Wolsey, mab i gigydd o Ipswich. Cododd

hwn gyda Henry VIII. yn gyffelyb i Thomas à Becket gyda Henry II., ond i'r blaenaf ymwerthu i wneuthur ewyllys ei benadur yn fwy na'r olaf. Anfonwyd Wolsey i Rydychain i dderbyn addysg, ac yno daeth ei dalentau anarferol i'r golwg. Dyrchafodd i fri fel ysgolor, a chymerodd Ardalydd Dorset ef yn athraw i'w deulu i addysgu ei blant. Daeth yr ardalydd yn hoff iawn o hono, a chymeradwyodd ef fel caplan i Henry VII. Enillodd ei ddull hynaws a moesgar, a'i fedrusrwydd bywiog, ffafr y brenin, a bu yn genadwr drosto gyda'r ymerawdwr Maximilian, pan fu Henry ar fedr priodi Margaret ei ferch. Pan ddaeth Henry VIII. i'r orsedd, yr oedd yr esgob Fox a Iarll Surrey (Duc Norfolk wedi hyny) yn ymgystadlu am y flaenoriaeth, a'r naill yn llawn eiddigedd at y llall. Ond daeth Wolsey yn mlaen, a thaflwyd hwy ill dau i'r cysgod. Cysegrodd ei holl fryd a'i dalentau i foddio a gwasanaethu y brenin. Er ei fod yn glerigwr, ni cheisiodd ffrwyno dim ar dueddiadau ofer ei feistr; ond yn hytrach cytunai ag ef yn mhellach nag y goddefai anrhydedd ei swydd. Wrth hyn enillodd serchiadau Henry, a chymerodd ei holl ofalon i'w ddwylaw ei hun. Daeth yn gyfaill cyfrinachol i'r brenin a'r frenines, ac ymddiriedent bob pwnc anhawdd iddo ef i'w derfynu. Meddai ar y fath doraeth o swyn, hynawsedd, a dawn, fel y cafodd lywodraeth ar galon y brenin ei hun, a chafodd y wlad hon ei llywodraethu yn fwy gan Wolsey na chan Henry am bymtheg neu ugain mlynedd.

Cododd Wolsey yn gyflym nes cyrhaedd y safle uchaf. Yn 1513, gwnaed ef yn esgob Tournay; y flwyddyn ganlynol yn esgob Lincoln; ac yn fuan wedi hyny yn archesgob York. Daeth penaethiaid tramor i ddeall ei bwysigrwydd, ac i chwenychu ei ffafr. Er mwyn sicrhau ei ddylanwad o'i blaid, gwnaeth y pab ef yn gardinal yn 1515. Yr un flwyddyn rhoddodd Warham, archesgob Canterbury, y sel fawr i fyny, a gwnaed Wolsey yn ganghellydd y deyrnas. Gwnaed ef wedi hyny yn genadwr y pab, a chymerodd holl awdurdod y pab yn ei law; a bu mewn dysgwyliad pryderus am gadair St. Pedr ei hun. Erbyn hyn yr oedd ei gyfoeth, ei awdurdod, a'i rwysg bron yn ddiderfyn. Yr oedd yn hoff o ymddangosiad gorwych, a gallai fforddio gwneyd hyny. Cynwysai ei osgordd wyth cant o weision, yn mysg pa rai yr oedd amryw bendefigion o fri. Efe oedd y clerigwr cyntaf yn Lloegr i wisgo sidanau ac aur; ac addurnai ef ei gyfrwy a thaclau ei feirch gyda sidan goreuredig. Cadwai berson o radd uchel i gludo ei het gardinalaidd, ac ni oddefai iddi gael ei gosod i lawr yn yr eglwys yn unlle ond ar yr allor. Dygai yr offeiriad talaf biler arian, gyda chroes ar ei ben, o'i flaen, a thelid gwarogaeth breninol iddo. Sefydlodd lys newydd fel cenadwr y pab, a chymerodd iddo ei hun yn hwnw awdurdod gwladol ac eglwysig diderfyn. Cymerodd holl lywodraeth y llysoedd

esgobol yn ei law, ac ymwisgodd â'r awdurdod i gyfranu swyddau a bywioliaethau yn gwbl ddisylw o etholiad yr eglwys na nawdd y pendefigion.

Cyffrodd y sefyllfa uchel hon eiddigedd cryf yn ei erbyn, a gwnelid cyfeiriadau mynych at ei ddechreuad isel, trwy ei alw yn "fab y cigydd." Ond rhoddodd ei uchafiaeth fantais iddo yntau i ddwyn allan ei alluoedd, a phrofi ei hun fel gwleidiadwr. Rhaid cyfaddef fod llawer o ragoriaethau yn perthyn i Wolsey, ac i'w weinyddiaeth, a buasai mwy pe buasai ganddo well brenin, a gwell senedd. Yr oedd yn barod bob amser i noddi addysg a llenyddiaeth, neu unrhyw welliant cyffredinol i'r bobl: a chymerodd "gweinyddiaeth fanwl a chyfiawn le yn amser ei uchafiaeth. Ni ddangosodd un canghellydd erioed fwy o anmhleidgarwch yn ei benderfyniadau, mwy o dreiddgarwch barn, na mwy o wybodaeth o'r gyfraith."*

Ond i fyned yn mlaen â'r hanes; llwyddodd brenin Ffrainc i enill dylanwad Wolsey o'i blaid i adferu heddwch â Henry. Cytunodd Francis i dalu swm mawr o arian i Henry am gael Tournay yn ei hol, a swm blynyddol i Wolsey am ddal esgobaeth y lle. Cymerodd dygwyddiad le y pryd hwn (1519) dynodd sylw holl Ewrop. Bu farw Maximilian, ymerawdwr Germany, a daeth Charles, brenin Spain, a Francis, brenin Ffrainc, yn ymgeiswyr brwd am yr orsedd ymerodrol. Yn mhen rhai misoedd, chwenychodd Henry yr anrhydedd hefyd, ac enwodd ei hun fel ymgeisydd; ond yr oedd wedi ei gadael yn rhy hir cyn dyfod i'r maes, a daeth y gadair ymerodrol i ran Charles, brenin Spain. Yr oedd y brwdfrydedd gyda pha un yr ymroddai y ddau ymgeisydd i geisio enill dylanwad Henry yn ddigon i beri i undyn dybied rywbeth o hono ei hun, ac i gyffroi balchder y genedl. Dymunodd Francis am gael cydgyfarfod â brenin Lloegr gerllaw Calais, a chydunodd yr olaf â'r cais. Ond pan oedd Henry yn barod i gychwyn, wele Charles, yr ymerawdwr, yn glanio yn Dover, yn dyfod i ymostwng i Henry, ac i ddal y gobaith o flaen Wolsey o gael ei godi i'r gadair Babaidd. Yr oedd hyn yn ddigon i'r cardinal, ac ymgysegrodd yn ddirgel i gefnogi Charles yn erbyn ymosodiadau Francis. Ar y dydd yr ymadawodd Charles, hwyliodd Henry a'i osgordd drosodd i Calais, a chyfarfu â brenin Ffrainc yn Guisness (1520). Yr oedd yno ddarpariadau o'r mwyaf gwych a chostus; a galwyd y maes lle codwyd y cabanau breninol, ac y cyfarfu y penaduriaid â'u gilydd, yn *Faes y brethyn aur*. Wedi llon-gyfarchiadau, gwleddoedd, a gloddest, a rhith-ymgyrchiadau, ac i'r naill frenin ddangos yr ymddiried llwyraf yn y llall, terfynodd y gynadledd. Yr oedd y

*Hume, vol. ii. 135.

gwastraff a'r draul ar yr amgylchiad hwn yn gyfryw, fel y dinystriodd amryw o bendefigion Ffrainc a Lloegr eu holl fywioliaethau.

Ond er holl gyfeillgarwch ymddangosiadol Henry a Francis, yr oedd Wolsey wedi gwystlo ei ddylanwad o blaid Charles, a chyn pen mis yr oedd wedi troi ei feistr i'r un ochr. Wedi talu ymweliad â'r ymerawdwr, dychwelodd y brenin a'i wŷr i Loegr. Yr oedd cyllidau Wolsey erbyn hyn agos cymaint ag eiddo y brenin,* a'i awdurdod yn anwrthwynebol. Dangosodd llawer eu hanfoddlonrwydd at y gwastraff direswm a wnaed ar "Faes y brethyn aur;" daeth i glustiau Wolsey fod Duc Buckingham, pen ceidwad y deyrnas, ac un o'r pendefigion blaenaf o ran teulu a chyfoeth, yn achwyn, ac yn taflu y bai arno ef. Penderfynodd y cardinal ddial arno. Yr oedd brawd mynachaidd hefyd, yr hwn a gymerai arno feddu ysbryd prophwydoliaeth, wedi gosod yn Buckingham obaith am esgyn i'r orsedd, ar sail ei ddisgyniad o Duc Gloucester, mab ieuangaf Edward III. Felly cymerwyd y duc i fyny, cyhuddwyd a chondemniwyd ef o fradwriaeth, a thorwyd ei ben. "Fel hyn y terfynodd un arall o'r teulu hwnw, na chafodd yr un o'i benaethiaid farw o farwolaeth naturiol am fwy na chan mlynedd." Bernid y buasai y brenin yn arbed ei fywyd oni bai dylanwad Wolsey. A phan wnaed arddangosiad o ben y duc ar ol ei dori, rhwygid yr awyr gan floeddiadau digofus y bobl yn gwaeddi, "Mab y cigydd!"

Erbyn hyn yr oedd y rhyfel rhwng Charles a Francis wedi adnewyddu. Ond boddlonodd y ddau gymeryd Henry yn ganolwr i farnu rhyngddynt. Anfonodd yntau Wolsey drosodd i Calais, i geisio, mewn undeb â chenadwr y pab a dirprwywyr eraill, cytuno ar delerau heddwch. Gorphenodd y gynadledd mewn cytundeb rhwng y pab, yr ymerawdwr, a brenin Lloegr, i fyned yn erbyn Ffrainc. Canlynodd brwydrau gwaedlyd am flynyddoedd â Ffrainc, ac ag Ysgotland.

Yn awr yr oedd cynhwrf y Diwygiad Protestanaidd yn dechreu ysgwyd Ewrop, ac enw Martin Luther yn taro ar glustiau miloedd am y waith gyntaf. Yn Mai, 1521, rhoddodd Wolsey orchymyn allan i holl esgobion Lloegr i atafaelu pob llyfrau hereticaidd, neu lyfrau yn cynwys cyfeiliornadau Luther, a chyhoeddi esgymundod ar bawb na roddent hwy i fyny o fewn pymtheg niwrnod; ac hefyd ysgrifenu ar ddrysau eu heglwysi cadeiriol gyfres o brif heresiau Luther, fel y caffai y bobl gyfleusdra i'w gweled a'u gochelyd. Ysgrifenodd Henry hefyd â'i law ei hun lythyr tanllyd at Louis o Bavaria, i geisio ganddo losgi Luther a'i lyfrau, gan addaw pob cynorthwy iddo at hyny. A phan ddeallodd fod Luther yn dyweyd yn erbyn ysgrifeniadau ei hoff awdwr—St. Thomas Aquinas—cymerodd ei ysgrifell, ac ysgrifenodd ei amddiffyniad i'r saith

*Hume, Ferguson.

sacrament, yn yr hwn y gwrthwynebai syniadau Luther. Pan gyflwynwyd y llyfr hwn i'r pab, Leo X., gan Clark, cenadwr Lloegr yn Rhufain, diolchodd i Dduw am ysbrydoli Henry i ysgrifenu y fath amddiffyniad i'r ffydd, a rhoddodd y titl ychwanegol iddo o "Amddiffynwr y ffydd."

Ond ychydig o ymddiried oedd i'w roddi i Henry; ac y mae dygwyddiadau ar gymeryd lle a'i gwnant ef mor benboeth yn erbyn y pab ag ydyw yn awr o'i blaid. Rhaid i ni adael lliaws o ddygwyddiadau pwysig ar y Cyfandir, y rhai a ddygent gysylltiad mwy neu lai pwysig a'r wlad hon, megys siomedigaeth Wolsey am gadair St. Pedr, gorchfygiad a charchariad brenin Ffrainc yn Itali, y cytundeb priodas rhwng Mary merch Henry a'r ymerawdwr Charles, a ffoedigaeth y pab, ac anrheithiad dinas Rhufain gan Bourbon. A thra mae y cyfnewidiadau hyn yn myned yn mlaen ar y Cyfandir, mae cyflwr Lloegr yn prysur addfedu i gyfnewidiadau mwy pwysig.

Yn 1527 pigodd Henry bwnc i fyny yn ei deulu ei hun brofodd yn destun cyffro trwy holl Ewrop. Yn mhen ugain mlynedd wedi ei briodas â Catharine o Aragon, gweddw Arthur ei frawd, cododd aflonyddwch arno am gyfreithlondeb y briodas. Gwnaed y cytundeb priodas, fel y dangoswyd eisoes, gan ei dad, Henry VII., er mwyn sicrhau gwaddol Catharine; ond gwelodd y brenin hwnw y drwg, ac un o'r pethau diweddaf a wnaeth cyn marw oedd rhybuddio ei fab i ochel y cyfryw briodas. Ond pan enillodd Catharine ei serchiadau, mynodd Henry ei phriodi yn groes i ewyllys ei dad a phob cynghorwyr eraill; a chafodd gan y pab i gadarnhau y briodas. Yr oedd Catharine yn foneddiges rinweddol, ac o gymeriad diargyhoedd; dygodd amryw blant i Henry, ond claddwyd hwy oll yn eu babandod, oddigerth y dywysoges Mary. Yr oedd afiechyd wedi anafu llawer ar brydferthwch a sirioldeb Catharine, a phethau eraill oddiallan yn cydweithio. Gwrthwynebodd taleithiau Castile i'r ymerawdwr Charles ei dyweddio, ac un o'u rhesymau oedd genedigaeth annghyfreithlon y dywysoges. Dygwyd yr un ddadl eilwaith o Ffrainc yn erbyn ei dyweddio â Duc Orleans. Ymgynghorodd y brenin â'r esgobion, ac yr oeddent gan mwyaf yn barnu ei briodas yn annghyfreithlon. Yr un hefyd oedd ffrwyth ei ymchwiliad ei hun yn ngwaith ei hoff awdwr, Thomas Aquinas, yr hwn a ddangosai yn eglur ei bod yn ol cyfraith Moses yn groes i air Duw. Dangosodd Henry yn awr fwriad i dori y briodas, a chytunodd ei was Wolsey â'i olygiadau, ac aeth drosodd i Ffrainc i geisio llaw chwaer y brenin i'w feistr. Ond yr oedd dynes arall nes ato wedi hudo calon Henry, a dywedai llawer mai hyny oedd gwreiddyn ei aflonyddwch am ysgaru â Catharine.

Y ddynes hono ydoedd Anne Boleyn, merch Syr Thomas Boleyn, ac un o law-forwynion y frenines. Yr oedd yn ferch ieuanc o bryd-

ferthwch swynol, a'i mhoesgarwch a'i thalentau yn destun clod. Yr oedd Arglwydd Henry Percy mewn cyfeillach ag Anne ar y pryd, ond gosododd Henry y cardinal ar waith i rwystro y briodas. Pan hysbysodd y brenin iddi ei deimlad tuag ati, syrthiodd Anne ar ei gliniau o'i flaen, a dywedodd, "Ardderchog frenin, nid ydych ond cellwair er mwyn fy mhrofi. Collwn fy mywyd cyn y collwn fy rhinwedd, yr hyn yw y gwaddol mwyaf a goreu a feddaf i'w roddi i'm gwr. Nis gallaf fod yn wraig i chwi, oblegyd fy annheilyngdod fy hun, ac hefyd y mae genych frenines eisoes; ac ni fyddaf byth yn butain i chwi." Beth bynag, addawodd ei briodi os gallai ysgaru â Catharine. Ond, meddai un hanesydd, faint bynag a ganiateir i ferch ugain oed dan demtasiwn mor fawr oddiwrth ben coronog, cytuna y dynion mwyaf meddylgar, fod ei gwaith yn dwyn yn mlaen y fath gyfeillachau i gefnogi gwr i ysgaru â gwraig mor rinweddol, ac un oedd wedi bod mor dda wrthi hi, yn llawn cymaint pechod, a mwy, na phe buasai yn darostwng ei hun i fod yn ordderch iddo.

Yr oedd Wolsey ar y cyntaf yn groes iawn i Henry briodi Anne, ond gwelodd nad oedd gwiw gwrthsefyll, ac, fel arfer, trodd i'w gefnogi. Anfonodd Henry genad at y pab i ofyn ei awdurdod ef o blaid yr ysgariad. Yr oedd y pab, Clement VII., yn ddyledus i'r brenin am ei ryddhad o afael milwyr yr ymerawdwr, ac yn awyddus i dalu y caredigrwydd yn ol iddo; ond yr oedd arno ofn yr ymerawdwr Charles, yr hwn oedd yn nai i Catharine, ac yn gymydog nes ato. Anfonodd y brenin Fox, ei almonydd, a Gardiner, ysgrifenydd Wolsey, eilwaith at y pab, a rhoddwyd y mater i Wolsey, a Campeggio, cenadwr y pab, i'w benderfynu. Tybiodd y brenin yn awr fod y pwnc wedi ei gael; ond nid oedd brys ar neb ond ei hunan i'w benderfynu. O'r diwedd, yn 1529, daeth yr achos yn mlaen yn neuadd monachdy y *Black Friars*, Llundain, a gwysiwyd Henry a Catharine ger bron. Ymdaflodd y frenines ar ei gliniau o flaen ei gwr, a dywedodd gyda dagrau, nad oedd ond dynes dlawd ac estronol yn ei lywodraeth; iddi fod yn wraig iddo am fwy nag ugain mlynedd, dwyn amryw blant iddo, a phob amser wneyd ei goreu i'w foddio; iddo ei chael yn wir wasanaethyddes, a bod ei gydwybod ef ei hun yn dyst; ac os gwnaeth rywbeth allan o le, ei bod yn foddlon cael ei bwrw ymaith gyda chywilydd. Rhoddodd y brenin dystiolaeth gyhoeddus i'w chymeriad difai, a dywedodd mai annghyfreithlondeb y briodas oedd yn peri iddo geisio ysgariad. Gadawodd Catharine y llys, a methodd pob ymdrechion a llwyddo i gael ganddi ymddangos o flaen unrhyw gynghor drachefn. Cyhoeddwyd y frenines yn wrthnysig; a dysgwyliai Henry yn ddiffael gael terfyn buan ar yr achos o'i blaid. Ond mae rhwystrau eto ar y ffordd. Yr oedd Campeggio yn hen wr cydwybodol, ac yn dal

cymundeb dirgelaidd â Rhufain. Gohiriodd Campeggio yr achos am dri mis. Goddefodd Henry y gohiriad yn amyneddgar, ond cyffrodd Duciaid Norfolk a Suffolk, a dywedodd yr olaf, gan daro y bwrdd â'i ddwrn, fod yr hen ddywediad yn ddigon gwir, na ddaeth daioni i Loegr erioed oddiwrth gardinal na chenadwr i'r pab; am yr hyn y derbyniodd gerydd llym gan Wolsey. Cyn i'r amser gohiriedig ddyfod i ben, cafodd Henry wybod fod yr awdurdod i brofi yr achos wedi ei alw i Rufain, a bod rhaid iddo ef a'r frenines ymddangos yno. Yr oedd y pab erbyn hyn wedi ei enill yn llwyr dan ddylanwad yr ymerawdwr.

Yr oedd y cardinal yn rhwym o weled fod drwg yn casglu yn ei erbyn. Edrychai y frenines arno ef fel ffynonell yr holl ddrwg. Gwyddai Anne yn ddiau, yn gystal a Henry, ei fod ef ar y cyntaf yn groes iddynt briodi, ac yr oedd yn ddigon i godi amheuaeth am ei ffyddlondeb yn yr achos. Ac yr oedd uchafiaeth Wolsey wedi croni eiddigedd ato yn meddyliau y rhai mwyaf blaenllaw. Felly parodd aflwyddiant yr achos iddo ef syrthio amryw raddau yn marn ei feistr a'i holl lys. Yr oedd achos yr ysgariad yn awr mor dywyll ag erioed. Cynghorwyd y brenin i fỳnu cynghor cyffredinol i ystyried yr achos, ond nis gallesid cael hwnw heb ganiatad yr ymerawdwr, yr hwn oedd yn selog o blaid y frenines.

Yn y cyfwng hwn, yn ddamweiniol tarawodd Fox a Gardiner, gweision y brenin, wrth un Dr. Thomas Cranmer, darlithydd ar dduwinyddiaeth yn Cambridge, a hen gyd-ysgolor iddynt: ac wrth ymddyddan ar bwnc y dydd, cynghorodd Cranmer y brenin i daflu yr achos i'r prif-ysgolion. Hoffodd Henry y cynllun yn fawr, a dywedodd pe buasai wedi cael y cynghor hwnw ddwy flynedd yn gynt, y buasai wedi arbed iddo lawer o arian a thrafferth. Anfonodd y brenin am Cranmer, a chafodd foddlonrwydd mawr yn ei ddysg a'i ymddygiad. Anfonodd ef i dŷ Boleyn, Arglwydd Rochford, tad Anne, i ysgrifenu ar y pwnc, a gorchymynodd iddo gael pob llyfrau angenrheidiol at ei wasanaeth.

Yn Hydref, 1529, cymerwyd sel fawr y ganghelliaeth oddiar Wolsey, a rhoddwyd hi i Syr Thomas More, dyn o alluoedd ac enwogrwydd mawr fel ysgolor a llenor. Gorchymynwyd iddo adael ei dŷ yn York Place (Whitehall wedi hyny), a chymerwyd ei ddodrefn a'i lestri gwerthfawr, y rhai oeddent yn ddigon o demtasiwn hyd y nod i frenin i'w chwenychu. Symudodd y cardinal i Asher, gerllaw *Hampton Court*, y palas ardderchog a roddodd yn anrheg i Henry. Dangosodd y brenin beth tynerwch at ei hen was wedi hyn, ac anfonodd amryw anrhegion iddo; ond yn raddol caledodd ei galon. Galwodd senedd yn nghyd am y waith gyntaf ys saith mlynedd (1530). Pasiwyd cyhuddiad yn cynwys pedair a deugain o erthyglau yn y Tŷ uchaf yn erbyn y cardinal. Ond pan anfon-

wyd y bil i Dŷ y Cyffredin, amddiffynwyd Wolsey gan ei hen was Thomas Cromwell, gyda'r fath ysbryd a gwroldeb ag a gododd yr olaf i sylw a ffafr y brenin. Ond er hyn ni fynai gelynion Wolsey na gorphwysdra na llonyddwch nes cael ei ben i lawr. Cyhuddwyd ef o dderbyn awdurdod gan y pab, fel ei genadwr, croes i ddeddf o eiddo Richard II. Cyffesodd Wolsey y cyhuddiad, a'i anwybodaeth o'r cyfryw ddeddf; dywedodd hefyd iddo wneyd hyny trwy ganiatad a chyfarwyddyd ei benadur, a'i fod yn ymdaflu ar ei drugaredd. Er hyn condemniwyd ef i golli ei eiddo, a cholli nawdd y brenin.

Yr oedd Wolsey yn awr yn aros yn Cawood, yn Swydd York, y brenin wedi maddeu iddo, ac wedi adferu cyfran o'i feddianau iddo. Ond ni bu yno yn hir cyn ei gymeryd i fyny gan ei hen was, Henry Percy, yn awr Iarll Northumberland, ar y cyhuddiad o deyrnfradwriaeth, a dygwyd ef tua Llundain. Ond dygodd pryder meddwl a lludded teithio y gwaedlif arno, a gorfu iddo aros yn Leicester. Trodd i fonachdy y dref hono, a dywedodd wrth yr abad, "Dad abad, yr wyf wedi dyfod i adael fy esgyrn yn eich mysg." Arweiniwyd ef i ystafell, ac yno y bu farw. Ychydig cyn tynu ei anadliad diweddaf dywedodd wrth Syr William Kingston, ceidwad y Tŵr, yr hwn oedd yn gofalu am dano, am ei gofio yn garedig at y brenin, ac am iddo alw i gof yr oll a fu rhyngddynt o'r dechreuad, yn enwedig yr hyn a fu yn achos y frenines, yna y dywedai ei gydwybod wrtho a oedd efe yn droseddwr ai peidio.

"Mae Henry," meddai, "yn dywysog o'r ymddygiad mwyaf breninol, a chalon dywysogaidd ganddo; ond cyn y goddefa groesi unrhyw gyfran o'i ewyllys, fe berygla haner ei deyrnas. Yr wyf yn sicrhau i chwi i mi fod yn fynych ar fy ngliniau o'i flaen, weithiau am dair awr o'r bron, yn ceisio ei berswadio oddiwrth ei ewyllys a'i chwant; ond yn gwbl ofer. Pe buaswn wedi gwasanaethu Duw mor ffyddlon ag y gwasanaethais y brenin, ni fuasai yn fy mwrw ymaith yn fy mhenllwydni. Ond dyma y wobr gyfiawn raid i mi dderbyn am fy mhoen a'm pryderwch i wasanaethu fy nhywysog, ac esgeuluso gwasanaeth Duw. Felly cymerwch gynghor, os byddwch yn un o gyfrin-gynghor y brenin, i fod yn ofalus beth a roddoch yn ei ben; oblegyd nis gellwch byth ei dynu allan drachefn." Felly y bu farw yr enwog Wolsey (Tach. 29, 1530), a chladdwyd ef ganol nos, yn ddiseremoni, yn eglwys y fonachlog.

Ar ol marwolaeth Wolsey daeth Duc Norfolk, ewythr Anne Boleyn, yn brif ddyn yn nghynghor y brenin. Gwnaed Gardiner yn ysgrifenydd, a Syr Thomas More, fel y dywedwyd, yn ganghellydd. Wedi anobeithio cael help oddiwrth y pab i ysgaru â Catharine, penderfynodd Henry roddi cynllun Cranmer mewn gweithrediad. Wedi hir ddadleu a llusgo, cafwyd gan brif-ysgolion Oxford a Cambridge i roddi barn o blaid anghyfreithlondeb

priodas y brenin â Catharine, ond ni ddywedent air yn nghylch awdurdod y pab i ymyryd yn y pwnc. Trwy ddylanwad anrhegion o Loegr, penderfynodd prif-ysgolion Ffrainc, gan mwyaf, o blaid Henry, yn nghyda Bologna, Padua, a Ferrara, yn Itali. Ond yn Germany yr oedd dylanwad yr ymerawdwr yn rhy gryf, a rhoddodd prif dduwinyddion y wlad hono eu llais yn erbyn yr ysgariad. Barnai Luther a Melancthon y buasai yn llai o bechod i Henry gymeryd dwy wraig ar yr un pryd nag ysgaru â Catharine. Anfonodd y pab lythyr i fygwth esgymundod os priodai y brenin Anne Boleyn. Anfonwyd tad Anne (yn awr Iarll Wiltshire), Cranmer, ac eraill, i geisio perswadio y pab; ond yr oedd dylanwad yr ymerawdwr yn ormod i Clement i'w wrthsefyll. Wedi methu gwneyd dim yn Rhufain, aeth Cranmer i Germany, lle yr yfodd yn helaeth o egwyddorion ac ysbryd y Diwygiad, a gwnaeth gytundeb priodas â nith ei gyfaill Osiander, bugail Protestanaidd Nuremburg.

Y pryd hwn y cododd Thomas Cromwell yn ddyn o bwys yn ngweinyddiaeth Henry. Mab i ôf o Putney ydoedd, ond trwy lafur ac ymroddiad dyrchafodd ei hun i enwogrwydd mawr. Treuliodd flynyddoedd ar y Cyfandir, lle y dysgodd amryw ieithoedd. Pan ddychwelodd i Loegr trodd i astudio y gyfraith, a gosododd Wolsey ef yn arolygydd cyllidau y monachlogydd. Yr oedd yn ddyn o uchelgais mawr, a'i brif bwnc ef yn wastad oedd boddio ei frenin. Cynghorodd hwn Henry, yn wyneb ystyfnigrwydd y pab, i gymeryd i'w law ei hun yr awdurdod i fod yn ben i'r eglwys a'r clerigwyr yn Lloegr. Yr oedd hwn yn damaid melus i'r teyrn uchelfrydig, a daliodd afael yn y syniad. Yr oedd hen gyfraith oedranus i'w chael yn gwahardd i glerigwyr ymostwng i awdurdod y pab heb gydsyniad y brenin. Gwelwyd y gallesid troi hono i ryw fantais yn awr, a defnyddiwyd hi i ddwyn cyhuddiad yn erbyn yr holl frawdoliaeth. Gwyddai y clerigwyr nad oedd gwiw ymresymu â Henry, ac felly penderfynasant drethu eu hunain o gan mil o bunau, a rhoddi y swm hwnw i'r brenin, dan rith anrheg, er pwrcasu maddeuant. Cymerwyd mantais ar yr amgylchiad hefyd i ddirdynu cyffesiad oddiwrthynt yn cydnabod Henry yn ben yr eglwys a'r clerigwyr yn Lloegr; ond mynodd rhai gael ychwanegu, "*mor bell ag y caniata cyfraith Crist.*" Wedi hyny rhyddhawyd y clerigwyr. Y flwyddyn ganlynol, (1532), drylliodd y senedd gysylltiadau eraill oedd yn cydio y wlad hon a Rhufain, yr hyn barodd i More, yr hwn oedd yn Babydd selog, roddi ei swydd i fyny, a chanlynwyd ef gan Syr Thomas Audeley.

Yr oedd y brenin hyd yma wedi dangos pob moesgarwch tuag at Catharine; ond yn awr, pan wrthodai alw yn ol ei hapeliad i Rufain, gorchymynwyd ei symud o Windsor, lle yr eisteddai y llys, i un o dri lle penodedig. Atebodd hithau, "pa le bynag y symudid

hi, nad oedd yn bosibl ei symud o fod yn wraig gyfreithlon i'r brenin." Aeth o fan i fan, ac o'r diwedd ymsefydlodd yn Ampthill, yn Swydd Bedford. Mewn atebiad i apeliad Catharine at y pab, gwysiwyd Henry i ymddangos yn Rhufain; ond anfonodd y brenin genadau, —Karne a Bonner— at y pab i'w hysbysu fod eglwys Lloegr yn annibynol, ac nas gallesid mwy apelio allan o'r deyrnas.

Talodd Henry ymweliad â brenin Ffrainc, a chadarnhawyd eu cyfeillgarwch. Codwyd Cranmer, er ei ysbryd diwygiadol, i archesgobaeth Canterbury; buasai yn dda ganddo gael ei esgusodi, ond gwyddai nad oedd gwiw gwrthsefyll ewyllys ei feistr. Yr oedd Anne Boleyn wedi ei chodi yn awr yn Ardalyddes Penfro; a chyn ei bod yn oleu boreu y 25ain o Ionawr, 1533, priodwyd Henry ac Anne, gan Dr. Rowland Lee, un o gaplaniaid y brenin. A phan gafwyd, yn fuan wedi hyny, fod Anne yn feichiog, cyhoeddwyd y briodas, a choronwyd y frenines ar y Sulgwyn gan yr archesgob. Ar y 7fed o Fedi, cyn pen yr wyth mis, ganed merch iddi, yr hon a alwyd Elisabeth (y nodedig frenines Elisabeth), a sefydlwyd yr olyniaeth yn hiliogaeth Henry ac Anne.

Er fod Henry yn awr wedi taflu iau Rhufain oddiar ei war, ac wedi cymeryd yr awdurdod i'w law ei hun, yr oedd mor llawn o ysbryd Rhufain ag y bu un pab erioed. Cospai gyda'r llymder mwyaf y rhai a ymlynent wrth awdurdod y pab ar y naill law, a chospai yr un fath y rhai a wrthwynebent gyfeiliornadau Pabaidd ar y llaw arall. Yr oedd tân Smithfield eisoes wedi ei fwydo â gwaed amryw ferthyron; ac wele ddau eto wedi eu traddodi iddo. Un o honynt, John Frith, ysgrifenydd galluog, a chyfaill i William Tyndal, yr hwn oedd yn awr wedi ffoi i Antwerp, ac yn dwyn yn mlaen ei gyfieithiad o'r Bibl. Trosedd Frith oedd gwadu trawssylweddiad a'r purdan.

Wedi gwahardd apeliadau i Rufain, dyddimu pob cyfraniadau arianol i'r pab, a throsglwyddo holl lywodraeth yr eglwys i goron Lloegr, gosodwyd ar y ddau Dŷ i gadarnhau â llw ddirymiad y briodas â Catharine, ac olyniaeth y goron i linach Henry ac Anne. Cymerodd pawb y llw oddigerth Fisher, esgob Rochester, a Syr Thomas More; ac yr oeddent hwythau yn foddlon tyngu o blaid olyniad llinach Anne, ond nid dros ddirymiad y briodas. Cymerwyd y ddau i fyny, a thaflwyd hwynt i'r Tŵr.

Yn y flwyddyn hon (1534) hefyd y dygodd Elisabeth Burton, o Aldington yn Kent, yr hon a elwid *Morwynig Santaidd Kent*, ei hun ac amryw o'r Pabyddion i brofedigaeth. Byddai Elisabeth yn cael ei blino ar brydiau gan ffitiau llewygol, ac yn adrodd pethau go ddyeithr pan yn y ffitiau hyny. Wedi iddi dynu cryn sylw trwy y pethau hyn, penderfynodd Masters, offeiriad y plwyf,

wneyd defnydd o'r llances i chwareu castiau o blaid y pab. Parodd iddi ffugio y ffitiau hyn, a dyweyd yr hyn a osodai efe yn ei genau. Llefarodd yn erbyn y diwygwyr, ac yn erbyn Henry, a dywedai ei bod yn derbyn ei chenadwriaethau oddiwrth ysbrydion. Hudwyd llawer o offeiriaid a mynachod i'r gyfrinach, ac ysgrifenodd un o honynt (Deering) lyfr o ddatguddiedigaethau a phrophwydoliaethau Elisabeth. Dywedai wrth y frenines Catharine, yn enw yr angel am ddal yn ddiysgog yn ei gwrthwynebiad, ac wrth Henry am roddi iawnderau y pab i fyny, dinystrio y diwygwyr, a chadw ei wraig gyfreithlon; ac os priodai ag Anne, y collasai ei goron cyn pen mis. Cafwyd fod Fisher, yr esgob, wedi dangos cefnogaeth i'r forwynig, a bod More wedi galw gyda hi. Yr oedd llawer o'r mynachod wedi cael eu cynhyrfu, gan ei thystiolaeth a'i gwyrthiau, i bregethu pethau celyd yn erbyn Henry. Dywedodd un Peto, wrth bregethu o flaen y brenin yn Greenwich, y buasai cwn yn llyfu ei waed, fel y gwnaethant waed Ahab. Ac y mae yn syn i Henry ddyoddef y fath driniaeth heb wneyd dim ond ceisio gan un Curwen i bregethu y Sabbath canlynol er ei amddiffyn. Rhwystrwyd Curwen i fyned yn mlaen gan daranau mynach arall o'r enw Elstow, yr hwn oedd yn selog dros y pab, a gorfu i Henry ei hun waeddu arno i dewi. Dywedodd Cromwell y dylasai y ddau fynach gael eu cau mewn sach, a'u taflu i'r Thames. "Diolch i Dduw," ebe Elstow, "mae y ffordd i'r nefoedd mor agos dros ddwr a thros dir, ac nid ydym ni yn prisio dim pa un ai dros y naill neu y llall yr awn yno."

O'r diwedd gorchymynwyd cymeryd Elisabeth a'i chefnogwyr i fyny, a dienyddiwyd hwynt yn Tyburn. Cyfaddefodd y ferch ei heuogrwydd, a dywedodd yn ddigon gwir fod ei chyfarwyddwyr uchel a dysgedig yn fwy eu bai am hyfforddi llances ieuanc anllythyrenog yn y cyfryw lwybr. Y flwyddyn ganlynol (1535) dyoddefodd llawer farwolaeth o'r mwyaf gwaradwyddus am beidio cyhoeddi yn eu heglwysi a'u capelau mai annghrist oedd y pab. Crogid abadau, doctoriaid mewn duwinyddiaeth, a chlerigwyr o bob gradd, rhwygid eu hymysgaroedd allan tra yr oeddent eto yn fyw, torid eu cyrph yn ddarnau, a llosgwyd hwynt yn ulw. Prif offeryn y brenin i gyflawni yr ysgelerderau hyn oedd Cromwell; a phan betrusai y rheithwyr ddwyn barn gondemniol, bygythiai Cromwell weithiau eu crogi hwynt yn lle y carcharor. Traddodwyd pedwar ar ddeg o Ail-Fedyddwyr o Holland i gael eu llosgi am wadu fod y bara a'r gwin yn y sacrament yn wir gorph a gwaed Crist. Llosgwyd dau o honynt yn Smithfield, a gyrwyd y lleill i wahanol drefi y deyrnas, er mwyn dangos i bawb mor selog oedd y brenin dros yr athrawiaeth.

Ond mae pendefigion uwch i syrthio yn aberth i ormes Henry.

Yr oedd John Fisher, esgob Rochester, dyn enwog am ei ddysg a'i dduwioldeb, wedi ei garcharu er ys blwyddyn am wrthod cydnabod Henry yn ben yr eglwys. Anfonodd y pab hat cardinal iddo am ei ffyddlondeb a'i sel; ond dywedodd Fisher fod yr anrhydedd hwnw mor ddibwys yn ei olwg, fel na fuasai yn ymostwng i godi yr hat goch pe buasai yn gorwedd wrth ei draed. "Ha!" ebe Henry, pan glywodd, "gall Paul (Paul III. y pab) anfon yr hat iddo, ond cymeraf fi ofal na chaiff ef yr un pen i'w gwisgo." Ar y 22ain o Fehefin yn y flwyddyn waedlyd hon, llusgwyd yr hen esgob parchedig allan o'r Tŵr, a thorwyd ei ben. Rhoddwyd ei ben llwyd ar bont Llundain, a'i wyneb tua bryniau Kent, lle y treuliodd gynifer o flynyddoedd dedwydd.

Wedi dienyddio Fisher prysurwyd at achos Syr Thomas More. Tybiwyd y buasai cospedigaeth Fisher yn ei ddychrynu, a gwnaed ymdrech i'w enill drosodd i gydnabod uchafiaeth eglwysig y brenin; ond yr oedd More wedi gwneyd ei feddwl i fyny i farw yn hytrach nag actio yn erbyn ei gydwybod. Anfonwyd cynghor o glerigwyr ac eraill ato i'r Tŵr i'w holi, ac i geisio ei rwydo yn ei ymadroddion. Atebodd y cwestiynau yn ffraeth ac agored; ond pan ofynwyd am ei gydsyniad ag ysgariad y brenin â Catharine, a'i ddyrchafiad i fod yn ben yr eglwys, dywedodd More nad oedd wedi dyweyd dim ar y pynciau hyny, ond yr hyn a ddywedodd wrth y brenin ei hun, a'i fod yn dymuno cael bod yn ddystaw. Yr oedd wedi dyweyd mewn llythyr cyn hyn, "Yr wyf yn ddeiliad ffyddlon ac yn baderwr dyddiol i'r brenin. Yr wyf yn gweddio dros ei fawrhydi, a'i eiddo, a thros yr holl deyrnas. Nid wyf yn gwneuthur, yn siarad, nac yn meddwl dim drwg, ond yn dymuno da i bawb; ac os nad yw hyn yn ddigon i gadw dyn yn fyw, mae yn well genyf fi beidio cael byw. Yr wyf yn marw eisoes; a thybiais, lawer gwaith er pan wyf yma, y buaswn wedi marw cyn pen awr. A diolch i'r Arglwydd, nid oedd yn ddrwg genyf weled hyny yn dyfod, ond yr oedd yn ddrwg genyf weled y clefyd yn ymadael: felly mae fy nghorph yn barod at ewyllys y brenin. A dymunwn gan Dduw i fy marwolaeth i wneyd rhyw ddaioni iddo." Ond ni feddalhawyd calon Henry gan ysbryd rhagorol More, a gorchymynwyd cymeryd ei lyfrau, ei bapyr, a'r inc oddiwrtho; a chyda phren llosgedig, ar dameidiau o bapyr ddygwyddai gael gafael arnynt yn ddamweiniol, yr ysgrifenai ambell linell at ei anwyl ferch. Wedi blwyddyn o garchariad caethiwus, dygwyd ef ar ei draed trwy ystrydoedd gorlawn i Neuadd Westminster, a rhoddwyd cyhuddiad o deyrnfradwriaeth yn ei erbyn. Bu unwaith ei hun yn brif farnwr yn y llys hwnw; ond y mae yn awr yn garcharor, mewn hen ŵn gwlanen garw, ei wedd yn llwyd a thoredig, ei wallt yn wyn, olion gorthrymder ei garchariad yn drwm arno; ac er nad oedd

ond 53ain oed, yn gorfod ymgynal wrth ei ffon. Penderfynodd y llys fod ei ddystawrwydd yn deyrn-fradwriaeth, a chondemniwyd ef i farw. Wedi cyhoeddi y ddedryd, dywedodd More ei feddwl yn eglur, fod traws-feddiant Henry o'r awdurdod eglwysig yn hollol annghyfreithlon. Ond dywedodd hyn gyda'r un addfwynder ysbryd ag arferol, a ffarweliodd â'r llys yn y modd mwyaf serchog, gan ddymuno cael cyfarfod eilwaith yn y nefoedd. Ar y ffordd tua'r Tŵr rhuthrodd ei ferch, Margaret Roper, trwy ganol y swyddogion a'i cylchynent, a thaflodd ei breichiau am ei wddf gydag wylofain. Wylodd yntau, ac wylodd pawb, a chafwyd anhawsdra i ysgaru y ferch a'i thad. Ond wedi ffarwelio â'i ferch, dychwelodd ei dawelwch a'i sirioldeb arferol. Dywedodd wrth y swyddog, wrth weled esgynlawr y dienyddle mor sigledig, "Cynorthwywch fi i fyned i fyny yn ddyogel, ond gadewch i mi ymdaro drosof fy hun am ddyfod i lawr." Pan ofynodd y dienyddwr ei faddeuant, fel arferol, dywedodd, "Gyfaill, gwnai y gwasanaeth mwyaf i mi heddyw ag sydd ar law dyn i'w wneuthur. Ond mae fy ngwddf yn fyr; gofala beidio taro ergyd gŵyrgam, er mwyn anrhydedd dy alwedigaeth." Pan wedi gosod ei ben ar y plocyn, ceisiodd gan wr y fwyall ddal ei law am foment tra y symudai ei farf oddiar ffordd yr ergyd, a dywedodd gyda gwên, "Chyflawnodd fy marf yr un trosedd." Tarawyd ei ben ymaith ag un ergyd, a gosodwyd ef ar bont Llundain. "Nid oedd dim yn ddiffygiol," meddai un hanesydd, "yn ngogoniant diwedd y dyn hwn ond gwell achos, mwy rhydd oddiwrth wendid ac ofergoeledd."

Pan gyrhaeddodd y newydd am gospedigaeth Fisher a More i Rufain, cyffrowyd y pab a'i gardinaliaid, ac ysgrifenodd y pab lythyr taranllyd i wysio Henry a'i bleidwyr ger ei fron o fewn 90 niwrnod, i roddi cyfrif am eu troseddau. Ac os nad ymddangosent o fewn yr amser hwnw, yr oedd yn ei esgymuno, yn amddifadu y brenin o'i goron, yn gosod yr holl deyrnas dan waharddiad, yn cyhoeddi hiliogaeth Anne Boleyn yn annghyfreithlon, ac yn rhoddi rhyddid i'r neb a fynai i orsesgyn y wlad. Gwyliodd y pab am adeg gyfleus i gyhoeddi y ddedryd; ac yn y cyfamser gwnaeth Henry bob darpariadau i wrthweithio ei ddylanwad. Cadarnhaodd ei gyfeillgarwch â brenin Ffrainc; a chymhellodd amryw o dduwinyddion diwygiadol Germany drosodd. Apwyntiodd Cromwell, yr hwn nad oedd ond lleygwr, yn rhaglaw eglwysig dano i lywyddu holl achos yr eglwys. Ac wrth weled cyndynrwydd y mynachod, a'r fath ateg oeddent i ddylanwad y pab, penderfynwyd dinystrio y mynachdai lleiaf. Yn wir nid oedd llawer o honynt ond nythle pob twyll a drygioni, er nad oeddent, yn ddiau, cynddrwg a'r adroddiad a wnaed o'u cyflwr gan weision Cromwell. Ac yn Chwefror, 1536, caniataodd y senedd i ddinystrio dros dri chant o'r mynachdai lleiaf

yr hyn a ddygodd swm o dros gan mil o bunau i goffrau y brenin, yn nghyda chyllid blynyddol o ddeuddeg mil ar ugain.

Ar y 8fed o Ionawr, yn y flwyddyn a nodwyd, y bu farw y frenines Catharine, yn Kimbolton. Gwrthododd Henry iddi gael golwg ar ei phlentyn, Mary, cyn marw; er hyny ysgrifenodd lythyr ato o'r mwyaf anwyl a serchog, yn yr hwn y galwai ef ei "hanwylaf arglwydd, frenin, a gwr." Dywedir i'r llythyr dynu dagrau o lygaid Henry! Gorchymynodd ei chladdu yn deilwng o'i hurddas, ac i'r llys wisgo galar-wisgoedd. Ond os daeth y newydd am farwolaeth y frenines ag ychydig o brudd-der i feddwl Henry, dygodd lawenydd i Anne, a thorodd orchymyn ei gwr trwy wisgo yn fwy llonwych nag arfer. Teimlai mae yn bosibl fod ei sefyllfa yn ddyogel bellach: a dywedir iddi ddyweyd, "Yr wyf yn awr yn frenines." Ond, druan, yr oedd hi ei hun yn ymyl y dibyn, a'i diwedd anffodus yn agosâu.

Tair wythnos wedi marwolaeth Catharine y ganed mab i Anne; ond er mawr siomedigaeth i Henry, yr hwn oedd mor awyddus am etifedd, yn farw y ganed ef. Dywedir iddo waradwyddo y fam yn greulon o'r herwydd. Yr oedd serchiadau Henry eisoes wedi encilio oddiwrth Anne, ac wedi cael gwrthddrych newydd yn mysg un o'i llaw-forwynion hithiau—Jane, merch Syr J. Seymour; a dechreuodd ddyfeisio ffordd i gael ysgariad eto. Pan ddeallwyd teimlad y brenin, cynorthwyodd gelynion Anne i chwythu y wreichionen yn fflam. Er yr ymddengys fod Anne yn hollol rydd oddiwrth y cyhuddiad a ddygid yn ei herbyn, yr oedd wedi ei chodi yn llys Ffrainc, ac felly yn arfer mwy o ryddid yn ei hymddygiad a'i hymadroddion nag oedd yn gyffredin yn llys Lloegr. Bu hyn yn sail eiddigedd i lygad drwg Henry. Gwenwynwyd meddwl y brenin yn ei herbyn hefyd gan Arglwyddes Rochford, chwaer yn nghyfraith Anne—dynes o gymeriad amheus, a'r hon oedd ar delerau drwg â'r frenines. Cyhuddodd ei gwr, Arglwydd Rochford, o fod mewn cysylltiad anmhriodol â'i chwaer ei hun.

Ar yr ail o Fai, yn ddisymwth taflwyd Anne i'r Tŵr, a chyhuddwyd hi o odineb â Rochford (ei brawd), Norris, Weston, Brereton, a Smeaton—oll yn weinyddion i'r brenin. Gwadai y frenines y cyhuddiad yn yr ymadroddion cryfaf, ac felly y gwnai y lleill oll. Cynygiwyd ei fywyd i Norris os cyfaddefai euogrwydd Anne; ond dywedodd fod yn well ganddo ef farw na rhoddi cam-dystiolaeth yn erbyn y dieuog. Ysgrifenodd yr archesgob, Cranmer, lythyr at Henry o'i phlaid: ac ar yr un diwrnod ysgrifenodd Anne ei hun lythyr yn ddigon i beri cyffroad yn mhob peth, oddigerth calon Henry; daliodd hono yn ddiysgog. Ar y 15fed profwyd achos y frenines a'i brawd; a'u hewythr, Duc Norfolk, oedd llywydd y cynghor o bendefigion a eisteddent ar yr achos. Condemniwyd

Anne i gael tori ei phen, neu ei llosgi, yn ol ewyllys y brenin. Pan glywodd y ddedryd, gwaeddodd, "O Dad a Chreawdwr! O tydi, yr hwn wyt y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd! ti a wyddost nad wyf yn haeddu y farwolaeth hon." Ymddangosodd ei wraig ei hun yn dyst yn erbyn Arglwydd Rochford, a chondemniwyd yntau i farw. Tystiodd y carcharorion eraill ei dieuogrwydd hyd y diwedd, oddigerth Smeaton, yr hwn a ddywedodd, "ei fod yn haeddu marw." Ond bernid iddo ddyweyd hyn, naill ai er mwyn cael arbediad, neu gyda chyfeiriad at ddrygau eraill a gyflawnodd. Dyoddefodd Anne ei thynged gyda gwroldeb a thawelwch digyffro. Y dydd cyn dyoddef dywedodd wrth Kingston, ceidwad y Tŵr, "Clywais na chaf farw hyd y prydnawn, ac y mae yn ofidus iawn genyf; yr oeddwn yn meddwl bod wedi marw, a myned o fy mhoen cyn hyny." "Nid oes fawr poen, am fod yr arf mor llym," ebe Kingston. Atebodd hithau, "Clywais fod y dienyddwr yn un da iawn; ac y mae fy ngwddf inau yn fain," ebai, gan roddi ei llaw am ei gwddf. Ar y 19eg o Fai, 1536, yn ngwydd prif swyddogion y deyrnas, arweiniwyd hi i'r arteithglwyd. Rhoddodd anerchiad synwyrol yn yr ysbryd goreu i'r gwyddfodolion, heb feio neb; rhoddodd ei henaid i Dduw mewn gweddi, ac wedi dyweyd, "Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd," treiglodd ei phen i'r llawr oddiwrth fwyall waedlyd y dienyddwr. Felly y bu farw Anne Boleyn, yn mhen pedwar mis ar ol Catharine, ac yn mhen ychydig gyda thair blynedd ar ol priodi â Henry. Dywedir i Henry fyned i hela ar ddydd ei dienyddiad i *Epping Forest.* Sylwyd ei fod yn anesmwyth ar frecwast; ond yn y man, clywid trwst magnel yn rhwygo yr awyrgylch—arwydd ydoedd i Henry fod y dienyddiad drosodd. "Ah! dyna hi ar ben!" ebai, a chododd ar ei draed; "gollyngwch y cwn yn rhydd, a gadewch i ni fyned ati." Boreu dranoeth priododd â Jane Seymour, llaw-forwyn Anne.

Galwodd Henry senedd yn nghyd eto, yr hon a gymeradwyodd ei holl symudiadau, a phenderfynwyd fod y neb a gydnabyddai awdurdod y pab o Rufain o hyn allan i fforfedu ei holl feddianau, ac i golli nawdd y gyfraith. Yr oedd Henry fel hyn, trwy ei hunanoldeb a'i ormes, yn anymwybodol yn arwain ei bobl i ben llwybr rhyddid ac annibyniaeth. "Yr oedd pob cam newydd a gymerai i dori y cysylltiad â Rhufain, yn dyfod yn safle newydd i'w ddeiliaid, oddiar ba un y cychwynent hwythau eilwaith mewn ymchwil am ryddid mwy perffaith." Hyd yma, yr oedd y Pabyddion a'r Diwygwyr yn ddau allu pwysig yn y wlad. Yn blaenori y Diwygwyr yr oedd Cranmer, archesgob Canterbury; Latimer, esgob Worcester; a'r esgobion Salisbury, Rochester, Hereford, a Thyddewi; ac yn blaenori y Pabyddion yr oedd Lee, archesgob York, yn nghydag esgobion Llundain, Durham, Winchester, a Lincoln.

Galwyd cymanfa eglwysig dan lywyddiaeth y rhaglaw, Cromwell. Yr oedd y brenin wedi tynu cyfres o erthyglau ffydd, yn cymeryd llwybr canol rhwng y ddwy blaid, y rhai nad oeddent yn boddio y naill na'r llall yn dda; eto yr oedd yn rhaid eu derbyn.

Yr oedd mwyafrif y bobl yn teimlo yn gryf o blaid y pab, ac yn erbyn cyfnewidiadau a gormes y brenin. Torodd terfysgoedd pwysig allan yn Sir Lincoln yn gyntaf, dan arweiniad Dr. Mackrel, abad diweddar Barlings; ac wedi hyny yn y parthau gogleddol dan arweiniad Eske, Darcy, Musgrave, a Tilby. Wedi tywallt llawer o waed, ac wedi i'r crogbren, y fwyall, a'r tân fod wrthi yn brysur, tawelwyd y terfysgoedd, a maddeuwyd i'r gwrthryfelwyr.

Ar y 12fed o Hydref, 1537, er mawr lawenydd i Henry, rhoddodd Jane Seymour enedigaeth i fab, yr hwn a alwyd wedi hyny yn Edward. Bu y frenines farw yn mhen ychydig ddiwrnodau ar ol ei eni. Ac er fod Henry yn ymddangos yn hiraethlawn ar ol ei wraig, boddwyd tristwch y gwr yn fuan gan lawenydd y tad. Gwnaed y baban ar unwaith yn Dywysog Cymru a Duc Cornwall, a gwnaed ei ewythr, Edward Seymour, yn Arglwydd Beauchamp a Iarll Hereford.

Cymerodd Henry arno yn awr arolygu a diwygio credo yr eglwys, a threfnu llyfrau duwinyddol yn cynwys ei olygiadau ei hun, a chymaint o elfenau y diwygiad ag a allai Cranmer a'i gyfeillion wthio i mewn iddynt. Gorchymynodd hefyd roddi copi o'r Bibl, cyfieithiedig gan Tyndal a Coverdale, wrth gadwyn yn yr eglwysi plwyfol, fel y gallai y plwyfolion fyned yno i'w ddarllen. Ac wrth weled y gweddill o'r mynachdai yn parhau i ategu y pab a'i ddylanwad, a chael eu bod wedi cynorthwyo yn y gwrthryfel diweddar, penderfynodd Henry eu dinystrio oll. Yn mhen dwy flynedd yr oedd y gorchwyl wedi ei gyflawni, a chwe chant a phump a deugain o honynt, o'r dechreu, wedi eu dymchwelyd, heblaw y clafdai, y colegau, a'r capelau perthynol iddynt. Ychwanegwyd eto y swm o gant a deg ar ugain o filoedd o bunau y flwyddyn i goffrau y brenin. Dienyddiwyd abadau Glastonbury, Reading, a Colchester, am gefnogi y gwrthryfel. Dynoethwyd anfoesoldeb eraill, ac atafaelwyd gyda dirmyg y gweddillion santyddol twyllodrus a gedwid yn y lleoedd cysegredig. Yr oedd amryw o'r adeiladau hyn yn meddu llaeth Mair; clust Malchus, yr hwn a dorwyd ymaith gan Pedr; ewinedd bysedd traed St. Edmund; gwaed Iesu Grist, a chanoedd o'r cyffelyb bethau. Wrth gofio y dirmyg a daflodd Thomas à Becket ar awdurdod y brenin, er ei fod wedi marw ys pedwar can mlynedd, gwysiwyd ef i ymddangos o fewn deng niwrnod ar ugain o flaen cynghor i ateb y cyhuddiadau a roddid yn ei erbyn. Ni raid dyweyd wrth y darllenydd nad ufuddhaodd i alwad Henry VIII.; ac felly condemniwyd ef o deyrn-fradwriaeth. Tynwyd ei enw o'r

calendar, torwyd i'w greirgell, cymerwyd yr anrhegion a'r addurniadau gwerthfawr oll oddiyno, cloddiwyd ei esgyrn i fyny, llosgwyd hwy yn ulw, a bwriwyd eu llwch gyda'r gwynt. Dinystriwyd hefyd lyfrgelloedd llawnion o lyfrau gyda'r sefydliadau hyn, trwy yr hyn y colledwyd hanesiaeth a llenyddiaeth y wlad yn fawr.

Pan gyrhaeddodd y newydd am y gwaradwydd a'r difrod hwn ar sefydliadau a meddianau eglwysig glustiau y pab, llanwyd ef a'i gardinaliaid o gynddaredd at Henry. Gwelwyd ei bod yn anobeithiol i enill ei ffafr mwyach, a phenderfynwyd cyhoeddi yr esgymundod oedd eisoes wedi ei ddarparu er ys tair blynedd. Yn 1538, traddododd y pab enaid Henry i'r diafol, a'i deyrnas i'r cyntaf a'i goresgynai. Gosodai ef yn mysg erlidwyr creulonaf yr eglwys, ac yn euog o bob drwg.

Yr oedd Reginald Pole, un o deulu breninol Lloegr (cefnder i fam Henry), yn awr yn gardinal yn Itali, ac yn selog o blaid y pab. Yr oedd wedi derbyn ffafrau o law y brenin, yr hwn oedd ar fedr ei godi i safle uchel. Ond wedi i Henry yru ato i ofyn ei farn am ei ysgariad â Catharine, a'i ymgymeriad â llywyddiaeth yr eglwys, ysgrifenodd Pole lyfr yn gwrthwynebu y brenin mewn iaith gref a chyffrous. Tybia rhai fod yn mryd y cardinal briodi y dywysoges Mary, ac esgyn i orsedd Lloegr, a'i fod yn dwyn yn mlaen ohebiaeth ddirgel â phersonau yn y wlad hon. Beth bynag, cynddeiriogodd Henry yn ei erbyn, cynygiodd swm mawr o arian am ei ben, a thywalltodd ei lid ar ei deulu. Taflwyd ei fam, Iarlles Salisbury, a'i frodyr, Arglwydd Montague a Geoffrey Pole, Courtenay, Neville, ac eraill, i'r Twr. Condemniwyd Montague, Courtenay, a Neville, am gefnogi Cardinal Pole, gelyn y brenin, a cheisio amddifadu y brenin o'i awdurdod, a thorwyd eu penau. Yn mhen agos dwy flynedd llusgwyd Iarlles Salisbury allan o'i chell yn y Twr i'r arteithglwyd. Yr oedd y berthynas agosaf i'r brenin, ac yn awr yn dri ugain mlwydd a deg oed. Pan geisiwyd ganddi osod ei phen ar y plocyn, dywedodd, "Na, ni fu dim bradwriaeth erioed yn fy mhen i, ac os oes raid i chwi ei gael, rhaid i chwi ei fynu fel y galloch." Ac yr oedd ei gwallt gwyn wedi ei liwio â gwaed gan ergydion ei dienyddwyr, cyn iddynt lwyddo i gael ei phen i'r plocyn. Daliwyd hi i lawr gydag anhawsder, hyd nes i'r fwyall wneyd ei gorchwyl.

Yr oedd Henry, er ei fod wedi dryllio yr iau Rufeinig, ac yn benderfynol i ysgubo holl offerynau y pab allan o'i lywodraeth, eto am ddangos ei hun yn llawn sel dros yr athrawiaeth, ac mor llym a neb yn erbyn y rhai a ystyriai ef yn hereticiaid. Un o'r pynciau mawrion a amddiffynai y brenin oedd presenoldeb corphorol Crist yn y swper santaidd. Yr oedd un John Lambert, ysgolfeistr dysgedig yn Llundain, yn dal nad oedd y swper ond coffadwriaethol, a hudwyd ef gan un Dr. Taylor i osod ei syniadau ar bapyr. Wedi

i Taylor, Barnes, a Cranmer, gydymgynghori, dygwyd achos Lambert i brawf. Darparwyd Neuadd Westminster at y pwrpas, a daeth y brenin, ei bendefigion, a'r esgobion yn nghyd, nes gorlenwi yr ystafell. Dygwyd Lambert ger bron, ac amddiffynodd ei hun yn wrol am bum awr yn erbyn dadleuon yr esgobion. O'r diwedd, gofynodd y brenin iddo, "A gefaist ti ddigon bellach, was? Pa un ai byw ai marw a ddewisi?" Atebodd Lambert ei fod yn taflu ei hun ar drugaredd y brenin. Dywedodd y brenin nad oedd ganddo ef yr un drugaredd i hereticiaid; a darllenodd Cromwell ddedryd marwolaeth uwch ei ben. Dangoswyd mwy o greulondeb nag arfer yn ei ddienyddiad, trwy ei losgi wrth dân araf yn Smithfield. Pan oedd ei goesau a'i forddwydydd wedi eu llosgi ymaith hyd at ei gorph, a phan roddwyd gwth i'r gweddill o hono i ganol y fflamiau, gwaeddodd allan amryw weithiau, "Neb ond Crist! Neb ond Crist!" Ac â'r geiriau hyn yn ei enau y bu farw. Llosgwyd amryw eraill yn y dull mwyaf creulon wrth groes St. Paul, ac yn Smithfield, tua'r un amser. Dygwyd hefyd hen groes enwog o Ddeheudir Cymru, yr hon a elwid gan y bobl *Dafydd Darfel Gatherin*, a llosgwyd hi, a mynach wedi ei grogi arni, yn Smithfield.*

Mewn senedd a gynaliwyd yn fuan ar ol hyn (1539), pasiwyd y Chwe Pwnc, neu y Ddeddf Waedlyd, yr hon a luniwyd, mae yn debyg, gan yr esgob Gardiner a'r brenin. Chwech pwnc y ddeddf hono oeddynt,—1. Fod corph naturiol Crist yn y swper dan ffurf, ond heb sylwedd, bara a gwin. 2. Nad oedd cymundeb yn y ddau fath yn angenrheidiol. 3. Nad oedd offeiriaid i briodi. 4. Fod addunedau gwyryfdod i'w cadw. 5. Fod offeren-wasanaeth annghyhoedd i'w chynal. 6. Fod cyffesiadau dirgelaidd yn briodol ac angenrheidiol. Y gospedigaeth am droseddu y cyntaf oedd marwolaeth heb drugaredd; ac yr oedd y neb a droseddai yn erbyn y pum pen olaf i gael ei gymeryd i fyny fel drwg-weithredwr. Yr oedd yr holl offeiriaid priodasol hefyd i roddi eu gwragedd heibio ar unwaith, neu gael eu cymeryd i fyny fel godinebwyr.

Arwyddwyd cydsyniad â'r gyfraith orthrymus hon gan y ddau Dŷ; ond rhoddodd Shaxton a Latimer, esgobion Salisbury a Worcester, eu hesgobaethau i fyny, a thaflwyd hwy i'r Tŵr. Bu Cranmer yn ddigon gwrol i ddyweyd yn erbyn y gyfraith, a goddefwyd ei wrthwynebiad gan y brenin yn ddisylw. Beth bynag, gyrodd yr archesgob ei wraig a'i blant drosodd i Germany, ac ymadawelodd dan y ddeddf waedlyd, gan hyderu y delai y Bibl, yr hwn oedd yn awr yn cael ei brysur ledaenu yn mysg y bobl, yn fuan i droi y dylanwad gormesol yn ol. Yr oedd y gyfraith hon yn boddio y Pabyddion yn fawr, a gwnaethant ddefnydd da o honi. Yn mhen ychydig amser yr oedd pum cant wedi eu taflu i garcharau. Yn yr

*Knight, Hume.

un senedd hefyd ag y pasiwyd y "Ddeddf Waedlyd," y penderfynwyd fod cyhoeddiad y brenin yn gyfartal mewn awdurdod a deddf seneddol. Felly gwnaeth y senedd ryfedd hon, er iddi ddangos peth gwrthwynebiad i'r olaf, aberth hollol o ryddid crefyddol yn y naill, ac o ryddid gwladol yn y llall.

Yr oedd Henry yn awr wedi bod yn wr gweddw am tua dwy flynedd; ac er gwneyd amryw gynygion, yn methu boddio ei hun mewn gwraig. O'r diwedd, trwy offerynoliaeth Cromwell yn benaf, gwnaeth gytundeb priodas ag Anne, merch Duc Cleves, o Germany, yr hon oedd dywysoges Brotestanaidd. Nid oedd Henry erioed wedi ei gweled; ond ymddibynai am ei thegwch ar ddarlun o honi wedi ei dynu gan Hans Holbein. Yr oedd Henry gymaint ei awyddfryd am weled Anne, fel yr aeth i Rochester i'w chyfarfod; ond pan welodd hi, cafodd gymaint o siomedigaeth yn ei gwedd a'i hymddygiad, fel mai prin y gallodd ymddwyn yn weddus tuag ati. Digiodd y brenin wrth Cromwell am ei arwain i'r fath brofedigaeth, a cheisiodd ganddo ddyfeisio rhyw ffordd i dori y cytundeb. Ond yr oedd hyn yn anhawdd a pheryglus, ac ofnai y brenin y canlyniad o daflu y fath sarhad ar y dywysoges, a thynu tywysogion Germany am ei ben. "Wel, nid oes dim i wneyd," ebe y brenin mewn tôn ofidus, "*rhaid* i mi roddi fy mhen yn yr iau." Cyflawnwyd defod eu priodas gan Cranmer, yn nechreu Ionawr, 1540; ond methodd Anne enill serchiadau ei phriod. Yn nheimlad dolurus ei siomedigaeth penderfynodd y brenin fynu rhyw lwybr i ysgaru ag Anne, a dial ar Cromwell.

Galwyd y senedd yn nghyd, ac ymddangosai Cromwell mewn cymaint bri ag erioed. Dyrchafwyd ef yn uwch eto er mwyn gwneyd ei gwymp yn fwy. Rhoddwyd Iarllaeth Essex iddo, a gwnaed ef yn Farchog y Gardas; ond ar yr un pryd yr oedd drwg yn magu o amgylch ogylch iddo. Yr oedd eiddigedd y pendefigion yn llosgi tuag ato wrth weled un wedi ei godi o'r dosbarth isel i fod yn ben arnynt. Yr oedd lliaws y bobl yn ddig wrtho am ddymchwelyd y mynachdai; y Pabyddion, am ei fod yn elyn i'w crefydd; a'r Protestaniaid am iddo basio deddf y Chwe Pwnc. A'r brenin hefyd, er mwyn dial arno am gefnogi ei briodas anffodus, ac er mwyn boddio y bobl, a benderfynodd ei ddyfetha.

I wneyd pethau yn waeth fyth, hudwyd serchiadau y brenin gan un Catharine Howard, nith Duc Norfolk, yr hon oedd yn Babyddes selog, a'i hewythr Norfolk yn elyn i Cromwell. Ar y 10fed o Fehefin, y diwrnod cyntaf y cymerodd Cromwell ei eisteddle yn Nhŷ yr Arglwyddi fel Iarll Essex, cymerwyd ef i fyny fel bradwr, a thaflwyd ef i'r Tŵr. Penderfynwyd ei dynged trwy warthrudd-iad heb brawf rheolaidd—dyfais a luniwyd gan Cromwell ei hun. Ysgrifenodd Cranmer lythyr at y brenin i ddadleu o'i blaid, ond ni

thyciodd. Prysurodd Henry orchwyl yr ysgariad. Cymerwyd yr esgus i fyny fod Anne wedi gwneyd cytundeb priodasol â Duc Lorraine cyn priodi â Henry. Perswadiwyd hi i roddi y titl o frenines i fyny, a derbyn y titl o chwaer i'r brenin yn ei le. Rhoddwyd yr achos i bwyllgor, yn cynwys y ddau archesgob, yn nghydag amryw esgobion a chlerigwyr detholedig. Penderfynodd y pwyllgor hwnw fod y briodas yn ddirym ac ofer. Cadarnhawyd y penderfyniad gan y senedd, a chyhoeddwyd ef yn deyrn-fradwriaeth i amheu y pwnc hwnw drachefn. Rhoddwyd palas Richmond i Anne, a gwaddol o dair mil o bunau y flwyddyn; a chafwyd ganddi ysgrifenu llythyr at ei brawd, Duc Cleves, i ganmol caredigrwydd Henry a'i bobl tuag ati. Ysgrifenodd Cromwell lythyrau o'r mwyaf taer ac erfyngar i ofyn maddeuant ei frenin; ond, er y dywedir iddynt dynu dagrau o'i lygaid, yr oedd ei galon ystyfnig wedi caledu, ac nis gallai drugarhau. Torwyd pen Cromwell ar Fryn y Tŵr, Gorphenaf 28ain, 1540.

Yr oedd llywyddiaeth cynghor y brenin yn awr yn nwylaw Duc Norfolk a'r esgob Gardiner, a dechreuodd erledigaeth greulon ar Brotestaniaid a Phabyddion. Dau ddiwrnod ar ol dienyddiad Cromwell y llosgwyd Barnes, Jerome, a Gerrard yn Smithfield, fel hereticiaid, am bregethu cyfiawnhad trwy ffydd; ac ar yr un dydd y crogwyd ac y darniwyd tri Phabydd am wrthod cydnabod uchafiaeth eglwysig Henry. Y tro hwn, fel ar brydiau eraill, yr oedd Protestant a Phabydd, wedi eu cyplu yn nghyd, yn cael eu gyru i Smithfield. Dywedir i Ffrancwr waeddi allan wrth eu gweled, "Arglwydd mawr! sut mae dynion yn gallu byw yma, lle mae Pabyddion yn cael eu crogi, a gwrth-Babyddion yn cael eu llosgi!"

Yr oedd Henry erbyn hyn wedi priodi yn ddirgel â Catharine Howard, ei bumed wraig; ar yr 8fed o Awst, gwnaed arddangosiad cyhoeddus o honi fel brenines. Yr oedd hyn yn destun llawenydd i'r Pabyddion, gan fod Catharine yn Babyddes frwd, ac eisoes wedi enill llywodraeth ar galon y brenin.

Yn Ebrill, 1541, cododd gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth yn mharthau gogleddol y deyrnas; ond darostyngwyd ef yn fuan; ac yn nghwrs yr haf cymerodd y brenin daith i'r gogledd, er mwyn tawelu meddyliau y bobl, a chyda bwriad i gyfarfod â'i nai, James o Ysgotland, er ei gynghori yntau i atafaelu y meddianau eglwysig. Ond yr oedd dylanwad ei wraig a'r clerigwyr yn drech na James, ac anfonodd esgusawd dros beidio cyfarfod â'i ewythr o Loegr yn York. Digiodd Henry yn fawr, a dychwelodd i Lundain gyda bygythion croch yn erbyn James; ond yr oedd trallod mwy yn ei aros dan ei gronglwyd ei hun.

Dygwyd cyhuddiadau at yr archesgob Cranmer yn erbyn y frenines, o ymddygiadau anniwair a godinebus cyn ac wedi priodi,

gan un o'r enw Lascelles. Dywedid, ar seiliau cedyrn, fod gweinyddion iddi, o'r enw Derham a Mannock, wedi bod mewn cymundeb anmhriodol â hi. Taflwyd Cranmer i gyfyng-gynghor, ac ni wyddai pa fodd i ymlwybro. Yr oedd y fath newydd pwysig yn rhy beryglus i'w gelu, ac yn ymddangos mor beryglus i'w gyhoeddi. Rhoddodd Cranmer yr achos o flaen y canghellydd Audley, a Iarll Hertford, a'r penderfyniad y daethant iddo oedd, fod i Cranmer hysbysu y peth i'r brenin. Rhoddodd yr archesgob ef ar ddu a gwyn, a gosododd ef yn llaw Henry. Tarawyd y brenin â syndod, a mynai mai anwiredd oedd y cwbl. Beth bynag, parodd i ymchwiliad manwl gael ei wneyd. Daliwyd Derham a Mannock, a chyfaddefasant eu heuogrwydd. Yr oedd y cyntaf wedi bod yn cydorwedd â hi cyn iddi briodi, a thystion eraill i'w cael i brofi hyny. Pan adroddwyd y tystiolaethau hyn wrth y brenin, aeth yn fud; ac ar ol cryn ddystawrwydd, torodd i wylo yn hidl. Anfonwyd i holi y frenines. Gwadodd hi y cwbl ar y cyntaf, ond o'r diwedd cyfaddefodd y cwbl wrth Cranmer, a gosododd ei henw wrth ei chyfaddefiad; ond parhaodd hyd y diwedd i dystio nad oedd wedi bod yn anffyddlon i'w gwely priodasol er pan briododd â Henry. Cafwyd fod Arglwyddes Rochford (yr hon a gyhuddodd ei brawd a'i chwaer yn nghyfraith, Anne Boleyn) yn nghyfrinach Catharine, ac yn ei chynorthwyo yn ei drygioni. Crogwyd Derham, a thorwyd pen un arall o'r enw Culpeper; a thaflwyd amryw eraill i garchar am beidio datguddio yr hyn a wyddent am ymddygiad anniwair y frenines. Pan gyfarfu y senedd yn Ionawr, 1542, pasiwyd biliau o warthruddiad yn erbyn Catharine a'r Iarlles Rochford, ac ar y 13eg o Chwefror, torwyd eu penau yn y Twr. Yn ysgrif gwarthruddiad Catharine yr oedd y penran hynod, fod i bob dynes a fyddai ar fedr priodi a'r brenin, neu un o'i olynwyr, hysbysu yn mlaen llaw os na fyddai ei mhorwyndod ganddi, neu gael ei chyfrif yn euog o fradwriaeth; a bod pob un fyddai yn wybyddus o hyny ac a beidiai hysbysu, yn euog o fradwriaeth; ac os hudid unrhyw ddyn i odineb gan y frenines, ei bod i ddyoddef fel bradwr. Chwarddai rhai am ben y gosodiadau hyn, a dywedent na ddylasai y brenin gan hyny geisio gwraig ond o fysg gweddwon.

Yn 1541, cymerodd Henry arno ei hun y titl o frenin Iwerddon; arglwyddi Iwerddon y gelwid y breninoedd o'r blaen, ond yn awr gwnaed hi yn deyrnas; ac i gadw y bobl yn dawel, cododd y brenin amryw o'r Gwyddelod penaf i'r bendefigaeth. Gyrodd Henry hefyd fyddin o ugain mil o wŷr, dan lywyddiad Duc Norfolk, i ffiangellu Ysgotland am y sarhad diweddar a gafodd gan James. Ffodd yr Ysgotiaid mewn dyryswch o flaen y Saeson; dygodd y siomedigaeth glefyd ar James, a bu farw yn fuan ar ol hyn, gan adael baban newydd eni, o'r enw Mary, ar ei ol. Cynygiodd Henry

yn ddioed wneyd cytundeb priodas rhwng y baban hwn a'i fab, Edward; ond rhwystrwyd ef trwy ddylanwad Cardinal Beaton, yr hwn a ffugiodd ewyllys i James, yn yr hon yr enwid ef yn rhaglaw y deyrnas. Beaton oedd blaenor y blaid Babaidd yn Ysgotland, a chafodd gynorthwy y frenines i gario allan ei gynlluniau. Ond Iarll Arran oedd perthynas agosaf y frenines, a chafodd hwn gefnogaeth calonog y diwygwyr.

Gan fod brenin Ffrainc wedi cynorthwyo Ysgotland yn erbyn Lloegr, yr oedd Henry wedi digio wrth Francis, a gwnaeth gytundeb â'r ymerawdwr Charles i'w wrthwynebu. Yn Gorphenaf, 1543, priododd Henry unwaith eto, â'i chweched wraig, Catharine Parr, gweddw Neville, Arglwydd Latimer, yr hon oedd o olygiadau ffafriol i'r diwygiad. Parhaodd Henry i ddwyn yn mlaen ryfeloedd diamcan â Ffrainc ac Ysgotland, am rai blynyddoedd; ac er ei fod fynychaf yn gorchfygu, ni wnaeth ond gwario ei olud, heb enill unrhyw fantais iddo ei hun na'i deyrnas. Yn 1546, rhoddwyd terfyn ar y rhyfeloedd hyn trwy gytundeb heddwch.

Wedi marw Duc Suffolk a'r canghellydd Audley yn 1545, dau o brif gefnogwyr y diwygiad, gwnaed ymgais penderfynol i ddyfetha Cranmer. Cyhuddwyd ef wrth y brenin o lenwi y deyrnas â hereticiaid ffiaidd, a thrwy hyny osod yr orsedd mewn perygl; a chynghorwyd y brenin i'w daflu ar unwaith i'r Tŵr. Ond yr oedd gan y brenin ormod o olwg ar yr archesgob i'w adael i fyned yn ysglyfaeth i gynddaredd ei elynion. Beth bynag, caniataodd iddo gael ei alw dranoeth o flaen y cynghor. Ond gyrodd y brenin am Cranmer y noswaith hono, ac hysbysodd ef o'r cwbl, a chyfarwyddodd ef sut i wneyd. Dywedodd wrtho am hawlio ei ragorfraint fel un o'r cyfrin-gynghor, a mynu ei gyhuddwyr ger ei fron, ac os gwrthodid hyny, am iddo apelio at y brenin, a dangos y fodrwy a roddwyd iddo yn awr gan Henry. Dychwelodd Cranmer adref, a boreu dranoeth gwysiwyd ef i ymddangos o flaen y cynghor. Tybiai pawb yn awr fod ei ddinystr yn sicr. Cafodd aros oriau yn mysg y bobl gyffredin wrth y drws cyn ei ollwng i mewn i'r cynghor. Wedi myned i mewn, hysbyswyd ef o'r cyhuddiadau a ddygid yn ei erbyn, a'r bwriad i'w daflu i'r Tŵr. Gwrthodwyd adael i'w gyhuddwyr ddyfod ger ei fron. "Mae yn ddrwg genyf, fy arglwyddi," ebai, "eich bod yn fy ngyru i gymeryd y fath lwybr, ond wrth ganfod eich bod yn bwriadu gwneyd chwareu brwnt â mi, rhaid i mi apelio at y brenin." Yna dangosodd y fodrwy iddynt, ac edrychasant arni am dro yn fud a synedig. "Oni ddywedais i chwi," ebe Arglwydd Russell gyda llw, "fel y buasai? Gwŷddwn yn ddigon da na fuasai y brenin yn caniatau carcharu fy arglwydd o Canterbury, oddigerth am deyrn-fradwriaeth." Dygwyd yr achos o flaen y brenin, a cheryddodd Henry hwynt yn llym am eu

hymddygiadau maleisus tuag at yr archesgob. Dywedodd Norfolk mai yr amcan oedd ganddynt ydoedd rhoddi cyfleusdra i Cranmer droi y cyhuddiadau yn ol. Wrth orchymyn y brenin, ysgydwasant oll ddwylaw eu gilydd, ac ymadawsant mewn heddwch.

Cyfarfu senedd ddiweddaf Henry yn Tachwedd, 1545, yr hon a ganiataodd symiau helaeth o arian iddo. Trosglwyddwyd iddo hefyd gyllidau y prif-ysgolion, y clafdai, a sefydliadau rhyddion eraill. Yr oedd Henry yn falch o hyn, ond dangosodd well egwyddor na'i senedd, trwy hysbysu na wnai ysbeilio dysgeidiaeth o'i gwaddol, ac na fuasai yn cyffwrdd â chyllidau y prif-ysgolion. Wrth dori y senedd i fyny yn mis Rhagfyr, gwnaeth Henry araeth synwyrol, yn yr hon y beiai yn erwin yr ymraniadau a'r dadleuon crefyddol oedd yn eu mysg; a chynghorai hwynt i fyw yn heddychlon, a pheidio galw enwau cas ar eu gilydd. Yr oedd cynghor y brenin yn dda, ond efe ei hun oedd y diweddaf i'w wneuthur. Oblegyd yn fuan ar ol hyn cawn ef yn peri llosgi Anne Askew, merch rinweddol i farchog o Swydd Lincoln, yn nghyda thri o wrywod, am wadu athrawiaeth traws-sylweddiad yn y Swper. Rhoddwyd Anne, cyn ei llosgi, ar yr arteithglwyd i'w dirdynu, gan obeithio y buasai yn cyffesu am eraill oeddent o gyffelyb olygiadau. Ond ni lwyddasant yn hyn; a dyoddefodd y driniaeth greulon "yn addfwyn a llonydd." Yr oedd yr arteithglwyd wedi ei dadgymalu fel nas gallai sefyll, a gorfu iddynt ei chludo i ffagodau Smithfield mewn cadair.

Bu bywyd y frenines hefyd yn y chwareu y pryd hwn oblegyd ei golygiadau diwygiadol. Yr oedd Catharine Parr yn ddynes gall, fedrus, a gochelgar, eto byddai yn dwyn ei dadleuon â'r brenin ar bynciau duwinyddol weithiau mor bell, fel ag i gynyrchu amheuaeth am dani yn meddwl ei gwr. Yr oedd y brenin yn awr wedi myned yn gorphol a thew iawn, yn gymaint fel nad ellid ei symud ond mewn cadair, a chlwyf rhedegog anwelladwy ar ei goes. Yr oedd hyn yn ei wneyd yn fwy anfoddog a gwenwynllyd nag arfer; a byddai croes-ddadleuon y frenines yn awr yn ei gyffroi. Un diwrnod, wedi i'r frenines droi ei chefn, gwnaeth Henry sylw achwyngar arni wrth Gardiner. Yr oedd yn dda gan yr esgob gael y cyfleusdra; ceisiodd chwythu y wreichionen yn fflam, a llwyddodd i gael caniatad y brenin i ddwyn cyhuddiad yn ei herbyn. Ond tra y bu Gardiner yn cynllunio llwybr ei dinystr, aeth Catharine at Henry, a thrwy ei phwyll a'i hynawsedd, cyffyrddodd â'r man tyner oedd yn ei galon. Gofynodd y brenin ei golygiadau ar rai pynciau crefyddol; atebodd hithau mai y gwr oedd pen naturiol y wraig, ac y dylasai ei barn hi gael ei rheoleiddio gan ei eiddo ef. "Na, na, myn St. Mary," ebe y brenin, "yr ydych chwi wedi myned yn ddoctor, Kate, i'n dysgu ni, ac nid i gael eich

dysgu genym." Sicrhaodd hithau mai ei hamcan wrth ddadleu ag ef oedd difyru ei feddwl, a chael hyfforddiad iddi ei hun. "Ai felly y mae, cariad?" gofynai y brenin yn siriol. "Os felly, yr ydym ni yn berffaith ffryndiau eto, ac y mae y geiriau hyn yn fwy o werth yn fy ngolwg na phe cawswn gan mil o bunau." Ac er i'r brenin fod ar fin ei gyru i'r Tŵr, cofleidiodd hi yn serchog, a chanmolodd hi wrth y rhai oedd yn bresenol. Dranoeth, pan oedd Henry a Catharine allan yn yr ardd, daeth y canghellydd gyda deugain o wŷr i ddal y frenines, heb feddwl fawr am y cyfnewidiad oedd wedi cymeryd lle. Cuchiodd y brenin, a nesaodd y frenines ymaith. Clywodd Catharine y geiriau "dyhiryn, ffwl, anifail," yn cael eu taranu gan Henry, a dychwelodd i gyfryngu. Dywedodd y brenin wrthi mai ychydig oedd y canghellydd yn haeddu o'r caredigrwydd hwn oddiar ei llaw, pe gwybuasai hi y cwbl. Anfonwyd ef ymaith mewn gwarth, gyda rhybydd nad ymddangosai Gardiner ger bron y brenin mwy, a thynodd Henry enw yr olaf allan o fod yn un o weinyddion ei ewyllys.

Yr oedd diwedd Henry bellach yn agosâu, ond yr oedd un bywyd gwerthfawr arall i syrthio yn aberth i'w greulondeb. Duc Norfolk ydoedd un o brif bendefigion y wlad, ac yr oedd wedi gwneyd llawer o wasanaeth pwysig dan lywodraeth Henry. Efe oedd un o flaenoriaid y blaid Babaidd; a bu yn foddion i ddwyn llawer o fywydau trueiniaid oddiarnynt. Ei fab, Iarll Surrey, ydoedd un o'r boneddigion mwyaf ei alluoedd a'i gymhwysderau yn y deyrnas. Ofnai y brenin fod medr a phoblogrwydd y gwr ieuanc hwn yn beryglus i dynged Edward ei fab. Yr oedd y sî allan ei fod ar fedr priodi y dywysoges Mary, yr hyn oedd yn gwneyd y perygl yn fwy tebygol fyth. Penderfynodd y brenin esmwythau ei feddwl trwy symud Norfolk a'i fab oddiar y ffordd, a thaflwyd hwy i'r Tŵr, yr un diwrnod, ar y cyhuddiad o deyrn-fradwriaeth. Cyhuddwyd Surrey o ddwyn arf-arwyddion Edward y Cyffeswr, ac o gadw Italiaid yn ei wasanaeth, un o ba rai a dybid ei fod yn ysbiwr. Gan mai un o'r Cyffredin ydoedd, profwyd ei achos ef trwy reithwyr yn y Guildhall. Ac er gwaethaf nerth a hyawdledd ei amddiffyniad, condemniwyd ef i farw. Ac felly, ar y 19eg o Ionawr, ar Fryn y Tŵr, y torwyd pen "blodau y bendefigaeth Seisnig," pan oedd Henry ei hun yn ymdagu ag angau. Dygwyd bil gwarthruddiad yn erbyn ei dad, Norfolk, yn mhen wythnos, a daeth gwarant yn gorchymyn tori ei ben boreu dranoeth. Ond, yn ffodus i Norfolk, bu y brenin farw y noswaith hono, a galwyd y ddedryd yn ol; felly cafodd Norfolk ei fywyd o safn marwolaeth.

Yr oedd cyfansoddiad Henry er ys tro yn prysur ddadfeilio, a phawb yn gweled fod angau yn agosâu; eto ni feiddient ei hysbysu, rhag iddo, fel y gwnaeth cyn hyny, ddial ei lid ar y rhai a gyhoedd-

ent ei farwolaeth. O'r diwedd, beiddiodd Syr Anthony Denny ddyweyd y gwirionedd wrtho, a dymuno arno barotoi erbyn yr amgylchiad. Diolchodd Henry iddo am ei garedigrwydd, a dymunodd am weled Cranmer. Ond cyn fod Cranmer wedi cyrhaedd, yr oedd y brenin wedi colli ei siarad. Gofynodd Cranmer am arwydd os oedd yn marw mewn ffydd yn Nghrist. Gwasgodd y brenin law yr archesgob, ac yn mhen mynyd bu farw, Ionawr 28ain, 1547, wedi byw pymtheg mlynedd a deugain a saith mis, ac wedi teyrnasu dros ddwy flynedd ar bymtheg ar ugain. Blwyddyn o'i flaen y bu farw Luther. Bu Francis I. o Ffrainc farw yn mhen dau fis ar ei ol; a bu y pab, Paul III., farw cyn pen dwy flynedd. Felly y symudwyd yn agos i'w gilydd amryw o brif ddynion yr amseroedd cyffrous a phwysig hyn.

Mae yn anhawdd, ar ychydig eiriau, roddi desgrifiad o gymeriad Henry. Ei hanes yw y desgrifiad goreu. Mae haneswyr Pabaidd, oblegyd gwaith Henry yn gwrthwynebu y pab, ac yn cefnogi y diwygiad, wedi cau eu llygaid ar bob peth ond ei ddrwg, ac wedi gwneyd eu goreu i fwyhau hwnw. Rhaid dyweyd ei fod yn ddyn call, yn ysgolhaig da, ac yn llenor o gymhwysderau anarferol. Meddai ar dymher siriol, ffraeth, a chyfeillgar, yn enwedig yn mlynyddoedd cyntaf ei deyrnasiad, yr hyn a enillodd boblogrwydd iddo gyda'r lliaws, na chollodd hyd ddiwedd ei oes; ac yr oedd ganddo lygad mor graff fel na chodai neb ond y rhai mwyaf galluog i unrhyw swydd o bwys yn y llywodraeth. Ond y mae ei gymeriad wedi ei lychwino gan ymddygiadau o'r mwyaf gormesol a chreulon. Mae yn ddigon gwir y byddai yn rhaid i bob rhagoriaeth oedd ynddo roddi ffordd pan ddelai i gyffyrddiad â theimladau llywodraethol ei gymeriad—ei huanoldeb, ei drachwant, a'i ewyllys anhyblyg ei hun. Yr oedd ei ewyllys yn anwrthwynebol, pa gyfeiriad bynag a gymerai. Ni oddefai ymresymiad na dadl. Dywedir na aberthodd yr un tueddiad erioed er mantais neu hapusrwydd arall. "Ni arbedodd yr un dyn yn ei gynddaredd, na'r un ddynes yn ei drachwant." Dywedai Syr Thomas More, pan oedd uchaf yn ffafr y brenin, a phan oedd y brenin newydd fod yn rhodio gydag ef yn yr ardd am awr o amser, a'i fraich am ei wddf, dywedai wrth Roper, ei fab yn nghyfraith, nad oedd fawr o destun ymffrost yn y fath ffafr, "oblegyd," meddai, "pe enillai fy mhen gastell i Henry yn Ffrainc, cai fyned yn union." Mae Bwyall y Tŵr, yr hon a gadwyd yn wlyb gan waed ei wragedd a'i bendefigion am gynifer o flynyddoedd; ac y mae llewyrch dibaid fflamiau Smithfield yn dystion didaw ac anwrthwynebol yn erbyn Henry. Ar yr un pryd nid yw ei holl ddrygioni yn lleihau dim ar werth y diwygiad y bu ef yn gymaint o offeryn i'w ddwyn oddiamgylch, ac nid yw y diwygiad mewn un modd yn gyfrifol am ei gymeriad. Ac

fel y dywed Burnet, "tra y gwelwn ynfydrwydd a gwendid dyn yn holl ddiffygion personol Henry, y rhai oeddent yn lliosog ac yn anferth, gwelwn ar yr un pryd gyfiawnder, doethineb, a daioni Duw yn ei waith yn gwneuthur yr hwn a fu unwaith yn falchder a gogoniant Pabyddiaeth, wedi hyny yn fflangell ac yn ddinystr iddi."

Cymerodd un symudiad gwladol o bwys le yn Nghymru yn ystod teyrnasiad Henry VIII. Yr oedd Cymru wedi ei huno â Lloegr, mae yn wir, dan Edward I., ond er hyny nid oedd wedi ei darostwng dan yr un cyfreithiau. Yr oedd y dywysogaeth wedi ei ranu yn ddau barth, ac un o honynt yn cael ei lywodraethu gan y cyfreithiau Seisnig, a'r parth arall yn fath o arglwyddiaethau annibynol, heb gydnabod unrhyw gyfreithiau na defodau ond yr eiddynt eu hunain. Oblegyd hyn byddai troseddwyr y cyfreithiau Seisnig yn ffoi drosodd at yr arglwyddi Cymreig yn fynych, ac yn cael eu noddi ganddynt, a hyny yn achosi blinderau a therfysgoedd. Byddai terfysgoedd mynych yn codi hefyd rhwng yr arglwyddiaethau hyn a'u gilydd. "Ac felly y Cymry a anfonasant erfyniad at Henry VIII., i ofyn am ryddhad oddiwrth eu gorthrymderau, a mwynhad o'r un breintiau a'u cymydogion Saesoneg. Yr erfyniad hwn, fel y dywedir, a eiriwyd gan Syr John Price, o'r Priordy, yn Aberhonddu, a'r canlyniad oedd estyniad y cyfryw freintiau iddynt (1536). Ar y pryd hwn rhanwyd y cyfan o Gymru yn Swyddi neu Siroedd; yr oedd rhan o'r gogledd-dir wedi ei dosbarthu felly gan Edward I., ac yn awr rhanwyd y cyfan o Gymru felly; a thrwy ryw annhrefn neu gilydd, gosodwyd *Swydd Fynwy* yn mhlith Swyddi Lloegr, er fod y trigolion yn gyffredinol yn Gymry, ac hyd y dydd heddyw ran fawr o'r wlad yn arferyd yr iaith Gymraeg."* Bellach nid oedd awdurdod gan neb o'r arglwyddi i noddi na phardynu troseddwyr; a phenodwyd hefyd i'r Siroedd Cymreig, gydag un fwrdeisdref yn mhob sir, anfon aelod i'r senedd Seisnig.

## III.—HANES CREFYDD.

Mae adeg teyrnasiad teulu Tudor, ac yn arbenig Henry VIII., yn gyfnod pwysig yn hanes Cristionogaeth. Yr ydys eisoes wedi cyffwrdd ag amryw bethau cysylltiedig â hanes yr eglwys Brydeinig yn nglŷn â hanes Henry, ac nis gellir yn awr ond troi y wyneb yn ol i gael cipolwg ar rai o'r prif gyfnewidiadau yr aeth danynt yn y cyfnod pwysig hwn. Fel yr awgrymwyd eisoes, yr oedd cyflwr yr eglwys Babaidd wedi myned yn isel a drwg, ac yn faich anhawdd i'w ddwyn. I'r sylwedydd arwynebol, gallasai fod ei chyflwr yn ymddangos yn well nag y bu, a'r ymosodiadau yn erbyn ei hawdurdod wedi eu darostwng. Yr oedd y Wicliffiaid wedi eu hymlid a'u llosgi, a diwygwyr Bohemia, John Huss, a Jerome o

* Hanes Cymru gan Carnhuanawc, tu dalen 784.

Prague, wedi eu merthyru, a'u canlynwyr wedi eu gwasgar. Ond os oedd y gwrthwynebiad oddiallan yn ymddangos yn cilio, yr oedd y gwrthwynebiad mewnol yn cynyddu—y cynghorau eglwysig yn annghytuno ac yn ymranu, a ffydd yn anffaeledigrwydd yr esgob Rhufeinig yn gwanhau. "Ac os nad oedd un llais yn codi i ymosod arni, yr achos o hyny oedd fod pob un yn bryderus i gadw yr ychydig ffydd oedd yn ei feddiant. Ofnent unrhyw ergyd, rhag iddo daflu yr holl adeilad i lawr. Daliai y byd Cristionogol ei anadl; ond er mwyn gochelyd galanasdra yn yr hwn yr ofnai ei ddinystr ei hun. O'r foment y dychryna dyn rhag gadael credo y bu yn ei hir addoli, y mae yn colli y meddiant arno."* Ond os ymddangosai y gyfundrefn Babaidd yn dawel yn ei gormes a'i ffieidd-dra, yr oedd elfenau ei dymchweliad yn ymweithio yn brysur. Yr oedd y wasg ar ei heithaf yn argraffu yr ysgrythyrau a llyfrau eraill, a'r Bibl yn cael ei ddarllen gan filoedd na welsant ef o'r blaen; ac yr oedd Rhagluniaeth yn addfedu gwahanol deyrnasoedd ar gyfer y diwygiad. Llosgwyd esgyrn Wicliffe, a thaflwyd eu lludw i'r Afon; "cludodd yr Afon ef i'r Hafren, a'r Hafren i'r cyfyng-foroedd, a'r cyfyng-foroedd i'r cefnfor llydan. Felly yr oedd lludw Wicliffe yn arddangosiad o'i athrawiaeth." Yr oedd wedi ymdaenu yn mhell ac yn agos, wedi lefeinio a rhagbarotoi. Y peth oedd yn eisiau yn awr oedd dyn cymhwys i gasglu y galluoedd diwygiadol yn nghyd, a beiddio yr ymosodiad; dyn ag y gallai ei ysbryd dderbyn syniadau y miloedd, a'i dafod eu cyhoeddi yn eofn a difloesg. Cafwyd yr offeryn cymhwys yn mherson Martin Luther, mynach tlawd o Germany, a anwyd yn 1483. Yr oedd, er yn dlawd, wedi cyrhaedd dysgeidiaeth uchel, yn feddianol ar feddwl galluog, ac argyhoeddiadau crefyddol dwfn, ac yr oedd wedi ei ddyrchafu i fod yn broffeswr athroniaeth yn mhrif-ysgol Wittemberg. Felly yr oedd ef ar y ffordd i binacl anrhydedd cyn tori allan fel diwygiwr; ond dan gadwynau ofergoeliaeth a thywyllwch Pabyddiaeth yr oedd yn aros. Ond ar ddiwrnod bythgofiadwy arweiniodd rhagluniaeth ef ar draws hen Fibl wedi ei orchuddio â llwch; agorodd a darllenodd ef yn fyfyriol; ac "wrth fyfyrio, enynodd tân, a llefarodd â'i dafod." Tynwyd y gorchudd oddiar ei lygaid, a bedyddiwyd ef ag ysbrydoliaeth a'i cymhwysodd at y gwaith mawr oedd yn ei aros.

Martin Luther.

Achlysur y toriad allan oedd hyn; yr oedd ar y pab Leo X. eisiau swm mawr o arian i adeiladu eglwys St. Pedr yn Rhufain, a chymerodd lwybr hynod tuag at eu casglu. Penderfynodd werthu anwesau, neu lythyrau maddeuant, i'r bobl trwy y gwledydd, y rhai a gynwysent faddeuant am bechodau bwriadol, yn gystal a phechodau wedi eu cyflawni; a byddai y swm i dalu yn ymddibynu ar

*D'Aubigne's History of the Reformation.

faint y trosedd, a sefyllfa y troseddwr. Yr oedd geiriau y maddeueb yn rhedeg fel hyn:—"Cymered yr Arglwydd Iesu Grist drugaredd arnat, a maddeued i ti yn rhinwedd ei santeiddiaf ddyoddefiadau; ac yr wyf fi, trwy ei awdurdod ef, a'i santaidd apostolion, Pedr a Paul, a'r santeiddiaf bab, yr hon a roddwyd i mi yn y parthau hyn, yn caniatau maddeuant i ti; yn gyntaf oddiwrth bob cerydd eglwysig, pa fodd bynag y dygwyd ef; ac yna oddiwrth dy holl bechodau, troseddiadau, ac amryfusedd, pa mor fawr bynag, ac hyd y nod am y rhai sydd wedi eu cadw i farn yr esgobaeth santaidd. Ac, mor bell ag y mae agoriadau yr eglwys yn cyrhaedd, yr wyf yn dy ryddhau oddiwrth bob cospedigaethau a haeddi yn y purdan, ar gyfrif y cyfryw bechodau. Yr ydwyf hefyd yn dy adferu i sacramentau santaidd yr eglwys, i undeb y ffyddloniaid, ac i'r diniweidrwydd a'r purdeb a feddienit yn dy fedydd, fel, pan fyddi farw, y bydd pyrth cospedigaeth yn gauedig, a phyrth paradwys yn agored o'th flaen. Ac os na fyddi farw yn bresenol, parha y gras hwn yn ei lawn nerth hyd yr amser y byddi farw; yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân."

Daeth mynach o'r enw Tetzel, yr hwn oedd wedi ei gyflogi fel mân werthydd dan y pen fasnachydd, archesgob Madgeburg, â'r maddeuebau hyn i'w cyhoeddi yn Wittemberg, y dref y preswyliai Luther. Cododd Luther ei lef yn groch yn erbyn y fath fasnach gywilyddus; ac wele yr ymgyrch mawr yn dechreu. Gwysiwyd ef o flaen cynghorau, ysgrifenodd y pab lythyrau yn ei erbyn, a sychedai y Pabyddion am ei waed. Y diwedd fu i Luther daflu iau y pab yn gwbl oddiar ei wàr, tori ei gysylltiad ag eglwys Rhufain, a chanlynwyd ef gan y gyfran oreu o Gristionogion Ewrop. Yr oedd athrawiaeth ac esiampl Luther wedi cyrhaedd mor bell, fel, yn nghymanfa Spires, yn 1530, y protestiodd chwech o dywysogion, a phedair ar ddeg o ddinasoedd Germany, yn erbyn y ddeddf a gyhoeddai ei bod yn annghyfreithlon i ddwyn i mewn unrhyw athrawiaeth neu ddysgyblaeth newydd heb gydsyniad cynghor cyffredinol yr eglwys; ac oddiwrth hyn y cododd yr enw *Protestaniaid.*

Parhaodd Luther i gyhoeddi yn erbyn llygredigaethau yr eglwys Babaidd, ac i bregethu ei hoff bwnc o "gyfiawnhad trwy ffydd"—gwirionedd mawr Cristionogaeth—nes deffro y gydwybod gysglyd, ac adfywio gobaith mewn mil o fynwesau. Cyfieithodd y Bibl, ac ysgrifenodd amryw lyfrau eraill, ac yr oedd y wasg yn awr yn barod i'w gwasgar i bob cyfeiriad. Cafodd amddiffynwyr galluog—yn enwedig Frederick, Etholwr Saxony; a chydweithwyr selog i'w gynorthwyo—yn enwedig ei gyfaill a'i gydweithiwr Melancthon. "Amlygodd Cristionogaeth yr un gallu adgenedliadol yn yr unfed ganrif ar bymtheg ag a ddangosodd ar ei chychwyniad cyntaf. Yn mhen pymtheg canrif cynyrchodd yr un gwirionedd yr un effeithiau.

Dadymchwelodd yr efengyl yn nydd y diwygiad, fel yn nyddiau Pedr a Paul, yr anhawsderau mwyaf gyda nerth anorchfygol. Cynyrchodd ei gallu godidog y cyffelyb effeithiau o'r gogledd i'r deheu, ar genedloedd tra gwahanol o ran arferion, cymeriad, a galluoedd meddyliol. Cyneuodd y pryd hwnw, fel yn amser Stephan a Iago, dân brwdfrydedd ac ymgysegriad yn y cenedloedd difywyd, a chododd hwynt i wres merthyrdod."* Ymledodd y gallu i Switzerland, a chafodd yno gefnogwyr enwog yn Zuinglius a Chalfin. Cerddodd dros Sweden, Denmark, a Ffrainc; a daeth Prydain yn brif chwareufan y cyffroad.

Yr oedd Henry VIII., yn mlynyddoedd cyntaf ei deyrnasiad, yn un o blant ffyddlonaf yr eglwys Babaidd; ac oblegyd ei sel yn ysgrifenu llyfr i wrthwynebu Luther y rhoddodd y pab y titl newydd o "Amddiffynwr y Ffydd" iddo, yr hwn ditl sydd wedi ei gadw gan benaduriaid Lloegr hyd yn awr. Atebwyd ei lyfr gan Luther, yn bur ddiseremoni, heb dalu un gwarogaeth i sefyllfa uchel ei wrthwynebydd, nac hyd y nod roddi y credyd iddo o fod yn awdwr y llyfr yr ymffrostiai gymaint ynddo. Yr oedd hwn yn drosedd na wnaeth Henry byth ei annghofio na'i faddeu. Ond, yn mhen ychydig flynyddoedd, fel y dangoswyd eisoes, torodd ffrae annghymodlon allan rhwng Henry a'r pab; nid am fod y brenin yn casâu ei gyfundraeth, ond am ei fod yn chwenych cael yr awdurdod iddo ei hun. Eto yr oedd yr ymraniad hwn ar y fath adeg yn dra phwysig, a rhoddodd fantais arbenig i'r diwygwyr. Dymchwelodd Henry holl sefydliadau Pabaidd y wlad, y rhai oeddent ategion cadarnaf Pabyddiaeth; a gwnaeth ef yn drosedd marwol i ddal uchafiaeth eglwysig y pab mwyach. Yr oedd rhai o wragedd y brenin (Anne Boleyn a Catharine Parr), a Cranmer a Cromwell, ei brif swyddogion, yn bleidwyr y diwygiad. Ac er na feiddient wrthwynebu ei ewyllys, na dangos eu syniadau ond gyda'r cynildeb mwyaf, eto bu eu dylanwad o bwys mawr. Ar gais Cranmer y gorchymynodd Henry barotoi cyfieithiad o'r Bibl, yr hyn a wnaed yn benaf gan Coverdale a Tyndal, a rhoddi copi o hono wrth gadwyn yn mhob eglwys, fel y gallai y plwyfolion fyned yno i'w ddarllen. Gwnaed hyn tua'r flwyddyn 1539. Nis gallesid dyfeisio dim yn fwy manteisiol i ysbryd y diwygiad, nac yn fwy dinystriol i ddylanwad y pab. Heidiai tyrfaoedd yno i ddarllen y Bibl am y waith gyntaf, ac elent ymaith wedi drachtio o'i ysbryd pur ac adfywiol. Arafodd y brenin ei gamrau yn fuan yn y cyfeiriad hwn, ofnodd ei fod yn myned yn rhy bell, a galwodd rai o'i fesurau yn ol.

Ychydig o ysbryd diwygiadol oedd yn Henry VIII., ond yr oedd yn gymaint pab a Leo X. Er mai efe yw tad Protestaniaeth

*D'Aubigne.

Lloegr, ni fu erioed yn Brotestant ei hun. Cospai â marwolaeth y neb a wrthodai gydnabod ei uchafiaeth ef, fel y rhai a gydnabyddent uchafiaeth y pab. Yr oedd mor selog dros athrawiaeth a defodau yr eglwys Rufeinig ar ol ymwrthod â hi ag ydoedd o'r blaen—fel y profa deddf waedlyd y Chwe Pwnc, a mesurau gorthrymus eraill. Dangosodd lawn cymaint o greulondeb mewn llosgi diwygwyr ag mewn crogi a llosgi Pabyddion; a gadawodd chwe chant o bunau y flwyddyn yn ei ewyllys tuag at ddyweyd yr offeren er gwaredu ei enaid o'r purdan.

Holl amcan diwygiad Henry oedd cael awdurdod yr eglwys i'w law ei hun. "Y brenin oedd i fod yn bab ei deyrnas, yn ficer Duw, yn esboniwr gwirionedd cyffredinol, ac yn llwybr grasusau sacramentaidd. Cymerai yr hawl iddo ei hun i benderfynu beth oedd yn athrawiaeth uniongred, a pha beth oedd yn heresi; i dynu i fyny gyffesiadau ffydd, a gweinyddu addysg grefyddol i'w bobl. Cyhoeddai fod pob awdurdod ysbrydol a thymhorol i ddyfod oddiwrtho ef yn unig, a bod yn ei allu ef i drosglwyddo awdurdod esgobol, ac i'w alw yn ol. Gorchymynodd roddi ei sel wrth ordeiniad esgobion, y rhai oeddent i weinyddu eu swyddogaethau drosto ef, ac wrth ei ewyllys. Y brenin oedd penadur ysbrydol yn gystal a thymhorol y genedl. Nid oedd angen arddodiad dwylaw mwy. Gallai y brenin (yn ol Cranmer ei hun), trwy rinwedd yr awdurdod a dderbyniai gan Dduw, wneuthur offeiriaid; ac nid oedd angen i'r cyfryw offeiriaid wrth unrhyw fath o ordeiniad."* Yr oedd yr eglwys Brydeinig ar adeg marwolaeth Henry, yr un o ran ei hathrawiaeth a'i chredo ag eglwys Rhufain. Delid athrawiaeth y saith sacrament, presenoldeb corphorol yn y swper, cyffesiadau, gweddwdod yr offeiriaid, gwasanaeth yr offeren, yn nghydag agos yr holl ddefodau a'r defosiynau ymarferol.

Yn Ysgotland, er ei bod wedi ei darostwng yn llawn mor isel gan y gallu Pabaidd, cafodd egwyddorion y diwygiad gymaint, os nad mwy, o afael nag mewn unrhyw barth o Ewrop; ac mae yr effeithiau i'w canfod heddyw yn mlaenoriaeth nodweddiad y wlad. Un Patrick Hamilton, dysgybl ieuanc i Calfin, fu yr offeryn i ddwyn y diwygiad yno; ond yr anfarwol John Knox oedd y prif ddyn i'w ddwyn yn mlaen. Dywedir na chafodd y dywygiad hwn fawr argraff ar Iwerddon, ac mai y Gwyddelod oedd yr unig bobl yn ngogledd Ewrop a lynasant wrth yr hen grefydd: a phriodolir ei sefyllfa isel bresenol mewn rhan i'r ffaith hon.

*Macauley's History of England, vol. i., p. 56, 57.

## IV.—LLYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

Mae llywodraeth gwlad yn ymddibynu cymaint ar gymeriad y llywodraethwr ag ydyw ar nodwedd ei ffurf-lywodraeth. Profir hyn trwy gydmaru teyrnasiad y Plantageniaid a'r Tudoriaid. Yr oedd egwyddorion sylfaenol y cyfansoddiad yr un dan y ddau deulu —o amser Edward III. yn mlaen, beth bynag—can belled ag oedd hawlfreintiau y brenin yn cyrhaedd; ac yr oedd tuedd y cyfnewidiadau yn myned i gadarnhau iawnderau y senedd, ac i eangu dylanwad y cyffredin ar weinyddiad achosion cyhoeddus. Er hyn oll llywodraethai y Tudoriaid gyda gallu mwy hollol nag a feddianwyd erioed gan eu rhag-flaenoriaid. Yr oedd hyn i'w briodoli mewn rhan i'w nodweddiad personol, ac mewn rhan i ragoriaeth eu titlau, a rhagoriaeth sefyllfa eu coffrau arianol.*

Ni chynaliodd Henry VII. ond saith senedd yn ystod pum mlynedd ar ugain ei deyrnasiad. Ac er nad oes genym ddygwyddiadau mawrion i'w coffa yn ei hanes, mae ei deyrnasiad yn gyfnod newydd yn ein hanesiaeth. Mae ei gyfreithiau yntau, fel cyfreithiau yn gyffredin—er y tybiai Arglwydd Bacon yn wahanol—heb unrhyw amcan pellach na symud drwg uniongyrchol, neu gyrhaedd amcan penodol. Yn mysg ei brif fesurau, yr oedd diwygiad y *Star Chamber*, a deddf y *Fines*, yr hon oedd yn rheoleiddio trosiad tiroedd etifeddol; er nad oedd yr olaf ond traws-ysgrifiad o un o gyfreithiau Richard III. Gwellhaodd masnach y wlad yn fawr dan y penadur hwn, a phasiodd amryw fesurau mwy neu lai pwysig er ei hyrwyddo. Dywed haneswyr fod ei duedd gybyddlyd yn gymhellydd iddo i gefnogi masnach, am mai po fwyaf fyddai y fasnach, mwyaf fyddai y doll ddylifai i'w goffrau.†

Yr ydym eisoes wedi coffa y prif gyfreithiau a wnaed dan Henry VIII., a'r darllenydd wedi cael mantais i ganfod ysbryd gormesol y brenin yn eu dyfeisio, ac ysbryd annewr a chaethwasaidd ei senedd yn eu goddef. Nid oedd unrhyw safon barhaus yn bod i fywyd teyrngarol; ac yr oedd yn rhaid gwybod syniad mympwyol y brenin ar y pryd, a gweithredu yn ol hyny, os mynai dyn fod yn ddyogel. Un diwrnod, byddai actio fel hyn yn deyrnfradwriaeth; dro arall byddai y gwrthwyneb i hyny yn deyrnfradwriaeth drachefn. Cymerid pob gair a ellid ei esbonio i daflu dianrhydedd ar ei awdurdod ef yn fradwriaeth. Cymerai y brenin lwybr yn fynych i euogi personau, a'u dyfetha, a gyfiawnha y rhai a'i gosodant yn nosbarth Caligula a Nero. Ac ni fethai un amser gael gan ei senedd i gadarnhau ei benderfyniadau. Mewn un senedd rhyddhawyd y brenin o'r holl ddyledion yr oedd wedi eu

* Brougham's British Constitution.
† Hallam's Constitutional History.

tynu chwe blynedd yn ol; mewn un arall caniatawyd iddo, wedi cyrhaedd 24ain oed, i alw yn ol holl Actau y senedd, a wnaed cyn iddo ef gyrhaedd yr oedran hwnw, fel nad oedd grym mewn unrhyw gyfraith a wnaed yn ystod blynyddoedd cyntaf ei deyrnasiad, oddigerth fod y brenin yn ewyllysio: ac mewn un arall pasiwyd fod cyhoeddiad y brenin yn ei gynghor yn meddu yr un awdurdod a deddf seneddol. Mae yn anhawdd deall, wrth ddarllen yr hanes, sut y gallasai cymdeithas yn meddu ychydig o sylw a gwroldeb, oddef y cyfryw fesurau heb dori allan mewn gwrthryfel dioed. Ond dylid cofio fod agwedd pethau wedi newid yn fawr erbyn y pryd hwn: yr oedd nerth y pendefigion uchaf wedi ei ddinystrio; ac nid oedd gallu ac ysbryd y dosbarth islaw iddynt eto wedi ymgorphori fel ag i wrthsefyll gormes y brenin yn ei gylchoedd cyfyngaf.

Yr oedd yn anmhosibl, meddai Macauley, i'r Tudoriaid i ddwyn eu gorthrymder dros derfynau penodol, oblegyd nad oedd ganddynt alluoedd arfog, a'u bod yn gylchynedig gan bobl arfog. Yr oedd nerth un sir, neu un *ward* yn Llundain, yn ddigon i orchfygu cymaint o warchodlu ag oedd gan y brenin yn amddiffyn ei balas. Felly, er y dangosai y brenin y gormes a'r creulondeb mwyaf tuag at bersonau, yr oedd dan orfod i fod yn fwy gochelgar yn ei fesurau at y bobl yn gyffredin. Gallai Henry VIII. actio y gormeswr yn y llys, ond yr oedd yn rhaid iddo gadw llygad gwyliadwrus rhag cyffroi ysbryd y wlad. Ni chafodd un gwrthwynebiad i yru Buckingham, a Surrey, ac Anne Boleyn, i'r dienyddle; ond pan y gosododd dreth yn gofyn y chweched rhan o eiddo ei ddeiliaid, gorfu iddo yn fuan alw y mesur yn ol, a gwneyd esgusawd i'r bobl dros ei ymddygiad. Callineb y penaduriaid o deulu Tudor i beidio gwrthwynebu llais y lliaws yw y rheswm na ddymchwelwyd eu llywodraeth dros ystod y chwech ugain mlynedd y buont mewn awdurdod. Yn neddf 31, pen. 10, o eiddo Henry VIII. mae blaenoriaeth swyddogaethau y llys breninol yn cael ei benderfynu yn y drefn ganlynol, yr hon drefn a gedwir hyd y dydd hwn:—1. Yr Arglwydd Ganghellydd. 2. Arglwydd Drysorydd. 3. Arglwydd Llywyddol y Cynghor. 4. Arglwydd y Gyfrin-sel. 5. Y Prif Ystafellydd. 6. Argeidwad. 7. Cadlywydd. 8. Arglwydd Lyngesydd. 9. Arglwydd Ddystain (*Lord Steward*). 10. Ystafellydd y brenin. 11. Prif Ysgrifenydd y brenin.*

*Hallam, Brougham, Knight, Macauley.

## V.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Llenorion a Llenyddiaeth.

Gelwir y cyfnod Tudoraidd yn gyfnod dysgedig; ac y mae amryw lenorion o ddysg ac enwogrwydd wedi blodeuo yn adeg teyrnasiad y ddau Henry. Heblaw yr Eglwyswyr, Cranmer, Ridley, Tunstall, Gardiner, a Pole, y mae enwau a gweithiau amryw o ddynion eraill ar gof a chadw; megys Leland, tad hynafiaethau Seisnig; Linacer, y meddyg Seisnig cyntaf; yr enwog Syr Thomas More, prif ysgolor ac athrylith ei oes; Dr. John Colet, sylfaenydd ysgol St. Paul; a John Lilly, y gramadegwr, ei hathraw cyntaf. Y mae enwogion tramor o fri anfarwol yn perthyn i'r tymhor hwn hefyd; Luther, prif offeryn y diwygiad; John Calfin, y Ffrancwr, o Geneva, yr hwn oedd hefyd yn ddiwygiwr o'r mwyaf selog, ac yn un o brif awduron y byd Cristionogol; Socinus, yr Italiad, sylfaenydd y Sociniaid; ac Erasmus, o Germany, yr hwn a fu yn preswylio yn Lloegr, ac yn broffeswr yn Mhrif-ysgol Cambridge, a'r hwn y dywedai y mynachod am dano, "mai efe ddodwodd wy y diwygiad, ac mai Luther a'i deorodd." Yn y cyfnod hwn hefyd y blodeuodd Copernicus, y seryddwr enwog o Prussia, yr hwn a sefydlodd y gyfundrefn seryddol bresenol; Leonardo da Vinci a Raphael, dau Italiad ag mae eu henwau yn mysg prif arlunwyr hanesiaeth; a Columbus a Cabot, y ddau forwr enwog. Iawn yw nodi enw ein cydwladwr hefyd, Syr John Price, Priordy, ger Aberhonddu, yr hwn oedd hynafiaethydd enwog, ac a hynododd ei hun trwy ei "Amddiffyniad o Hanesiaeth Frytanaidd," yn erbyn Polydore Virgil. Rhoddodd hefyd gynorthwy i Leland yn ei "*Assertio Arturii.*" Tybir mai efe gyhoeddodd y llyfr cyntaf yn yr iaith Gymraeg, yn y flwyddyn 1546, yr hwn a elwid "*Bibl*," er mwyn tynu sylw, mae yn debyg, ac am fod darnau o'r Bibl ynddo, yr hyn oedd yn ddyeithr iawn yn Nghymru yn y dyddiau hyny. Gall hefyd fod llaw gan Dr. John Dafydd Rhys yn nghyhoeddiad y llyfr hwn, am ei fod yn byw yn Aberhonddu, ac felly yn adnabyddus a Syr J. Price.*

Cyflwr y Bobl.

Un o nodweddion mwyaf dymunol y cyfnod hwn yw y trosglwyddiad gallu a wnaed o un dosbarth i'r llall, a dylanwad hyny ar welliant cyffredinol. Pan ddinystriwyd y bendefigaeth wladol ac eglwysig, traws-symudwyd y gallu i'r bobl yn gyffredin i raddau helaeth, a dangosodd hyny ei hun yn fuan yn modolaeth cyntaf yr hyn a elwir y dosbarth canol yn y wlad hon. Bu hyn yn fanteisiol i lafur a masnach yn gyffredinol; a gwnaeth y ddau Henry lawer, yn uniongyrchol ac anuniongyrchol, i godi masnach i gyflwr uwch nag y gwelwyd hi yn y wlad hon o'r

*Traethodydd, cyf. viii., tudal. 8.

blaen. Yr oedd hyny, o angenrheidrwydd, yn effeithio i wellhau cyflwr cyffredinol y trigolion. Dywedir fod nifer y carcharorion yn y wlad y pryd hwn, am droseddau ac am ddyled, yn driugain mil. Dywed Harrison i driugain a deuddeg o filoedd gael eu dienyddio am ysbeiliad a lladrad yn ystod teyrnasiad Henry VIII., yr hyn a wnai agos ddwy fil y flwyddyn. Ond yn amser Elisabeth nid oedd y dienyddiadau yn cyrhaedd pedwar cant y flwyddyn; a phriodolid y gwelliant i gynydd masnach a llafur, yn gystal ag addysg foesol a chrefyddol yn mysg y bobl gyffredin. Cododd prisoedd nwyddau, a chyflogau gweithwyr. Daeth mwy o alw am wlan i'r brethynwyr, ac anifeiliaid i'r cigyddion; a daeth Ynys Prydain yn faethle i amryw fath o fwyd-lysiau newyddion. Tua dechreu teyrnasiad Henry y dechreuwyd codi hopys yma; ac yn agos i ddiwedd teyrnasiad yr un gwr y dechreuwyd codi moron, erfin, a lliaws o fwyd-lysiau eraill. Yn flaenorol i hyn, dygid yr ychydig a ddefnyddid yma drosodd o Holland a Flanders. Pan fyddai y frenines Catharine am y cyfryw ymborth, byddai yn gorfod anfon cenad dros y môr yn ei unswydd am danynt.* Gwnaed diwygiadau o bwys hefyd mewn arian bathol, adeiladaeth llongau, yn nghyda lliaws o gyfleusderau eraill bywyd.

*Hume, Knight.

---

# PENOD VI.

## O ESGYNIAD EDWARD VI. HYD DDIWEDD TEYRNASIAD ELISABETH, 1547—1603.

### I.—EDWARD VI., 1547—1553.

ER na fu adeg teyrnasiad Edward VI. ond byr, bu yn dra phwysig. Mab ydoedd i Henry VIII., o'i drydedd wraig, Jane Seymour; ac nid oedd ond ychydig dros naw mlwydd oed pan fu farw ei dad. Un o ragoriaethau Henry oedd ei ofal am ei blant. Yr oedd wedi gosod Edward, pan nad oedd ond pum mlwydd oed, dan ofal dau athraw enwog o'r enw Dr. Cox a Syr John Cheke. Yr oedd y llanc wedi gwneyd cynydd anarferol yn ei addysg, ac wedi dyfod i brofi cariad diamheuol at grefydd a'r ysgrythyrau, cyn colli ei dad. Myfyriai y Bibl gydag astudrwydd mawr; a pharodd addfedrwydd ei syniadau a'i brofiad, pan nad oedd ond plentyn, i'w gydoeswyr ei alw yn "Josiah Prydeinig." Yr oedd ei dad wedi nodi un ar bymtheg o weinyddion i'w ewyllys, y rhai oeddent i lywyddu achosion y deyrnas hyd nes y byddai Edward yn ddeunaw mlwydd oed; a deuddeg eraill i ymgynghori â hwynt mewn achosion dyrys. Penodwyd Edward Seymour, Iarll Hertford ewythr y brenin ieuanc, yn llywydd y cynghor, ac Amddiffynwr y deyrnas dros dymhor maboed Edward. Yr oedd y canghellydd, Wriothesly, yn chwenychu y flaenoriaeth, ac yn tybied fod ei swydd yn hawlio hyny; felly gwrthwynebodd Hertford. Ond wrth weled ei fod wrtho ei hun, ildiodd yn fuan, a rhoddwyd yr awdurdod yn unfrydol i Hertford. Gan fod Wriothesly yn Babydd mor selog, a Hertford yn bleidiol i'r Protestaniaid, yr oedd y symudiad hwn yn bwysig. Dyrchafwyd Hertford yn Dduc Somerset, a'i frawd yn Arglwydd Seymour o Sudley; gwnaed Wriothesly yn Iarll Southampton, a rhoddwyd dyrchafiad cyffelyb mewn titlau a meddianau i amryw eraill.

Claddwyd Henry gyda rhwysg mawr yn Windsor, a dylynwyd hyny yn fuan gan goroniad Edward. Pan welodd y brenin ieuanc dri theyrn-gleddyf yn cael eu parotoi i'w cludo o'i flaen yn yr orymdaith, gorchymynodd ddwyn y Bibl o'i flaen; yr hwn a alwai yn "gleddyf yr Ysbryd," a dywedai nad oedd yr hwn a lywodraethai hebddo i'w alw yn weinidog Duw, nac yn frenin. Yn ei bregeth ar yr achlysur anogodd Cranmer ef yn daer i fyned yn mlaen gyda gwaith y diwygiad. Dangosodd Somerset, yr Amddiffynwr, hefyd yr un ysbryd. Mae y weddi a gofnodir iddo yn glod i'w galon, yn yr hon y dywed—"Yr ydwyf, Arglwydd, trwy benodiad, yn was i ti, dros dy frenin, yn fugail dros dy bobl, ac yn dwyn

cleddyf dros dy gyfiawnder; llwydda dy frenin, achub dy bobl, a chyfarwydda dy gyfiawnder. Yr wyf yn barod, Arglwydd, i wneyd yr hyn a orchymyni, pa beth bynag a fyddo."

Yr oedd hen deimlad gwrthwynebol rhwng dau brif ddyn y cynghor hwn, Somerset a Southampton, a phrin y gallesid dysgwyl iddo leihau wedi i'r blaenaf gael codiad mor uchel. Cyn hir cafwyd achlysur i ddiswyddo Southampton: er mwyn cysegru ei hunan yn fwy at achosion y llywodraeth, trosglwyddodd gyfran o'i orchwylion ei hun i bedwar o gyfreithwyr, heb ymgynghori â'i gydswyddogion. Cafwyd fod hyn yn annghyfreithlon, a chymerwyd ei swydd oddiarno. Trwy hyn collodd y Pabyddion eu prif gefnogydd, a Somerset ei brif wrthwynebydd, a chymerodd yr olaf y fantais ar hyny i eangu ei awdurdod yn fwy fyth. Mynodd freintlythyr, ac arwydd y sel fawr arno, ac wedi ei arwyddo gan ei gyfeillion, yn ei wneyd yn Amddiffynwr, gyda holl awdurdod penadur, ac yr oedd ei ddibyniad ar y cynghor yn fwy mewn enw nag mewn gwirionedd.

Yr oedd achos y Protestaniaid yn awr yn ymddangos yn obeithiol, gan fod cymaint o'r elfen ddiwygiadol wedi ymgymysgu â'r gallu llywyddol. Yr oedd mwyafrif y cynghor yn selog dros y diwygiad; ond yr oedd Tunstall, esgob Durham, yn wrthwynebol; ac oddiallan yr oedd Gardiner, esgob Winchester, a Bonner, esgob Llundain, yn nghyda'r dywysoges Mary, yr hon oedd Babyddes selog. Mantais o bwys i achos y diwygiad oedd fod Cranmer yn ddyn mor bwyllog a chymedrol, a'r Amddiffynwr yn ddigon call i ymgynghori ag ef yn ei symudiadau. Rhanwyd y deyrnas yn chwech dosbarth, a phenodwyd cenadau, yn gymysgedig o glerigwyr a lleygwyr, i fyned i ymweled â'r eglwysi; awdurdodwyd hwy i wahardd amryw arferion ofergoelus, megys taenellu dyfroedd santaidd ar welyau, goleuo canwyllau cysegredig i yru y diafol ymaith, a'r cyffelyb. Darparwyd llyfr homiliau, a chopi o Aralleiriad Erasmus o'r Testament Newydd, ar gyfer pob eglwys. Dygwyd y cyfnewidiadau hyn yn mlaen yn hynod o ochelgar; eto cafwyd gwrthwynebiad penderfynol gan Gardiner a Bonner. Diswyddwyd y ddau esgob o'r herwydd, a gyrwyd hwy yn garcharorion at y llynges.

Yn yr hydref arweiniodd Somerset, gyda Dudley, Iarll Warwick, yr ail mewn awdurdod, fyddin o ugain mil i Ysgotland, a llynges o driugain o longau dan Arglwydd Clinton, i geryddu yr Ysgotiaid am droseddau oeddynt wedi gyflawni ar y cyffiniau. Yr unig amodau heddwch a gynygiai yr Amddiffynwr oedd priodas Mary, brenines ieuanc Ysgotland, ag Edward pan gyrhaeddent oedran priodol. Ond yr oedd y teimlad Pabaidd mor gryf yno, fel ag i rwystro y fath gytundeb. Blwyddyn cyn hyn yr oedd Cardinal Beaton wedi cymeryd i fyny bregethwr selog dros y diwygiad o'r enw

Wishart, a thrwy ei awdurdod ei hun, heb ymgynghori ag Arran y rhaglaw, wedi ei draddodi i gael ei losgi. Dialodd cyfeillion Wishart ar y rhaglaw, a llofruddiasant ef yn ei ystafell wely yn nghastell St. Andrews. Cafodd y rhai hyn, wedi apelio at Henry, gynorthwy o Loegr i wrthsefyll ymlidiad Arran. Yn awr daeth y rhaglaw â byddin fawr i gyfarfod y Saeson. Ar ol ymgyrch dibwys cynygiodd Duc Somerset ddychwelyd i'w wlad, os cytunai yr Ysgotiaid i beidio priodi eu brenines ag unrhyw dywysog tramor, a'i chadw gartref hyd nes y delai i oedran i ddewis drosti ei hun. Gwrthodwyd hyn eto, ac ymladdwyd brwydr waedlyd yn Pinkey, gerllaw Edinburgh, pryd yr enillodd y Saeson fuddugoliaeth lwyr, y lladdwyd deng mil o Ysgotiaid, ac y cymerwyd pymtheg cant o honynt yn garcharorion.

Pe buasai Somerset yn dylyn yn mlaen, ac yn gwneyd y goreu o'r fantais hon, gallasai ddwyn yr Ysgotiaid i unrhyw delerau; ond yr oedd blinderau cartrefol yn galw am ei ddychweliad dioed. Felly nid atebodd ei lwyddiant nemawr ddyben, oblegyd y flwyddyn ganlynol aeth y dywysoges drosodd i Ffrainc, a dyweddiwyd hi a'r *Dauphin*—etifedd gorsedd Ffrainc. Yr oedd elfenau terfysg yn dechreu dangos eu hunain yn y Cynghor Seisnig, ac ymroddodd yr amddiffynwr a'r archesgob i geisio eu darostwng. Galwodd Somerset y senedd yn nghyd (Tach. 1547), a dyddimwyd amryw o'r cyfreithiau gorthrymus a wnaed dan Henry VIII. Galwyd yn ol ddeddf y Chwe Pwnc, a'r ddeddf oedd yn rhoddi yr un grym yn nghyhoeddiad y brenin ag Act y senedd, ac amryw eraill o ysbryd cyffelyb. Cyhoeddwyd rhyddid i'r carcharorion gwladol, gyda rhai eithriadau, a thalwyd sylw arbenig i ddiwygiad y gwasanaeth eglwysig. Rhoddwyd gorchymyn eto i symud pob math o ddelwau o'r addoldai; ac yn ystod y flwyddyn parotodd Cranmer, gyda chynorthwy prif dduwinyddion y diwygiad, lithiau pwrpasol, y rhai oeddent sail y rhai a arferir yn bresenol; ac wedi eu cymeradwyo gan y senedd gorchymynwyd eu darllen yn yr eglwysi. Galwyd deddf gweddwdod yr offeiriaid hefyd yn ol, a chaniatawyd rhyddid iddynt i briodi fel eraill.

Ond un o brif flinderau Somerset oedd y terfysg a achoswyd gan ei frawd, Arglwydd Seymour. Nid oedd un o'r ddau frawd yn meddu ar y nodweddion mwyaf dymunol yn eu cymeriad, ac nid oeddent ar delerau da â'u gilydd yn amser Henry. Beth bynag gwnaeth Somerset lawer, ar ei ddyrchafiad i'w swydd uchel, tuag at dawelu meddwl balch ac aflonydd ei frawd. Gwnaeth ef yn Arlyngesydd, a rhoddodd arglwyddiaeth Sudley iddo. Ond nid oedd Seymour yn foddlon mewn un modd i uchafiaeth y duc. I geisio cyrhaedd ei amcanion uchelfrydig, gwnaeth gais am law y ddwy dywysoges, Mary ac Elisabeth, ac arglwyddes Jane Grey,

wedi hyny. Ond gorfu iddo foddloni ar law Catharine Parr, gweddw Henry, yr hon y bu mewn cyfeillach â hi cyn iddi briodi y brenin. Tybiai trwy y briodas hon enill mantais iddo ei hun, trwy offerynoliaeth golud a dylanwad y frenines waddolog; ond cafodd ei siomi. Cymerwyd amryw dlysau gwerthfawr oddiar Catharine pan briododd. Dywedir i genfigen a malais fagu rhwng Catharine a Duces Somerset, ac i'r gwragedd yru y rhwyg yn waeth rhwng y gwŷr. Bu Catharine farw ar enedigaeth ei chyntaf-anedig. Ceisiodd Seymour am law y dywysoges Elisabeth eilwaith, a llygru meddwl Edward gydag anrhegion, a'i gyffroi i fŷnu yr holl awdurdod i'w law ei hun. Dyfeisiodd gynlluniau bradwrus yn erbyn awdurdod ei frawd, a hudodd amryw i'w gyfrinach. Dygwyd achwyniad arno o flaen y Cynghor, a thaflwyd ef i'r Tŵr (Ion. 1549). Yn mhen pum wythnos pasiwyd bil o warthruddiad yn ei erbyn trwy y Tŷ uchaf. Dangoswyd cryn wrthwynebiad iddo yn Nhŷ y Cyffredin, a dywedid y dylasai y llyngesydd gael ateb drosto ei hun. Ond pasiwyd ef yno hefyd, heb fwy na deg neu ddeuddeg, o bedwar cant o aelodau, yn erbyn; ac wedi i'r brenin, Somerset, a Cranmer roddi eu sel wrth y warant, torwyd pen Seymour ar yr 20fed o Fawrth. Bu farw gan dystio na fwriadodd ddrwg yn erbyn y brenin na'r deyrnas. Un o'r pethau diweddaf a wnaeth oedd ysgrifenu llythyrau at y tywysogesau, Mary ac Elisabeth, i geisio ganddynt ddial ei farwolaeth ar ei frawd, Duc Somerset.

Materion eglwysig oedd pwnc y dydd y pryd hwn trwy yr holl wlad. Yr oedd daliadau a defodau mwyaf gwrthwynebus yr Eglwys Babaidd bellach wedi eu troi o'r neilldu, a chredo a ffurf-addoliad Protestanaidd wedi cymeryd eu lle. Yr oedd Bonner a Gardiner, y rhai oeddent yn awr wedi eu rhyddhau trwy rinwedd y maddeuant cyffredinol, yn parhau i wrthwynebu y symudiadau diwygiadol, a thaflwyd yr olaf i'r Tŵr, lle y cadwyd ef hyd farwolaeth Edward. Tybiai cefnogwyr mwyaf brwd y diwygiad, nad oedd un ffordd i amddiffyn eu hathrawiaeth heb erlid a chospi y rhai a ddalient syniadau gwahanol iddynt hwy. Yn Ebrill, 1549, rhoddwyd awdurdod i Cranmer, yn nghyda chlerigwyr a lleygwyr eraill, i gymeryd i fyny Ail Fedyddwyr a hereticiaid, ceisio eu perswadio i adael eu cyfeiliornadau; ac os na ellid llwyddo, eu bwrw i garchar. Ac y mae yn flin coffa iddynt mewn rhai amgylchiadau fyned mor bell a llosgi.

Yr achos hynotaf oedd eiddo Joan Bocher o Kent, dynes o ddysg, ac o deulu uchel. Daliai na chyfranogodd Crist yn ei ymgnawdoliad o gnawd y Forwyn, am fod y cnawd hwnw yn llygredig. Peidiodd ildio ei syniad, a thraddodwyd hi i gael ei llosgi yn Smithfield. "Mae yn dda cofio eich anwybodaeth," meddai wrth ei barnwyr. "Ychydig amser yn ol y llosgasoch Anne Askew am

damaid o fara, ac yn awr yr ydych yn credu, ac yn proffesu eich hunain yr un athrawiaeth ag y llosgasoch hi am ei chredu! Chwi a'm llosgwch inau yn awr am damaid o gnawd, ac yn y diwedd, wedi i chwi ddarllen yr ysgrythyrau a'u deall, dewch i gredu hyn hefyd." Cyfeiriai yma, mae yn debyg, at Cranmer a Ridley, y rhai a fuont unwaith yn dal athrawiaeth y presenoldeb corphorol yn y swper, ond oeddent yn awr yn proffesu yn wahanol. Cadwyd Joan am flwyddyn gyfan yn y carchar. Gwrthododd Edward yn hir roddi ei sel wrth warant ei dienyddiad; ac wedi i Cranmer ei berswadio, dywedai wrtho gyda dagrau yn ei lygaid, "Os ydwyf yn gwneyd yr hyn nad yw yn iawn, bydd yn rhaid i chwi ateb i Dduw am dano." Bu Cranmer yn daer a dyfal yn ceisio cael ganddi newid ei syniad, ond o'r diwedd, er annghlod yr archesgob, llosgwyd hi yn Smithfield. Yn mhen tua blwyddyn ar ol hyn, llosgwyd *Dutchman* o'r enw Van Paris, neu Parr, am ei ddaliadau Ariaidd.

Yn ystod haf 1549, torodd terfysgoedd allan mewn amrywiol barthau o'r wlad. Yr oedd amryw bethau wedi cydgyfarfod i waethygu, am dymhor o leiaf, amgylchiadau y bobl gyffredin. "Y mae pob cyfnewidiad sydyn mewn gwlad yn cynyrchu cryn lawer o ddyoddef; ac y mae hyn yn esgor yn naturiol ar achwyniadau; a'r achwyniadau hyny yn cael eu chwythu yn fflam gan ddynion dichellgar ac anwybodus—y naill er cyrhaedd eu dybenion hunanol, a'r llall heb wybod i beth."* Yr oedd llawer o diroedd y wlad yn awr wedi myned o ddwylaw y mynachod i ddwylaw meistri caletach; dylifiad aur ac arian o'r India Orllewinol wedi codi prisoedd pethau; yr oedd cynydd y llaw-weithfeydd wedi codi y galw am wlan, fel yr oedd meistri tiroedd yn esgeuluso llafurio eu ffermydd, ac yn eu troi yn borfa defaid, yn cau i mewn lawer o diroedd cyffredin i'r un perwyl, ac yn amddifadu y llafurwr tlawd o'i ychydig borfa rad. Yr oedd y pethau hyn yn dyfod i wasgu ar y dosbarth iselaf; ac yr oedd eu murmur yn uchel a chyffredinol. Cymerodd Duc Somerset eu plaid, a phenododd ddirprwywyr i fyned i chwilio yr achos, a pheri i'r tir-feddianwyr dynu y cloddiau i lawr oddiam y tiroedd cyffredin. Gwrthododd y tir-feistri ufuddhau; ac wrth weled fod y llywodraeth yn eu cefnogi, cododd y bobl wrth y miloedd dros yr holl wlad i fynu eu hiawnderau. Darostyngwyd y gwrthryfelwyr yn fuan, oddigerth yn Devon a Norfolk; yr oedd y gwrthryfel wedi cymeryd gwedd mwy bygythiol yno, a'r clerigwyr wedi cymysgu achwyniadau crefyddol â'r rhai uchod. Yn Devon, yr oedd yn rhaid iddynt gael yr hen ddeddfau a'r defodau Pabaidd yn eu hol, a dyddimu holl fesurau y diwygiad. Gwarchaeasant ar Exeter; ond daeth Arglwydd Russell â byddin i'w gwasgaru. Dygwyd Arundel, eu blaenor, i Lundain, a dienyddiwyd ef. Crogwyd

*History of England, Rel. Tract. Soc.

Ficer St. Thomas ar glochdy ei eglwys ei hun; a gwnaed esiampl gyffelyb o amryw eraill. Yr oedd y terfysgwyr yn Norfolk, yn cael eu blaenori gan un Ket, lledrwr cyfoethog o Wymondham. Sefydlodd hwn ei hun ar fryn Mousehold, uwchben Norwich, dan hen dderwen a elwid Derwen y Diwygiad, gydag ugain mil o wrthryfelwyr yn ei gylchynu. Yno yr eisteddai fel penadur, a gwysiai y perchenogion tiroedd ger ei fron, i beri iddynt dynu y cloddiau oddiam y tiroedd cyffredin, a'u taflu yn agored fel arfer. Daeth Iarll Warwick â byddin o chwech mil yn eu herbyn, a gwasgarodd hwynt. Gadawyd dwy fil o honynt yn gelaneddau ar y gwastadedd islaw y bryn, crogwyd Ket yn Norwich, a naw o'i ganlynwyr ar gangenau Derwen y Diwygiad.

Collodd Somerset ei boblogrwydd yn y terfysgoedd hyn, ac o hyn allan cawn ef yn treiglo i'w gwymp. I'r graddau y cymerodd blaid y bobl gyffredin, collodd heddwch a dylanwad y pendefigion a'r perchenogion tiroedd, a rhoddasant eu bryd ar ei ddinystr. Yr oedd teimlad cryf yn ei erbyn hefyd yn mysg y bobl oedd dros yr hen grefydd, oblegyd ei olygiadau diwygiadol. Deallid ei fod wedi cyfoethogi ei hun yn fawr â meddianau yr eglwys a'r goron; ac yr oedd wedi tynu eglwysi i lawr yn Llundain, i gael defnyddiau i godi tŷ gorwych iddo ei hun yn y Strand. Yr oedd y pethau hyn oll yn magu drwg yn ei erbyn. Ei brif elyn oedd Iarll Warwick. Galwodd hwnw y Cynghor yn nghyd, a chymerasant yr awdurdod i'w dwylaw eu hunain. Taflwyd Cecil, ysgrifenydd y duc, ac eraill, i'r Tŵr, a gwnaed achwyniadau yn erbyn yr amddiffynwr. Y prif drosedd oedd traws-feddianu yr awdurdod, a dangos cydymdeimlad â'r bobl gyffredin; ac ar y cyhuddiadau hyn taflwyd ef i'r Tŵr. Ceisiodd y duc gael ei ryddid trwy amryw ffyrdd nad oeddent yn glod i'w wroldeb. Rhoddwyd y prif awdurdod yn y Cynghor i Warwick, a gwnaed Arglwydd Russell yn Dduc Bedford. Pan ddygwyd Somerset o flaen y Cynghor, cyfaddefodd ar ei liniau uniondeb y cyhuddiadau a ddygwyd yn ei erbyn. Arbedwyd ei fywyd, ond cymerwyd ei swydd a'i holl feddianau oddiarno. Yn mhen ychydig wythnosau (Chwef. 1550), gollyngwyd ef yn rhydd, a gweinyddwyd maddeuant iddo. "Ar ol hyn," meddai Burnet, "ymddygodd mor ostyngedig, a dangosodd y brenin y fath garedigrwydd iddo, fel y daeth i ffafr drachefn, ac y derbyniwyd ef i'r Cynghor. Ac felly aeth yr ystorm drosto yn llawer mwy esmwyth nag y dysgwyliwyd; ond dangosodd mor lleied o'r gwron yn yr amgylchiadau fel na feddyliwyd llawer am dano ar ol hyn."

Yn 1550, gwnaed cytundeb heddwch â Ffrainc ac Ysgotland. Rhoddodd Lloegr Boulogne i fyny i'r Ffrancod am y swm o bedwar can mil o goronau. Cytunwyd hefyd fod Edward i briodi Elisabeth,

merch Henry, brenin Ffrainc, ac enillodd hyn deimlad mwy cyfeillgar rhwng y ddwy wlad, er na chymerodd y briodas byth le.

Beth bynag oedd syniadau personol Warwick, yr unig lwybr iddo gyrhaedd ei amcanion uchelfrydig yn awr oedd trwy gefnogi y diwygiad; a hyny wnaeth gyda dyfalwch. Yr oedd Gardiner er ys llawer o amser yn garcharor yn y Tŵr, taflwyd Bonner, esgob Llundain, ac amryw o glerigwyr eraill i garchar, oblegyd eu gwrthwynebiad i'r mesurau diwygiadol. Symudwyd Ridley o esgobaeth Rochester i esgobaeth Llundain, a gwnaed y pregethwr enwog John Hooper yn esgob Gloucester.

Yn mysg prif wrthwynebwyr y diwygiad yr oedd y dywysoges Mary, chwaer hynaf Edward, yr hon a ddaeth i'w hadnabod wedi hyn wrth yr enw "Mary Waedlyd." Yr oedd yn Babyddes o'r mwyaf selog, ac mor ddiysgog ac ystyfnig yn ei ffordd a'i thad. Methodd dylanwad y Cynghor, dadleuon Cranmer a'r esgobion, a chymhellion a dagrau ei brawd, ei syflyd o'i hymlyniad wrth ddefodau yr Eglwys Babaidd. Er fod y gyfraith yn awr yn gwahardd, cadwai gaplaniaid i weinyddu yr offeren yn ei thŷ ei hun. Dywedai ei bod yn foddlon marw dros ei chrefydd, ond ofnai nad oedd yn deilwng i ddyoddef merthyrdod mewn achos mor dda. Pan geisiwyd ganddi ddarllen llyfrau Protestanaidd, fel y gallai ffurfio barn drosti ei hun, dywedodd ei bod yn diolch i Dduw na ddarllenodd y cyfryw lyfrau erioed, ac nad oedd yn meddwl darllen un o honynt byth. Mynai Edward ei gorfodi hi fel eraill i gydymffurfio â'r mesurau diwygiadol. Anfonodd ei hewythr, yr ymerawdwr, i fygwth rhyfel dioed ar Loegr, os na chai y dywysoges ryddid cydwybod gyda'i chrefydd, er fod amryw dduwinyddion enwog ar y pryd hwnw wedi gorfod ffoi o Germany, am na chaent ryddid cydwybod dan ei lywodraeth ef. Cafodd Cranmer, Ridley, ac eraill, waith mawr i berswadio Edward i adael llonydd i'w chwaer i gael ei ffordd ar hyny o bryd. Dywedir iddo dori allan i wylo oblegyd ei hystyfnigrwydd, ac am fod yn rhaid iddo ei goddef i arfer defodau oeddent yn eilun-addoliaeth yn ei olwg.

Yr oedd Warwick yn cadw ei lygad yn agored i bob mantais i ddyrchafu ei hun. Yn Mehefin, 1551, priododd ei fab hynaf, Arglwydd Lisle, ag Anne, merch Duc Somerset. Yn Medi mynodd Wardeniaeth Cyffiniau Ysgotland i'w law, ac yn nechreu Hydref, llwyddodd i gael ei wneyd yn Dduc Northumberland, a chael etifeddiaethau mawrion ychwanegol i'w feddiant. Dyrchafwyd amryw o'i gyfeillion hefyd i anrhydedd. Gwnaed Ardalydd Dorset yn Dduc Suffolk, Iarll Wiltshire yn Ardalydd Winchester, a Syr William Herbert yn Iarll Penfro.

Er fod Duc Somerset wedi ei ddarostwng, ac wedi colli ei ddylanwad a'i fri, eto yr oedd yn boblogaidd gyda dosbarth lliosog

o bobl. Efe oedd yr unig bendefig yn amser Edward a ddangosodd ofal dros iawnderau y dosbarth iselaf, ac ni fynai y dosbarth hwnw annghofio ei enw yn fuan. Nid oedd priodas eu plant wedi gwella dim ar y teimlad drwg oedd rhwng Somerset a Northumberland. Credai Northumberland fod Somerset yn rhwystr ar ffordd ei ddyrchafiad, a phenderfynodd ei symud. Gosodwyd ysbiwyr i wylio symudiadau y duc, a chyn hir cymerwyd ef a'i wraig, Arglwydd Grey, ei gyfaill, ac amryw gyfeillion a gweision eraill, i fyny yn garcharorion. Cyhuddwyd ef o fwriadu codi gwrthryfel yn y gogledd ac yn Llundain, diorseddu Edward, ei nai, cymeryd meddiant o'r Tŵr, a llofruddio Northumberland, Northampton, a Penfro. Gwadodd y duc yr oll o'r pethau cyntaf, ond cyfaddefodd iddo siarad am lofruddio y pendefigion a nodwyd; ond na wnaeth un cynllun, ac iddo ymwrthod â'r syniad yn fuan. Rhyddhawyd ef o'r cyhuddiad o deyrn-fradwriaeth, a chymerodd y bobl iddo gael ei ryddhau o bob cyhuddiad, a rhoddasant floedd o orfoledd. Mae yn debygol i'r arwydd hwn o boblogrwydd y duc gynddeiriogi Northumberland, a phenderfynodd beidio ei arbed. Condemniwyd ef i farw am y trosedd gyfaddefwyd ganddo ef ei hun; a chymerodd ei ddienyddiad le, Ion. 22, 1552. Rhybuddiwyd y bobl i aros yn eu tai hyd ddeg o'r gloch y boreu hwnw; ond, er gwaethaf pob rhybuddion, yr oedd tyrfa fawr wedi ymgasglu i Fryn y Tŵr cyn saith o'r gloch, i weled pen Duc Somerset yn cael ei dori. Yr oedd y syniad wedi myned ar led, a gobaith yn cael ei goleddu hyd y foment ddiweddaf, y buasai y duc yn cael ei arbed; ond aeth y dysgwyliad yn ofer; a dyoddefodd Somerset ei dynged gyda gwroldeb mawr. Dywedodd oddiar y dienyddlawr, nad oedd erioed wedi bwriadu drwg yn erbyn y brenin na'r deyrnas, a'i fod yn gallu edrych yn ol ar ei holl ymdrechion o blaid crefydd gyda llawenydd. Wedi syrthio ar ei liniau i weddio fwy nag unwaith, ysgydwodd ddwylaw yn siriol â'r siryddion a'r ceidwaid, a phawb oedd ar yr esgynlawr; rhoddodd arian yn llaw y dienyddwr; taflodd ei gochl oddiar ei ysgwyddau, ymostyngodd ar ei liniau, a datododd linynau ei grys; trodd y dienyddwr goler ei grys i lawr; gosododd ei ben yn dawel ar y plocyn, a phan oedd yn dyweyd enw yr IESU y drydedd waith, cwympodd ei ben ar un ergyd i'r gwellt oedd ar yr esgynlawr. Aeth amryw yn mlaen, a throchasant eu napcynau yn ei waed—fel pe buasai ferthyr—er coffadwriaeth am dano. Rhoddwyd amryw o'i gyfeillion hefyd i farwolaeth, a diswyddwyd Arglwydd Rich, y canghellydd, oddiar brofion o gyfeillgarwch â Somerset.

Galwyd senedd eto yn nghyd; gwellhawyd amryw gyfreithiau perthynol i brawf troseddwyr, a phasiwyd mesurau newyddion er hyrwyddo y diwygiad. Dygodd Northumberland achos Tunstall,

esgob Durham, yn mlaen eto, oblegyd ei wrthwynebiad i'r diwygiad; difreiniwyd ef, a dywedir fod y duc yn bwriadu troi holl gyllid yr esgobaeth i'w logell ei hun. Yr oedd ei drachwant a'i uchelgais yn awr wedi dyfod mor amlwg, fel y gwrthododd y senedd amryw o'i fesurau. Er hyny trethodd y duc ei holl ddoethineb er ychwanegu ei allu a'i ddylanwad; a chawn ef yn awr yn gosod cynllun beiddgar a dinystriol iddo ei hun ar droed.

Yr oedd iechyd Edward yn prysur waelu. Nid oedd ei gyfansoddiad ond gwanaidd o'r dechreu, a niweidiwyd ef trwy ddwyn pryder llywodraeth yn rhy foreu ar ei feddwl ieuanc. Yn ngwanwyn 1552, cafodd y frech goch; canlynwyd hono gan y frech wen, y rhai a adawsant nychdod marwol yn ei gyfansoddiad. Yr oedd pob argoelion i'w canfod na fuasai fyw yn hir; ac yr oedd marwolaeth Edward, a dyrchafiad Mary ei chwaer, yn gwneyd rhagolygon Northumberland yn dra annymunol. Gwnaeth y duc bob peth o fewn ei allu i enill serch ac ymddiried y brenin, bu yn gweini yn ddyfal arno yn ei glefyd, a chafodd bob mantais arno i ŵyro ei feddwl at ei amcanion ei hun.

Yr oedd hawlfraint y goron yn disgyn oddiwrth Henry VIII., yn mlaenaf i'w blant o'i gorph; yna i deuluoedd ei chwiorydd, Margaret Tudor, brenines Ysgotland, yr hynaf; a Mary Tudor, brenines Ffrainc, yn nesaf. Yr oedd Mary ac Elisabeth, merched Henry, wedi eu cyhoeddi gan eu tad yn annghyfreithlon, ac felly collent yr hawl i'r goron. Yr oedd Henry yn ei ewyllys hefyd wedi troi ei chwaer hynaf o'r neilldu, a chysylltu yr hawl wrth Mary Tudor, gweddw Louis XII. o Ffrainc. Yr oedd Mary wedi priodi yr ail waith â Charles Brandon, Duc Suffolk, ac wedi cael dwy ferch o hono—y tywysogesau Jane a Catharine Grey. Yn awr, dyfais Northumberland oedd dwyn y boneddigesau hyn i gysylltiad teuluaidd, a thynu coron Lloegr i'w deulu ei hun. Felly yn nechreu Mai (1553) cawn ei dŷ, *Durham House*, yn y Strand, yn llawn rhwysg a gwleddoedd priodasol. Yr oedd yno dair priodas wedi cymeryd lle:—Arglwydd Guildford Dudley, pedwerydd mab Duc Northumberland, wedi priodi â'r dywysoges Jane Grey, merch hynaf Duc Suffolk; Arglwydd Hastings wedi priodi â Catharine Dudley, merch Northumberland; ac Arglwydd Herbert, mab Iarll Penfro, wedi priodi â Catharine Grey, ail ferch Duc Suffolk. Wedi perswadio Duces Suffolk i roddi ei hawl i fyny i'w merch hynaf, Jane, gwelai Northumberland ei ffordd yn glir i gael y goron ar ben ei ferch yn nghyfraith.

Yn awr aeth Duc Northumberland at y brenin, a dangosodd iddo y canlyniadau peryglus o olyniad ei chwiorydd ar orsedd Lloegr. Dangosodd fod eu tad wedi eu cyhoeddi yn annghyfreithlon, ac na fuasai y bobl byth yn goddef y goron i ddisgyn ar ben bastardd.

Heblaw hyny, yr oedd Mary yn Babyddes orthrymus, a buasai yn dadwneyd y cwbl a wnaed yn ystod teyrnasiad ei brawd er sefydlu y wir grefydd. A dangosai mai yr unig lwybr dyogel oedd iddo ef arfer ei awdurdod fel ei dad, a throsglwyddo y goron trwy freintlythyrau i'w gyfnithder, yr Arglwyddes Jane Grey, yr hon oedd yn Brotestant trwyadl. Edward o'r diwedd, yn ofni y canlyniadau i'r Protestaniaid o esgyniad Mary i'r orsedd, a ildiodd i olygiadau Northumberland; gyrodd am y swyddogion cyfreithiol ger ei fron i dynu gweithred i'r perwyl hwnw. Gwrthododd y cyfreithwyr wneyd, heb i'r brenin hefyd ganiatau ysgrif, yn cynwys maddeuant iddynt hwy am wneyd y fath weithred. Wedi i'r brenin ganiatau eu cais, gwnaed y weithred, a gofalodd Northumberland ei gweled yn cael ei llaw-arwyddo gan y brenin, a chan holl aelodau y Cynghor. Bu Cranmer yn hwyrfrydig iawn i osod ei law wrthi, ond ildiodd i ymresymiadau Edward. Ychydig ddiwrnodau ar ol hyn rhoddodd ei sel wrth ddeddfau darpariadol ar gyfer y tlodion, y rhai ydynt yn parhau hyd heddyw. Yr oedd y meddygon bellach wedi rhoddi ei achos i fyny. Bu farw yn ei balas yn Greenwich, Gorphenaf 6fed, 1553, yn yr 16eg flwyddyn o'i oedran, a'r seithfed o'i deyrnasiad. Rhai o'i eiriau diweddaf oeddent, "O Arglwydd, achub bobl Lloegr; amddiffyn y deyrnas hon rhag Pabyddiaeth, a chadw dy wir grefydd ynddi, fel y gallwyf fi a'm pobl fendithio dy enw santaidd, er mwyn dy Fab Iesu Grist."

Mae yr haneswyr yn cytuno i wlawio clodforedd ar gymeriad Edward VI., ac yr oedd yn deilwng o hono. Mae yn wir mai prin amser gafodd ei gymeriad i ddadblygu ei hun; ond cafodd ddigon o amser i'w wneyd yn wrthrych edmygiad a serch y Prydeiniaid hyd y dydd hwn. Meddai ar galon dyner, uniondeb amcanion, gallu i ddysgu a barnu, ac yr oedd yn amlwg "yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni." Os arweiniwyd ef i wneyd rhai pethau annghymeradwy, bu hyny trwy ddylanwad anmhriodol eraill ar ei feddwl ieuangaidd. Yr oedd gobeithion fyrdd yn crogi arno, a bu ei farwolaeth yn destun galar i bawb ond y Pabyddion mwyaf selog. Dan ei deyrnasiad ef y magodd Protestaniaeth y wlad hon y nerth a'i cynaliodd dan deyrnasiad erledigaethus a gwaedlyd Mary ei chwaer.

## II—MARY, 1553—1558.

Yr oedd uchelgais Northumberland yn llawer mwy na'i alluoedd. Er fod marwolaeth Edward yn beth i'w ddysgwyl er ys misoedd, eto, pan ddygwyddodd, daliodd y duc mewn cyflwr digon anmharod: ac, i gael pethau i well trefn, ceisiodd gadw marwolaeth y brenin yn ddirgel am beth amser. Yr oedd wedi ysgrifenu at Mary ac Elisabeth i geisio ganddynt ddyfod i weled eu brawd, gan feddwl eu cael i'w law trwy hyny; ond pan oedd Mary bron cyrhaedd, ar y dydd y bu Edward farw, anfonodd Arundel genadwri ati yn

ddirgel i'w hysbysu o'r amgylchiad, ac o gynlluniau Northumberland. Gwnaeth y dywysoges y goreu o'i hamser i ffoi i gastell Framlingham yn Suffolk, fel y byddai yn gyfleus i gymeryd y môr os nad allai amddiffyn ei hun.

Jane Grey. Gwelai Northumberland nad oedd dyben cadw marwolaeth y brenin yn guddiedig yn hŵy, ac ar y pedwerydd dydd, aeth ef gyda Duc Suffolk, Iarll Penfro, ac eraill, i Dŷ Sïon, lle yr arosai Jane Grey. Yr oedd yn awr yn wraig ieuanc, heb fod ond 16eg mlwydd oed; yn ddynes o ymddangosiad dymunol, o alluoedd meddyliol cryfion, ac o ysbryd tra rhagorol. Yr oedd ei holl fryd ar lyfrau a llenyddiaeth; ac, er mor ieuanc, yr oedd wedi cyrhaedd meistrolaeth hollol ar y Groeg a'r Lladin. Nid oedd pleserau na rhwysg pendefigion yn un demtasiwn iddi. Galwodd y dysgedig Roger Ascham, athraw yr Arglwyddes Elisabeth, un tro yn Bradgate, preswylfa y teulu, a chafodd y foneddiges Jane yno wrthi ei hun yn darllen Plato yn y Groeg, tra yr oedd y lleill o'r teulu yn difyru eu hunain gyda helfa yn y parc. Ac wrth i Ascham ddatgan ei syndod at ei hymddygiad, atebodd, "Nid yw eu holl ddifyrwch ond cysgod yn ymyl y pleser wyf fi yn gael yn Plato. Druain a hwy! nid ydynt erioed wedi deall beth yw gwir bleser." Ar y pethau hyn yr oedd ei bryd hi, ar neillduedd ei thŷ ei hun, ac ar ei phriod hoff, yr hwn oedd yn deilwng o'i serchiadau, ac nid agorodd byrth ei chalon erioed i hudoliaethau uchelgais. Ni chwenychodd goron Lloegr; credai yn ddiysgog yn mlaenoriaeth hawl Mary ac Elisabeth; ac ni fuasai yn caniatau ei chyhoeddi yn frenines oni bai ei gorfodi gan ei pherthynasau agosaf.

Wrth hysbysu Jane o farwolaeth Edward, ac o drosiad hawlfraint y goron iddi er mwyn achub y deyrnas o law y gallu Pabaidd, syrthiodd yr arglwyddi ar eu gliniau ger ei bron, a dywedasant eu bod yn barod i golli eu gwaed drosti. Torodd Jane allan i wylo wrth y fath newyddion annysgwyliadwy, a syrthiodd yn ddideimlad ar y llawr. Pan ddaeth ati ei hun galarodd am farwolaeth ei chefnder, a dywedodd am ei hannghymhwysder i gymeryd ei le. "Ond," meddai, gan godi ei golygon i fyny, "Os yw yr hawl mewn gwirionedd yn eiddof fi, O Arglwydd grasol, rho nerth, yr wyf yn atolwg, i lywodraethu er dy ogoniant di, a llesâd fy ngwlad. " Boreu dranoeth dygwyd hi mewn cwch dros yr afon i'r Tŵr, yn ol yr arferiad cyn gweinyddu defod y coroniad. Rhoddwyd gorchymyn i'w chyhoeddi yn mhob man; ond ni wnaed hyny oddigerth yn y brifddinas a'i hamgylchoedd. Yno hefyd derbyniwyd y cyhoeddiad gyda dystawrwydd oerllyd, yr hyn oedd argoel eglur fod teimlad y lliaws yn erbyn y symudiad newydd hwn. Cafwyd prawf pellach o hyn yn aneffeithiolrwydd pregeth Ridley o blaid Jane wrth Groes St. Paul. Yr oedd dau reswm dros hwyrfrydigrwydd y bobl i

bleidio Jane; sef teimlad dwfn o uniondeb hawl Mary, a theimlad dyfnach na hyny o gasineb at Northumberland.

Yr oedd Mary eisoes wedi ysgrifenu llythyrau at brif bendefigion y siroedd, i geisio eu cynorthwy i amddiffyn ei choron a'i pherson. Anfonodd genadwri at y Cynghor hefyd i hysbysu ei gwybodaeth o farwolaeth ei brawd, i gynyg maddeuant am bob troseddau oeddent wedi gyflawni, ac i orchymyn iddynt ei chyhoeddi hi yn Llundain yn ddioed. Sicrhaodd i bobl Suffolk nad oedd yn bwriadu newid dim ar gyfreithiau Edward, ac heidiasant hwythau at ei baner. Dylifai pendefigion ac eraill ati o bob parth o'r wlad, fel yr oedd ganddi yn fuan allu o ddeng mil ar ugain; a chyhoeddwyd hi yn frenines yn Norwich.

Pan gyrhaeddodd y newyddion hyn i Lundain, penodwyd Duc Suffolk i arwain byddin i wrthsefyll Mary; ond nid oedd gan neb ffydd yn ei fedr, ac ni fynai Jane ymadael â'i thad; a rhwng bodd ac anfodd ymgymerodd Northumberland â'r gorchwyl. Edrychai y bobl arno yn myned allan gyda phetrusder mud. Erbyn iddo gyrhaedd Cambridge, yr oedd ei wŷr yn rhifo deng mil. Pan gyrhaeddodd Bury St. Edmund, yr oedd ei fyddin wedi lleihau yn fawr, yn encilio i ochr Mary, a gorfu i'r duc ddychwelyd i Cambridge. Oddiyno ysgrifenodd i Lundain am ychwaneg o nerth; ond yr oedd pethau wedi cymeryd agwedd newydd erbyn hyn yn y brif-ddinas. Yr oedd y Cynghor wedi ymgyfarfod yn nghastell Baynard, tŷ Iarll Penfro, ac wedi troi o blaid Mary. Dechreuodd Iarll Arundel trwy ddangos annghyfiawnder, creulondeb, ac uchelgais Northumberland, ac mai yr holl amcan oedd ganddo yn y symudiad gofidus hwn oedd dyrchafu ei hun. "A phaham," meddai, "y dywedir fod Mary yn bwriadu gwneyd cyfnewidiadau gyda golwg ar grefydd? Onid yw wedi rhoddi atebiad boddhaol i bobl Suffolk?" Tynodd Iarll Penfro ei gleddyf, a dywedodd, "Os nad yw dadleuon fy arglwydd o Arundel yn ddigon i'ch perswadio, caiff y cleddyf hwn wneyd Mary yn frenines, neu byddaf farw yn ei chweryl." Yr oedd y gwr hwn hefyd yn un o'r rhai oeddent â'u henwau wrth drosglwyddiad yr hawl i Jane, ac yn un o'r ychydig, y dydd o'r blaen, a gynygient golli eu gwaed drosti. Beth bynag, rhoddasant oll eu cydsyniad, a chyhoeddwyd Mary yn ddioed wrth Groes St. Paul, yn nghanol bonllefau y bobl. Anfonwyd y newydd gyda phob brys at Mary, a chymerodd Penfro ofal y Tŵr. Felly collodd Jane Grey ei choron, wedi ei gwisgo am yr ysbaid byr o ddeng niwrnod! Ac nid oedd hyn yn annymunol ganddi, oblegyd pan gynghorodd ei thad hi i oddef ei chwymp yn amyneddgar, dywedodd, "Mae y newydd yn llawer mwy croesawgar i mi na'r un a'm gorfododd, yn groes i'm hewyllys, i gymeryd awdurdod nad oedd genyf hawl na chymhwysder iddo. O ufudd-dod i chwi, fy

arglwydd, ac i fy mam, gwnaethum beth croes i'm meddwl fy hun. Ond y weithred hon, fy eiddo i ydyw, ac yr wyf yn rhoddi y goron i fyny yn ewyllysgar."

Yr oedd Duc Northumberland eisoes, ar ol gweled pob gobaith am lwyddiant wedi diffodd, wedi troi ei hun o blaid Mary, ac wedi peri ei chyhoeddi yn Cambridge. Prysurodd Mary i Lundain. Yn Wanstead, Essex, cyfarfu ag Elisabeth ei chwaer, yn arwain byddin nerthol i'w chynorthwyo. "Pedwar diwrnod ar ol hyny, marchogodd y ddwy chwaer, yn cael eu canlyn gan osgordd fawreddog, trwy y ddinas i'r Tŵr. Yr oedd Mary yn fechan, teneu, a gwanaidd; Elisabeth yn dal, glandeg, a lluniaidd, ac yn ofalus i ddangos ei dwylaw prydferth. Wedi cyrhaedd y Tŵr, cyfarfyddodd Mary â phedwar o garcharorion pendefigaidd; Duc Norfolk, Duces Somerset, Courtenay, mab Ardalydd Exeter, a Gardiner, esgob Winchester. Cododd hwynt oddiar y llawr, lle yr ymgryment, cusanodd hwynt, a gollyngodd hwynt yn rhydd. Y dydd canlynol rhyddhaodd Tunstall a Bonner. Wrth ffurfio ei Chynghor, rhoddodd Gardiner yn ganghellydd, yr hwn a ddangosodd yn fuan nad oedd ei gaethiwed wedi darostwng dim ar falchder a gormes ei ysbryd. Paget oedd y nesaf mewn dylanwad a phwysigrwydd yn y Cynghor."* Coronwyd Mary gyda rhwysg anarferol, Medi 30ain, yn ol yr hen ddefodau cyntefig. Eneiniwyd ei phen a'i chorph; gweinyddai Gardiner yr offeren; a dygai Elisabeth y goron.

Un o weithredoedd cyntaf Mary wedi iddi esgyn i'w hawdurdod, oedd cospi Northumberland. Yn nghanol mis Awst, dygwyd ef a'i fab Warwick, yn nghydag amryw bendefigion eraill, i sefyll eu prawf. Gofynodd y duc ddau gwestiwn i'r Cynghor, yr hwn, dan lywyddiad Duc Norfolk, oedd yn eistedd mewn barn ar ei achos:— A allai dyn fod yn euog o fradwriaeth wrth ufuddhau i orchymynion wedi eu rhoddi iddo gan y Cynghor dan arwydd y sel fawr? Ac a allai y rhai oedd yn gorwedd dan yr un cyhuddiad ag ef eistedd yn farnwyr arno? Atebwyd ef nad oedd y sel fawr y soniai am dani ond eiddo traws-feddianydd, ac nad oedd un annghymhwysder mewn rhai nad oedd wedi derbyn dedryd o warthruddiad i eistedd fel barnwyr ar ei achos. Yna cyfaddefasant oll eu hunain yn euog; dewiswyd Northumberland, Gates, a Palmer i gael eu dienyddio, ac arbedwyd y lleill. Dymunodd Northumberland am gael gweled Gardiner, ac ymbiliodd ag ef fel llwfrddyn am ei fywyd. "Oh!" llefai, "gadewch i mi fyw ychydig yn hŵy, pe na byddai ond mewn twll llygoden." Dadlenodd annewrder a drygedd ei gymeriad yn fwy nag erioed, trwy ddyweyd ei fod trwy y cwbl yn Babydd selog, ac nad oedd wrth bleidio y diwygiad ond rhagrithio er cyrhaedd ei amcanion uchelfrydig. Gwnaeth gyf-

*Keightly, vol. i. p. 423, 424.

addefiad cyffelyb hefyd ar y dienyddle. Os mai ei amcan wrth wneyd hyn oedd ceisio arbed ei fywyd, a rhagflaenu dialedd Mary a'i Chynghor ar ei deulu, ni lwyddodd yn y naill na'r llall. Torwyd ei ben ef, a'r ddau gyfaill a nodwyd uchod, dranoeth i ddydd eu prawf. A chan fod Mary am enill poblogrwydd iddi ei hun, ni thywalltodd ychwaneg o waed ar hyn o bryd.

Ond er hyn, nid aeth nemawr wythnosau heibio cyn i Mary ddangos ei hysbryd gorthrymus ac erlidgar. Ymddangosai rhagolygon y Protestaniaid yn dywyll a digalon. Taflwyd Ridley i'r Tŵr, am bregethu o blaid Jane Grey, a chafodd Bonner ei adferu i'w le i esgobaeth Llundain. Rhoddwyd Bourne, un o'r caplaniaid breninol, i bregethu yn erbyn y diwygwyr wrth Groes St. Paul; ond cyffrodd y bobl yn ei erbyn. Gwaeddai rhai, "Tynwch ef i lawr!" Taflent geryg ato, a thaflodd un ddagr ato, yr hwn a darawodd golofn y pwlpud; ac nid oedd sicrwydd na fuasai ei fywyd wedi ei golli oni bai ymyriad prydlawn Bradford a Rogers, dau bregethwr Protestanaidd, y rhai a lonyddasant gynddaredd y dyrfa, ac a arweiniasant y Pabydd poeth i ysgoldy St. Paul. Cymerodd y frenines y fantais ar hyn i wahardd pregethu cyhoeddus heb drwydded, yr hyn fu o anfantais fawr i'r diwygiad. Yn fuan yr oedd y Pabyddion wedi eu hadferu i bob swydd o awdurdod, a'r diwygwyr y naill ar ol y llall yn cael eu taflu i garchar. Heblaw Ridley, yr oedd yr esgobion Holgate, Coverdale, Hooper, Latimer, a Cranmer yn fuan yn mysg y carcharorion. Ac er y mynai Mary gael rhyddid cydwybod gyda'i chrefydd yn amser teyrnasiad ei brawd, gorfu ar y dywysoges Elisabeth, er mwyn ei dyogelwch, yn groes i'w chydwybod, wrando yr offeren, a phrynu croes, a chydymffurfio ag amryw ddefodau ag yr oedd yn eu casâu. Yn ofer y dadleuid addewidion Mary ar ei hesgyniad, a chafodd rhai eu cospi hyd y nod am eu hadgoffa.

Yn nechreu Hydref, galwyd senedd yn nghyd. Gwnaed pob ymgais i gael hono yn ffafriol i olygiadau y frenines a'i chynghorwyr. Yr oedd y Tŷ uchaf yn barod i gyduno â mesurau Pabaidd Mary; ac nid oedd llawer o wrthwynebiad i'w ddysgwyl o Dŷ y Cyffredin; oblegyd, heblaw y gofal a gymerwyd gan y llywodraeth i ddychwelyd yr offerynau pwrpasol, yr oedd y rhai oeddent o olygiadau Protestanaidd yn dewis cadw draw er mwyn eu dyogelwch eu hunain. Agorwyd y senedd, yn groes i'r gyfraith oedd y pryd hwnw mewn grym, trwy ddarllen offeren yr Ysbryd Glân yn yr iaith Ladinaidd. Taylor, esgob Lincoln, oedd yr unig un wrthododd ymgrymu yn ystod gweinyddiad y ddefod Babaidd hon, ac am hyny hyrddiwyd ef allan o'r Tŷ yn y modd mwyaf creulon. Yn y senedd hon dyddimwyd pob achos o fradwriaeth nad oedd yn neddf Edward III., a phob achos o gyflafan nad oedd yn bodoli

cyn teyrnasiad Henry VIII.; cadarnhawyd priodas Henry â Catharine o Aragon (mam Mary), dyddimwyd yr ysgariad a gyhoeddodd Cranmer, a beiwyd yr archesgob yn llym am y fath weithred; a thrwy hyn cadarnhawyd cyfreithlondeb y frenines. "Trwy yr act hon taflwyd y ffordd i Rufain yn agored, ac nid oedd eisiau craffder mawr yn neb i ganfod fod cymod â'r hen eglwys yn prysur ddynesu." Dyddimwyd hefyd mewn un bleidlais yr holl gyfreithiau cysylltiedig â chrefydd a wnaed dan Edward VI., a dychwelwyd at ddefodau yr Eglwys Rufeinig, y traws-sylweddiad, gweddwdod yr offeiriaid, a lluaws o bethau eraill cwbl groes i olygiadau a theimladau y Protestaniaid. Cadwodd y frenines, er hyny, y titl o ben yr eglwys, a dangosai lawn feddiant o'r awdurdod; ni alwodd ychwaith am adferiad y tiroedd eglwysig, am yr ofnai yn awr gyffroi gwrthwynebiad y pendefigon a'u meddianent. Galwyd yn ol warthruddiad Duc Norfolk, a phasiwyd bil o warthruddiad yn erbyn y rhai oeddent eisoes wedi eu condemnio am fradwriaeth, ac yn erbyn Jane Grey, ei gwr Ambrose Dudley, a Cranmer. Anfonodd Cranmer lythyr at y frenines i esbonio ei holl ymddygiad yn achos cyfnewidiad yr olyniaeth, ac i geisio arbediad; a gallasai ychwanegu ei bod hi yn ddyledus i'w eiriolaeth ef am ei dyogelwch yn amser ei thad; ond ni chyfeiriodd at hyny, ac ni wnaed sylw o'i gais; er, mae yn debygol, nad oedd Mary ar hyn o bryd yn bwriadu cymeryd ei fywyd oddiarno.

Yn awr daeth pwnc priodas y frenines yn fater pwysig gan y Cynghor, y senedd, a'r genedl yn gyffredinol. Mynai y senedd ymyryd mewn achos o gymaint pwys; ond tybiai Mary mai gorchwyl iddi ei hun oedd dewis cydmar. Yr oedd wedi cael ei dyweddio yn nyddiau ei hieuenctyd yn olynol i'r ymerawdwr Charles, i frenin Ffrainc, ac i'r Dauphin; a dywedir iddi gael ei siomi mewn cynygiad neu ddau yn ystod y teyrnasiad diweddaf. Dechreuwyd yn awr siarad am ei phriodas â Cardinal Pole, yr hwn oedd wedi derbyn y swydd o genadwr y pab yn achos adferiad Lloegr dan yr iau Babaidd; ond yr oedd y cardinal yn awr yn 54ain mlwydd oed, ac yn wanaidd ei iechyd, a'i holl fryd ar ei lyfrau; ac nid ymddangosai yn gydmar boddhaol i'r uchelfrydig Mary. Aeth y dyb allan yn gyffredin y buasai yn priodi Edward Courtney, yr hwn a wnaeth yn Iarll Devon, a mam yr hwn yr oedd wedi ei dewis yn gywely, yn ol arferiad yr amseroedd. Dangosodd Mary dueddiadau serchiadol at Courtney, ond yr oedd y gwr ieuanc hwnw yn fwy hoff o berson, golygiadau, a chymdeithas y dywysoges Elisabeth, a chyffrodd hyn elyniaeth dwfn yn Mary tuag at ei haner chwaer. Ond yr oedd yr ymerawdwr Charles, yr hwn a fu ar fedr priodi ei hun â Mary ddeng mlynedd ar ugain yn ol, yn awr yn brysur yn ceisio sicrhau ei llaw i'w fab, y balch a'r gormesol

Philip o Yspaen, yr hwn oedd y pryd hwnw yn wr gweddw. Yr oedd teimlad y lluaws, yn Babyddion a Phrotestaniaid, yn gryf yn erbyn y briodas hon. Felly hefyd yr oedd Gardiner ar y dechreu, yr hwn oedd yn awr yn brif-weinidog a changhellydd; ond pan welodd bod gwrthwynebiad yn ofer, dangosodd ei hun o blaid yr undeb; ac i geisio tawelu meddyliau y bobl, penderfynwyd fod holl weinyddiad y llywodraeth i fod yn mherson y frenines yn unig, nad oedd un Yspaenwr i ddal swydd yn y llywodraeth, ac nad oedd unrhyw gyfnewidiad i gymeryd lle ar ddeddfau, arferion, a breintiau y bobl.

Ond er hyn oll, murmur yn erbyn y briodas oedd y bobl. Collodd y frenines ei hamynedd, a thorodd y senedd i fyny. Edrychai y bobl ar gysylltiad Lloegr ac Yspaen yn ddinystr ar ei hannibyniaeth a'i chrefydd. Dechreuodd bradwriaeth a therfysg ymddangos mewn amryw barthau. Penderfynwyd i Syr Peter Carew flaenori y gwrthryfelwyr yn Devon, Duc Suffolk yn y swyddi canoldirol, a Syr Thomas Wyat yn Kent. Darostyngwyd Carew gan Iarll Bedford, a ffodd drosodd i Ffrainc. Cymerwyd Suffolk i fyny gan Iarll Huntingdon, a dygwyd ef yn garcharor i Lundain. Ond bu Wyat ar y cyntaf yn fwy llwyddianus. Arweiniodd bymtheg cant o wŷr i Rochester. Anfonwyd Duc Norfolk â byddin i'w gyfarfod; ond pan oeddent ar wneyd ymosodiad, trodd rhan o'i wŷr o blaid Wyat, a gorfu i'r duc ffoi yn ol i'r brif-ddinas. Erbyn i Wyat gyrhaedd Deptford yr oedd ei fyddin yn rhifo pymtheg mil. Anfonwyd amodau i'r frenines, yn mysg y rhai yr oedd ei phriodas uniongyrchol â Sais, a rhoddiad y Tŵr i fyny i Wyat. Dychrynodd y Cynghor; galwyd cyfarfod yn nghyd i'r Guildhall, daeth y frenines yno â theyrnwialen yn ei llaw, ac areithiodd nes oedd y Tŷ yn adseinio gan fanllefau. Penderfynodd y dinaswyr amddiffyn y ddinas yn erbyn y gwrthryfelwyr. Aeth y newydd hwn i fyddin Wyat, ac enciliodd y rhan fwyaf o honynt. Pan gyrhaeddodd Southwark nid oedd ganddo dros ddwy fil. Dywedai y cenadwr Ffrengig yn ei lythyr adref, pe buasai Wyat yn myned i mewn i Lundain yn ddiaros, y buasai y frenines wedi syrthio yn garcharor i'w law. Yr oedd gobaith Wyat yn awr wedi diffodd, eto gwnaeth anturiaeth feiddgar. Wedi cael pont Llundain yn gauedig, aeth i fyny i Kingston yn y nos, croesodd y Thames, gan fwriadu cymeryd y frenines i fyny yn ei phalas gyda thoriad y dydd. Ond yr oedd gallu cryf dan Arglwyddi Penfro a Clinton yn ei gyfarfod. Ymladdodd ei ffordd, er hyny, gyda dyrnaid o bobl, yn mlaen i Ludgate, ac yn ol eilwaith hyd Temple Bar, pryd y rhoddodd ei hun i fyny i Syr Maurice Berkeley. Taflwyd ef i garchar, condemniwyd, a dienyddiwyd ef. Dywedir i amryw ganoedd ddyoddef marwolaeth oblegyd y gwrthryfel hwn; ac i ganoedd eraill fyned ger bron y

frenines gyda rhaffau am eu gyddfau, ac wedi derbyn maddeuant, fyned ymaith gan waeddi, "Duw gadwo y frenines Mary."

Ymgynddeiriogodd Mary wrth y terfysgoedd hyn, a gollyngodd ei dialedd yn ddinystriol. Dranoeth wedi cymeryd Wyat yn garcharor, rhoddodd ei sel wrth warant marwolaeth Jane Grey, ac Arglwydd Guildford ei gwr; a dranoeth i hyny torwyd penau y ddau. Ceisiwyd cael gan Jane i gyffesu o blaid y grefydd Babaidd cyn dyoddef; ond yr oedd yn ddiysgog yn wyneb pob dadleuon. Bwriadwyd unwaith ddienyddio y ddau gyda'u gilydd ar yr un esgynlawr, ond ofnwyd y buasai eu hieuenctyd (17 oed), eu prydferthwch, a'u diniweidrwydd, yn cyffroi cydymdeimlad y bobl, a phenderfynwyd i Jane gael ei dienyddio o fewn y Twr. Gwrthododd ymweliad â'i gwr ar foreu dydd eu marwolaeth, rhag i'w teimladau fod yn wanychdod ar eu gwroldeb, ac am y cawsent gwrdd yn mhen ychydig oriau mewn gwell gwlad. Gwelai trwy ei ffenestr ei hanwyl briod yn cael ei ddwyn tua'r dienyddle, a gwelai ei gorph gwaedlyd yn cael ei ddwyn yn ol mewn cart. Gyda hyn wele y swyddogion yn dyfod i'w chyrchu hithau allan. Cerddodd i fyny i'r esgynlawr gyda chamrau diysgog. Dywedodd ei bod yn marw oblegyd iddi, o ufudd-dod i'w rhieni, ac nid oddiar ei hewyllys ei hun, gyflawni y weithred anghyfreithlon o gymeryd yr hyn a berthynai i'r frenines. Dywedodd hefyd ei bod yn marw yn wir Gristion, a'i bod yn gobeithio am iachawdwriaeth trwy waed Crist yn unig. Yna syrthiodd ar ei gliniau, ac adroddodd yr 51ain Salm. Rhoddodd napcyn am ei llygaid, gosododd ei phen ar y plocyn, a cheisiodd gan y dienyddwr i wneyd brys. A chyda'i bod yn adrodd y geiriau—"I'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd," yr oedd ei phen yn syrthio ymaith oddiwrth y fwyall. Y cyfryw oedd diwedd y ddynes ieuanc a rhinweddol, Jane Grey, yr hon oedd o waedoliaeth uchel, ond o ysbryd a chymeriad llawer uwch. Llusgwyd hi i'r orsedd gan uchelgais ei pherthynasau; arweiniwyd hi oddiar yr orsedd i'r dienyddle; dyoddefodd yn dawel am bechodau eraill, ac aeth trwy ei thynged flin yn wrol trwy nerth gwirionedd a diniweidrwydd. "Nid oes yn holl hanes gormesiaeth," meddai Mackintosh, "esiampl o ddynes ddwy ar bymtheg oed yn cael ei rhoddi i farwolaeth gan ddynes arall, am ufuddhau i orchymyn tad, yn cael ei noddi gan gydgordiad yr oll allai y deyrnas ymffrostio ynddo o'r hyn oedd ardderchog mewn pendefigaeth, pwysig mewn cyfraith, neu barchedig mewn crefydd. Mae yr esiampl yn fwy tarawiadol, gan fod y person yn arddangos yr uniad mwyaf digymhar o ieuenctyd, prydferthwch, ac athrylith, gyda dysgeidiaeth, rhinwedd a duwioldeb; yr hon oedd a'i serchiadau mor gynes, tra yr oedd ei nwydau wedi eu darostwng mor berffaith. Yr oedd yn farwolaeth ag oedd yn ddigonol i anrhydeddu a dianrhydeddu cenedlaeth."

Yn fuan ar ol marwolaeth Jane Grey canlynodd dienyddiad ei thad, Duc Suffolk, a'i frawd, Thomas Grey, yn nghydag amryw eraill. Taflwyd y rheithwyr i garchar am ryddhau Throgmorton, un o gyfeillion Wyat, a dirwywyd hwynt, rhai o honynt mor uchel a dwy fil o bunau. Yr oedd Wyat unwaith, wedi ei hudo gan addewid am arbediad, wedi cyhuddo y dywysoges Elisabeth a Courtney o gymeryd rhan yn y gwrthryfel; ond galwodd hyny yn ol yn benderfynol pan oedd ar y dienyddle.

Yr oedd Elisabeth yn frycheuyn yn llygad Mary a'i chynghorwyr; gwyddent ei bod o olygiadau Protestanaidd, a drwgdybient hi o fod mewn cyfrinach â'u gwrthwynebwyr; cymhellai yr ymerawdwr hefyd ei dienyddiad. Mor gynted ag y daeth y newydd i'r llys am wrthryfel Wyat, rhoddodd y frenines orchymyn i gymeryd Elisabeth a'r glandeg Courtney i fyny, ar y dybiaeth eu bod â llaw yn y gwrthryfel. Gyrwyd tri barwn gyda gwarchodlu i'w chyrchu o Ashridge, yn swydd Buckingham, lle yr oedd yn aros ar y pryd. Yr oedd y dywysoges yn wael ei hiechyd, a gwrthododd eu gweled hyd boreu dranoeth; ond rhuthrasant i mewn i'w hystafell wely, a dywedasant fod eu hawdurdod yn gaeth i'w dwyn yn ddioed, "byw neu farw." Achwynai Elisabeth yn fawr ar erwindeb yr ymddygiad. Dygwyd hi ar elor-glud (*litter*), a bu ar ei thaith o'r 12fed hyd y 23ain (Chwef. 1554). Wrth basio trwy ystrydoedd Llundain, gorchymynodd gadw dwy ochr yr elor-glud yn agored, a dangosai y bobl y cydymdeimlad mwyaf â hi trwy wylofain a gweddiau drosti. Bu dan arholiad manwl o flaen y llys; ond amddiffynodd ei hun mor effeithiol fel na chafwyd un afael arni. Gollyngwyd hi yn rhydd; ond taflwyd Courtney i'r Tŵr, er tystio ei ddiniweidrwydd. Ond yn brin yr oedd Elisabeth wedi ei rhyddhau pan y cymerwyd hi i fyny eilwaith, ar dystiolaeth anwireddus Wyat, fel yr awgrymwyd eisoes. Ac er iddi brotestio yn y modd mwyaf difrifol yn erbyn y cyhuddiad, dymuno am gael gweled ei chwaer, anfon un o'r llythyrau mwyaf grymus ac effeithiol ati, ni wnaed un sylw o'i thystiolaeth, ei chais, na'i llythyr, ond taflwyd hi yn garcharor i'r Tŵr.

Pan safodd y cwch oedd yn ei dwyn gyferbyn a Phorth y Bradwr (*Traitor's Gate*), gwrthodai y dywysoges fyned i mewn trwy hwnw. Ond gorfuwyd hi i ddyfod allan, a chan ei bod yn gwlawio, cynygiodd un o'r arglwyddi oedd yn ei dwyn ei gochl iddi; ond gwrthododd ef, gan roddi hergwd iddo ymaith. A phan roddodd un droed ar y grisiau i ddyfod allan o'r cwch, dywedodd, "Dyma ddeiliad yn garcharor mor ffyddlon a neb laniodd ar y grisiau yma erioed. A cher dy fron di, O Dduw, yr wyf yn ei ddywedyd, yr hon wyf heb un cyfaill ond tydi yn unig!" Yn nes yn mlaen ychydig eisteddodd ar garcg; a phan ddaeth ceidwad y Tŵr ati i ddeisyf arni ddyfod i

mewn o'r gwlaw a'r oerfel, dywedodd, "Gwell eistedd yma nag mewn gwaeth lle; oblegyd Duw sydd yn gwybod i ba le yr ydych yn myned â mi." Dygwyd hi i mewn, a bolltwyd arni yn ei hystafell garcharaidd. Dau neu dri diwrnod cyn hyny yr oedd Jane Grey wedi ei dwyn allan i'r dienyddle, ac yr oedd hithau bob dydd yn dysgwyl yr un peth. Ond methwyd cael un sail i'r cyhuddiad oedd yn ei herbyn, ac ofnai Mary y canlyniad o'i dienyddio heb achos. Yn nghanol mis Mai, daeth Syr Henry Bedingfield gyda chant o filwyr i'w chludo o'r Tŵr i Richmond, ac oddiyno i gastell Woodstock, lle y cadwyd hi eilwaith dan wyliadwriaeth fanol, ac anfonwyd Courtney i gastell Fotheringay.

Galwyd senedd yn nghyd eto yn nechreu Ebrill (1554), prif bwnc yr hon oedd parotoi y ffordd i briodas y frenines â Philip o Spain. Anfonodd yr ymerawdwr bedwar can mil o goronau i'w rhanu rhwng yr aelodau, i geisio enill eu dylanwad o blaid ei fab. Mynai Mary gael pasio bil i'w galluogi i drosglwyddo y goron, ac apwyntio olynydd; ond gwelai y senedd yn eglur pwy fyddai yr olynydd, ac, er gwaethaf hyawdledd Gardiner, safodd y senedd yn gyndyn yn erbyn y bil. Cymeradwywyd y briodas â Philip, a chaniateid iddo gael ei alw yn frenin Lloegr dros ystod bywyd Mary, ond nid oedd i gael unrhyw hawl yn nghoron y wlad hon. Gwnaed cynygiad i adferu yr hen gyfraith yn erbyn hereticiaid, ond ni lwyddwyd yn hyn ychwaith. Ac wrth weled nad oedd y senedd yn cyflawni ei hamcanion, torodd Mary hi i fyny, a dysgwyliodd yn bryderus am ddyfodiad y priodfab drosodd o Spain. Cyrhaeddodd Philip Southampton ar 19eg o Orphenaf, ac yn mhen ychydig ddyddiau wedi hyny priodwyd hwy gan Gardiner, yn ei eglwys gadeiriol yn Winchester. Wedi aros am beth amser yn Windsor, daethant i'r brifddinas; ond nid oedd y derbyniad a gawsant yno mor gynes ag y dymunent. Daeth Philip â phwrs llawn gydag ef drosodd, ond ni lwyddodd ei arian i enill cymaint ag ewyllys da y llyswyr llygredig. Nid oedd neb, yn wir, yn hoff o hono ond Mary; ac nid oedd hoffder gwraig afiach a goreiddigus yn beth i ymffrostio llawer ynddo. Dangosodd Philip yn fuan ei wir amcan yn ei briodas, sef cael coron Lloegr ar ei ben, a'i holl awdurdod i'w law; a phenderfynodd Mary wneyd ei goreu i roddi hyny iddo. Ceisiodd enill poblogrwydd ar y dechreu, trwy ryddhau amryw garcharorion, a mynu gwell triniaeth i'r dywysoges Elisabeth. Ond yn hyn yr oedd ei lygad ar ei fantais ei hun. Elisabeth oedd etifedd nesaf y goron, os na chai Mary blant; ac os rhoddid Elisabeth heibio, delai yr hawl i Mary, brenines yr Ysgotiaid, yr hon oedd yn awr yn frenines Ffrainc, yr hyn fuasai yn profi yn ddrwg aruthrol i Spain.

Galwodd Mary senedd yn nghyd eto (Tachwedd, 1554), a gofalodd anfon cylchlythyrau at y siryddion, i beri iddynt ethol seneddwyr

fyddent yn ddigon ystwyth i blygu i'w hewyllys. Yn y senedd hon ymwrthododd y frenines â'r titl o ben yr eglwys; ac wedi cael sicrhad unwaith ac eilwaith gan y pab a'r frenines, na ddygid y tiroedd eglwysig oddiar eu perchenogion presenol, cytunodd y ddau Dŷ i anfon cyfarchiad at Philip a Mary, yn cydnabod pechod y genedl am ymadael â'r wir eglwys, yn cyhoeddi eu parodrwydd i alw yn ol yr holl gyfreithiau a wnaed yn ei herbyn, ac yn atolygu ar ei mhawrhydi i eiriol gyda'r pab am ryddhad a maddeuant i'w phobl. Yr oedd Cardinal Pole, cenadwr y pab, yn awr wedi cyrhaedd yma, a bil gwarthruddiad yn ei erbyn wedi ei alw yn ol; a chyda difrifoldeb rhwysgfawr, yn enw y pab, cyhoeddodd faddeuant i'r senedd ac i'r holl deyrnas, a derbyniodd hwy drachefn i fynwes yr eglwys. Cerddodd y newydd gyda buandra dros holl Ewrop. Cadwodd y pab goffadwriaeth o ailddychweliad Lloegr at Gristionogaeth trwy orymdaith fawreddog, a chadarnhaodd holl fesurau ei genadwr.

Felly adferodd y senedd yr hen gyfreithiau creulon yn erbyn hereticiaid, a gwnaed ef yn fradwriaeth i gynyg at fywyd Philip dros ystod ei gysylltiad priodasol â Mary. Ond gwrthododd y senedd hon eto ganiatau i goroni Philip, na rhoddi arian at ei gynal, nac arian i gynorthwyo ei dad yn ei ryfeloedd â Ffrainc.

Yr oedd Mary yn orawyddus am etifedd, a thybiodd yn awr fod ei dysgwyliad yn cael ei gyflawni. Yn ei chyfarchiad cyntaf â Cardinal Pole, dychymygodd i'r plentyn, fel Ioan Fedyddiwr gynt wrth gyfarchiad Mair, lamu yn ei chroth. Ysgrifenwyd yn ddioed at Bonner, esgob Llundain, i beri iddo orchymyn canu *Te Deum* ("Ti, Dduw, a folwn"), a gwneyd ffurf-weddiau cymhwys dros y fam a'r plentyn; ac yr oedd yn y gweddiau hyny ddymuniad am iddo fod yn blentyn gwryw. Bu cynhwrf mawr yn nghylch dillad bychain, cawell magu, lle preswylfod, a moddion addysg y tywysog ieuanc. Pregethodd Dr. Chadsey, un o offeiriaid St. Paul, bregeth yn yr eglwys hono ar yr achlysur, a deg o esgobion yn bresenol, oddiar yr adnod—"Nac ofna, Mair, canys ti a gefaist ffafr gyda Duw." Ond nid oedd y cwbl ond dychymyg; cafwyd cyn hir nad oedd y beichiogrwydd ond dechreuad y dropsi!

Daeth y flwyddyn 1555 i mewn gyda chymylau tywyll uwchben y Protestaniaid. Yr oedd y cyfreithiau creulon yn erbyn y grefydd ddiwygiedig wedi eu gollwng yn rhydd yn eu holl nerth, a buan y llanwyd y wlad â chreulonderau sydd wedi gwneyd y grefydd Babaidd yn gasbeth tragwyddol yn ngolwg ei thrigolion. Y prif ddynion wrth y llyw yn awr oeddent Cardinal Pole, cenadwr y pab, a'r Esgob Gardiner, y prif weinidog a'r canghellydd. Yr oedd y cyntaf yn ddyn o gymeriad difrycheulyd, yn gydwybodol selog dros ddefodau yr Eglwys Babaidd; ond, o ran ei feddwl ei hun, yn groes i arfer mesurau llymion yn erbyn y Protestaniaid. Ond yr oedd

Gardiner o nodwedd tra gwahanol, a'i lygad bob amser ar ei ddyrchafiad ei hun, yn selog dros y mesurau creulonaf yn erbyn y diwygwyr, ac yn offeryn mor hyblyg ag y dymunai calonau gormesol Philip a Mary iddo fod.

Wedi i'r arddangosiad o lawenydd oblegyd ad-ddychweliad y deyrnas at yr hen grefydd fyned heibio, prysurwyd i gospi yr hereticiaid. Yr oedd y carcharau eisoes yn llawn o honynt. Ac fel rhag-ddefod i'r hyn oedd i ganlyn, parwyd i amryw o'r offeiriaid oedd a gwragedd ganddynt gerdded o amgylch eglwys St. Paul mewn cynfasen wen, a chanwyllau a fflangellau yn eu dwylaw; a phan fyddai y ddefod ddirmygus hono drosodd, fflangellid hwy yn gyhoeddus. Gwnaed pethau cyffelyb mewn amryw barthau o'r deyrnas, ac mewn rhai achosion byddai eu gwragedd yn cael triniaeth gyffelyb. Heblaw hyn, yn mis Ionawr, penodwyd Cynghor i eistedd yn St. Mary Overy, Southwark, dan lywyddiad Gardiner, i brofi Protestaniaid.

Dechreuwyd gyda John Rogers, periglor St. Paul, gwr enwog am ei ddysg a'i grefydd, a'r hwn oedd wedi ei gadw yn nghanol drwg-weithredwyr yn ngharchar Newgate am flwyddyn gyfan. Mae yn bosibl iddynt ddewis hwn i ddechreu, oblegyd fod ganddo wraig a deg o blant—un o honynt ar y fron—a'i fod mor hoff o honynt, ac y buasai ei serch at ei deulu yn demtasiwn iddo wadu ei grefydd. Wrth ei groesholi a'i ddirmygu gan Gardiner, gofynodd i'w farnwr, "Oni ddarfu i chwi am ugain mlynedd weddio yn erbyn y pab?" "Cael fy ngorfodi yn greulawn oeddwn," ebai Gardiner. "Ac a wnewch chwi ddangos yr un creulondeb tuag atom ni?" gofynai Rogers. Llefarodd y carcharor yn hyf a nerthol yn erbyn eu hannghysondeb. Ond, wedi araeth faith, gofynodd Gardiner y cwestiwn angeuol, "A ydych chwi yn credu presenoldeb corphorol Crist yn y swper?" Atebodd Rogers nad oedd; ac yna traddodwyd ef i gael ei losgi fel heretic. Dymunodd am gael gweled ei wraig a'i blant, ond gwrthodwyd hyny iddo. Beth bynag, gwelodd hwynt ar ei ffordd i Smithfield—ei wraig a'i ddeg plentyn. Dyoddefodd Rogers, y cyn-ferthyr Protestanaidd, fel y gelwir ef, gyda thawelwch a ffydd ddiysgog.

Y dull o losgi hereticiaid oedd fel hyn: gosodid ystanc neu bolyn hir i fyny, wedi sicrhau y naill ben iddo yn y ddaear. Gwnelid gris neu safle arno gryn uchder oddiwrth y llawr, ar yr hwn y safai y dyoddefydd, wedi ei ddyosg hyd at ei grys. Rhwymid y corph gyda chadwen haiarn wrth yr ystanc, ond gadawid y breichiau yn rhyddion. Yna rhoddid sypynau o hesg a choed o amgylch iddo, a gosodid tân ynddynt nes llwyr ddifa y dyoddefydd.

Dranoeth wedi merthyrdod Rogers, hysbyswyd Hooper, esgob Protestanaidd Caerloyw, ei fod yntau i ddyoddef yr unrhyw farwol-

aeth, nid yn Smithfield, ond o fewn dinas ei esgobaeth ei hun. Bwriadwyd hyn er mwyn dychrynu ei braidd, ond yr oedd yn llawen gan Hooper gael selio ei athrawiaeth â'i angau yn mysg y rhai y bu yn pregethu iddynt. Wedi ei rwymo wrth yr ystanc, o flaen eglwys gadeiriol Gloucester, yn ngwydd 7000 o edrychwyr, rhoddwyd pardwn ar ystol gyferbyn ag ef, er ei demtio i ddadgyffesu. Ond gwaeddodd yr esgob ddwywaith, "Os ydych yn caru fy enaid, ewch ag ef ymaith." Cafodd farwolaeth boenus a dychrynllyd. Er i rai oddiar garedigrwydd rwymo sypyn o bylor wrtho, taniodd heb wneyd fawr niwed. Yr oedd y tanwydd yn iraidd, a'r gwynt yn chwythu y fflamiau ymaith, fel yr oedd rhanau isaf ei gorph wedi llwyr losgi tra yr oedd eto yn fyw ac yn gweddio. Curai ei fynwes â'r naill law, tra yr oedd y llall wedi syrthio ymaith yn lludw. Parhaodd i weddio a chynghori yr edrychwyr, nes oedd ei dafod wedi chwyddo gan y gwres yn fwy na llonaid ei safn. Bu yn llosgi am dri chwarter awr cyn i'r wreichionen fywiol ehedeg ymaith.

Ni oddef ein terfynau i roddi hyd y nod enwau y personau enwog a ddyoddefasant y pryd hwn dros eu crefydd a'u hegwyddorion. Yn eu mysg cawn Robert Ferrar, esgob Tyddewi, yr hwn hefyd a yrwyd i'w ferthyru i'w esgobaeth ei hun; Dr. Rowland Taylor, o Hadleigh, un o hynafiaid y dysgedig a'r enwog Jeremy Taylor, gwrthwynebydd diweddarach i Babyddiaeth, "ac un o'r cyntaf a'r goreu o'r fintai santaidd a ddysgodd nad yw poenydio ei greaduriaid yn wasanaeth i Dduw;" Laurence Sanders hefyd, yr ysgolor a'r pregethwr doniol, a losgwyd yn Coventry, yr hwn a gofleidiai yr ystanc, gan ddywedyd, "Groesaw, groes Crist! Groesaw, fywyd tragwyddol!" Canlynwyd y rhai hyn gan ardderchog lu o bob gradd a sefyllfa. Daeth y gwaith mor fawr nes yr aeth yn ormod gorchwyl i'r arch-erlidiwr Gardiner ei ddal. Cyflwynodd y swydd o draddodi i'r fflamiau i Bonner, esgob Llundain—yr offeryn cymhwysaf at y gorchwyl gwaradwyddus a allesid gael o fewn terfynau Prydain. Eisteddai hwn yn eglwys-lys St. Paul, a gorfodid yr arglwydd faer ac amryw o henuriaid y ddinas i fod yn bresenol. "Yn y llys hwn gallai Bonner, gyda'r hawsder a'r tawelwch mwyaf, draddodi yr hereticiaid i'r tân yn ol haner dwsin y dydd; ac er hyny yr oedd yn rhy hwyrfrydig yn ngolwg y llywodraeth. Anogai y cyfrin-gynghor ef i yru yn mlaen gyda'i greulonderau; ac ysgrifenodd Mary a'i gwr un llythyr ato, os nad ychwaneg, fel pe buasai angen ei gyffroi, hyd y nod arno ef, i gospi yr hereticiaid."* Drwgdybid Cardinal Pole yn Rhufain o ogwyddiad at symudiadau y diwygwyr, oblegyd dangosai wrthwynebiad i erledigaethau creulon y llywodraeth.

Yr oedd yr archesgob Cranmer, Ridley, esgob Llundain, a Latimer, esgob Worcester, wedi eu symud i Rydychain (*Oxford*)

* Knight's History, vol. ii., 524.

oddiar ddechreu y flwyddyn o'r blaen (1554). Gyrwyd hwy yno i ddadleu pynciau duwinyddol. Yr oedd Ridley yn fwy gwrol na Cranmer, ac yn fwy dysgedig na Latimer; a daliodd i fyny anrhydedd yr egwyddorion diwygiadol ger bron eu gwrthwynebwyr. Ond taflwyd pob dirmyg arnynt, a chondemniwyd hwy fel hereticiaid. Cadwyd hwy yn y carchar am tua blwyddyn a haner; ac ar yr 16eg o Hydref, 1555, dygwyd Ridley a Latimer at yr ystanc, yr hon oedd wedi ei darparu gyferbyn a Choleg Baliol. Pan gyfarfuasant â'u gilydd wrth y fan dyoddef, rhedodd Ridley at ei gyfaill, rhoddodd gusan ar ei foch, a dywedodd, "Byddwch galonog, frawd, oblegyd gwna Duw leddfu cynddaredd y tân, neu ein nerthu i'w ddyoddef." Pregethodd un Dr. Smyth y bregeth arferol ar yr achlysur, oddiwrth y geiriau—"A phe rhoddwn fy nghorph i'w losgi, ac heb fod genyf gariad, nid yw ddim llesâd i mi." Ridley, yr hwn oedd gryf ac ysbrydol, a ddadwisgodd ei hun wedi i'r pregethwr orphen; ond yr oedd Latimer yn hen a methedig, a gorfu i arall ei ddadwisgo. Ond pan yn ei grys ar yr ystanc, dychwelodd ei nerth, a safai mor syth a hoyw a phe buasai yn ddeg ar ugain oed. Pan oedd yn cael ei rwymo, gwaeddodd ar ei gyfaill, "Byddwch galonog, Ridley, a dangoswch y dyn; oblegyd trwy ras Duw cyneuwn ganwyll yn Lloegr heddyw, yr hon, yr wyf yn hyderu, na ddiffoddir yn dragywydd!" Yn fuan rhoddwyd tân yn y ffagodau; gwnaeth Latimer fel pe buasai yn golchi ei ddwylaw a'i wyneb yn y fflam, a chyda'i fod yn dyweyd, "Dad nefol, derbyn fy ysbryd," taniodd cydaid o bylor oedd wedi ei osod yn ei ymyl gan y dienyddwyr, a rhoddodd derfyn i'w hoedl. Ond, oblegyd nad oedd y tân ond araf a myglyd, parhaodd poenau arteithiol Ridley yn hir, a gwaeddodd fwy nag unwaith, "Er mwyn Crist, gadewch i'r tân ddyfod ataf!" Pan daniodd y pylor, rhoddwyd terfyn ar ei hoedl yntau.

Canlynwyd y rhai hyn i fyd arall yn fuan gan Gardiner, yr hwn a orphenodd ei yrfa annghlodus mewn poenau corph ac ing meddwl anarferol. Dywedai drosodd a throsodd "ei fod wedi pechu fel Pedr, ond heb edifarhau fel efe." Rhoddwyd y sel fawr i Heath, archesgob York, yr hwn oedd mor llym dros ddyfetha y Protestaniaid, ond heb feddu talentau Gardiner. Aeth Philip, yr hwn oedd yn awr wedi anobeithio am gael etifedd o Mary, ac o enill serchiadau y Saeson, drosodd i'r Cyfandir, a rhoddodd ei dad, yr ymerawdwr Charles, ei holl feddianau a'i deitlau i fyny iddo, ac a aeth ei hun i dreulio gweddill ei oes mewn monachdy. Yno, gydag ychydig weision, difyrai ei hun wrth ddarllen llyfrau duwinyddol a gwneuthur clociau, a mân beirianau eraill, yr hyn beth yr oedd yn hoff o hono dros ystod ei oes. Galwodd Mary ei senedd yn nghyd, yr hon a roddodd flinder mawr iddi trwy wrthod y symiau o arian a ofynai. Wedi i'r senedd wrthod, cymerodd lwybr annghyfiawn

i'w codi oddiar foneddigion a masnachwyr, a gyrai y rhan fwyaf o honynt drosodd i'w gwr. Ond yr oedd Philip wedi cael siomedigaeth yn ei wraig, ac yn ei amcan wrth ei phriodi; ac er fod Mary yn anfon y llythyrau mwyaf cariadlawn ato, nid atebai yr un o honynt, oddigerth fod eisiau arian arno. Tybiai y frenines fod ymddygiad ei phobl tuag at Philip wedi oeri ei serchiadau tuag ati, ac ymroddodd i dywallt ei chynddaredd ar ben y Protestaniaid.

Dienyddiad Cranmer. Yr oedd Cranmer eto yn ngharchar; ond penderfynodd y frenines bellach weinyddu cospedigaeth eithaf y gyfraith arno. Wedi cael awdurdod oddiwrth y pab, anfonwyd Bonner i Rydychain i'w ddiraddio yn flaenorol i'w ddienyddiad. Ond nid oedd ysbryd dialgar y frenines a'i hofferynau yn foddlon ar drosglwyddo ei gorph i'r fflamiau a'i enaid i'r diafol, heb warthruddo ei gymeriad moesol. Penderfynwyd gwneyd ymdrech egniol, a defnyddio pob moddion er ei hudo i wadu ei egwyddorion, ac felly anurddo ei anrhydedd ei hun a'r blaid ddiwygiadol. Fel y cafwyd mantais i weled droion, ansefydlogrwydd oedd prif, os nid unig, ddiffyg Cranmer. Ac wedi colli cyfnerth ei gyfeillion, Latimer a Ridley, tybiwyd yn sicr y llwyddasid i'w droi i bleidio y pab a'i grefydd. Rhoddwyd y temtasiynau cryfaf o'i flaen; addewid am arbediad ei fywyd, dyrchafiad i ffafr y frenines a'i Chynghor, a lluaws o ragorfreintiau eraill. Ac wedi ei orchfygu gan gariad at fywyd, ac ofn pangfeydd dychrynllyd y ffagodau, ar awr wan, ildiodd i roddi ei enw wrth ysgrif yn cydnabod awdurdod y pab, a phresenoldeb corphorol Crist yn y swper. Ond mor gynted ag y llwyddwyd i'w hudo, gorchymynodd y frenines dwyllodrus a chreulon brysuro ei ddienyddiad, a gwneyd iddo ddarllen ei ddadgyffesiad yn gyhoeddus cyn ei losgi. Ar yr 21ain o Fawrth, 1556, dygwyd Cranmer i eglwys St. Mary i wrando pregeth ei ddienyddiad gan Dr. Cole. Rhoddodd y pregethwr rai rhesymau paham y llosgid heretic edifeiriol, a dywedai "fod rhesymau eraill wedi cyffroi y frenines a'i Chynghor i draddodi yr archesgob i'r ystanc, y rhai nad oeddent yn weddus a chyfleus i ddealltwriaeth y lluaws." Terfynodd trwy alw pawb oedd yn wyddfodol i weddio dros y carcharor. Aethant oll ar eu gliniau, a dywed llygad-dyst ei fod yn tybied na fu cynifer erioed yn cydweddio gyda mwy o daerineb.

Wedi gorphen, galwyd ar Cranmer, yr hwn oedd ar esgynlawr gyferbyn, i ddarllen ei ddadgyffesiad. Cymerodd Cranmer y fantais i adrodd cyffes ei ffydd ar brif bynciau ei gredo. "Ac yn awr," meddai, "yr wyf wedi dyfod at y peth sydd yn aflonyddu fy nghydwybod yn fwy na dim a wnaethum erioed yn fy mywyd; sef i mi gael fy nhemtio, gan awydd am fywyd a dychryn marwolaeth, i roddi fy enw wrth ysgrifau, y rhai y credwn yn fy nghalon eu bod yn groes i'r gwirionedd. A chan mai fy llaw droseddodd trwy

ysgrifenu peth croes i fy nghalon, caiff fy llaw losgi yn gyntaf pan draddodir fi i'r tân. Am y pab, yr wyf yn ei wrthod fel gelyn Crist, a'r Annghrist, gyda'i holl au-athrawiaeth." Rhwystrwyd ef i fyned yn mlaen, a gwaeddodd Cole, "Cauwch safn yr heretic, a dygwch ef ymaith."

Arweiniwyd ef at yr ystanc, ar yr un ysmotyn ag y dyoddefodd Latimer a Ridley. Yr oedd yn awr wedi casglu holl ymadferthoedd ei feddwl yn nghyd, ac yn wynebu ei dynged gyda mwy o wroldeb nag a welwyd ynddo erioed o'r blaen. Dyosgodd ei ddillad ei hunan yn fywiog hyd at ei grys; taflodd ei gap ymaith, ac yr oedd ei ben yn foel, a'i farf yn wyn, ac yn chwifio yn y gwynt. Cyffesodd eto ei edifeirwch am ei ymddygiad diweddar; a phan oedd y tân yn dechreu codi, estynodd ei law ddeheu i'r fflam, gan waeddi yn uchel, "Y llaw hon droseddodd." Daliodd hi yno nes oedd y tân wedi ei difa yn llwyr. Yr oedd yn ymddangos mor ddiysgog a'r ystanc yr oedd yn sefyll arno. Ymddangosodd tawelwch dros ei wedd; a phan amdowyd ei gorph gan y fflamiau, ymddangosai fel yn berffaith ddideimlad, fel pe buasai gobaith a phenderfyniad wedi casglu holl nerth ei feddwl iddo ei hun—i wrthsefyll cynddeiriog-rwydd y fflamiau. Ni fu ei boenau ond byr; a dywedir iddynt gael ei galon yn gyfan a dianaf yn nghanol ei ludw.

Fel hyn y terfynodd Cranmer ei fywyd; bywyd rhinweddol a chydwybodol. Hudwyd ef, mae yn wir, dros ychydig, i wadu y gwirionedd, ond bu hyny yn achlysur i gasglu yn nghyd ei wroldeb, ac i ychwanegu gogoniant ei ddiwedd. "Bydded i'r rhai hyny a ofynant rinwedd anhyblyg yn yr amseroedd mwyaf tymhestlog, gondemnio yr addfwyn a'r gwallus archesgob; ystyria eraill, nad ydynt mor sicr o'u dianwadalwch eu hunain, ei dynged fel yr esiampl enwocaf mewn hanesiaeth o enaid, er ei fod wedi ei ddarostwng, eto heb ei lygru gan weithred o wendid; ac o un yn cadw gwroldeb gwronaidd ar ol fforffedu anrhydedd—yr hwn yw ei swmbwl naturiol, ac yn gyffredin ei gyfaill anwahanol."*

Y diwrnod ar ol dienyddiad Cranmer gwnaed Cardinal Pole, yr hwn oedd yn awr wedi derbyn ordeiniad clerigol, yn archesgob Canterbury; a dywedir i'r geiriau canlynol, y rhai a ddywedwyd wrth Ahab am Naboth, gael eu gosod y noswaith hono ar byrth palas Lambeth,—"A leddaist ti, ac a feddienaist hefyd?" Ond er ei wneuthur yn ben-esgob, ac er ei fod yn llys-genadwr y pab, a'i fod yn teimlo yn wrthwynebol i erledigaeth greulon y Protestaniaid, ni leddfwyd dim ar ysbryd gwaedlyd Mary, ac ni feddai yntau ar wroldeb na thuedd i dori ar y cyfeillgarwch mawr oedd rhyngddynt. Gwlawiodd y frenines lawer o ffafrau ar ei ben, a rhoddodd yr ymddiried llwyraf ynddo. Yr oedd y pab presenol, Paul IV., yn

* Mackintosh.

elyn iddo, a chymerodd y swydd o lys-genadwr oddiarno; ond cyfryngodd Mary, a gwnaeth i'r pab adferu ei awdurdod iddo drachefn.

Yn Mawrth, 1557, daeth Philip drosodd i Loegr i ofyn cynorthwy i'w ryfeloedd â Ffrainc, a sicrhaodd i'r frenines na roddai ei droed ar dir Lloegr mwy os gwrthodid ei gais iddo. Gwnaeth Mary ei goreu i gyflawni ewyllys ei phriod; ac o'r diwedd, yn groes i deimlad Pole a'r Cynghor, llwyddodd yn ei hamcan. Cododd fyddin o ddeng mil o wŷr, gorfododd ei deiliaid i roddi arian i'w cynal, a gyrwyd hwy drosodd i'r Cyfandir dan arweiniad Iarll Penfro. I ddyogelu ei hun rhag terfysgoedd cartrefol, taflodd y pendefigion mwyaf eu dylanwad yn ddirgelaidd i'r Tŵr. Unodd y fyddin Seisnig â byddin Spain dan lywyddiad Duc Savoy. Ymladdwyd brwydr yn ymyl tref St. Quintin, pryd yr enillwyd goruchafiaeth fawr ar y Ffrancod, ac y lladdwyd o dair i bedair mil o honynt. Ond talodd y Ffrancod y pwyth yn fuan i Loegr am ei hymddygiad. Penderfynodd Duc Guise, yr hwn oedd newydd ei alw o Itali, osod gwarchae dirybudd ar Calais. Daeth i olwg y dref ar y dydd cyntaf o Ionawr, 1558, ac yn mhen saith niwrnod yr oedd yn ei feddiant. Gwnaed amryw gynygion gan y Saeson i'w hadenill; ond ni lwyddasant. Ac felly y collasant y dref a enillwyd iddynt gan Edward III., ac a fu yn eu meddiant am dros ddau can mlynedd. Nid oedd y golled ond bychan, mae yn wir, os nad oedd ar y cyfan yn elw; ond nid edrychai Mary na'i phobl arni yn y goleuni hwnw; edrychid ar yr amgylchiad fel gwarthnod ar y cymeriad cenedlaethol, a chynyrchodd gasineb mwy nag erioed at Mary a Philip, y rhai a fuont yn achos o'r anffawd, trwy lusgo y wlad, yn groes i'w hewyllys, yn erbyn y Ffrancod. Teimlodd y frenines mor ddwys oddiwrth y golled, fel y dywedodd pan ar ei gwely marw, "Pan fyddaf farw a chael fy agor, cewch Calais yn gorwedd yn fy nghalon."

Yr oedd pob peth yn awr yn cydweithio i flino ysbryd, a nychu corph afiach Mary. Gwelai bob argoelion o esgyniad ei haner chwaer Elisabeth i'r orsedd, y peryglon oedd yn bygwth y grefydd Babaidd, a dadymchweliad y sefydliadau y bu hi mor ddiwyd yn eu codi. Yr oedd sefyllfa pethau yn ei llywodraeth ei hun yn bob peth ond cysurus; clywodd hefyd fod y pab, yr hwn oedd yn dra dyledus iddi am ddychweliad Lloegr dan ei awdurdod, yn llongyfarch brenin Ffrainc ar gymeriad Calais; ond yr oedd y rhagolwg ar absenoldeb ei gwr, ac enciliad ei serchiadau oddiwrthi, uwchlaw y cwbl yn llethu ei hysbryd terfysglyd. Dygodd gofid ei mheddwl dwymyn arni, o'r hon y bu farw, Tachwedd 17eg, 1558, yn mhalas St. James, yn y 45ain mlwydd o'i hoedran, ac wedi bod yn teyrnasu pum mlynedd, a phedwar mis ac un diwrnod ar ddeg. Yr oedd Cardinal Pole wedi bod yn hir yn glaf, a bu farw ar yr un diwrnod

a Mary. Ar y diwrnod y bu farw y frenines cenid clychau, llosgid coelcerthi, gosodid byrddau allan ar hyd yr ystrydoedd, a dangosid pob arwyddion o lawenydd.

Rhaid cyfaddef fod rhai rhinweddau yn perthyn i gymeriad Mary: yr oedd yn ymlynol wrth ei phriod, yn dyner tuag at ei theulu, ac yn garedig at y tlodion a'r cystuddiol: yr oedd hefyd yn berchen ar feddwl cryf a difrifol. Dysgodd bedair iaith, heblaw y Seisnig, a gallai siarad Lladin, Ffrancaeg, ac Yspaenaeg yn dda. Cyfansoddodd dri darn defosiynol, a dechreuodd aralleiriad o Efengyl Ioan. Ond yr oedd ei hystyfnigrwydd, ei gormes, ei rhagfarn, ei dialgarwch, a'i chreulondeb yn taflu ei hychydig rinweddau i'r cysgod, a gwnaethant ei henw yn atgas i'w phobl a'u holynwyr hyd y dydd hwn. Yn ystod byr ei theyrnasiad, neu yn fwy priodol, yn y tair neu y pedair blynedd diweddaf iddi, llosgwyd yn fyw agos dri chant* o bersonau, oblegyd eu crefydd; ac o'r nifer hwn yr oedd pump esgob, un ar ugain o dduwinyddion, wyth o foneddigion, a'r lleill yn grefftwyr, llafurwyr, gwragedd, gwyryfon, a phlant. Ac heblaw y rhai hyn, dyoddefodd canoedd eraill eu carcharu, eu hysbeilio o'u meddianau, eu cam drin, a'u gorthrymu yn greulon. Ac er cymaint oedd y creulondeb a ddangoswyd yn y wlad hon, nid oedd ond bychan o'i gydmaru â'r hyn a wnaed mewn gwledydd eraill. "Mae awdwr enwog," meddai Hume, gan gyfeirio at y Tad Paul, "yn cyfrif fod yn y *Netherlands* yn unig, oddiar pan gyhoeddodd yr ymerawdwr Charles ei ddeddf yn erbyn y diwygwyr, *haner can mil* o ddynion wedi eu crogi, tori eu penau, eu claddu yn fyw, a'u llosgi, oblegyd eu crefydd. Yn Ffrainc hefyd yr oedd y nifer yn fawr. Ac eto, yn y naill wlad a'r llall, yr oedd y golygiadau newyddion yn cael eu gyru yn mlaen gan yr erledigaethau hyn, yn lle eu hatal."†

"Byrhaodd yr Arglwydd ddyddiau teyrnasiad Mary," meddai Burnet, "er mwyn ei etholedigion; ac ymddengys iddo oddef Pabyddiaeth i ddangos ei hun yn ei lliw priodol, ac iddi ddatguddio y fath ffyrnigrwydd gwaedlyd hyd y nod dan deyrnasiad benyw, fel ag i roddi y fath brawf o greulondeb barbaraidd y grefydd hono, ag a godai atgasrwydd tragywyddol tuag ati." Ac y mae y sylw yn berffaith wir; oblegyd ni wnaeth tymhestl ofnadwy erledigaeth Mary ond rhoddi nerth a chaledrwydd yn y cyfansoddiad newydd, a'i gadw yn ddyogel rhag peryglon gordyfiant rhy gynar. Gwnaeth ymddygiad y frenines a'i chefnogwyr fwy o niwed i'r grefydd a broffesent, na holl bregethau ac ysgrifeniadau y Protestaniaid dros ystod ei theyrnasiad. "Dywedir i lawer ddyfod yn Brotestaniaid yn amser Mary, y rhai oeddent, ar ei hesgyniad i'r orsedd, yn proffesu y grefydd wrthwynebol; a gellir cael y prawf cadarnaf o

*Yn ol Speed 274 Burnet, 284; Collins, 290. † History, vol. ii. 305.

hyn yn ngoddefgarwch corph mawr y deyrnas yn adsefydliad Protestaniaeth gan Elisabeth, wrth ei gydmaru â'r anfoddlonrwydd a ddangoswyd i hyny dan Edward VI."*

## III.—ELISABETH, 1558—1603.

Yr oedd sefyllfa pethau wedi myned mor ddrwg dan Mary, fel y dangoswyd llawenydd cyffredinol wrth weled trosglwyddiad y deyrnwialen i ddwylaw Elisabeth. Yr oedd y doethineb mawr a ddangosodd y dywysoges yn ystod teyrnasiad ei chwaer, a chydymdeimlad y lliaws â hi yn ei pheryglon parhaus, wedi enyn serchiadau y genedl ati; a phan wnaed marwolaeth Mary yn hysbys yn y senedd, adseiniai muriau y ddau Dŷ gan y bloeddiadau, "Duw a gadwo y Frenines Elisabeth; hir a dedwydd y teyrnaso." Yr oedd y ffaglau yn goleuo yr awyr, y byrddau llawnion yn llinellu yr ystrydoedd, a llon-gyfarchiadau y trigolion yn fyddarol, pan gyhoeddid hi trwy y ddinas. Yr oedd Elisabeth yn Hatfield pan ddygwyd y newydd ati am farwolaeth ei chwaer, a theimlad ffafriol y bobl drosti; syrthiodd ar ei gliniau yn y fan, a dywedodd yn Lladin, "O'r Arglwydd y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Dranoeth talodd amryw o aelodau y Cynghor ymweliad â hi, a rhoddodd dderbyniad croesawgar iddynt. Apwyntiodd Syr William Cecil yn brif ysgrifenydd y llywodraeth, a chymerodd ei chyfarwyddo ganddo am y llwybr i fyned yn mlaen. I wneyd i fyny ei Chynghor, cadwodd tua dwsin o gyfeillion ei chwaer, y rhai oeddent Babyddion, ac ychwanegodd wyth o Brotestaniaid atynt. Araf a phwyllog y bu hefyd yn ei symudiadau gyda chrefydd.

Yr oedd Elisabeth yn awr yn 25ain oed; yn ddynes hoyw, hytrach yn dal, o gnawd goleu, gwallt melyn-goch, llygaid dysglaer a bywiog, a thrwyn ychydig yn grwca; ac er nad oedd yn hynod am ei glendid, yr oedd yn lluniaidd a golygus, a'i hagwedd yn fawreddog ac awdurdodol. Yr oedd wedi derbyn addysg dda, a'i mheddwl yn dra diwylliedig. Medrai siarad Lladin, Ffrancaeg, ac Italaeg, yn dda; nid oedd un ddynes yn ei hoes yn meddu ar gyffelyb alluoedd a chymhwysderau; ac yr oedd ysgol adfyd boreuddydd ei hoes wedi dysgu iddi lawer o ddoethineb. "Y cyfryw oedd y fenyw a ordeiniwyd i ysgwyd y deyrnwialen Brydeinig gydag urddas anadnabyddus i benaduriaid blaenorol a dylynol."

Ar y 23ain o Dachwedd, symudodd o Hatfield i ddyfod i'r brifddinas, yn cael ei chanlyn gan fil o osgordd anrhydeddus a gorwych. Wrth Highgate cyfarfyddodd â'r esgobion; croesawodd hwynt yn serchog, gan estyn ei llaw iddynt i'w chusanu, oddigerth Bonner; trodd ymaith oddiwrth y creulon-ddyn hwnw gyda dirmyg. Pan

*Hallam's Constitutional History, vol. i., 106.

ddaeth i'r Tŵr, cyffrowyd ei theimladau gan adgof o'i charchariad ynddo, a diolchodd i'r Nefoedd am ei harbediad.

Un o'i gorchwylion cyntaf oedd anfon hysbysrwydd o farwolaeth Mary ac o'i hesgyniad ei hun i benaduriaid tramor. Penodwyd Arglwydd Cobham i ddwyn y newydd i'w brawd yn nghyfraith, Philip o Spain, gan gludo gyda llaw ddiolchgarwch y frenines iddo am ei garedigrwydd iddi yn ystod y teyrnasiad diweddar. Anfonodd Philip gynygiad yn ol am law Elisabeth, gan addaw mynu awdurdod y pab i'r cyfryw gysylltiad. Ond yr oedd llawer o anhawsderau ar y ffordd i hyny: yn un peth, yr oedd teimlad y genedl mor groes iddo, fel y buasai yn ergyd marwol i boblogrwydd y frenines. Heblaw hyny, yr oedd hi a Philip yn sefyll mewn perthynas gyffelyb i eiddo ei thad â Catharine o Aragon; ac wrth briodi â Philip, buasai yn cydnabod fod priodas ei thad â Catharine yn gyfreithlon, ac, o ganlyniad, fod ei briodas â'i mam (Anne Boleyn) yn annghyfreithlon. Gan hyny, gyda phob parch, gwrthododd Elisabeth gynygiad Philip.

Pan hysbyswyd ei hesgyniad yn Rhufain, cyffrodd y pab, Paul IV, a dywedodd nad oedd Lloegr ond maenor wriogaethol, yn perthyn i'r Esgobaeth Santaidd, a bod y dywysoges wedi dangos rhyfyg mawr wrth gyhoeddi ei hun heb ei ganiatad ef; ac nas gallasai hi ddwyn y titl o frenines am ei bod o enedigaeth annghyfreithlon. Ar yr un pryd, os rhoddai i fyny ei hawl i'r goron, ac ymostwng i'w ewyllys ef, y buasai yn dangos cymaint o garedigrwydd iddi ag oedd yn gydweddol ag urddas yr Esgobaeth Santaidd. Ond aeth Elisabeth yn ei blaen heb sylwi dim ar anfoddlonrwydd na bygythion y Tad o Rufain.

Wedi rhoddi atalfa ar erledigaeth y Pabyddion, cyflawni defodau claddedigaeth Mary, gwahardd pregethu heb drwydded, a gorchymyn i ran o'r gwasanaeth crefyddol gael ei ddarllen yn Saesneg, ac wedi i lu o alltudedigion Prydeinig ddychwelyd i'w gwlad, a chael derbyniad croesawgar, prysurwyd i gyflawni defod coroniad Elisabeth. Dychrynodd yr archesgob Heath wrth weled y cwrs oedd pethau yn gymeryd, rhoddodd y seliau i fyny, a phenodwyd Syr Nicholas Bacon i gymeryd ei le, gyda'r titl o arglwydd-geidwad. Ar y 14eg o Ionawr, 1559, gadawodd y frenines y Tŵr, yn cael ei chanlyn trwy y ddinas gan osgordd ardderchog. Yr oedd y dinasyddion wedi trethu eu dyfeisgarwch, a'u llogellau i addurno llwybr ei gorymdaith. Yr oedd y cyfarchiadau llawen a grogid ar draws yr ystrydoedd, yr adnodau o'r Bibl, a'r coegarluniau *(pageants)* arwyddocaol, yn rhy luosog i ni i'w coffa. Mewn un man gwelid eilun o Henry VIII. ac Anne Boleyn yn rhodio yn serchog, fraich yn mraich; mewn man arall yr oedd Amser yn arwain ei ferch Gwirionedd allan o'r ogof, a Gwirionedd

yn anrhegu y frenines â Bibl Seisnig. Derbyniodd Elisabeth y Bibl, gwasgodd ef at ei gwefusau ac at ei chalon, a dywedodd ei bod yn fwy diolchgar am y rhodd hono nag am yr holl roddion eraill, ac addawodd gwneyd defnydd o hono. Wrth fyned allan trwy *Temple Bar*, dywedodd, "Gellwch fod yn sicr y byddaf yn frenines dda i chwi." Cymerodd y coroniad le dranoeth (Ion. 15) yn Westminster; gweinyddwyd y ddefod gan Dr. Oglethorpe, esgob Carlisle, yn ol y dull Pabaidd, wedi i'r esgobion eraill oll wrthod eu gwasanaeth. Nid oes sicrwydd am yr achos o wrthodiad yr esgobion, oddigerth am fod Elisabeth yn gwahardd y gyfran fwyaf eilunaddolgar o'r ddefod, yr hyn allasai fod yn ddigon o reswm. Yr oedd yn arferiad i ollwng carcharorion yn rhydd ar adeg coroniad y penadur; a phan oedd y frenines yn myned i'w chapel, boreu dranoeth i ddydd ei choroniad, daeth un o wŷr y llys i'w chyfarfod gyda deiseb, yn erfyn arni ryddhau pedwar neu bump o garcharorion enwog eraill. Y rhai hyn oeddent, y pedwar Efangylwr, a'r apostol Paul, y rhai oeddent wedi eu hen garcharu mewn iaith estronol, fel nas gallasent gydymddyddan â'r bobl. Atebodd hithau y buasai yn well iddi ofyn yn gyntaf iddynt hwy eu hunain a oeddent am gael eu rhyddhau neu beidio.

Ar y 25ain o Ionawr (1559), ymgynullodd senedd gyntaf Elisabeth. Yr oedd yr etholiad y tro hwn wedi troi o ddigon o blaid y Protestaniaid. Yr act gyntaf o eiddo y senedd hon oedd cadarnhau hawl Elisabeth, "fel gwir etifeddes y goron, wedi disgyn yn gyfreithlon o'r gwaed breninol." Dangosodd y ddau Dŷ y parodrwydd mwyaf i gydsynio ag ewyllys y frenines. Adferwyd y blaenffrwyth a'r ddegfed i'r goron, rhoddwyd holl awdurdod lywodraethol yr eglwys i Elisabeth, adferwyd yr holl gyfreithiau cysylltiedig â chrefydd fel yr oeddent yn amser Edward, a phenderfynwyd i'w Lyfr Gweddi Cyffredin yn iaith y bobl gael ei arfer yn yr holl eglwysi. Er mai llywodres (*governess*) ac nid pen yr eglwys y gelwid y frenines, eto yr oedd yn cynwys yr holl awdurdod a ddaliwyd gan ei thad a'i brawd. Gallasai, heb gydsyniad senedd na chymanfa, beri unrhyw gyfnewidiad yn nghanonau, dysgyblaeth, neu ddefodau yr eglwys. Yr oedd peidio cydnabod uchafiaeth y frenines yn annghymhwysder i ddal swydd; a phwy bynag a'i gwadai, neu a gynygiai amddifadu y frenines o hono, a fforffedai ei holl eiddo, am y trosedd cyntaf; am yr ail drosedd byddai yn euog o garchar; ac am y trydydd yn euog o fradwriaeth.

Bu dadl bwysig yn ystod eisteddiad y senedd hon ar bwnc adferiad y llithiau Seisnig. Enwyd wyth o Babyddion ac wyth o Brotestaniaid, gwroniaid y ddwy blaid, dan lywyddiad Heath, archesgob York, a'r arglwydd-geidwad Bacon, i ddwyn y ddadl yn mlaen. Ond ceisiodd y Pabyddion ysgoi y frwydr trwy wrthod

dwyn eu dadleuon ar ddu a gwyn, ar ol iddynt unwaith gytuno i wneyd hyny. Torodd yr eisteddiad i fyny yr ail ddydd, a thaflwyd yr esgobion White a Watson i garchar am eu gwrthnysigrwydd; a dirwywyd esgobion a duwinyddion eraill. Bellach pasiwyd deddf uchafiaeth y frenines, a deddf unffurfiad crefydd, a sefydlwyd Protestaniaeth eto yn grefydd y wlad.

Nid oedd nifer yr esgobion ar hyn o bryd ond pedwar ar ddeg. Gwrthododd y rhai hyn oll gydnabod uchafiaeth eglwysig y frenines, oddigerth Kitchen, esgob Llandaf. Cymerodd ef y llw yn ddibetrus, oblegyd seiliai ef ei gredo bob amser ar gyhoeddiad y pen coronog diweddaf. Felly derbyniodd ei esgobaeth fel Protestant hanerog dan Henry, daeth yn Brotestant selog dan Edward, yn Babydd selog dan Mary, ac wele ef yn awr yn Brotestant brwd dan Elisabeth; ac felly y bu farw. Amddifadwyd y tri ar ddeg eraill o'u hesgobaethau, a llanwyd eu lleoedd gan Brotestaniaid. Rhoddodd amryw uchelwyr eglwysig a chlerigwyr plwyfol eraill eu swyddau i fyny, yn hytrach na chydnabod awdurdod Elisabeth; ond yr oedd yn syndod i gynifer allu ystwytho eu hegwyddorion i'w dal dan y fath gyfnewidiad. "O naw mil a phedwar cant o glerigwyr perthynol i Eglwys Rhufain," meddai un o'r haneswyr, "ni roddodd ond cant a dau ar bymtheg a thriugain eu bywioliaethau i fyny ar yr amgylchiad; ufuddhaodd y lleill i Act y Cydymffurfiad." Ni fu hyn ond colled i'r diwygiad, gan i arosiad y Pabyddion hyn gadw Pabyddiaeth yn fyw yn y plwyfau lle y gwasanaethent. Ac er i'r nifer a nodwyd anufuddhau, ni chyneuwyd tân i'w llosgi; ond cawsant fwynhau eu rhyddid hyd nes iddynt, y gauaf canlynol, wneyd ymosodiad agored ar y diwygiad, ac hyd y nod ar y frenines ei hun. Am hyn taflwyd amryw o honynt i garchar: ond rhyddhawyd hwy eilwaith, oddigerth Bonner, y gwaethaf o honynt, yr hwn a draddodwyd i'r llynges, ac a gadwyd yno am naw mlynedd, pryd y rhyddhawyd ef gan angau. Anfonwyd y lleill, rhai at yr esgobion a'u canlynasant yn eu hesgobaethau, ac eraill at eglwyswyr cyfoethog, i bwyso arnynt am eu cynaliaeth.

Terfynodd y senedd trwy ganiatau swm o arian cymhorth i'r frenines, ac anfon cyfarchiad taer ati i ddymuno arni wneyd dewisiad o wr, er mwyn cael etifeddion o'i chorph i ddyfod i'r orsedd ar ei hol. Atebodd y frenines yn serchog, ei bod hi wedi priodi y deyrnas ar ddydd ei choroniad, ei bod yn ystyried ei holl ddeiliaid fel ei phlant, ac nad oedd yn dymuno gwell coffadwriaeth am dani ei hun i ddisgyn i'r oesoedd dyfodol na rhoddi yn ysgrifenedig ar ei beddfaen, "Yma y gorwedd Elisabeth, yr hon a fu byw a marw yn frenines forwynol."

Gadawodd Mary y wlad hon mewn rhyfel â Ffrainc ac Ysgotland; ond yn mhen tua chwech mis ar ol esgyniad Elisabeth, cytunwyd

ar heddwch rhwng Ffrainc, Spain, a Lloegr, yn Cateau Cambresis. Y rhwystr penaf yn nghyflawniad y cytundeb hwn oedd awyddfryd Elisabeth am adfeddianu Calais. Ond trwy gynghor Cecil ac eraill, ildiodd y frenines ar yr amod fod brenin Ffrainc i roddi y dref hono i fyny i Loegr yn mhen wyth mlynedd, neu dalu pum mil o goronau: ac os torai Henry yr heddwch, yr oedd Calais i ddychwelyd i Elisabeth yn uniongyrchol; neu os troseddai y frenines, yr oedd i golli ei hawl ynddi o gwbl. Nid oedd hyn, mae yn wir, ond lliw er ceisio cadw anrhydedd Lloegr yn yr amgylchiad. Ar yr un pryd canmolid callineb Elisabeth yn y llwybr a gymerodd, am fod sefyllfa y wlad yn gwneyd heddwch yn beth anhebgorol. Yr oedd Ysgotland yn gynwysedig yn y cytundeb hwn, er fod rhai pethau cysylltiedig â hi i fod dan ystyriaeth pellach, ond i gael eu terfynu, os oedd bosibl, mewn ffordd heddychlon. Ni ddangosai Philip o Spain unrhyw anfoddlonrwydd ar hyn o bryd oblegyd i Elisabeth wrthod ei llaw iddo, a phriododd yn fuan â merch brenin Ffrainc, yr hon a ddyweddiwyd unwaith i'w fab, Don Carlos. Priododd Duc Savoy hefyd â Margaret, chwaer Henry o Ffrainc; a dychwelwyd iddo y tiriogaethau oedd wedi golli yn Savoy a Piedmont. Fel hyn, yn ol pob ymddangosiad, yr oedd heddwch cyffredinol wedi ei sefydlu yn Ewrop.

Ond yr oedd un pwythyn diflas yn aros rhwng Elisabeth a theulu breninol Ffrainc, oedd i esgor yn fuan ar gweryl. Yr oedd Henry, oddiar y flwyddyn 1557, wedi priodi ei fab hynaf Francis â Mary Stuart, etifeddes gorsedd Ysgotland. Yn ol deddfau Eglwys Rhufain, ac yn ol barn Pabyddion hyd y nod yn Lloegr, yr oedd gan Mary, brenines Ysgotland, well hawl i goron Lloegr na'i pherthynas Elisabeth, am y dadleuent nad oedd Elisabeth o enedigaeth gyfreithlon; a phan fu farw Mary o Loegr parodd llywodraeth Ffrainc i Mary Stuart a'i gwr ddefnyddio arfarwyddion breninol Lloegr, a chydnabyddid hwy gan y llys hwnw fel brenin a brenines Lloegr ac Ysgotland. Mae o bwys cadw y ffaith hon mewn cof, gan ei bod yn rhoddi cyfrif am deimlad gwrthwynebus Elisabeth tuag at Mary dros ystod ei bywyd, ac achos ymyriad y blaenaf ag amgylchiadau Ysgotland. Gwyddai y frenines am deimlad gwrthwynebol y pab iddi, a bod ymgais wedi ei wneyd i gael ganddo ei hesgymuno. Ofnai y buasai Pabyddion Lloegr yn troi i gefnogi hawl Mary, am ei bod yn Babyddes, ac am hyny barnodd yn angenrheidiol ffurfio cysylltiad â Phrotestaniaid Ysgotland: rhoddodd gynllun ar droed yn ddirgelaidd, oedd a'i amcan nid yn unig i ddyogelu ei choron ei hun, ond i amddifadu Mary o goron Ysgotland hefyd; ac ymroddodd am flynyddoedd i'w gario allan gyda dyfeisgarwch a phenderfyniad digyffelyb.

Gwasanaethodd cyflwr Ysgotland amcanion Elisabeth yn fwy na

holl ddoethineb ei chynghorwyr, er cymaint ydoedd. Yr oedd y wlad wedi ei rhwygo gan ddadleuon crefyddol, poethach a chyndynach nag erioed. "Mae diysgogrwydd a hunan-ddigonedd yn y cymeriad Ysgotaidd na ŵyr y Saeson ddim am dano; ac nid amlygir ef yn fwy mewn dim nag yn nygiad y diwygiad yn mlaen yn y ddwy wlad. Dygid y diwygiad yn Lloegr yn mlaen gyda thynerwch a gweddusrwydd, trwy yn unig dori ymaith bethau diangenrhaid, a dyddimu defodau ac arferion anysgrythyrol. Ond yn Ysgotland yr oedd y symudiad yn wyllt, penboeth, a dinystriol. Tra nad oedd y Saeson ond ceisio goddefiad gan eu brenines (Mary) ormesol, ni foddheid eu brodyr Ysgotaidd â dim llai na dyddimiad hollol yr hen grefydd."*

Yr oedd Ysgotland yn awr dan ofal y frenines-raglaw, mam Mary, hyd nes y delai ei mherch i oed. Pabyddes selog oedd y rhaglaw, o deulu Guise (Ffrainc), ac yr oedd yn hollol wrthwynebol i Brotestaniaeth, er ei bod yn gorfod gwenieithio yn fynych, er mwyn cadw ei deiliaid yn heddychlon. Yn niwedd y flwyddyn 1557, ymgyfarfu y diwygwyr yn Edinburgh, yn mysg y rhai oedd amryw o bendefigion y wlad; ymffurfiasant yn *Gynulleidfa yr Arglwydd*, gan dynghedu eu hunain i ymdrechu hyd yr eithaf yn erbyn yr Annghrist Pabyddol. Meddianwyd lluaws y bobl gan yr ysbryd diwygiadol.

Pan ddygodd yr archesgob Hamilton offeiriad o'r enw Mill i'w brofi am heresi, cafodd anhawsdra i gael barnwr i gyhoeddi y ddedryd arno; ac ar ddydd ei ddienyddiad yr oedd yr holl siopau wedi eu cau; ni werthai neb raff i'w gylymu wrth yr ystanc, a gorfu i'r archesgob ffeindio rhaff ei hun. Ar ol y dienyddiad cododd y bobl garnedd o geryg ar y fan yn goffadwriaeth i'r merthyr. Yn fuan ar ol hyn, pan ddygid delw St. Giles, nawdd-sant Edinburgh, mewn gorymdaith trwy y ddinas, rhuthrodd y bobl ar yr offeiriaid, cymerasant y ddelw, a thaflasant hi yn ddarnau i'r llaid.

Wrth ganfod fod teimlad y bobl mor gryf o'u plaid, a chlywed fod Elisabeth wedi esgyn i orsedd Lloegr, calonogodd blaenoriaid y gynulleidfa, ac anfonasant ddeiseb at y rhaglaw i geisio ganddi ddiwygio yr eglwys, a pheri i'r esgobion a'r clerigwyr wellhau "eu bywyd drygionus, ysgeler, a ffiaidd." Yr oedd y rhaglaw mewn cyfyng-gynghor pa lwybr i gymeryd; ond wedi gohebu â'i chyfeillion yn Ffrainc, a derbyn gorchymyn i fygu yr opiniynau newyddion, gwysiodd flaenoriaid y diwygiad i ymddangos ger ei bron yn Stirling. Daethant, a byddin anferth o'r bobl yn eu canlyn. Ond gan yr ofnai y rhaglaw i derfysg dori allan, rhoddodd ei gair na chai niwed ddygwydd i'r gweinidogion, ac ar hyny ymwasgarodd y bobl. Ond, yn ddiystyr o'i haddewid, condemniwyd hwy fel gwrthryfel-

*Keightley, vol. i., 465.

wyr. Cynhyrfodd hyn y bobl yn fwy nag oll, a phenderfynasant gymeryd arfau yn erbyn y rhaglaw a'r offeiriaid.

Ar yr adeg bwysig hon dychwelodd y diwygiwr enwog, John Knox, i Ysgotland. Yr oedd wedi gorfod ffoi o'i wlad oblegyd yr erledigaeth ar y diwygwyr, wedi bod yn crwydro am flynyddoedd ar y Cyfandir, ac wedi derbyn adgyfnerthion pwysig i'w egwyddorion a'i ysbryd diwygiadol yn nghwmni yr anfarwol John Calfin, o Geneva. Dyn o gymeriad anhyblyg a haiarnaidd oedd Knox, yn cael ei gyffroi gan nerth gwirionedd ar ei ysbryd; ac y mae yn ofynol cymeryd ei amgylchiadau a'i amserau i ystyriaeth cyn condemnio ei wroldeb a'i hyfdra diofn. Ar ddiwrnod y cyfarfod a nodwyd yn Stirling (Mai 11, 1559) yr oedd Knox yn tywallt ffrydlif o hyawdledd tanllyd o un o bwlpudau Perth yn erbyn yr athrawiaeth a'r defodau Pabaidd. Wedi iddo orphen dechreuodd offeiriad Pabaidd ffol ar weinyddiad yr offeren; ond yr oedd y bobl wedi eu cyffroi gymaint gan bregeth Knox, fel y rhuthrasant yn mlaen; dymchwelasant yr allor, a drylliasant y llestri, y darluniau, a'r delwau yn chwifriw. Aethant oddiyno i'r mynachdai, gyrasant y preswylwyr allan, a thynasant yr adeiladau prydferth yn garneddau.

Prysurodd y rhaglaw â chymaint o nerth ag a allai gasglu i geisio darostwng y terfysg, a bu dda ganddi wneyd heddwch ar unrhyw amodau. Yn y cytundeb heddwch hwn yr oedd y diwygwyr, ar y naill law, i gael llawn rhyddid cydwybod gyda'u crefydd, ac nid oedd y rhaglaw i ddwyn milwyr Ffrengig o dref Perth. Ar y llaw arall, nid oedd y diwygwyr i wneyd unrhyw gyffro crefyddol, nac i ddinystrio ychwaneg o adeiladau. Ond ni chadwodd y naill blaid na'r llall at yr amodau; ac ni chadwyd ychwaith at gytundeb arall a wnaed fis yn ddiweddarach. Yr oedd y Protestaniaid Ysgotaidd wedi rhoddi eu bryd ar ddiwreiddio Pabyddiaeth, ac yn ystyried yn wastad mai gwasanaethu y diafol oeddent wrth roddi amser i'r Pabyddion i anadlu. "Gydag un floedd yn ei udgorn ysbrydol," meddai Knight, "casglodd Knox fyddin afreolaidd, ond lluosog; ac yn awr syrthiodd yr eglwysi a'r mynachdai a adawyd o'r blaen agos mor ddisymwth a muriau Jericho wrth udgorn Josua. Yr oedd bellach agos holl gorph y bendefigaeth wedi gadael y rhaglaw, ac ymuno dan faner Knox, yr hwn, wedi y cwbl, oedd prif ddyn ac arweinydd y rhyfel santaidd hwn."* Ond wedi i'r frenines-raglaw gael adgyfnerthion o Ffrainc, gorfododd y diwygwyr unwaith eto i wneyd amodau heddwch.

Yn y cyfamser bu brenin Ffrainc farw, a daeth ei fab, gwr Mary o Ysgotland, i'r orsedd, dan yr enw Francis II. Ychydig cyn ei farw, gwnaeth Henry, y pab, a Philip o Spain, gytundeb â'u gilydd i fygu y diwygiad yn Ewrop; ac yn unol â hyny gorchymynodd i

* Vol. ii., 548.

gorph o wŷr gael eu hanfon drosodd i Ysgotland, gyda'r bwriad, meddai y cenadwr Seisnig, o roddi y pendefigion blaenaf i farwolaeth. Galwai Francis a Mary eu hunain ar eu hesgyniad yn frenin a brenines Lloegr; ac yr oedd yn eithaf amlwg i bawb, erbyn hyn, fod y Ffrancod yn penderfynu darostwng Ysgotland at eu hewyllys yn gyntaf, ac yna ei gwneyd yn gareg gamu at ddarostwng Lloegr. Ar esgyniad Francis daeth byddin o Ffrancod drosodd, a chymerasant feddiant o dref Leith.

Gwelai yr Ysgotiaid fod eu hachos yn tywyllu, ac nad oedd modd iddynt wrthsefyll heb gael cynorthwy Lloegr. Anfonwyd Maitland o Lethington, a Robert Melvill, â chenadwri i'r perwyl i Lundain. Teimlai Elisabeth yn hwyrfrydig i wneyd dim yn y wedd hon ar y cyntaf; ond dangosodd Cecil iddi berygl ei theyrnas ei hun os goddefai i'r Ffrancod gymeryd y fath gam, a bod yn ddigon priodol iddi hi i gymeryd yr un moddion i amddiffyn ei hun, ag oedd ei gelyn yn gymeryd i ymosod arni. "Os bu hawl gan ddeiliaid erioed i apelio at allu tramor, neu hawl gan allu tramor i ymyryd ag achos cenedloedd eraill i'w hamddiffyn, gellir cyfiawnhau y cytundeb a wnaed rhwng Protestaniaid Ysgotland a brenines Lloegr yn y cyfwng presenol." Ildiodd Elisabeth i ddadleuon ei chynghorwr; gwnaeth gytundeb ag arglwyddi y gynulleidfa, i'w cefnogi yn egniol hyd nes y gadawai y Ffrancod eu gwlad. Anfonodd fyddinoedd cryfion i Ysgotland dros dir a môr, a rhoddwyd atalfa buan ar rwysg y Ffrancod, y rhai oeddent erbyn hyn yn difrodi y wlad. Cynygiwyd amodau heddwch, ac anfonwyd Cecil a Wotton i Newcastle, i geisio dwyn hyny oddiamgylch. Yn y cyfamser bu y freninesraglaw farw. Symudwyd y gynadledd o Newcastle i Edinburgh; a chytunwyd o'r diwedd fod i'r milwyr Ffrengig ymadael ag Ysgotland; fod llywodraeth y wlad i fod yn llaw Cynghor o ddeuddeg o bersonau—saith wedi eu dewis gan Mary, a phump gan y senedd—ac nad oedd rhyfel na heddwch i gael eu gwneyd heb gydsyniad y senedd; fod hawl Elisabeth i goron Lloegr i gael ei gydnabod, ac nad oedd y titl o frenines Lloegr i gael ei ddwyn mwyach gan Mary. Felly ymwasgarodd milwyr Lloegr a Ffrainc o Ysgotland, ymgyfarfu y senedd, a sefydlwyd y grefydd ddiwygiadol. Ond gwrthododd Francis a Mary roddi eu llaw wrth y cytundeb, dan yr esgus nad oedd yr Ysgotiaid wedi cyflawni yr amodau, a bod Elisabeth yn para i'w cefnogi.

Ond cymerodd cyfnewidiad arall le eto, yr hwn a ddyrysodd holl gynlluniau Ffrainc gyda golwg ar Brydain. Rhagfyr, 1560, bu Francis II., gwr Mary, yr hwn nad oedd ond llanc ieuanc afiach, farw, wedi bod ar yr orsedd am ddau fis ar bymtheg. Syrthiodd y goron i'w frawd, Charles IX., llanc un ar ddeg oed; gwnaed ei fam, yr anenwog Catharine de Medici, yn rhaglaw y deyrnas, a chollodd

tywysogion Guise, ewythrod Mary, eu hawdurdod i raddau helaeth. Nid oedd y teimlad goreu yn bodoli rhwng Mary a'i mham yn nghyfraith, felly nid dymunol iawn oedd lle y weddw ieuanc yn Ffrainc, er fod ei henaid yn nglŷn wrth y wlad. Anogwyd hi gan ei pherthynasau, a chymhellwyd hi gan ei deiliaid, i ddychwelyd i'w theyrnas ei hun, Ysgotland. O'r diwedd penderfynodd ufuddhau, ac anfonodd at Elisabeth i ofyn caniatad i basio trwy Loegr. Gwrthododd y frenines y cais mewn geiriau cryfion, heb i Mary yn gyntaf arwyddo cytundeb Edinburgh. "Cadarnhaed eich brenines y cytundeb hwnw," meddai wrth D'Oisel, cenadwr Mary, "a chaiff oddiwrthyf fi, ar dir a môr, bob peth a ellid ddysgwyl oddiwrth frenines, perthynas, a chymydog." Cyffrowyd Mary yn fawr wrth ymddygiad ac atebiad brenines Lloegr, a thraddododd araeth frwd a nerthol wrth ei chenadwr, Throgmorton. "Nid oes dim yn fy mlino yn fwy," meddai, "nag i mi ofyn gyda'r fath daerineb am ffafr ddiangenrhaid. Gyda chenad Duw gallaf ddychwelyd i'm gwlad heb ei chenad hi, fel y daethum i Ffrainc, er gwaethaf holl wrthwynebiad ei brawd Edward. Mae yn cael boddineb mawr i fy nirmygu am fy mod yn ieuanc a dibrofiad. Yr wyf yn addef fy mod felly; ond gwna oedran wellhau y diffyg hwn ynof. Beth bynag, yr wyf yn ddigon hen i ymddwyn yn weddaidd ac anrhydeddus tuag at fy nghyfeillion a'm perthynasau, ac i beidio cefnogi unrhyw adroddiadau am eich meistres nad ydynt yn gweddu brenines a pherthynas. Gallaf ddyweyd, gyda'i chenad, fy mod yn frenines fel hithau, ac nad wyf yn hollol ddigyfeillion; ac efallai fod genyf gymaint o enaid; ac felly tybiwyf y dylem fod yn gydwastad yn ein hymddygiadau at ein gilydd." Wedi i Mary addaw gwneyd beth bynag a geisid gan ei chyngorwyr yn Ysgotland, caniataodd Elisabeth iddi gael pasio trwy Loegr.

Cymerodd long yn Calais, Awst 1561, a daeth amryw o bendefigion Ffrainc drosodd gyda hi. Dangosai deimlad anarferol wrth ymadael. Gwrthodai fyned oddiar fwrdd y llestr, cadwai ei llygaid yn ddiysgog yn ol ar dir Ffrainc, wylai y dagrau yn hidl, a chlywyd hi yn dywedyd drosodd a throsodd, "Ffarwel, Ffrainc, fy anwyl Ffrainc; wela'i mo honot byth mwy!" Ni thiriodd yn Lloegr, ond glaniodd yn ei thiriogaeth ei hun yn Leith, a dygwyd hi a'i chymdeithion ar ebolion gwledig i balas Holyrood.

Nid oedd Mary yn awr ond pedair ar bymtheg oed; yr oedd yn ddynes dal, brydferth, o ymddygiad siriol, ac o dalent a chymhwysderau anarferol. Ond yr oedd wedi bod yn Ffrainc er pan yn chwech oed; wedi ei chodi i fyny yn arferion, moethau, ac oferedd y llys llygredig hwnw; wedi ei gwreiddio yn y grefydd Babaidd, ac wedi ei haddysgu yn ei dichellion a'i hystrywiau, fel yr oedd ei symudiad disymwth i ganol gerwinder cymdeithas yn Ysgotland, a

theimladau anniwylliedig y wlad ar y pryd yn cael eu berwi gan ymrafaelion crefyddol, fel newid dau fyd iddi. Yr oedd yn mhell o fod yn hapus yn ei sefyllfa na'i llywodraeth. Eto, trwy gymeryd ei chyfarwyddo gan ei chyfeillion o bob tu i'r môr, rhoddodd ffordd i lawer o bethau croes i'w mheddwl. Rhoddodd yr awdurdod benaf yn llaw ei haner brawd, James Stuart, penaeth St. Andrew, a blaenor y blaid Brotestanaidd. Yr oedd hwn yn ddyn o brofiad a galluoedd, a gwnaed ef cyn hir yn Iarll Murray. Talai Knox ymweliad mynych â Mary, ac yr oedd ei ymddygiad a'i eiriau mor erwin wrthi ag eiddo Elias gynt at Jesebel. Aeth pethau yn mlaen fel hyn yn o dawel am rai blynyddoedd; ond nis gallesid dysgwyl iddi barhau yn hir. Yr oedd bryd y frenines yn gyson ar ddymchwelyd y grefydd ddiwygiedig. Dywedai weithiau ei bwriad o adferu yr offeren trwy yr holl wlad. Yn 1563 darllenai ei hewythr, Cardinal Loraine, ei llythyrau yn nghynghorfa Trent, yn y rhai yr addawai, os esgynai i orsedd Lloegr, i ddarostwng y ddwy deyrnas dan yr Esgobaeth Santaidd. Dwy flynedd yn ddiweddarach rhoddodd ei henw wrth Gyngrair Santaidd Bayone, i ddiwreiddio y Protestaniaid. Rhaid fod ysbryd a bwriadau Mary gyda golwg ar grefydd yn wybyddus i Elisabeth a'i chraffus weinidog, Cecil; ac nid rhyfedd eu bod yn gwylio yn fanol ar ei symudiadau.

Tra yr edrychai Elisabeth gyda hyfrydwch ar derfysgoedd deiliaid Mary, ffrwynai ei deiliaid ei hun gyda llaw nerthol. Yr oedd ei llywodraeth efallai yn llawn mor ormesol ag eiddo ei thad, ond ei bod yn cael ei llywio gyda doethineb annhraethol fwy. Prysurodd i ddwyn gwelliadau pwysig yn mlaen; cliriodd ddyledion trymion y goron trwy ei chynildeb; darparodd ystôr o arfau a nwyddau rhyfel; a chynyddodd ei llynges i nerth rhyfeddol. "Ond yr oedd edafedd hanes Elisabeth bob amser o wlân cymysg—y bach, yr isel, a'r gwael, yn gymysgedig â'r mawr, yr ardderchog, a'r cenedlaethol; a hithau ei hun, yn ngeiriau Robert Cecil, ei gweinidog, yn fwy na dyn, ac yn wir, weithiau, yn llai na benyw."* Penderfynai Elisabeth na chai neb arall gyfran o'i hawdurdod. Ni fynai feistr arni ei hun, ac felly nid oedd gobaith am iddi gael etifedd yn olynydd. Ni chaid ganddi enwi, ac nid allai oddef y meddwl ychwaith am neb arall yn olynydd. Y teimlad hwn oedd gwreiddyn ei chasineb at Mary o Ysgotland, a'r un teimlad barodd iddi erlid yr Arglwyddes Catharine Grey mor greulon. Chwaer ydoedd Catharine i'r Arglwyddes Jane, ac etifeddes teulu Suffolk. Priododd Catharine, fel y dangoswyd o'r blaen, ag Arglwydd Herbert, mab Iarll Penfro, ar yr un diwrnod ag y priododd Jane a Guildford Dudley. Ond ar gwymp y teulu anffodus, parodd Iarll Penfro i'r briodas gael ei thori. Yn mhen chwech mlynedd priododd

* Knight.

Catharine yn ddirgel ag Arglwydd Hertford, mab yr amddiffynydd diweddar, Duc Somerset. Dygwyd y briodas i'r amlwg gan argoelion etifedd, a thaflodd Elisabeth y ddau i'r Tŵr. Ac oblegyd iddynt fethu dwyn tystion o'u priodas o fewn amser penodedig, cyhoeddwyd eu cyfeillach a'i ffrwyth yn annghyfreithlon. Barnai Warner, ceidwad y Tŵr, fod cadw gwr a gwraig oddiwrth eu gilydd yn bechod, a gadawodd iddynt gyfeillachu yn ddirgel. Daeth hyny i'r amlwg trwy enedigaeth plentyn arall. Cyffrodd hyn gynddaredd Elisabeth; diswyddodd Warner, dirwyodd Hertford o bymtheg mil o bunau, a chadwodd ei wraig yn y Tŵr hyd nes iddi farw o iselder ysbryd yn nechreu y flwyddyn 1567. Cadwodd ei gwr hefyd yn garcharor am naw mlynedd faith, oblegyd cofrestru ei blant fel rhai cyfreithlon. Dialodd y frenines hefyd ar eraill oblegyd dadleu o blaid Hertford.

Yr oedd y ddwy deyrnas Brydeinig y pryd hwn yn cael eu llywodraethu gan ddwy fenyw ieuanc ddibriod; ond yr oedd digon o ymgeiswyr am eu dwylaw o bob parth o Ewrop. Heblaw Philip o Spain, gwnaed cais am law Elisabeth gan ei gefnder, Archdduc Awstria, Eric, brenin Sweden, ac Adolf, Duc Holstein, yn nghydag amryw eraill. Ceisiodd y senedd Ysgotaidd, yn 1560, ei chysylltu mewn priodas â Iarll Arran. Ceisiodd Catharine de Medici, wedi hyny, ei huno mewn priodas â'i mhab, Duc Anjou. Ac heblaw tywysogion tramor, cafodd gynygion taer gan amryw o'i deiliaid pendefigaidd. Yn mysg y rhai hyn yr oedd Iarll Arundel, Syr W. Pickering, ac yn arbenig Arglwydd Robert Dudley, mab yr anffodus Dduc Northumberland. Daeth hwn yn uchel i ffafr Elisabeth, a thybiodd yn ddiau iddo enill ei chalon. Yr oedd llawer o ryw fursendod annghydweddol â'i sefyllfa a'i mhawredd yn perthyn i'r frenines: yr oedd yn hoff o gael ei mhawrygu a'i haddoli gan ymgeiswyr am ei llaw, ac mor hoff a hyny o hudo eu serchiadau yn dwyllodrus. Yr oedd yn dueddol hefyd i ymollwng i ymadroddion ac ymddygiadau anweddus, yr hyn a roddai achlysur i'w gelynion ei chyhuddo o bethau nad oedd yn haeddu. Gwnai felly â Dudley, a dangosai yr hoffder mwyaf o'i gyfeillach; cynorthwyai ef i wisgo ei gochl, a chwareuai ag ef. Tybiodd Dudley mai ei wraig oedd yr unig rwystr i'r frenines wneyd ei mheddwl i fyny i'w briodi; ac y mae marwolaeth ddisymwth gwraig Dudley y pryd hwnw wedi taflu amheuaeth mawr ar ei gwr. Ond er holl gyfeillgarwch Elisabeth, bernir na feddyliodd erioed am briodi â Dudley.

Yr oedd agwedd heddychlon ar bethau yn awr rhwng Lloegr ac Ysgotland, ac arwyddion o gyfeillgarwch wedi eu sefydlu rhwng Elisabeth a Mary. Ond gan nad oedd Elisabeth ar delerau da â Ffrainc, am ei bod wedi cynorthwyo y Protestaniaid yno yn ddiweddar, a'r milwyr Seisnig wedi cymeryd meddiant o dref

Havre, ofnai ddrwg yn barhaus oddiwrth gysylltiad cyfeillgar Mary â'i pherthynasau Pabyddol, teulu Guise. Yr oedd y teulu yma yn awyddus am i Mary briodi â Phabydd, a cheisiasant ei chysylltu â Don Carlos, mab Philip o Spain, brenin Sweden, brenin Navarre, Duc Ferrar, Cardinal Bourbon, a'r Archdduc Charles. Ond yr oedd Elisabeth yn groes i'r rhai hyn oll, ac yn groes iddi briodi â neb fuasai yn peryglu dyogelwch teyrnas Lloegr. Dywedir iddi ail-agor gohebiaeth â'r Archdduc Charles ei hun, a rhoi lle iddo obeithio am ei llaw, yn unig er mwyn terfynu ei gysylltiad â Mary. Dywedai Elisabeth na fuasai dim yn ei boddhau hi heb iddi briodi â phendefig Seisnig, yr hyn fuasai yn tueddu i gadarnhau undeb y ddwy deyrnas. Ond iddi wneyd hyn, addawai gydnabod a chadarnhau ei hawl fel ei holynydd i orsedd Lloegr. O'r diwedd aeth Elisabeth mor bell a nodi allan ddyn cymhwys i fod yn gydmar i Mary; a phwy oedd hwnw ond ei hoffddyn ei hunan—Dudley—yr hwn oedd wedi ei ddyrchafu yn awr yn Iarll Leicester. Nid oedd Mary yn foddlon ar y cyntaf; ond wedi hyny cydsyniodd. Nid oedd Leicester ychwaith yn foddlon, gan y cedwid ef mewn gobaith am law Elisabeth. A gellir ychwanegu nad oedd Elisabeth ei hun yn foddlon, nac yn meddwl i'r fath briodas gymeryd lle. Amcan y frenines oedd cadw Mary heb wr. Gan ei bod hi ei hun yn penderfynu byw yn sengl, nis gallai oddef neb arall i fwynhau yr undeb priodasol; a dangosai yn barhaus y gwrthwynebrwydd mwyaf i bawb oedd â hawl i olyniaeth ei choron i gael etifeddion o'u cyrph. Enwodd Iarll Leicester i Mary am y gwyddai na fuasai y fath briodas byth yn cymeryd lle, ac am y gallai wrth hyny hudo sylw Mary oddiwrth gysylltiadau tramor.

Ond cyn hir gwnaeth Mary gytundeb priodas â Henry Stuart (Arglwydd Darnley), mab hynaf Iarll Lenox, ac ŵyr, o du ei fam, i Margaret Tudor, brenines Ysgotland, o'i hail briodas â Iarll Angus. Yr oedd Darnley yn sefyll yn nesaf at Mary mewn hawl i orsedd Lloegr. A chan nad oedd Elisabeth na'i Chynghor yn gweled perygl oddiwrth y cysylltiad hwn, caniatawyd i Darnley fyned ar ymweliad i Ysgotland. Dyn ieuanc pedair ar bymtheg oed oedd yr ymgeisydd hwn am law y frenines, yn meddu ar gorph prydweddol a gwisgi. Ond

> "O faes yr oedd ei harddwch;
> O fewn yr oedd yn llai."

Syrthiodd Mary mewn cariad brwd ag ef ar yr olwg gyntaf, a phrysurwyd i wneyd y darpariadau priodol ar gyfer y briodas.

Ond yn y cyfamser cafodd y Protestaniaid le i ofni fod Darnley yn elyn i'r diwygiad—y buasai y cysylltiad felly yn beryglus i'r wlad, ac yn tori yr heddwch â Lloegr. Trodd y pendefigion yn erbyn priodas eu brenines, ac enciliodd Iarll Murray, ei haner

brawd, o'r llys; ond penderfynodd Mary fyned yn mlaen yn ddiystyr o bob gwrthwynebiad. Anfonodd i Rufain i ofyn awdurdod y pab, ac i Lundain i ofyn cydsyniad Elisabeth. Ond erbyn hyn yr oedd Lloegr, fel Ysgotland, yn edrych ar y briodas yn un rhy lawn o beryglon i'w goddef. Siaradodd Elisabeth yn gryf yn ei herbyn, a gosododd yr offerynau priodol ar waith i wneyd ei goreu i'w hatal. Anfonodd Throgmorton ei gweinidog i Edinburgh ar yr achos; yr oedd i orchymyn dychweliad dioed Darnley, a Lenox ei dad. A phan wrthodasant ufuddhau, taflwyd Iarlles Lenox a'i hail fab i'r Tŵr, ac atafaelwyd yn etifeddiaeth y teulu yn Lloegr. Beiddiodd Mary wrthwynebrwydd ei phendefigion ei hun, a breniness Lloegr, a phriododd â Darnley. Gweinyddwyd y ddefod yn ol y dull Pabaidd yn nghapel palas Holyrood. Cododd y Protestaniaid mewn arfau yn erbyn Mary, cynorthwywyd hwynt â swm mawr o arian oddiwrth Elisabeth; a chyn fod ei mhêl-fis (*honeymoon*) drosodd yr oedd Mary yn arwain ei byddinoedd yn ei pherson ei hun, gan ddwyn arfwisg a llawddryll. Llwyddodd i wasgaru ei gelynion, a ffodd amryw o'r pendefigion am nawdd Elisabeth i Loegr; ond ni chawsant ond derbyniad oerllyd, am y mynai y frenines i eraill feddwl nad oedd hi wedi cefnogi y gwrthryfel.

Pan oedd Mary yn brysur yn dwyn yn mlaen fesurau i gospi y pendefigion gwrthryfelgar, torodd blinder mwy allan yn nes ati. Deallodd cyn pen wythnos wedi priodi iddi wneyd dewisiad byrbwyll a ffol. Ynfytyn balch, ofer, a chreulon oedd Darnley, ac ni feddai ar galon i garu, na synwyr i ymddwyn yn weddaidd tuag at ei wraig ei hun; a chyn pen dau fis yr oedd pob arwyddion o gariad wedi diflanu rhyngddynt.

Yr oedd yn ngwasanaeth Mary y pryd hwn Italiad o'r enw David Rizzio, yr hwn a ddaeth drosodd ar neges ati o Savoy, ryw ddau fis cyn iddi briodi. Gwr o enedigaeth isel ydoedd, ond yr oedd yn gerddor rhagorol, ac yn hyddysg yn amryw ieithoedd y Cyfandir. A chan fod Mary mor hoff o gerddoriaeth, cadwodd Rizzio yn ei thŷ, ac yr oedd yn wasanaethgar iawn iddi fel ysgrifenydd Ffrengig. Daeth hwn i ffafr mor uchel gyda Mary, nes cyffroi eiddigedd yn ei erbyn yn Darnley, oblegyd y cymerai ochr y frenines yn yr ymrafaelion teuluaidd; ac yn y Protestaniaid, oblegyd ei fod yn Babydd. O'r diwedd cyhuddodd Darnley ei wraig, heb un rhith o sail, o ymddygiadau anweddus gyda Rizzio, a chytunodd â'r Arglwyddi Ruthven a Morton, ac eraill, i droi yr Italiad oddiar ei ffordd. Ar noswaith yn nechreu Mawrth, 1566, arweiniodd Darnley y llofruddion i fyny dros risiau yn mhalas Holyrood, at yr ystafell lle yr oedd y frenines. Yr oedd Mary yn awr o fewn tri mis i'w hamser i roddi genedigaeth i blentyn, ac yr oedd hi ac amryw gymdeithion newydd orphen eu swper, a'r Italiad

yn bwyta ei swper ar fwrdd arall yn yr un ystafell. Aeth Darnley i mewn yn mlaenaf wrtho ei hun, a safodd yn ymyl Mary heb ddyweyd yr un gair. Yn y man, wele Ruthven ac eraill yn dyfod i mewn ag arfau, ac yn gorchymyn i Rizzio adael yr ystafell. Atebodd y frenines mai ei hewyllys hi oedd iddo beidio, a gorchymynodd, gyda bygythion, i'r gwŷr arfog i encilio o'r ystafell. Rhedodd yr Italiad yn ddychrynedig o'r tu ol i'w feistres i ymguddio, ac ymaflodd yn ei godrau. Rhuthrodd y llofruddion arno, a thaflwyd y bwrdd ar y frenines ac yntau. Daliodd Darnley freichiau Mary, a llusgwyd Rizzio allan, yn nghanol ysgrechfeydd ac wylofain Mary a'i chymdeithion. Yn mhen ychydig fynydau yr oedd Rizzio, druan, wedi ei adael yn gelain farw yn ei waed, ac un ar bymtheg a deugain o archollion arno. Parhaodd Mary i wylo nes iddi ddeall ei fod wedi marw, yna dywedodd, "Dim ychwaneg o ddagrau; rhaid i mi feddwl bellach am ddial!" Ac ni chlywyd hi yn cwyno o'i herwydd mwy.

Dau ddiwrnod wedi yr amgylchiad hwn, dychwelodd Murray a'r arglwyddi eraill at Mary, a pharodd ei gofidiau presenol iddi eu derbyn yn llawen, a gwneyd heddwch â hwynt. Yn Mehefin, 1566, rhoddodd y frenines enedigaeth i fab, yr hwn a alwyd yn James (James VI. o Ysgotland, a'r I. o Loegr), a chydsyniodd brenin Ffrainc a Duc Savoy i fod yn dadau bedydd, ac Elisabeth o Loegr i fod yn fam-fedydd i'r tywysog ieuanc. Pan ddygodd Melville y newydd am ei enedigaeth i Elisabeth, yr oedd yn dawnsio ar ol swper yn Greenwich: eisteddodd i lawr, gosododd ei llaw dan ei phen, a dywedodd, "Mae brenines Ysgotland yn fam i fachgen braf, pryd nad wyf fi ond cyff diffrwyth."

Parhaodd y rhwyg i fyned waeth-waeth rhwng Mary a Darnley. Nid ymddangosodd yn medydd ei fab yn Stirling, a siaradai am adael ei wraig, a myned i'r Cyfandir i fyw. Cyfododd Bothwell hefyd i gymaint parch a ffafr yn y llys, fel y dywedid fod cyfeillach anweddaidd rhyngddo a Mary. Tua'r amser hwn cymerwyd Darnley yn glaf o'r frech wen; ymwelodd Mary ag ef yn Glasgow, a chymerai arni ail-sefydlu heddwch ag ef, er fod Bothwell ar y pryd yn darparu ffordd i'w hysgaru. Pan ddaeth ychydig yn well, symudwyd ef i dŷ unig tu allan i furiau Edinburgh, gyda'r esgus y buasai yn fwy manteisiol i'w adferiad. Bu y frenines yn aros gydag ef yno am beth amser; ond ar nos Sabbath, Chwefror 10, 1567, gwnaeth y frenines esgus dros fyned i'w phalas, i gadw gwledd priodas un o'r gweinidogion. Yn fuan wedi haner nos, clywyd trwst ffrwydriad aruthrol; a chafwyd fod y tŷ lle yr oedd Darnley yn aros wedi ei chwythu i fyny gan bylor, a chafwyd ei gorph, a chorph yr un oedd yn gweini arno, mewn cae cyfagos. Ac er i fil o bunau gael eu cynyg am ddarganfyddiad y llofruddion,

mae y rhan fwyaf o'r haneswyr yn cytuno mai Bothwell, yn cael ei gynorthwyo gan Morton, oedd y prif offeryn yn y galanastra hwn. Nid oes digon o dystiolaeth i gondemnio Mary o fod â llaw uniongyrchol yn y weithred, er nad oes fawr amheuaeth nad oedd yn dysgwyl wrth Bothwell i ddwyn rhyw lwybr oddiamgylch i gael gwared o'i phriod terfysglyd. Ysgrifenodd Elisabeth lythyr at Mary yn yr achos, yn ceisio ganddi wneyd ymchwiliad priodol i'r peth. "Er mwyn cariad Duw, madam," meddai, "arferwch y fath gallineb a difrifoldeb yn y mater hwn, yr hwn sydd yn dal y fath gysylltiad â chwi, fel y gallo yr holl fyd eich cyhoeddi yn ddieuog o'r fath drosedd echrydus; yr hyn, os gwnaethoch, a bâr i chwi yn gyfiawn gael eich taflu allan o gylch tywysogesau, a'ch gwneyd yn destun dirmyg y bobl; ac yn hytrach nag i hyny eich goddiweddyd, dewiswn fedd anrhydeddus i chwi o flaen bywyd gwaradwyddus."

Ond ni fynai Mary i Bothwell gael ei gondemnio. Y gwirionedd oedd, ei fod wedi enill ei chalon; ac er nad oedd ond chwech mis er pan briododd â chwaer Arglwydd Huntley, prysurodd i gael ysgariad; ac yn mhen wyth niwrnod wedi ei gael, cafodd law y frenines. Wedi gwneyd rhith o brawf ar lofruddiad Darnley, rhyddhawyd Bothwell, ac iddo ef y rhoddwyd yr anrhydedd o ddwyn cleddyf y llywodraeth o flaen y frenines, yn agoriad y senedd gyntaf ar ol hyny. Gwnaed ef hefyd yn Dduc Orkney: ac ar y 15eg o Fai, 1567, priodwyd hwy yn ol y ddefod Brotestanaidd, yr hyn a ddangosai y dylanwad oedd gan Bothwell ar feddwl Mary. Cyn pen mis yr oedd y briodas hon wedi gyru Ysgotland yn un fflam, ac nid oedd dim a'i tawelai ond i'r frenines dori ei chysylltiad â Bothwell. Dywedai hithau yr aethai gydag ef pe collasai ei theyrnas o'r herwydd. Ceisiodd Bothwell gael y tywysog ieuanc i'w law; ond methodd yn yr amcan hwnw, a rhoddwyd ef dan gadwraeth ddyogel yn nghastell Stirling. Buwyd agos cymeryd Mary a Bothwell i fyny, yn Borthwick, ond ffodd y frenines, wedi ymwisgo mewn dillad gwrywaidd, ar gefn cyfrwy cyffredin. Ond gwelodd nad oedd ond hollol ofer iddi ddal yn mlaen; canodd yn iach i Bothwell druan, a thaflodd ei hun ar drugaredd ac anrhydedd ei harglwyddi. Dygwyd hi yn garcharor i gastell Lochleven, a gorfodwyd hi i roddi ei hawl i'r goron i fyny yn ffafr ei mhab. Gwnaed ei haner brawd, Iarll Murray, yn rhaglaw y deyrnas, a choronwyd y tywysog ieuanc yn Stirling dan y titl o James VI. Llwyddodd Mary, trwy ei chyfrwysdra, i ddianc o gastell Lochleven; casglodd fyddin o chwech mil, ac arweiniodd hi yn erbyn ei harglwyddi. Ymladdwyd brwydr yn Langside; ond collodd y frenines y dydd, a ffodd i Loegr, gan ddysgwyl cael cysgodi dan aden Elisabeth. Ond yn lle cael palas, taflwyd hi i garchar; ac

wedi carchariad maith o bedair blynedd ar bymtheg, wedi dyoddef llawer, a bwriadu llawer o ddrwg, gorphenodd ei gyrfa, fel y ceir gweled, ar yr arteithglwyd. Ffodd Bothwell i'r Cyfandir; carcharwyd ef yn nghastell Malmo yn Scania, ac yn mhen wyth neu naw mlynedd, bu farw mewn cyflwr o wallgofrwydd.

Bu y deng mlynedd cyntaf o'i theyrnasiad yn adeg o hawddfyd i Elisabeth; nid oedd ganddi nemawr o achosion tramor i'w hofni, oddigerth yn ei pherthynas ag Ysgotland, na dim blinder yn ei gwlad ei hun. Ond o'r amser y daeth Mary Stuart i lechu i Loegr, dechreuodd terfysgoedd dori allan yn llywodraeth Elisabeth. Rhoddodd Elisabeth amryw gynygion i Mary i glirio ei hun oddiwrth y cyhuddiad o fod yn gyfranog yn llofruddiad ei gwr, ond yr oedd ei holl ymddygiadau yn myned fwy fwy i brofi ei heuogrwydd. Er hyny cynygiodd ei rhyddid iddi, os gwnai rhoddi ei choron i fyny i'w mhab, neu wneyd ei mhab yn gyfranog â hi yn y llywodraeth, a gwneyd Murray yn rhaglaw dros ystod mebyd y tywysog. Gwrthododd Mary ar y ddadl y buasai hyny yn gystal a chydnabod ei heuogrwydd. Gwrthododd Elisabeth hithau i Mary gael dianc i Ffrainc, oblegyd er y gwyddai y buasai ei chadwraeth yn Lloegr yn sicr o enyn terfysgoedd, ofnai y buasai ei phresenoldeb yn Ffrainc yn achosi drwg mwy.

Teimlai amryw o'r pendefigion Seisnig yn bleidiol i Mary; a daeth i'r golwg cyn hir fod Duc Norfolk, un o'r rhai mwyaf ei allu a'i ddylanwad o honynt, yn cynyg am ei llaw. Enillodd amryw bendefigion yn Ysgotland a Lloegr i bleidio y cysylltiad, ac yn eu mysg yr oedd Murray, y rhaglaw, a Leicester, hoff-ddyn Elisabeth ei hun. Cydsyniodd Mary hefyd â'r cynygiad; ond cadwyd y peth yn gyfrinach oddiwrth Elisabeth. Yr oedd Norfolk yn meddwl gofyn cydsyniad y frenines yn ddiau, ond gan y gwyddai na fuasai hyny yn hawdd, penderfynai enill digon o nerth o'i du yn mlaenaf, fel na allasai y frenines ei wrthsefyll. Ond nis gallasai y fath drafodaeth bwysig fyned yn mlaen yn hir heb i Elizabeth a'i chraffus weinidog, Cecil, ei lygadu allan. O'r diwedd hysbysodd Leicester y peth iddi, a chynghorodd hithau Norfolk i "wylio ar ba fath obenydd y rhoddai ei ben." Deallodd Norfolk yr awgrym, ac addawodd na feddyliai mwyach am briodi â Mary. Ond yn fuan gadawodd Norfolk y llys heb ganiatad, ac enciliodd i'w diriogaethau gogleddol. Edifarhaodd eilwaith am y cam byrbwyll, a phan oedd yn dychwelyd ar gais y frenines, cymerwyd ef i fyny, a thaflwyd ef i'r Twr. Cymerwyd Penfro, Arundel, Lumley, a Throgmorton hefyd yn garcharorion, oblegyd cuddio y briodas fwriadol oddiwrth Elisabeth.

Yn fuan torodd terfysg allan yn y siroedd gogleddol, gan y Pabyddion, yn cael eu blaenori gan Ieirll Northumberland a West-

moreland, a chefnogwyr Mary o Ysgotland. Yr oeddent hefyd mewn cyngrair â Duc Alva, llywodraethwr y *Low Countries*. Yr amcan a broffesent oedd mynu rhyddid Mary a Norfolk, ac adsefydlu Pabyddiaeth yn y wlad. Ond gwasgarwyd hwynt heb ymladd dim, er iddynt wneyd llawer o ddifrod mewn rhai parthau. Torodd amryw derfysgoedd eraill allan, ond tawelwyd hwynt heb lawer o ymladd, a chospwyd canoedd o'r terfysgwyr â marwolaeth. Rhoddodd ymddygiad Norfolk yn ystod y terfysgoedd hyn y fath foddlonrwydd i Elisabeth, fel y cafodd ei symud o'r Tŵr i'w dŷ ei hun, dan ofal Syr Henry Neville, ac ymrwymodd yntau i beidio dwyn unrhyw drafodaeth yn mlaen â Mary heb yn wybod i'r frenines. Ond yr oedd yn dwyn gohebiaeth yn mlaen â hi yn ystod ei garchariad, a gwnaeth yr un peth ar ol ei ryddhau.

Wrth weled fod arosiad Mary yn Lloegr yn creu cymaint o aflonyddwch, anfonodd Elisabeth amryw gynygion at Murray er hwylusu y ffordd i'w symudiad yn ol i'w gwlad. Ond tra yr oedd y mesurau hyn dan ystyriaeth y senedd Ysgotaidd, llofruddiwyd Murray (Ion, 1570), gan un Hamilton, tra yr oedd yn marchogaeth trwy Linlithgow, oblegyd tramgwydd personol oedd wedi ei dderbyn gan un o'i weision; ac felly dyryswyd yr holl drefniant am symudiad Mary.

Yr oedd cyngrair pwysig ar droed y pryd hwn rhwng y pab a breninoedd Spain a Ffrainc, i ddystrywio Elisabeth, ac i godi Mary Stuart i orsedd Lloegr. Yr oedd Mary yn ddigon hysbys o'r symudiad, a phendefigion Pabaidd Ysgotland a Lloegr yn barod i godi o'i blaid wrth yr awgrym. Gan fod Elisabeth ei hun wedi cael hysbysrwydd o'r amcan bradwrus, nid rhyfedd ei bod yn ofalus am gadwraeth dyogel Mary; nid oedd wrth hyn ond amddiffyn ei hun "rhag y blaidd a fynai ei llarpio." Fel o bwrpas i brofi y drwg hwn, ac i gyfiawnhau ymddygiad Elisabeth, yn Chwefror 1570, cyhoeddodd y pab, Pius V., ei lythyr swyddogol o esgymuniad ar Elisabeth, yn yr hwn yr amddifadai hi o'i hawl i'r deyrnas, ac o'i holl ditlau; a gorchymynai i'w holl ddeiliaid, dan berygl esgymundod, i godi yn ei herbyn. Anfonwyd copiau o'r llythyr i'w dosbarthu trwy yr holl borthladdoedd. Ac ar foreu y 15eg o Fai, cafwyd un wedi ei osod ar borth palas esgob Llundain, a dienyddiwyd un John Felton o'r herwydd. Ond er i Elisabeth ofni ar y cyntaf, ni chanlynodd unrhyw effeithiau blin gyhoeddiad y llythyr esgymunol.

Yn nechreu y flwyddyn 1571 gwobrwyodd Elisabeth ei gweinidog galluog a ffyddlon, Cecil, â dyrchafiad i'r bendefigaeth dan y titl o Arglwydd, neu Barwn Burleigh. Yn yr un flwyddyn hefyd y cymerwyd Duc Norfolk i fyny eilwaith, am barhau yn ei amcanion bradwrus. Cafwyd ei fod yn parhau i ohebu â Mary Stuart, ac yn

ei chynorthwyo ag arian, yn erbyn gorchymyn pendant y frenines; a'i fod wedi anfon at y pab, brenin Spain, a Duc Alva, i geisio ganddynt anfon byddinoedd drosodd i wrthsefyll dylanwad Elisabeth, ac adsefydlu Mary ar ei gorseddfainc. Yn Ionawr, 1572, dygwyd ei achos i brawf ger bron y bendefigaeth, a chafwyd ef yn euog o deyrn-fradwriaeth. Cydnabyddodd y duc uniondeb y ddedryd, er y dadleuai o hyd na fwriadodd ddrwg erioed yn erbyn ei frenines na'i wlad. Mae annhueddrwydd Elisabeth i roi ei sel wrth warant marwolaeth Norfolk yn brawf o'i gwrthwynebrwydd i dywallt gwaed. Er fod euogrwydd Norfolk yn fawr ac amlwg, methai y frenines yn lân a chymodi ei mheddwl â chymeryd ei fywyd oddiarno. Ar ol arwyddo gwarant ei farwolaeth unwaith ac eilwaith, galwodd hwynt yn ol drachefn. Ac nid heb nerth cryf oddiallan y cafwyd ganddi wneyd yn y diwedd.

Ar yr ail o Fehefin, agos pum mis ar ol y prawf, dygwyd Norfolk allan o'r Tŵr i gael tori ei pen; ac yr oedd Nowell, deon St. Paul, a Fox, hanesydd enwog y merthyron, a hen athraw i Norfolk, yn gweini arno yn yr amgylchiad. Cyfarchodd y duc y bobl oddiar yr esgynlawr ar Fryn y Tŵr:—"Nid yw yn beth newydd," ebai, "i bobl ddyoddef yn y lle hwn; er mai fi yw y cyntaf i ddyoddef oddiar esgyniad ein grasusaf frenines, a phared Duw mai fi fydd y diweddaf." Cydnabyddodd uniondeb ei ddedryd, a'i ymlyniad wrth y ffydd Brotestanaidd. Bu farw yn wrol yn nghanol dagrau yr edrychwyr. Pum mlynedd ar ugain cyn hyny y dyoddefodd ei dad, yr enwog Iarll Surrey, gyffelyb farwolaeth ar yr un ysmotyn.

Cafwyd prawf diymwad o gyfranogiad Mary yn amcanion drygionus Norfolk, ac yr oedd Burleigh, a gweinidogion eraill, o'r farn nad oedd dim ond dienyddiad yn abl rhoi dyogelwch i'r genedl. Ond gwrthododd Elisabeth ar un cyfrif roddi ei chydsyniad. Parhäai yn derfysglyd iawn yn Ysgotland; ond yr oedd plaid y frenines yn colli yn mhob ymgyrch. Gwnaed Lenox, tad Darnley, yn rhaglaw ar ol Murray, yr hwn a barodd grogi archesgob Pabaidd St. Andrew heb un prawf. Saethwyd Lenox gan un Hamilton, a gwnaed Iarll Marr yn rhaglaw. Ond bu hwnw farw yn fuan, a gwnaed Morton, yr hwn oedd offeryn hyblyg i Elisabeth, yn rhaglaw.

Yn Ffrainc yr oedd y Pabyddion a'r Huguenots, fel y gelwid y Protestaniaid, mewn gwrthryfel parhaus, ac yr oedd Elisabeth droion wedi cynorthwyo yr Huguenots gydag arian a milwyr. Cadwyd llawer cynghorfa gan dywysogion Pabaidd y Cyfandir i ddyfeisio ffordd i ddystrywio y diwygwyr, a gwnaed cyflafan arnynt yn Ffrainc ar ddydd St. Bartholomew, Awst 24, 1572, a fydd byth mewn coffadwriaeth. Blaenorid yr Huguenots, mewn enw gan Henry, brenin Navarre, wedi hyny Henry IV. o Ffrainc; ond eu

blaenor gwirioneddol oedd y llyngesydd enwog Coligni, un o brif lywyddion milwrol yr 16eg ganrif. Ychydig o amser cyn hyn yr oedd rhyw fath o heddwch wedi ei wneyd rhwng y Pabyddion a'r Huguenots, ac oddiar hyny, daeth Coligni i ffafr uchel yn y llys. Ar y 18fed o Awst, ar achlysur priodas Henry o Navarre â Margaret, chwaer Charles IX., brenin Ffrainc, gwahoddwyd Coligni a lluaws mawr o'r arglwyddi Protestanaidd, i'r briodas. Parhaodd y wledd briodas am bedwar neu bum niwrnod. Ond yn fuan ar ol haner nos, boreu y 24ain, rhoddwyd arwydd trwy holl ddinas Paris trwy ganu cloch, a swnio udgyrn, ac mewn mynyd yr oedd y gyflafan echryslon yn dechreu. Rhuthrai y Pabyddion ar y Protestaniaid diamddiffyn yn mhob parth o'r dref dan grochfloeddio, "Lleddwch yr Huguenots! lleddwch hwynt bob un! lleddwch lleddwch!" Ac felly tarawyd hwynt yn wŷr, gwragedd, a phlant yn ddiarbed. Cymerodd golygfa gyffelyb le mewn rhai trefi eraill, a bernir i ddeng mil ar ugain o Brotestaniaid gael eu dyfetha yn y gyflafan hon. Archodd brenin Ffrainc wneyd bathodau coffadwriaethol o'r amgylchiad, a chadwyd gorymdeithiau a chyfarfodydd diolchgarwch ar yr achlysur yn Paris, Madrid, a Rhufain. Ond dangosodd Elisabeth ei hatgasrwydd at y weithred a'i dyfeiswyr, mewn geiriau cryfion, wrth y cenadwr Ffrengig.

Deffrodd yr amgylchiad bradwrus a gwaedlyd hwn y Protestaniaid yn mhob gwlad, a gosododd Elisabeth ar ei gwyliadwriaeth yn erbyn ystrywiau y Pabyddion yn fwy nag erioed. Y pryd hwn crefydd oedd pwnc mawr holl deyrnasoedd Ewrop, ac ni lywyddid materion llywodraethol unrhyw deyrnas gyda chymaint o allu, doethineb, a boddlonrwydd, ag eiddo Lloegr. Heblaw fod Elisabeth ei hun yn meddu cymhwysderau breninol digyffelyb, yr oedd yn cael ei chylchynu gan weinidogion o'r mwyaf galluog—yn enwedig Burleigh a Walsingham.

Daeth anturiaethau morwrol yn y blynyddau hyn i fri mawr, yn ganlyniad i'r gwelliant a gymerodd le mewn llongau a morwriaeth. Ond cymerwyd y fantais ar y gwelliant, fel y gwneir yn fynych, i ddwyn yn mlaen ddybenion annheilwng. Dyma y pryd y dechreuwyd gwerthu y Negroaid yn gaethion. Un dyn o'r enw John Hawkins, brodor o Swydd Devon, a hwyliodd longau i fyned allan i lenydd Affrica, i ddal y preswylwyr diniweid, a'u dwyn i'w gwerthu i'r Yspaeniaid yn America.

Ond y morwr gododd i fwyaf o hynodrwydd yn y cyfnod hwn oedd Francis Drake, brodor arall o Swydd Devon, a'r hwn a fu am beth amser mewn undeb â Hawkins. Aeth i'r môr yn fachgenyn, ac wedi cyfarfod llawer o flinderau, daeth i feddiant o amryw longau trwy fôr-ladrad. Rhagfyr 13eg, 1577, hwyliodd Drake o Plymouth gyda phum llong, ac wyth ugain a phedwar o wŷr

Wedi myned allan i'r cefnfor cymerodd y llwyth a'r dwylaw o ddwy o honynt, a gadawodd hwynt, gan fyned yn ei flaen trwy gulfor Magellan gyda thair llong. Daeth ystorm enbyd i'w gyfarfod, a gwasgarodd y llongau. Collwyd un, chwythwyd y llall yn ol trwy y culfor, ac aeth Drake yn mlaen yn y drydedd heibio glanau Chili a Peru; ysbeiliodd amryw o longau yr Yspaeniaid yn y parthau hyny. Ofnodd ddychwelyd y ffordd hono, a beiddiodd yn mlaen ar draws y cefnfor i'r gorllewin, nes cyrhaedd y Moluccas, a Java, a daeth i Benrhyn Gobaith Da. Dychwelodd i Plymouth Tachwedd 3ydd, 1580, wedi bod allan am agos dair blynedd, ac wedi enill yr enwogrwydd o gylchynu y byd am y waith gyntaf. Prysurodd â'i long i fyny i'r Thames, ac angorodd hi gyferbyn a Deptford. Yno ymostyngodd y frenines i ddyfod i wledd ar ei bwrdd, ac anrhegodd Drake â'r titl o farchog. Yr oedd swm yr ysbail a ddygodd Drake adref yn wyth can mil o bunau! a gorchymynodd Elisabeth iddo roddi cyfran o'r swm i'r cenadwr Yspaenaidd, yn iawn am yr ysbeiliadau a wnaeth ar frodorion y wlad hono.

Yn y flwyddyn 1580, cynygiodd Duc Anjou, un o dywysogion Ffrainc, am law Elisabeth, a sicrheir iddi y waith hon wneyd ei mheddwl i fyny i briodi. Yr oedd Ffrainc yn fawr dros y briodas, er mwyn cael help Lloegr i wrthsefyll gallu Philip o Spain; ond yr oedd y gwrthwynebrwydd cryfaf iddi yn y wlad hon; yn enwedig gan nad oedd y duc ond llanc ieuanc, ac Elisabeth yn awr yn 49ain oed, ac felly yn anobeithiol am etifedd i fod yn olynydd iddi. Ysgrifenodd un Puritan o Lincoln's-inn, o'r enw Stubbs, lyfr yn dwyn y titl, "Y cyfwng i ba un y llyncir Lloegr trwy y briodas Ffrengig." Condemniwyd yr ysgrifenydd, yr argraffydd, a'r lledaenydd, i gael tori eu deheulaw ymaith. Mor gynted ag y torwyd llaw Stubbs, tynodd ei het a'r llaw arall, trodd hi o gylch ei ben, gan waeddi nerth ceg, "Duw gadwo y frenines!" Yr oedd gwirionedd pwysig yn ddiau yn nhitl llyfr Stubbs, oblegyd nis gallai dim ond drwg ddyfod o'r fath gysylltiad. Ac er fod bryd y frenines yn ddiamheu ar briodi, gadawodd i'w synwyr ei hun a theimlad ei phobl i gael eu ffordd, a thorodd y cysylltiad.

Yr oedd y Pabyddion wrthi yn ddiflino y tu yma a thu draw i'r môr, yn ceisio dyfeisio rhyw lwybr i ddymchwelyd Elisabeth a'i theyrnas, a chodi Mary i'r orsedd yn ei lle. Anfonwyd ugeiniau o offeiriaid Pabaidd drosodd i Loegr o bryd i bryd yn yr achos hwn. Yn 1580, daeth dau o frawdoliaeth y Jesuitiaid, o'r enw Persons a Campian drosodd, i osod cynlluniau ar droed, ac i gyffroi y Pabyddion trwy ddysgu fod Elisabeth dan esgymundod y pab, ac felly nad oedd ganddi hawl i'r orsedd. Bu Jesuit arall o Ysgotland o'r enw Creighton, yr hwn a ddrwgdybiwyd wrth ei weled yn dryllio papyrau ar fwrdd llong, ac yn eu taflu i'r môr, ond a chwythwyd

yn ol at y llong, a chafwyd, wrth eu gosod wrth eu gilydd drachefn, eu bod yn cynwys cynllun bradwrus i ddwyn bywyd Elisabeth—bu y gwr hwn yn ddiwyd yn cynorthwyo dyfeisiau Persons a Campian. Ond cymerwyd hwy, ac amryw eraill o'u cyfrinach i fyny, a gweinyddwyd cospedigaeth eithaf y gyfraith arnynt. Yr oedd peryglon o bob cwr yn bygwth y frenines, ond ymroddodd i ddyogelu ei hun a'i theyrnas trwy enill serchiadau ac ymddiried ei phobl. Galwyd senedd yn nghyd yn 1584, a phasiwyd bil yn cynwys amryw gyfreithiau llym yn erbyn y Pabyddion. Gwrthwynebwyd y bil yn y senedd gan gyfreithiwr o Gymro, o'r enw Dr. Parry, yr hwn a ddywedai ei fod yn beryglus a gwaedlyd. Wedi ei gondemnio o deyrn-fradwriaeth, cyffesodd ei fod wedi ei gefnogi gan Cardinal Como a'r pab i ddyfod drosodd o'r Cyfandir i lofruddio Elisabeth; iddo fod ger bron y frenines droion, ond ei fod yn methu galw yn nghyd ddigon o wroldeb i gyflawni y weithred ar ei pherson mawreddog. Gwadodd y gyffes hon eilwaith ar adeg ei ddienyddiad, ac y mae amryw o'r haneswyr o'r farn nad oedd ond ystori wneyd i bwrpas penodol. Beth bynag, cafodd Parry ddyoddef, er yr apeliai yn ei fynydau olaf at wybodaeth Elisabeth ei hun ei fod yn cael dyoddef ar gam.

Nid oedd braidd wythnos yn myned heibio nad oedd rhyw frad neu gilydd yn erbyn Elisabeth yn dyfod i'r golwg. Yn Hydref 1586 darganfyddwyd bradwriaeth bwysig, yn cael ei dwyn yn mlaen gan amryw ddynion ieuainc o enwogrwydd mawr, y rhai a flaenorid gan un Anthony Babington, Pabydd ieuanc brwdfrydig o Loegr. Yr oedd amryw offeiriaid hefyd wedi dyfod drosodd o Ffrainc i gynorthwyo yn yr achos, y rhai a ymddyeithrient trwy wisgo dillad milwrol; eu hamcan oedd llofruddio Elisabeth, a chodi Mary i'r orsedd. Ond llwyddodd Walsingham, trwy gyfrinach â Pooley, un o gyfeillion Babington, i gael o hyd i'r holl ddyfais. Yn wir, yr oedd y llythyrau oedd yn pasio rhwng Mary a Babington yn myned trwy law Walsingham, ac felly yr oedd yn cael holl fanylion y fradwriaeth; a gadawodd yntau i'r cwbl fyned yn mlaen am dro, er mwyn cael digon o achos yn erbyn Mary; ac ni ddatguddiai y peth i neb ond i Elisabeth yn unig. O'r diwedd treuliodd amynedd y frenines allan, fel nad allai oddef i'r ddyfais waedlyd fyned yn mlaen yn mhellach, gan ddyweyd fod hyny "yn debycach i demtio Duw nag i ymddiried ynddo." Cymerwyd Babington, a Ballard, "offeiriad sidan mewn gwisg milwr," ac amryw eraill, i fyny yn ddisymwth. Dedfrydwyd hwy i farwolaeth fel bradwyr. Crogwyd Babington, Ballard, Savage, a phedwar eraill, yn Lincoln's-inn-field, a thynwyd eu hymysgaroedd allan tra yr oeddent eto yn fyw. Yn mhen wythnos crogwyd y lleill, ond gorchymynodd Elisabeth na thorid eu hymysgaroedd allan cyn eu marw.

Penderfynodd Elisabeth o'r diwedd ddwyn achos Mary Stuart i brawf. Anfonwyd Syr Thomas Gorges i Chartley i hysbysu Mary; cymerwyd hi i fyny, chwiliwyd ei hystafelloedd, cymerwyd ei holl bapyrau, anfonwyd ei hysgrifenyddion i Lundain i gael eu harholi, ac anfonwyd hithau i gastell Fotheringay, yn Swydd Northampton. Petrusai Elisabeth eilwaith yn yr achos, yr hyn a barai anfoddlonrwydd mawr i Burleigh, Walsingham, Sadler, ac eraill o'i chynghor. Cynygiai Leicester, yr hwn oedd yn awr yn Holland, ar fod i Mary gael ei throi oddiar y ffordd yn ddystaw trwy wenwyn; ond gwrthododd Walsingham, yn llaw yr hwn yr oedd dygiad yr achos yn mlaen, gan fod y fath lwybr yn groes i gyfraith yr Arglwydd. O'r diwedd penderfynwyd fod cynghor o ddeugain o bendefigion, perthynol i bob crefydd, i eistedd mewn barn ar ei hachos. Yn eu mysg yr oedd y canghellydd Bromley, yr arglwydd drysorydd Burleigh, Walsingham, a Sadler. Cyfarfuasant yn Fotheringay, Hydref 11eg, 1586. Gwrthodai Mary ar y cyntaf ddadleu ei hamddiffyniad am ei bod yn benadur, ac nad oedd yn atebol i lys barn mewn gwlad arall. Ond atebwyd hi, fod pob un tra yn y wlad yn ddarostyngedig i gyfreithiau y wlad hono. Ar y 14eg, cydsyniodd i'r achos fyned yn mlaen. Y ddau gyhuddiad a ddygid yn ei herbyn oedd, ymuno mewn cyngrair i oresgyn y wlad, a cheisio marwolaeth Elisabeth. Symudodd y llys i Westminster, ac ar y 25ain, cyhoeddwyd hi yn euog. Anfonodd y ddau Dŷ gais taer at Elisabeth i geisio ganddi roi y ddedryd mewn gweithrediad. Bu Elisabeth am ddau fis yn petruso; a buasai yn well ganddi i Mary farw mewn unrhyw lwybr yn hytrach na thrwy warant o dan ei llaw hi. Gorchymynodd anfon awgrym unwaith ac eilwaith at ei cheidwaid, Pawlet a Drury, am iddynt ddyfeisio rhyw lwybr i droi Mary oddiar y ffordd, a dangosodd anfoddlonrwydd mawr oblegyd i'r rhai hyny deimlo nerth cydwybod yn rhy gryf i gymeryd bywyd Mary oddi arni heb awdurdod cyfraith y tu cefn iddynt.

Anfonwyd cenadau o Ffrainc ac Ysgotland at Elisabeth i eiriol dros Mary. Ond er fod Elisabeth bob amser yn hwyrfrydig i dywallt gwaed, yr oedd llais ei phobl, a dyogelwch ei pherson a'i theyrnas, yn gymhelliadau cryfion i weinyddu y ddedryd ar Mary; felly bu yr eiriolaeth yn aflwyddianus, a rhoddodd ei sel o'r diwedd wrth warant ei mharwolaeth. Pan aeth y newydd allan, cenid clychau, goleuid y tai, a dangosid pob arwyddion o lawenydd trwy y ddinas. Derbyniodd Mary y newydd gyda gwroldeb diysgog. Y noswaith cyn dyoddef galwodd ei theulu yn nghyd, a chadwodd gymdeithas siriol â hwynt ar swper. Treuliodd y rhan fwyaf o'r nos mewn ysgrifenu, darllen, a gweddio, ac oddeutu pedwar o'r gloch y boreu, aeth i'w gwely. Cododd gyda'r dydd, rhanodd ei dillad a phethau eraill oedd ganddi rhwng y rhai oedd yn gweini

arni, a darllenodd ewyllys oedd wedi ei wneyd, yn rhoddi bywioliaethau bychain iddynt. Gwrthododd wasanaeth Deon Peterborough, a gwrthodwyd iddi hithau gael gweled ei chyffeswr, yr hyn oedd yn ymddygiad anngharedig. Gweinyddodd y Swper iddi ei hun, a chymerodd afrlladen a gysegrwyd gan y pab, yr hon yr oedd wedi ei chadw yn ofalus erbyn dydd o galedi, a'r hon yr edrychai arni fel gwir gorph Crist. Pan ddaeth y sirydd i mewn ar yr awr benodedig—wyth o'r gloch y boreu—cafodd hi ar ei gliniau yn ei hystafell weddi.

Wrth ei harwain allan, safodd Syr Robert Melville, goruchwyliwr ei thŷ, yr hwn oedd wedi ei gau oddiwrthi er ys tair wythnos,—safodd ar ei llwybr, ac ymdaflodd ar ei liniau o'i blaen, gan wylofain ac ocheneidio. "Paid wylo, anwyl Melville," ebai Mary, "ond yn hytrach gorfoledda, oblegyd cai weled diwedd yn awr ar ofidiau Mary Stuart. Nid yw y byd oll, fy ngwas, ond gwagedd, ac y mae yn ddarostyngedig i fwy o drallod nag y gall moroedd o ddagrau ei olchi ymaith. Ond, atolwg, dwg y newydd gyda thi i Ysgotland fy mod i yn marw yn ffyddlon i'm crefydd, i Ysgotland, ac i Ffrainc. Maddeued Duw i'r rhai sydd yn sychedu am fy ngwaed fel mae yr hydd am yr afonydd dyfroedd. Cofia fi at fy mab, a dywed wrtho na wnaethum ddim i ddrygu teyrnas Ysgotland. Unwaith eto, ffarwel fy anwyl Melville, a gweddia dros dy feistres a'th frenines." Cusanodd ef dan wylo, nes oedd eu dagrau yn cymysgu â'u gilydd. Arweiniwyd hi i neuadd fawr y castell, lle yr oedd yr esgynlawr wedi ei barotoi. Yr oedd yno tua dau cant o edrychwyr; ac ar ei chais taer cafodd ei gwasanaethwyr fod yn dystion o'i mharwolaeth. Cerddodd i fyny i'r esgynlawr yn ddiysgog, ar yr hwn yr oedd bwrdd, cadair, a'r plocyn, oll wedi eu gorchuddio â brethyn du. Eisteddodd ar y gadair, a Ieirll Kent a Shrewsbury un ar bob llaw iddi, a'r dienyddwr mewn dillad felfed du o'i blaen. Wedi i Beale orphen darllen y warant, gwaeddodd y bobl, "Duw gadwo y frenines Elisabeth." Daliodd Mary hyd y diwedd i wadu nad oedd erioed wedi bwriadu cymeryd bywyd Elisabeth oddi arni. Wedi i'r deon a'r ddau iarll wneyd rhai sylwadau ymyrgar a chaled yn nghylch ei chrefydd, rhoddodd un o'i mhorwynion napcyn am ei llygaid, a gosododd hithau ei phen ar y plocyn, gan ddweyd mewn llais clir, "I'th ddwylaw di, O Arglwydd, y gorchymynaf fy ysbryd." Ond yr oedd y dienyddwr wedi ei gyffroi gymaint gan wylofain ac ocheneidiau yr edrychwyr, fel y methodd y fwyall a chyflawni ei gorchwyl heb roddi tri ergyd. Wedi i'r pen syrthio ar y llawr, dywedodd y deon, yn ol yr arfer, "Felly y trengo holl elynion y frenines;" ond ni ddywedodd neb Amen oddigerth Iarll Kent. Cafwyd ci bach Mary dan ei dillad, yr hwn oedd wedi ei chanlyn i'r esgynlawr, a gwrthodai adael ei

feistres drengedig nes ei orfodi trwy drais. Ac wedi hyny ni adawai y corph, ond gorweddai o hyd rhwng y pen a'r ysgwyddau.

Felly y terfynodd bywyd Mary Stuart (Chwefror 8, 1587) yn y 46ain o'i hoedran, wedi bod yn garcharor yn Lloegr am agos pedair blynedd ar bymtheg. Yr oedd yn marw yn rhy ddewr a duwiol i ateb i'r bywyd yr oedd wedi arwain. Mae yn wir fod y gefnogaeth a dderbyniai gan y pab a'i offeiriaid yn gwneyd ei drwg beth yn llai, ac yn peri iddi hithau deimlo llai oddiwrtho. "Ni cheir neb i esgusodi ffuantrwydd gwag Elisabeth; ond y mae y ddedryd nodedig a ddygodd Mary i'r arteithglwyd,—yr hon a adawodd, yn ddiamheu, yn marn y lluaws, yr ysmotyn duaf ar gymeriad Elisabeth,—os nad yn gwbl amddiffynadwy, wedi cael mwy o'i beio nag a haeddai. * * * Prin y gall y rhai hyny nad allant ryddhau brenines Ysgotland oddiwrth lofruddiad ei gwr, ddychymygu y buasai yn petruso cytuno mewn trosedd cymaint hawddach ymesgusodi, a chymaint mwy hanfodol i'w mhantais. * * * Eto, tra nas gallwn ddyweyd fod dienyddiad Mary mor annghyfiawn ac anwarantadwy ag y dangosir ef, gellir cyfaddef na fuasai natur mwy haelfrydig nag Elisabeth yn mynu gweinyddu cospedigaeth eithaf y gyfraith arni."*

Mor gynted ag y cyflawnwyd y dienyddiad, ceisiodd Elisabeth ymesgusodi, trwy daflu yr holl fai ar ei Chynghor, a thaflwyd Davison, yr ysgrifenydd, i'r Twr; dirwywyd ef o ddeng mil o bunau, a chadwyd ef yn garcharor am ddwy flynedd ar bymtheg—gweddill oes Elisabeth. Anfonodd y frenines hefyd at frenin Ffrainc, ac at James, o Ysgotland, i glirio ei hun oddiwrth waed Mary, ac ymdawelodd y rhai hyny i'w hesgusawd. Y mae llythyr yn awr yn y Vatican, wedi ei ysgrifenu gan Mary at y pab dranoeth wedi iddi gael y newydd fod dedryd marwolaeth wedi pasio arni, yn yr hwn y mae yn gadael ei hawl i orsedd Lloegr i'r pab a Philip o Spain, i wneyd y defnydd a welent yn oreu o honi, os na fuasai James ei mhab yn dyfod yn Babydd.

Yr oedd hyn yn esgus pellach i Philip i godi yn erbyn Lloegr. Yr oedd Philip ac Elisabeth ys tro hir yn pigo drwg yn erbyn eu gilydd. Yr oedd ef, heblaw cefnogi gwrthryfel Mary, wedi bod yn cyffroi y Gwyddelod i godi yn erbyn y frenines; yr oedd hithau yn parhau i gynorthwyo Protestaniaid Holland â milwyr ac arian, ac yn cefnogi gwibdeithiau ysbeilgar Drake. Bellach penderfynodd Philip gasglu arf-lynges aruthrol, yr hon a adnabyddir wrth yr enw *Armada*, i oresgyn Lloegr, diorseddu Elisabeth, yr hon oedd prif wrthglawdd Protestaniaeth, dinystrio y grefydd Brotestanaidd, ac enill y clod iddo ei hun o aduno yr holl fyd Cristionogol dan yr iau Babaidd. Yr oedd heddwch yn awr yn ffynu yn mhob parth o

* Hallam, vol. i., 158, 161.

Brydain; ond yr oedd Leicester yn Holland gyda byddin Seisnig, yn cynorthwyo y Protestaniaid yno i ddal eu tir yn erbyn Duc galluog Parma, cadfridog Philip. Profodd Leicester yn annghymwys i'r gorchwyl; galwyd ef adref, a rhoddwyd ei le i Maurice, Tywysog Orange. A thra yr oedd Elisabeth yn ceisio cael Philip i ryw delerau, anfonwyd Syr Francis Drake gyda deg ar ugain o longau i gyffiniau Spain, i ddystrywio cymaint ag a allai o'u llongau yn eu porthladdoedd eu hunain. Aeth Drake ymaith, a rhuthrodd yn ddirybudd i borthladd Cadiz, a difrododd, rhwng llosgi, suddo, a dwyn ymaith, dros gant o longau, cestyll, ac amddiffynfeydd eraill ar ei hynt, a rhwystrodd Philip i wneyd yr ymosodiad ar Loegr am flwyddyn arall.

Ond er hyn ni ddigalonodd Philip; ond defnyddiai yr holl gyfoeth a ddylifai iddo o India ac America at adeiladu llongau rhyfel, a darpariadau milwrol eraill. Cafodd gan y pab Sixtus V., i adnewyddu llythyr o esgymundod ar Elisabeth a'i theyrnas; ac yr oedd ei holl bobl, yn wreng a boneddig, yn barod i ymgysegru at yr ymgymeriad pwysig; a phenderfynent droi llynges allan i'r môr na welwyd ei chyffelyb erioed yn Ewrop. Dygai pob gwynt newyddion cyffrous i Loegr am barotoadau yr Yspaeniaid; ac ymddangosai fod tynged Lloegr, a thynged y Protestaniaid yn mhob gwlad, yn troi ar un frwydr.

Nid oedd Lloegr erbyn hyn yn segur; ond yr oedd y Pabyddion fel y Protestaniaid yn barod i ymrestru o honynt eu hunain i amddiffyn y wlad rhag y fath ymosodiad. Cadwyd cynghor rhyfel, yn yr hwn yr anogai y medrus Syr Walter Raleigh y llynges Seisnig i fyned allan i gyfarfod y gelyn. Dewiswyd Arglwydd Howard, o Effingham (Pabydd), yn arlyngesydd. Dylifai llongau wrth y degau, a milwyr wrth yr ugeiniau o filoedd at wasanaeth y frenines. Sefydlwyd gwersyllfa filwrol gadarn yn Tilbury, gyferbyn a Gravesend; ac i wroli ysbryd ei phobl, esgynodd Elisabeth ei hun ar farch rhyfel, a'i harfwisg am dani, a'i chleddyf yn ei llaw; ac wedi marchogaeth trwy y gwersyll yn Tilbury, rhoddodd y cyfarchiad cyffrous yma i'r milwyr oddiar gefn ei mharch, tra yr oedd Ieirll Essex a Leicester yn dal awenau ei ffrwyn:—

"Fy anwyl bobl,—Mae y rhai sydd yn bryderus am ein dyogelwch wedi bod yn ein perswadio i fod yn ofalus wrth fentro i ganol byddinoedd arfog, rhag ofn bradwriaeth; ond gallaf eich sicrhau nad wyf yn dymuno byw i ddrwgdybio fy mhobl ffyddlon ac anwyl. Ofned gormeswyr; yr wyf fi bob amser wedi gosod fy mhrif nerth a'm dyogelwch, dan ofal Duw, yn nghalonau teyrngarol ac ewyllys da fy neiliaid; ac am hyny yr wyf wedi dyfod i'ch mysg, fel y gwelwch heddyw, nid er mwyn fy mantais neu fy nifyrwch fy hun, ond yn benderfynol, yn nghanol poethder y frwydr, i fyw neu farw

yn eich canol chwi oll; ïe, i osod i lawr fy anrhydedd a'm gwaed yn y llwch er mwyn fy Nuw, fy nheyrnas, a fy mhobl. Gwn nad oes genyf ond corph gwanaidd ac eiddil benyw; ond y mae genyf galon brenin, a chalon brenin Lloegr hefyd; ac yr wyf yn edrych yn ysgornllyd ar y meddwl fod Parma, neu Spain, neu unrhyw dywysog yn Ewrop, yn beiddio ymosodiad ar gyffiniau fy nheyrnas; a chyn y caiff unrhyw ddianrhydedd godi oddiwrthyf fi, cymeraf arfau yn erbyn y gelyn fy hun: byddaf fi fy hun yn gadfridog i chwi, yn farnwr ac yn wobrwywr i bob rhinwedd ynoch ar y maes. Gwn eich bod eisoes, trwy eich ewyllysgarwch, wedi teilyngu gwobrau a choronau; ac yr ydym yn eich sicrhau, ar air tywysog, y cânt eu talu i chwi. Yn y cyfamser caiff fy nghadfridog sefyll yn fy lle—dyn na fu ei ragorach erioed yn ngwasanaeth unrhyw dywysog; ac nid oes ynof un amheuaeth, trwy eich ufudd-dod chwi i'ch cadfridog, eich cydgordiad yn y gwersyll, a'ch gwroldeb ar y maes, na chawn fuddugoliaeth ardderchog a buan ar elynion Duw, fy nheyrnas, a'm pobl."

Mai 29, 1588, hwyliodd yr "Armada Anorchfygol" o'r Tagus. Cynwysai gant a deg ar ugain o longau, yn dwyn dros ddwy fil a haner o fagnelau, ac oddeutu deng mil ar ugain o wŷr, dan lywyddiad Duc Medina. Dygent hefyd naw ugain o fynachod, tuag at ddychwelyd hereticiaid Lloegr i'r ffydd Babaidd, ac arfau rhyfel ar gyfer Pabyddion anfoddog y wlad hon. Ond ar yr ail ddydd ymwelwyd â'r llynges gan ystorm enbyd, yr hon a suddodd amryw o'r llongau, ac a ddrygodd eraill; a gorfu iddynt droi i mewn i Corunna, a phorthladdoedd eraill, i adgyweirio. Ar y 12fed o Orphenaf yr oeddent yn cychwyn eilwaith, ac yn fuan gwelid y llynges fwyaf erioed yn hwylio i'r *British Channel.* Yr oedd y llongau wedi eu trefnu mewn ffurf haner crwn, ac yn cyrhaedd saith milldir o led. Eu hamcan oedd myned i fyny i'r Thames, glanio y milwyr, ac ysgubo y wlad o'u blaen. Yr oeddynt wedi cael gorchymyn i beidio dechreu yr ymosodiad nes y tiriai Duc Parma yn Lloegr gyda'i fyddin o ddeng mil ar ugain o'r Netherlands.

Yr oedd Howard wedi arwain y llynges Seisnig allan i'r *channel;* gadawodd i'r Armada ei basio, a gwnaeth ef a'i swyddogion medrus, Drake, Hawkins, Frobisher, a Raleigh, ddrygau dirfawr i'r gelyn o'r tu ol iddo. Angorodd yr Armada ar gyfer Calais, gan ddysgwyl Parma a'i wŷr; ond yr oedd Protestaniaid Holland wedi cau eu ffordd a'u rhwystro. Ar nos y 29ain, llanwodd y Saeson wyth o'u llestri lleiaf o bob defnyddiau tanllyd, a gyrasant hwynt yn ffaglau gwyllt i ganol llongau yr Yspaeniaid. Parodd hyny iddynt dori y rhaffau, ac ymwasgaru mewn dyryswch. Cymerodd y Saeson y fantais ar hyny, a gwnaethant niwed a cholled fawr iddynt. Dranoeth cododd ystorm eilwaith, a gwnaeth hono fwy o golledion

fyth iddynt. Yr oedd colledion a dyryswch yr Armada yn gyfryw erbyn hyn, fel yr oedd yr Yspaeniaid wedi llwfrhau, a phenderfynodd y llywydd ddychwelyd i'w wlad. Yr oedd elfenau natur—y gwynt a'r môr—o'r cychwyn fel yn ymladd yn erbyn bwriad Philip. Ymlidiodd y llynges Seisnig ar eu hol, a buasent wedi gwneyd llawer mwy o ddifrod arnynt nag a wnaethant, oni bai i'w pylor a'u bwledi ddarfod. Daeth tymhestl enbyd drachefn, a chwythodd amryw o'r llongau ar draeth Ysgotland ac Iwerddon, fel nad oedd nifer y llongau a ddychwelasant i Spain ond tri ugain, tra yr oeddynt wedi colli tri ugain a deg o longau, a deng mil o wŷr. Ni chollodd Lloegr yn yr ymgyrch ond un llong o bwys, ac ychydig o ddynion. Felly y terfynodd hynt yr *Armada anorchfygol (!)* yr hon oedd wedi dyhysbyddu cyllidau a nerth Spain, a'r hon oedd wedi peri cymaint o ddychryn i holl Ewrop.

Yr amgylchiad cyntaf o bwys ar ol gwasgariad yr Armada oedd marwolaeth ddisymwth Leicester, yn Hydref yr un flwyddyn. Mor gynted ag y gollyngwyd y byddinoedd ymaith, gadawodd yr iarll y llys, a dechreuodd ei daith tua chastell Kenilworth; ond cymerwyd ef yn glaf ar y ffordd, a bu farw. Myn rhai mai ei wraig ei hun a'i gwenwynodd, oblegyd ei bod wedi syrthio mewn cariad â gwr arall. Yr oedd llawer o ddiffygion yn perthyn i Leicester; ond yr oedd yn llawer gwell dyn nag y myn y Pabyddion i ni gredu. Nid oes un sail i gredu fod cysylltiad anmhriodol rhyngddo ac Elisabeth. Ni ddangosodd y frenines fawr o alar ar ei ol, ond gorchymynodd wneyd arwerthiad o'i holl eiddo i dalu ei ddyledion i'w thrysorgell. Yn wir, yr oedd un arall eisoes wedi cael lle Leicester yn ei serchiadau. Hwn ydoedd ei lysfab, Robert Devereux, Iarll Essex, mam yr hwn oedd wedi priodi â Leicester. Yr oedd Elisabeth wedi tywallt ffafrau lawer a swyddi uchel ar ei ben cyn ei fod yn ugain oed; ac nid oedd boneddwr prydferthach o gorph, na mwy hael a dewr ei ysbryd, nag Essex yn mysg holl ddeiliaid ei theyrnas. "Ar farwolaeth Leicester, cafodd ef ar unwaith ei le fel prif ffafr-ddyn y frenines—swydd mor annymunol ag ydoedd o beryglus, gan ei bod yn gofyn arferiad beunyddiol o weniaith a serchlonedd tuag at hen fenyw, gorchwyl nad oedd yn gweddu fawr o gymeriad hael a brwdfrydig Essex."*

Yr oedd ysbryd dial ar Spain yn para yn gryf yn Lloegr; ac yn 1589, wedi cael caniatad y frenines, darparodd Drake a Norris, yn cael eu cynorthwyo gan amryw foneddigion eraill, lynges o tua dau cant o longau, ac agos ugain mil o wŷr, gyda'r prif amcan o sefydlu Don Antonio ar orsedd Portugal. Mab annghyfreithlon i frenin diweddar Portugal oedd Don, wedi bod yn alltud yn hir yn y wlad hon, ac yr oedd Philip wedi cymeryd meddiant o'r deyrnas. Aeth

* Knight's.

Essex hefyd ymaith ar yr hynt hon heb ganiatad y frenines, yr hyn a barodd fawr flinder iddi. Hynt aflwyddianus oedd hon, er i'r Saeson wneyd llawer o ddifrod ar eu taith; ac erbyn dychwelyd i Plymouth yr oedd y gwŷr wedi eu darostwng gan golledion ac afiechyd i haner y nifer.

Y pryd hwn y gwnaeth y Saeson eu ffordd gyntaf i'r India. Cylchynodd dwy long, yn cael eu llywyddu gan George Rinman a James Lancaster, y *Cape of Good Hope.* Bu Rinman farw ar lanau Affrica, ond dychwelodd Lancaster ar ol dyoddef llawer o galedi, a cholli y rhan fwyaf o'i wŷr.

Yn y flwyddyn 1590, a'r un ganlynol, cafodd y deyrnas golledion trymion trwy farwolaeth amryw o'i phrif swyddogion; megys yr ysgrifenydd cyfrwys a galluog, Walsingham, y canghellydd Hatton, Randolph, Crofts, a Iarll Shrewsbury. Bu Raleigh a Blount agos dwyn lle Essex mewn ffafr gydag Elisabeth yn ystod ei absenoldeb gyda'r llynges. Ond wedi anfon Raleigh i Iwerddon daeth Elisabeth ac Essex eilwaith yn ffryndiau. Dadleuodd yr iarll yn frwd o blaid codi yr anffodus Davison i swydd Walsingham; mynai Burleigh i'r swydd gael ei rhoddi i'w fab, Syr Robert Cecil; ond cyfryngodd y frenines, a pharodd i Burleigh ei chymeryd ei hun, a chymeryd ei fab yn gynorthwywr. Rhoddwyd y sel fawr i Puckering, dan yr enw arglwydd-geidwad. Tua'r amser hwn priododd Essex â merch Walsingham, a gweddw y diweddar enwog Syr Philip Sydney, yr hyn a fu yn fustl chwerw eilwaith i Elisabeth.

Yn 1595 aeth Syr Walter Raleigh, ar ol tynu gwg y frenines trwy hudo un o'i llaw-forwynion, allan i geisio ffortun yn Neheubarth America. Ni fu ei hynt yn llwyddianus iawn; ond wedi dychwelyd ysgrifenodd lyfr dyddorol o hanes ei fordaith.

Nid oedd Philip o Spain eto wedi rhoddi i fyny y syniad am oresgyn Lloegr. Anogwyd ef yn awr gan Jesuitiaid a chrwydriaid o'r wlad hon i wneyd cynygiad i sefydlu ei ferch Infanta ar orsedd Lloegr. Dadleuai ef ei hawl i'r orsedd fel y disgynydd Pabaidd agosaf o John o Gaunt, ac yn awr yr oedd yn rhoddi ei hawl ei hun i fyny yn ffafr ei ferch. Pan ddeallodd Elisabeth fod darpariadau i'r perwyl hwn yn cael eu gwneyd, caniataodd i lynges gael myned allan i wneyd ymosodiad arall ar longau a thiriogaethau Spain. Ar y laf o Fehefin, 1596, hwyliodd cant a haner o longau o bob maintioli allan o Plymouth, yn cludo pymtheg mil o wŷr, ac yn cael eu llywyddu gan yr arlyngesydd Howard, Essex, Syr Thomas Howard, Raleigh, Vere, Carew, a Clifford. Ymosodwyd ar y llongau rhyfel yn mhorthladd Cadiz, a gwnaed difrod mawr arnynt trwy ysbeilio a llosgi. Glaniodd Essex gyda chwe' chant o wŷr; dylynwyd ef gan y llyngesydd, a chymerwyd y dref. Talodd y trigolion swm mawr am eu bywyd, a chymerodd y gorchfygwyr feddiant

o holl gyfoeth y dref. Llosgwyd y dref oddigerth yr eglwysi, a rhoddodd yr Yspaeniaid amryw o'u llongau ar dân, rhag eu myned i feddiant y Saeson. Cyfrifir colled Philip y tro hwn yn ugain miliwn o *ducats*.* Dychwelodd y llynges gydag ysbail fawr, wedi bod allan am ddeng wythnos.

Nid oedd ildio i Philip; ac yn fuan wele y newydd yn dyfod drosodd eilwaith ei fod yn darparu ar gyfer ymosodiad arall ar Iwerddon. Felly caniataodd Elisabeth i lynges arall fyned allan yn 1597, i ymosod ar gyffiniau Spain, dan lywyddiad Essex, gyda Raleigh a Syr Thos. Howard yn nesaf ato mewn awdurdod. Ond cyfarfyddodd hon ag ystorm beryglus ar ei thaith; ac er iddynt ysbeilio llongau Yspaenaidd o tua chan' mil o bunau, ni fu yr hynt hon mor llwyddianus. Dychwelodd Essex mewn ysbryd anfoddog; ac heblaw llawer o ymddygiadau byrbwyll ynddo ei hun, yr oedd eraill yn ddiwyd yn ceisio chwythu drwg rhyngddo ac Elisabeth.

Yn fuan ar ol hyn gwnaed ymgais i sefydlu heddwch rhwng Ffrainc, Spain, a Lloegr; ond pan beidiodd Philip a chydnabod y Dutch fel talaeth rydd, gwrthododd Elisabeth dderbyn y telerau. Yr oedd y Cynghor Seisnig yn awr yn ddwyblaid, yn cael eu blaenori gan y Cecils ac Essex. Yn y pwnc hwn yr oedd y Cecil-iaid yn fawr am heddwch, ac Essex mor gyndyn am barhau y rhyfel. Yn nghanol un o'r dadleuon, dywedir i'r arglwydd-drysorydd oed-ranus (Burleigh) dynu llyfr gweddi cyffredin allan o'i logell, a chyfeirio y frawddeg hono o eiddo y Salmydd at yr iarll—"Dynion gwaedlyd ni fyddant byw haner eu dyddiau." Ystyrid y frawddeg hon wedi hyny yn brophwydoliaethol am Essex. Yn fuan wedi hyn, pan oedd achos Iwerddon derfysglyd o flaen y Cynghor, a dadl wedi codi yn nghylch dewisiad is-lywodraethwr iddi, yr oedd y Ceciliaid am roddi y swydd i Knolles, ewythr Essex, ac Essex yn selog dros Carew. Trodd Elisabeth o blaid Knolles. Yn mrydan-iaeth ei ysbryd, ymddygodd yr iarll mor anfoesgar fel y trodd ei gefn ar y frenines mewn dirmyg. Cododd hithau ei llaw, a rhodd-odd gernod iddo, gan ychwanegu am iddo fyned i dd—l. Tarawodd Essex ei law ar ei gleddyf, tyngodd nas gallai, ac na wnai oddef y fath sarhad, ac na fuasai yn ei dderbyn hyd yn nod gan Henry VIII. ei hunan. Aeth allan o'r llys mewn nwydau, a dychwelodd i'w dŷ yn Wanstead i fyfyrio ar ei ymddygiadau. Parhaodd yr oerfelgar-wch hwn rhwng Elisabeth a'i hoffddyn am tua phum mis, wedi hyny dychwelodd i'r llys; ond bernir na fu mor ddwfn yn serch-iadau y frenines ar ol hyn.

Yn Awst, 1598, bu y gweinidog pwyllog, medrus, a duwiol Bur-leigh farw, yr hwn oedd wedi bod yn brif gynghorwr Elisabeth am agos deugain mlynedd. Galwai y frenines ef "ei hysbryd," ac

*Ducat aur, oddeutu 9 swllt; ducat arian, oddeutu 4 swllt. Geir. D. S. Evans.

yr oedd yn fwy dyledus iddo am ddoethineb a llwyddiant ei llywodraeth nag i'r un dyn arall. Priodol y dywedodd un o wŷr y llys ar adeg ei farwolaeth, mai "efe oedd eu llong-lywydd ardderchog, ar yr hwn yr oedd pawb yn edrych, ac yn dysgwyl eu dyogelwch oddiwrtho." Dangosodd Elisabeth alar mawr ar ei ol. Bu fyw a marw fel Cristion. Penodwyd Arglwydd Buckhurst yn drysorydd ar ei ol, ond yr oedd prif lywyddiad achosion yn nwylaw Syr Robert Cecil, ysgrifenydd y llywodraeth.

Collodd Essex faen tramgwydd pwysig yn symudiad Burleigh, ac enillodd Elisabeth i ddangos mwy o ffafr ac ymddiried ynddo. Gwnaed ef yn arglwydd-raglaw Iwerddon, a chafodd gyfleusdra buan i brofi ei gymhwysder i'w swydd. Yr oedd cyflwr Iwerddon yn ddrwg; nid oedd cynydd a gwareiddiad wedi cael yr un afael ar y wlad anffodus hono ag ydoedd yn yr ynys hon. Rhwygid hi gan derfysgoedd ac amrafaelion didor; ac yr oedd ymgais a dylanwad Pabyddion a Jesuitiaid y Cyfandir ar y naill law, a'i llywodraethiad gormesol ac anmherffaith gan Loegr ar y llaw arall, yn ei gwaethygu yn lle ei gwella.

Yn niwedd y flwyddyn 1598 torodd gwrthryfel allan yn erbyn Lloegr, dan arweiniad Hugh O'Neal, yr hwn yr oedd Elisabeth wedi ei ddyrchafu i iarllaeth Tyrone. Yr oedd wedi uno Gwyddelod y gogledd dan ei faner, ac yn cael ei gyflenwi ag arfau a nwyddau rhyfel o Spain. Daeth y newydd drosodd ei fod wedi gorchfygu a lladd Syr Henry Bagnal a phymtheg cant o wŷr. Yn Mawrth, 1599, arweiniodd Essex ddeunaw mil o wŷr i Iwerddon i ddarostwng y gwrthryfel. Glaniodd yn Dublin; ond yn lle myned ar unwaith yn erbyn O'Neal, treuliodd fisoedd yr haf i grwydro yma a thraw, nes oedd ei fyddin wedi ei theneuo yn fawr gan afiechyd ac enciliadau. Anfonodd i Loegr am adgyfnerthion; gwnaeth heddwch â Tyrone hyd yr haf dylynol; ac wrth glywed fod Elisabeth yn anfoddlon i'w symudiadau, gadawodd Iwerddon i'w thynged, a dychwelodd yn ddisymwth yn Medi i Lundain. Rhuthrodd yn anfoesgar i ystafell y frenines cyn ei bod wedi gorphen gwisgo, ac ymgrymodd ger ei bron. Ymddygodd Elisabeth yn serchog ato ar y cyntaf; ond cyn hwyr y dydd, gorchymynodd roddi Essex dan wyliadwriaeth.

Wedi ymadawiad Essex, torodd y penaeth Gwyddelig ei gytundeb heddwch, a chariodd y gwrthryfel yn mlaen. Anfonwyd Mountjoy drosodd, yr hwn a lwyddodd yn fuan i ddarostwng O'Neal, a gwasgaru y gwrthryfelwyr. Cyffrodd y newyddion am lwyddiant Mountjoy y teimlad drwg yn erbyn Essex, a dygwyd ei achos i brawf. Dedfrydwyd ef i golli ei swyddau fel cynghorwr, fel iarll-lywydd Lloegr, ac fel meistr y cyflegrau, ac ymgadw o fewn ei dŷ ei hun. Derbyniodd yr iarll ei ddedryd yn dawel; ac y mae yn bur debyg y

buasai yn cael ei adferu cyn hir i'w fri arferol oni bai i amgylchiad bychan arall ddygwydd, yr hwn a brofodd yn ddinystr iddo.

Yr oedd y frenines wedi rhoddi breint-lythyr iddo i gael yr holl elw oddiwrth werthiad gwinoedd melus. Yr oedd amser y freinteb yma yn awr ar ben, a cheisiodd Essex am gael ei hadnewyddu. Gwrthododd y frenines y cais, gan ychwanegu yn ddirmygus fod yn rhaid iddi yn gyntaf wybod faint oedd yr elw, a bod yn rhaid i anifail anhywaith gael prinhau ei ymborth. Credodd Essex bellach eu bod yn benderfynol i'w ddyfetha; a dechreuodd ddyfeisio cynlluniau drygionus yn erbyn y frenines a'i chynghorwyr. Yr oedd wedi enill poblogrwydd mawr gyda'r lliaws; a cheisiodd yn awr ychwanegu ei boblogrwydd fyth trwy weithredoedd haelfrydig. Ar yr un pryd ysgrifenodd at James o Ysgotland, i geisio ei berswadio i gredu fod Cynghor Elisabeth o blaid enwi merch brenin Spain yn olynydd i orsedd Lloegr, ac yn ei gymhell i godi a chymeryd meddiant o honi, gan addaw cysegru ei fywyd a'i feddianau i'w gynorthwyo. Ymollyngodd hefyd i lefaru geiriau caledion am y frenines; ei bod wedi myned yn hen fenyw 70ain oed, a bod ei mheddwl wedi myned mor grebachlyd a'i chorph. Yr oedd yn anhawdd iddo ddyfeisio dim fuasai yn taro yn dostach ar falchder Elisabeth. Yr oedd pob stori yn cael ei chludo iddi, yn y lliw gwaethaf, gan elynion yr iarll.

Ond nid oedd y symudiadau hyn yn ddigon i feddwl uchel a chyffrous Essex; ac wedi ei gynhyrfu yn benaf gan Cuffe, ei ysgrifenydd, ymgymerodd â mesurau mwy eofn a pheryglus. Gwnaeth gynghrair â Iarll Southampton ac eraill i wneyd ymosodiad ar y palas, a gorfodi y frenines i droi ei elynion ymaith, a newid ffurf ei llywodraeth. Aeth y peth i glustiau Raleigh, Cecil, Bacon, ac eraill. Boreu Sabbath, Chwefror 8fed, 1601, wedi clywed fod eu bwriad yn wybyddus i'r Cynghor, aeth Southampton, Rutland, ac eraill o'r gyfrinach, i dŷ Essex i ymgynghori. Canlynwyd hwy yn fuan gan Egerton, Popham, ac eraill o gynghor y frenines, wedi eu hanfon gan Elisabeth i weled beth oedd yn myned yn mlaen. Ar ol ychydig o ymddadleu, bolltwyd y cynghorwyr mewn ystafell, a rhoddwyd arfogion i'w gwylio. Cymerodd Essex ei gleddyf, ac aeth ef a'i gyfeillion, gyda nifer o'i ganlynwyr, yn mlaen trwy ystrydoedd y ddinas, gan waeddi, "Am y frenines! Am y frenines! Maent wedi gwneyd cydfradwriaeth am fy mywyd!" Ond, er fod yr iarll yn boblogaidd yn y ddinas, ni chafodd neb i gymeryd ei blaid. Cymerwyd ef i fyny, taflwyd ef i'r Tŵr, dygwyd ei achos i brawf, a chondemniwyd ef i farw. Petrusodd Elisabeth yn hir cyn selio gwarant ei farwolaeth. Cydnabyddodd uniondeb ei ddedryd, dangosodd edifeirwch am ei fyrbwylldra, ac ar y 25ain o Chwefror torwyd ei ben yn ddirgelaidd, o fewn muriau y Tŵr. Arbedwyd

bywyd Southampton, ond dienyddiwyd Blount, Cuffe, ei ysgrifenydd, a Merrick, ei ddystain.

Bellach yr oedd blynyddoedd bywyd Elisabeth yn nesu at y terfyn. Wedi mwynhau oes faith o iechyd rhagorol, mae bellach yn ymollwng o dan bwysau gofal a phryder ei sefyllfa bwysig. Yn nechreu y flwyddyn 1603 yr oedd ei bywiogrwydd a'i sirioldeb wedi rhoddi lle i ymollyngdod a phrudd-der arosol. Priodolid ei hafiechyd i wahanol achosion. Mynai rhai ei fod wedi ei ddwyn oddiamgylch gan bryder yn nghylch ei holynydd; eraill, ei fod wedi ei achosi gan amgylchiadau Iwerddon, trwy iddi gael ei dirgymhell gan ei Chynghor i roddi pardwn i'r gwrthryfelgar Iarll Tyrone. Eraill a ddywedent mai gofid yn nghylch dienyddiad iarll enwog a galluog Essex oedd yr achos. Dywed dau hanesydd (Aubrey ac Osborne) ddarfod i Elisabeth roddi modrwy i Essex fel gwystl o'i serch ato, gan addaw rhoddi maddeuant iddo, pa ddrwg bynag a wnelai, os anfonid y fodrwy hono ger ei bron. Cadwodd Essex y fodrwy yn ofalus; ac wedi ei gondemnio i farw, anfonodd hi yn llaw Iarlles Nottingham i Elisabeth, i bwrcasu pardwn. Ond perswadiwyd yr iarlles gan ei gwr, yr hwn oedd elyn i Essex, i guddio y fodrwy yn lle ei chyflwyno i'r frenines. Bu Elisabeth yn oedi selio y warant farwol yn hir, gan ddysgwyl dyfodiad y fodrwy; ond ni ddaeth. Yn mhen ychydig o amser wedi dienyddiad Essex, yr oedd yr iarlles ar ei gwely marw; gyrodd am Elisabeth, a datguddiodd iddi yr holl gyfrinach. Cyffrowyd digofaint y frenines mor fawr, fel y dywedodd "y gallai Duw faddeu iddi, ond na wnai hi (Elisabeth) byth faddeu iddi." Ac o hyn allan syrthiodd wyneb ac ysbryd Elisabeth fel na fynai ei chysuro.

Mae amryw o'r haneswyr yn amheu cywirdeb yr uchod, ac yn priodoli ymollyngdod y frenines i wendid ei chyfansoddiad, a dychryn yn y rhagolwg ar angau. Beth bynag, gwrthodai gymeryd cyfferi nac ymborth; ac ni ddywedai nemawr oddigerth wylofain ac ocheneidio. Gorweddodd am tua deng niwrnod ar y carped, gyda chlustogau yn ei chynal, yn ofni myned i'r gwely, rhag na chodai o hono; ac o'i hanfodd y symudwyd hi ddeuddydd cyn ei mharwolaeth. Yr oedd Whitgift, archesgob Canterbury, ac esgobion eraill, o'i hamgylch yn gweini cysur crefyddol iddi yn ei dyddiau a'i horiau diweddaf, ac anogent hi i gyflwyno ei henaid i Dduw. "Yr wyf wedi gwneyd hyny," ebai, "ys llawer dydd." Ar y 22ain o Fawrth daeth Cecil, yr ysgrifenydd, a'r arglwydd-geidwad ati, dros y Cynghor, i geisio ganddi nodi olynydd. Ac wedi dangos cryn wrthwynebrwydd i fyned at hyny, dywedodd o'r diwedd, "Brenin fydd fy olynydd, a phwy yw hwnw ond fy mherthynas o Ysgotland?" Parhaodd i wneyd awgrymiadau, wedi iddi golli ei llafar, am i'r esgob ddal i weddio wrth ei gwely; a bu farw, Mawrth 24ain, 1603, yn y 70ain flwyddyn o'i hoedran, a'r 45ain o'i theyrnasiad.

Nid gorchwyl hawdd yw tynu llinellau cywir o gymeriad Elisabeth. Nid oes un penadur efallai ar lechres hanesiaeth, wedi cael mwy o'i bardduo gan elynion, a'i glodfori gan gyfeillion; ac eto cynelir ei henw yn y bri uchaf gan oesoedd olynol hyd y dydd hwn. Yr oedd llawer o feiau a diffygion pwysig yn perthyn iddi. Yr oedd yn hunanol, yn falch, a gormesol; yn orhoff o ganmoliaeth a mawrygiad, ac yn amddifad o un o brif rinweddau benywaidd—tynerwch. Ond nid oes un sail i gyhuddiadau y Pabyddion am eu hanniweirdeb—er ei bod yn fursenaidd naturiol, ac yn arfer rhyddid gyda'i hoff-ddynion a ymddangosai yn bur anweddaidd wrth ein safon bresenol ni. Ar yr un pryd, yr oedd ynddi ragoriaethau fel penadur oedd yn taflu y pethau hyn oll i'r cysgod. Meddai ar yni, dianwadalwch, craffder, a mawrfrydigrwydd, ddalient eu cydmaru ag eiddo unrhyw deyrn. "Yr oedd ei gwroniaeth yn rhydd oddiwrth fyrbwylldra, ei chynildeb oddiwrth gybydd-dod, ei chyfeillgarwch oddiwrth bleidgarwch, ei thymher fywiog oddiwrth derfysg ac uchelgais gwag. Ond ni ddangosai yr un gofal i ymgadw oddiwrth ddiffygion llai—cydymgais tegwch, awydd am fawrygiad, eiddigedd cariad, a rhuthriadau digofaint." Yr oedd ei thalent anarferol at lywodraethu yn seiliedig ar ei thymher a'i galluoedd. Llywodraethai ei hunan mor dda, fel yr enillodd yn fuan lywodraeth ddifesur ar ei phobl; a thra y teilyngai eu mawrygiad, trwy ei rhinweddau gwirioneddol, enillai eu serchiadau trwy rai ffugiol. "Yr oedd ei mheddwl yn fynych," meddai Harrington, "fel yr awel dyner sydd yn dyfod o'r gorllewin ar foreu o haf; yr oedd yn hyfryd ac adfywiol i bawb o'i chwmpas; eto gallasai gyfnewid ei hun gymaint, os gwrthodid ufudd-dod iddi, fel ag i beidio gadael un amheuaeth merch i bwy ydoedd. Yr oedd ei gwen yn haul-belydr pur, ag yr hoffai pob dyn ymheulo ynddo, pe gallasai; ond yn y man delai ystorm oddiwrth gasgliad disymwth y cymylau, a disgynai y taranau yn arswydol ar bawb fel eu gilydd."

Ychydig o benaduriaid Lloegr esgynodd i'r orsedd yn nghanol cymaint o anhawsderau, ac ni ddygodd yr un o honynt erioed y llywodraeth yn mlaen gyda'r fath lwyddiant a dedwyddwch. Mae y gweinidogion doeth a'r rhyfelwyr gwrol oedd dani, mae yn wir, yn teilyngu cyfran helaeth o glod ei llwyddiant; ond nid ydynt, er hyny, yn lleihau dim ar ei henwogrwydd hi, ond yn ychwanegu yn fawr ato. Yr oeddent oll yn ddyledus am eu dyrchafiad i'w dewisiad hi; cynaliwyd hwynt, yn erbyn dygasedd eu gelynion, gan ei dianwadalwch hi; ac, er cymaint oedd eu galluoedd a'u dylanwad, ni chawsant erioed lywodraeth anmhriodol ar ei mheddwl. Hi oedd y *penadur* yn ei thŷ, yn ei chynghor, a thrwy ei holl deyrnas; ac yr oedd ei gallu yn fywyd ac yn nerth i'r wladwriaeth." Nid yw cyfundrefnau fawr o beth o'u cydmaru â'r dynion sydd yn

eu gweithio. Dylanwad cymeriad unigol sydd yn gwneuthur neu yn anafu ffurf llywodraeth. Mae pob chwyldroad yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan bersonau, ac nid gan egwyddorion. Nid yw credo yn ddim heb apostol. Mae cenedl yn fwy dyledus i'w gwroniaid nag i'w hinsawdd. Mae hanes gwareiddiad, yn ddiamheu, yn rhywbeth mwy na chasgliad o fywgraffiadau. Mae y dynion ydynt yn gynnrychiolwyr cyfnod yn gynyrchion y cyfnod hwnw, yn gystal ag yn arwyddluniau o hono. Maent yn effeithiau, ond y maent yn achosion hefyd. Maent yn trefnu eu hoes eu hunain, ac yn moldio y nesaf. Maent yn ad-dalu gyda llog y dylanwad i'r hwn y maent yn ddyledus."* Cafodd Elisabeth y deyrnas wedi ei darostwng dan ofergoeledd a llygredigaeth, nes bod yn warth yn mysg cenedloedd Ewrop; ond gadawodd hi mewn llwyddiant uwch nag y gwelwyd hi o'r blaen—y deyrnas fwyaf ei gallu a'i hawdurdod yn Ewrop; a hyny nid trwy nerth y cleddyf, ond trwy ddyfalbarhad i geisio heddwch a llesiant i'w phobl.

Y mae yn fater cynil i ddyweyd llawer am grefydd bersonol Elisabeth; ond hi oedd penaeth a nodded Protestaniaeth yn y wlad hon ac ar y Cyfandir, er nad oedd ond Protestant anmherffaith ei hun. Pleidiai Brotestaniaeth am ei bod yn offeryn i wrthladd Pabyddiaeth, yn fwy nag oblegyd cariad at ei hegwyddorion. Yn wir, yr oedd yn hoffi gwychder a rhwysg Pabyddiaeth, ond yn casâu ei hathrawiaeth; ac o'i rhan ei hun buasai yn well ganddi dori allan lwybr canol rhwng y ddwy grefydd.†

### IV.—HANES CREFYDD.

Mae y darllenydd wedi cael eisoes, yn adranau blaenorol y benod hon, gipolwg ar helyntion crefyddol y cyfnod, oblegyd crefydd oedd pwnc mawr y llywodraethau gwladol yr adeg hon dros holl Ewrop. Felly nid oes genym yma ond rhoddi ail olwg, mewn crynodeb byr, ar gyflwr crefydd yn y wlad yn ystod teyrnasiad plant Henry VIII., sef Edward VI., Mary, ac Elisabeth.

Dangoswyd yn barod fod Henry VIII. wedi gwneyd rhwyg yn yr hen grefydd Babaidd; ond nid oedd y rhwyg hono yn ddim mwy na thori y cysylltiad â Rhufain, a chodi ei hunan yn bab i'r eglwys Brydeinig. Torodd gwawr ar achos y Protestaniaid yn marwolaeth Henry, ac esgyniad Edward i'r orsedd. Yr oedd Edward a'i amddiffynwr yn ffafriol i Brotestaniaeth, a phenderfynwyd cario allan y chwyldroad; ac nid yn unig dori y cysylltiad yn llwyr â Rhufain, ond hefyd ddiwygio athrawiaeth a defodau yr eglwys. Collfarnwyd a throwyd heibio lawer o ddefodau ofergoelus y grefydd Babaidd, dystrywiwyd delwau, gwnaed yr addoliad yn fwy syml,

* Leader in the *Star and Dial*, December 23, 1861. † Hume, Keightly, Knight, Tract Society's History.

rhoddwyd atalfa, i fesur helaeth, ar yr ysbryd erledigaethus, dyddimwyd llawer o gyfreithiau Henry gyda golwg ar grefydd, a galwyd yn eu hol y rhai oeddynt wedi gorfod ffoi allan o'u gwlad oblegyd eu hegwyddorion. Casglwyd athrawiaeth yr eglwys yn nghyd dan ddwy a deugain o erthyglau, cynygiwyd at unffurfiaeth mewn credo ac addoliad, dygwyd diwygiad pwysig yn mlaen yn nghyflawniad y swydd weinidogaethol, darparodd Cranmer ac eraill gasgliad o homiliau a phregethau i'w darllen yn yr eglwysi, a chynyddodd Protestaniaeth yn fawr trwy y deyrnas. Cafodd wrthwynebiad cyndyn, mae yn wir, gan y Pabyddion, y rhai a flaenorid gan yr esgobion Gardiner a Bonner, yr hyn a gyffrodd y Cynghor i gymeryd mesurau llymion yn eu herbyn. Mae gwahaniaeth dirfawr rhwng ymddygiadau Edward a Mary at eu gwrthwynebwyr; eto, rhaid cyfaddef nad oedd egwyddorion rhyddid crefyddol yn cael eu deall ond yn anmherffaith yn nyddiau Edward, ac nad oedd ei gyfarwyddwyr Protestanaidd yn hollol rydd oddiwrth ysbryd erledigaeth tuag at y rhai a ddalient syniadau gwahanol iddynt. Profir hyn gan losgiad morwynig Kent a Van Paris, a chan yr act olaf o gydymffurfiad a basiwyd dan y teyrnasiad hwn, yn rhoddi cerydd eglwysig ar y rhai a absenolent eu hunain o'r addoliad cyhoeddus; chwe mis o garchar am y trosedd cyntaf; deuddeg am yr ail; a charchariad dros fywyd am y trydydd.

Os cafodd y Protestaniaid destun llawenydd yn marwolaeth Henry, ac esgyniad ei fab, cafodd y Pabyddion hwythau destun llawenydd yn marwolaeth y duwiolfrydig Edward yn mlodau ei ddyddiau, ac esgyniad y Babyddes ormesol Mary i awdurdod. Er i Mary addaw amddiffyn holl drefniadau crefyddol ei brawd, nid cynt y sefydlwyd hi ar ei gorsedd nag y torodd ei gair, ag y dechreuodd chwyldroad hollol o blaid yr hen grefydd. Cyflwynodd y deyrnas eilwaith i fynwes y pab, taflodd y Protestaniaid o'u swyddi a'u hawdurdod, a dyrchafodd y Pabyddion i'w lle. Adferwyd yr addoliad a'r defodau Pabaidd; a gollyngwyd ysbryd erledigaeth yn rhydd. Parotowyd yr arteithglwyd a'r offerynau poenydio, llanwyd carcharau a daeargelloedd, cyneuwyd tanau Smithfield yn fwy ffyrnig nag erioed, ac aberthwyd cynifer o fywydau gwerthfawr ag a bar i enw y frenines ddisgyn i genadlaethau olaf y ddaear dan y titl anenwog o "MARY WAEDLYD." Ffodd canoedd o Brotestaniaid allan o'r wlad oddiar ffordd yr erledigaeth.

Darfu i'r diwygiad crefyddol dan Edward wanhau dylanwad Pabyddiaeth yn fawr ar feddyliau y lluaws. Ond, fel yr awgrymwyd o'r blaen, diamheu i lywodraeth Mary wneyd mwy nag eiddo Edward tuag at ddwyn Prydain yn wlad Brotestanaidd. Oblegyd yn lle dyddimu, cynyrchodd ei chreulonderau hi fwy o deimlad Protestanaidd, fel yr oedd mwy o wir deimlad Protestanaidd yn y

wlad ar adeg ei marwloaeth nag oedd ar adeg ei hesgyniad. Yr oedd creulonderau erchyll Pabyddiaeth, a golygfeydd a thystiolaethau y merthyron yn y fflamau tân, yn meddu mwy o hyawdledd na holl bregethwyr y diwygiad gyda'u gilydd.

Ar esgyniad Elisabeth yr oedd mantol y llywodraeth yn troi o blaid Protestaniaeth, a'r unig ddewisiad gan y Cynghor ydoedd naill ai ymostwng i'r pab, neu geisio cymhorth y Protestaniaid. Yr oedd y llywodraeth a'r Protestaniaid yn gwahaniaethu yn fawr; ond yr oeddent yn cyduno mewn un peth—casineb at y gyfundrefn Babaidd. Mynai Elisabeth ar y naill law adferu llawer o bethau Pabaidd a gollfarnwyd gan Edward; ond mynai y diwygwyr gario y diwygiad yn llawer pellach nag y dygwyd ef dan Edward. "Ond fel yr oedd angen cymhorth y Protestaniaid ar y llywodraeth, yr oedd angen nawdd y llywodraeth ar y Protestaniaid. Felly ildiwyd llawer o bob tu; ffurfiwyd undeb, a ffrwyth yr undeb hwnw yw EGLWYS LOEGR. I neillduolion y sefydliad hwn, ac i'r teimladau cryfion a gynyrchodd yn meddyliau cyfeillion a gelynion, y mae llawer o'r dygwyddiadau pwysig a gymerasant le yn y wlad hon, oddiar amser y diwygiad, i'w priodoli; ac nis gallwn ddeall hanes gwladol Lloegr, heb i ni ei astudio mewn cysylltiad cyson â'i llywiaeth eglwysig.

"Y gwr a gymerodd y rhan benaf yn sefydliad telerau yr undeb a gynyrchodd yr Eglwys Seisnig, oedd yr archesgob Cranmer. Yr oedd yn gynnrychiolydd y ddwy blaid oeddent y pryd hwnw mewn angen am gymhorth eu gilydd. Yr oedd ar unwaith yn dduwinydd ac yn wr y llys. Fel duwinydd yr oedd yn hollol barod i fyned mor bell mewn ffordd o gyfnewidiad a Diwygwyr Switzerland neu Ysgotland. Fel gwr y llys, yr oedd yn awyddus am gadw trefniant oedd am amryw oesoedd wedi gwasanaethu dybenion esgobion Rhufain, a'r hwn y gallesid dysgwyl iddo yn awr wasanaethu yn o gystal ddybenion breninoedd Seisnig a'u gweinidogion. Yr oedd ei dymher a'i ddeall yn ei gymhwyso yn fawr i actio fel cyfryngwr. Seintaidd yn ei broffes, dibetrus yn ei drafodaeth, heb fod yn selog dros ddim, hyf mewn anturiaeth, annewr a gwasanaethwr yr amserau mewn gweithred, gelyn cyndyn a chyfaill claiar, yr oedd yn mhob modd yn gymhwys i drefnu telerau y cydgyfarfyddiad rhwng gelynion crefyddol a bydol Pabyddiaeth. Mae cyfansoddiad, athrawiaeth, a gwasanaeth yr eglwys, yn dwyn arwyddion amlwg hyd y dydd hwn o'r ymgytundeb o ba un y tarddodd. Ceidw sefyllfa ganol rhwng eglwysi Rhufain a Geneva. Mae ei chyffesiadau athrawiaethol a'i homiliau, y rhai a gyfansoddwyd gan Brotestaniaid, yn gosod allan egwyddorion duwinyddol, na fuasai Calfin neu Knox yn cael ynddynt nemawr air i'w anghymeradwyo. Mae ei gweddiau a'i diolchiadau wedi eu cymeryd

o'r Byriaduron hynafol (Llyfrau gwasanaeth Eglwys Rhufain) yn gyffredin yn gyfryw ag y buasai Cardinal Fisher neu Cardinal Pole yn cytuno ynddynt yn galonog. Ystyrir y dyn a roddo ystyr Arminaidd i'w herthyglau a'i homiliau, gan bob dyn pwyllog, mor afresymol a'r dadleuwr a wado nad yw athrawiaeth adenedigaeth bedyddiadol yn ei llithiau. * * * * * *

"Edrychid ar yr ymgytundeb a ddygwyd oddiamgylch gan Cranmer, gan gorph mawr o Brotestaniaid o'r dechreu, fel dyfais i wasanaethu dau arglwydd, fel cynyg i uno addoliad yr Arglwydd ac addoliad Baal. Taflodd petrusder y blaid hon anhawsderau mawrion ar ffordd y llywodraeth unwaith ac eilwaith, yn amser Edward VI. Ar esgyniad Elisabeth cynyddwyd yr anhawsderau yn fawr. Mae trais yn naturiol yn cynyrchu trais. Felly yr oedd ysbryd Protestaniaeth yn llawer mwy ffyrnig ac anoddefol ar ol creulonderau Mary na chyn hyny. Ffodd llawer o bersonau o olygiadau diwygiadol, yn ystod y dyddiau drwg, am noddfa i Switzerland a Germany. Derbyniwyd hwy yn garedig gan eu brodyr yn y ffydd, eisteddasant wrth draed doctoriaid mawr Strasburg, Zurich, a Geneva, a chynefinwyd hwy am rai blynyddoedd ag addoliad mwy syml, ac â llywodraeth eglwysig mwy gwerinol nag a welwyd eto yn Lloegr. Dychwelodd y dynion hyn i'w gwlad yn argyhoeddedig nad oedd y diwygiad dan Edward wedi ei gario allan mor helaeth ag oedd crefydd bur yn gofyn."*

Ond ni fynai Elisabeth ildio dim iddynt; trefnodd yr addoliad a'r gwasanaeth eglwysig yn ol ei hewyllys ei hun, ar egwyddorion Protestanaidd mae yn wir, ond heb fod yn hollol rydd oddiwrth ddefodau Pabaidd. Pasiodd Ddeddf Cydymffurfiad, gan alw ar ei holl ddeiliaid i ymostwng ac ufuddhau iddi. Galwyd y rhai a ymostyngasant iddi yn Gydffurfwyr, a'r rhai a wrthodasant yn Annghydffurfwyr, neu Buritaniaid, am eu bod yn awyddus i gael addoliad yr Arglwydd yn fwy pur a syml. Mae yr enwau yma yn parhau mewn arferiad hyd y dydd hwn, ac yn dynodi dosbarthiad cyfundebau Cristionogol Prydain Fawr. Mynai yr Annghydffurfwyr mwyaf selog ddiwygio holl drefniant crefyddol y llywodraeth, tra yr oedd rhai mwy cymedrol yn foddlon ar gael rhyddid i addoli Duw eu hunain yn ol eu golygiadau. Ond gyrodd gwrthwynebrwydd a gormes y frenines hwy yn fuan i geisio mwy.

Ar y cyntaf, y prif bethau yr achwynai blaenoriaid y Puritaniaid yn eu herbyn oedd y gwisgoedd crefyddol a arferid, y rhai a gymerwyd oddiwrth y Pabyddion, a'r rhai a ystyrient yn nodau annghrist. Ond cyn hir daeth pynciau pwysicach dan eu hystyriaeth. Dalient fod cyfansoddiad yr eglwys Seisnig yn annghydweddol â'r ffurf a sefydlwyd gan Grist, a'u bod wedi dysgu oddiwrth Calfin ac eraill

* Macauley's History, vol. i. 52, 53, 60.

y dylai holl weinidogion crefydd fod yn gyfartal, o ran sefyllfa ac awdurdod. Yr oeddynt yn foddlon i weinidog ddwyn y titl esgob, a llywyddu mewn cyfarfodydd, er mwyn trefn a gweddeidd-dra; ond nid i hawlio uchafiaeth, a chymeryd rhan yn y llywodraeth wladol. Dywedent hefyd yn erbyn eglwysi cadeiriol a'r gwasanaeth a gynelid ynddynt, yn erbyn yr holl swyddwyr oedd yn byw ar eu cyllidau, ac yn erbyn arfer offerynau cerdd a chor-ganu (*chanting*) yn nghyflawniad yr addoliad dwyfol. Mynent ddiarddel o gymundeb eglwysig, nid yn unig y rhai a arweinient fywyd llygredig, ond hefyd y rhai y byddai eu duwioldeb yn amheus. Safent yn groes i gadwraeth gwyliau coffadwriaethol am seintiau, gwneyd llun y groes yn y bedydd, nodi tadau a mamau bedydd, os byddai rhieni y plentyn yn fyw, darllen ac esbonio yr Apocrypha i'r bobl, a chadw at ffurf-weddiau sefydlog, yn gystal a phob arferiad a ddygai unrhyw debygolrwydd i'r addoliad Pabaidd.* Daw hanes cynydd yr ymraniad hwn i gael lle pwysig mewn cyfnod dyfodol.

Yr oedd yr Ysgotiaid wedi cario egwyddorion y diwygiad yn llawer pellach na'r Saeson; a'r eglwys wedi pasio cyfreithiau iddi ei hun, wedi eu tynu i fyny gan Knox, y rhai a adnabyddir wrth yr enw, "Llyfr Cyntaf Dysgyblaeth." Neillduolrwydd y trefniant hwn ydoedd apwyntiad deuddeg penaeth taleithiol o'r clerigwyr, gyda'r titl o arolygwyr: yn y pethau eraill yr oedd yn ol cynllun Presbyteraidd Geneva. Rhoddent yr enw esgob i bob un oedd ag eglwys dan ei ofal, a phenderfynwyd galw y titl wrth enw y dyn, ac nid wrth enw y lle fyddai dan ei ofal. Yn 1592 rhoddwyd nawdd y senedd i'r ffurf Bresbyteraidd o lywodraeth eglwysig. Pum mlynedd yn ddiweddarach pasiwyd act, gyda chydsyniad y Gymanfa Gyffredinol, er awdurdodi cynnrychiolwyr o fysg y clerigwyr i eistedd yn y senedd, yr hyn a adferodd i raddau yr urdd esgobol—mewn gwirionedd, os nad mewn enw. Y cyfryw ydoedd cyfansoddiad yr eglwys Ysgotaidd yn niwedd y cyfnod dan sylw.†

Yr oedd sefyllfa yr eglwys yn Nghymru y pryd hwn yn bob peth ond dymunol. Yr oedd y llywodraeth eglwysig yr un yn awr yn Nghymru a Lloegr, ond yr oedd Cymru wedi suddo yn ddwfn, ac yn gorwedd yn ddiysgog yn nghadwyni haiarnaidd Pabyddiaeth. Yr oll o ffrwyth y diwygiad a gafodd hyd amser Elisabeth ydoedd cyfieithiad o Weddi yr Arglwydd, y Deg Gorchymyn, a'r Credo, gan Syr John Price o Aberhonddu; a chyfieithiad o'r Salmau, yr Efengylau, a'r Epistolau, gan William Salesbury. Dyoddefodd tri o Gymru ferthyrdod yn amser Mary, ond tri Sais oeddent. Bernir fod Cymry yn mysg merthyron Lloegr, a bod dau neu dri Chymro yn mysg y rhai a ffoisant i'r Cyfandir, ac a ddychwelasant yn amser esgyniad Elisabeth. "Ond yr oedd corph y genedl, offeiriaid a phobl,

* Mosheim's Ecclesiastical History, 669, 670. †Knight, vol. ii., 794.

yn Babyddion penderfynol; ac nid oedd yr ychydig a dderbyniasant egwyddorion Protestanaidd yn gyfryw, o ran nerth cymeriad, dysgleirdeb talent, a rhagoriaeth duwioldeb, ag ydoedd cyflwr y genedl ac amgylchiadau yr oes yn gofyn iddynt fod. Yn ofer y chwiliwn hanes y diwygiad am Cranmer, Latimer, neu Knox Cymreig. Ymwrthododd yr offeiriaid Cymreig â'u Protestaniaeth arwynebol, ar esgyniad Mary, ac ymwrthodasant eilwaith, fel corph, â'u Pabyddiaeth ar esgyniad Elisabeth, gyda'r eithriad o dri o'r pedwar esgob, a dau neu dri o uwch-swyddogion eraill. Nis gallesid dysgwyl i genedl oedd wedi ei darostwng dan ofal y fath ddysgawdwyr diegwyddor wneuthur unrhyw gynydd mewn crefydd na moesoldeb. Ysgrifenai Dr. Meyrick, esgob Bangor, yn 1560, nad oedd ganddo ond dau bregethwr yn ei holl esgobaeth. Ac nid yw yn ymddangos fod sefyllfa esgobaethau eraill yn llawer gwell."* Mae y desgrifiad a roddir o lygredigaeth yr offeiriaid, ac o gyflwr gresynus y bobl gyda golwg ar grefydd, gan yr Annghydffurfiwr a'r merthyr enwog, John Penry, mor dywyll a thruenus ag y medr iaith ei osod allan. Syrthiodd Penry yn aberth i'w elynion, a dienyddiwyd ef yn ddirgelaidd yn St. Thomas-a-Watering, Surrey, Mai 29ain, 1593.

## V.—CYNYDD RHYDDID.

Ni oddef ein terfynau i ni i gofnodi y gwahanol gyfreithiau a basiwyd yn ystod y cyfnod hwn; yr ydys eisoes wedi dangos eu bod gan mwyaf yn dal rhyw gysylltiad â chrefydd. Yr oedd y goron yn para i ddal gallu difesur, braidd; ond yr oedd gallu arall yn para i godi dan ei chysgod oedd i ddyfod i'w gymedroli; y gallu hwn oedd Tŷ y Cyffredin. Prif offerynau gweinyddiad gallu gormesol y llywodraeth oedd llysoedd y *Star Chamber* a'r *High Commission.* Yr oedd y cyntaf yn hen sefydliad, ond ychwanegid at ei awdurdod o deyrnasiad i deyrnasiad, nes y daeth, o'r diwedd, yn un o'r llysoedd mwyaf gormesol fu mewn unrhyw wlad. Ei aelodau oeddent y cyfrin-gynghor a'r barnwyr; ac os byddai y brenin yn bresenol, efe oedd yr unig farnwr. Amcan y llys oedd gweinyddu cospedigaeth ar bob math o droseddau nad ellid eu dwyn o fewn cyrhaedd y gyfraith gyffredin. Ond defnyddid ef i gyflawni ewyllys y penadur, pa un bynag a fyddai yn unol â'r cyfreithiau ai peidio. Math o Chwil-lys oedd llys yr *High Commission*, a gafodd ei gychwyniad oddiwrth Mary, ond a sefydlwyd dan Elisabeth; ac yr oedd yn dal cysylltiad cyffelyb â'r eglwys ag oedd y *Star Chamber* â'r wladwriaeth.

Ond er holl drais a gormes y llysoedd hyn, yr oedd egwyddor rhyddid gwladol a chrefyddol yn dyrchafu ei phen yn Nhŷ y Cyff.

* Rees's Nonconformity in Wales, 3.

redin, a rhoddodd ysbryd y diwygiad yni newydd ynddi, a thafod iddi i lefaru. "Cynwysai Tŷ y Cyffredin yn amser Elisabeth ddynion yn meddu teimlad gwladgarol, hyf, a diysgog, rhai oedd yn gyfarwydd â chyfreithiau ac ysgrifau yr hen amser, yn deall perygl eu gwlad a llygriadau y llywodraeth, ac yn ymwybodol mai eu braint a'u dyledswydd hwy oedd gwylio dros y llesiant cyffredinol. Arweiniodd hyn i lawer o amrafaelion rhwng y goron a'r senedd; yn y rhai, os gwnai y goron yn fynych gyhoeddi y fuddugoliaeth, cadwai y senedd weithiau y maes, ac yr oedd, ar y cyfan, yn enillwr, erbyn diwedd y frwydr."*

Yn senedd nodedig 1576, cawn Peter Wentworth, un o'r Puritaniaid, yn codi ei lef gyda hyfdra dyeithr i'r lle hwnw, yn erbyn gormes Elisabeth, ac o blaid rhyddid llafar ac ymddygiad, yr hyn a dynodd gawod o ddigofaint y frenines a'i gweinidogion am ei ben. Ystyrir fod ei araeth yn cynwys hadau yr egwyddorion rhyddfrydol sydd bellach wedi enill goruchafiaeth yn Mhrydain, a'r rhai ydynt yn enedigaeth-fraint dyn yn mhob gwlad. Dywedai fod yr enw rhyddid yn felus, ond fod y peth ei hun y trysor mwyaf anmhrisiadwy; a'i fod yn gweddu iddynt hwy fod yn ofalus rhag ymfoddloni ar felusder yr enw, ac esgeuluso y sylwedd, ac felly golli y trysor oedd yn fwy ei werth i'r deyrnas na phob meddianau daearol. Achwynai fod y rhagorfraint arbenig o ryddid i lefaru yn y Tŷ hwnw wedi cael ei chyfyngu yn fawr yn ddiweddar, a bod sefyllfa y peth ar y pryd yn dra pheryglus. Dywedai ei fod yn arferol pan ddygid unrhyw fater o bwys ger bron y Tŷ, yn enwedig os byddai yn dal cysylltiad â chrefydd, i awgrymu ei fod yn beth anfoddhaol i'r frenines, ac y buasai ymdrafodaeth pellach yn sicr o gyffroi ei digofaint; fod Solomon wedi dyweyd fod digofaint brenin fel cenad marwolaeth; fod hyn yn dychrynu dynion, ac yn eu cadw rhag cario allan eu dyledswyddau yn ol argyhoeddiad eu cydwybod; fod y Tŷ felly yn cael ei annghymwyso i wasanaethu y wlad na'r frenines; nad oedd ond cellwair i alw y fath gymanfa yn senedd, a gwrthod iddi y rhagorfraint oedd yn hanfodol i'w chyfansoddiad; a chan mai y senedd oedd gwarcheidwad mawr y cyfreithiau, y dylasai gael rhyddid i gyflawni ei hymddiried, a chynal yr awdurdod o ba un y mae breninoedd eu hunain yn derbyn eu bodolaeth; fod y brenin yn cael ei gyfansoddi yn gyfryw gan y gyfraith; ac er nad oedd yn dibynu ar ddyn, eto ei fod yn ddarostyngedig i Dduw a'i gyfraith, a than rwymedigaeth i gymeryd eu gorchymynion hwy, ac nid ei ewyllys ei hun, yn rheol ei ymddygiadau; fod hyd y nod ei genadwriaeth ef, fel rhaglaw Duw, yn cadarnhau ei rwymedigaeth, ac nid yn ei ryddhau ef oddiwrthi; ac os oedd yn ymgymeryd â gweinyddu ewyllys Duw, nad oedd hono

* Hallam, vol. i, 248.

yn ddim ond cyfraith a chyfiawnder; fod yr awgrymiadau a roddid o dynu anfoddlonrwydd y frenines, a'r arferiad pan fyddai y Tŷ yn cymeryd unrhyw bwnc gwladol neu eglwysig i ystyriaeth, o ddwyn gorchymyn oddiwrth y frenines i adael y materion hyny yn llonydd, yn gaethiwed ac yn orthrwm peryglus ar ryddid y Tŷ a'r deyrnas. Fod yr esgobion, yn eu hyfdra dan ei chysgod breninol hi, wedi cymeryd awdurdod terfynol mewn pynciau crefyddol, ac yn galw ar bob un i ymostwng i'w penderfyniadau tra-arglwyddiaethol hwy; fod ei gariad ef at ei benadur yn ei orfodi i agor ei enau dan y fath gamwri, ac i beidio aberthu ei ddyledswydd i weniaith iselwael a goddefgarwch ar achlysur mor bwysig, ac nad oedd y frenines ei hun, mwy na rhyw greadur daearol arall, yn rhydd oddiwrth fai; ond yr oedd, wrth osod y fath orthrwm ar ei senedd ffyddlon, wedi cyflawni trosedd pwysig a pheryglus yn ei herbyn ei hun, ac yn erbyn yr holl wladwriaeth.*

Gallasai y gwr oedd yn meddu y fath syniadau, yn meddu yr ysbryd gwrol a feiddiodd eu cyhoeddi ger bron y senedd, fforddio dyoddef mis o garchariad yn y Tŵr am ei feiddgarwch; ac yr oedd cosped-igaeth mor ysgafn am y fath araeth yn ddigon o brawf o gynydd egwyddorion rhyddid. "Mae ymdrech cyson mewn cymdeithas i daflu ymaith yr hyn sydd yn anghyfaddas i'w chynydd a'i llwyddiant. Mae yn anfoddlon i bob peth nad yw yn arddangosiad o'i hysbryd bywiol a llywodraethol; ac felly y mae tynged pob cyfundrefn wladol yn cael ei benderfynu gan nerth bywyd meddyliol a moesol cymdeithas neu genedl. Felly hefyd am bob trefniadau eglwysig. Os byddant yn annigonol i roddi amlygiad rhydd ac agored o deimlad crefyddol y bobl, rhaid iddynt roddi ffordd i ordeiniadau a threfn-iadau gwell ac uwch. Mae rhyddid crefyddol a gwladol yn gydfynedol; ac nis gall y naill fodoli ar wahan oddiwrth y llall. Gosodwch ddyn yn rhydd mewn ystyr wladol, a buan y dysg fathru dan ei draed bob ffurf ac ymddangosiad o draws-awdurdod ysbrydol. Nis gall gormes ysbrydol gyd-fodoli a rhyddid gwladol, mwy nag y gall caethiwed gwladol barhau yn nghanol dylanwadau goleu a rhyddfrydig addysg, athroniaeth, ac ymchwiliad moesol. Gwrth-wynebrwydd i drais ysbrydol ddysgodd ddynion i amheu tra-awdurdod gwladol; gwrthwynebrwydd i allu gwladol yn ceisio gorfodi dynion i dderbyn credo a ffurf-addoliadau, arweiniodd i'r ymchwiliad am seiliau a therfynau pob llywodraeth ddynol. Pan ddaw yr enaid i gydnabod ei berthynas uniongyrchol â gallu uwch na dynol, mae athrawiaeth hawl ddwyfol breninoedd, a dyled-swydd deiliaid i ufudd-dod llwyr a pherffaith, yn ffrwydro am byth. Fel hyn y mae Protestaniaeth a rhyddid gwladol wedi gwasanaethu y naill y llall trwy holl hanesiaeth ddiweddar. Daethant i waered

* Hume, Knight.

law yn llaw trwy oesoedd o gollfarnedigaeth a gwaed; gyda tharian wrth darian y safasant ar faes y frwydr yn Lloegr, Cymru, Ysgotland, Holland, a Germany; ochr yn ochr y chwifiwyd hwy ar draws y cefnfor gan yr un aden; ochr yn ochr y tyfasant dan y ffynidwydden a'r gelynen, yn unigrwydd y Byd Newydd. Cymerer *map* Ewrop, a noder allan y gwledydd hyny a gyrhaeddasant agosaf at ryddid cyhoeddus hollol, a byddis wedi nodi allan diriogaeth Protestaniaeth. Nodwch y parthau ag y mae bywyd gwladol a meddyliol yn curo wanaf, a disgyn eich llygaid ar wledydd ag y mygwyd Protestaniaeth yn foreu yn ei gwaed ei hun, a'r lle y dystrywiwyd rhyddid gwladol a meddyliol gyda hi.*

## VI.—ADDYSG A LLENYDDIAETH.

Sefyllfa Addysg. YN y chwyldroadau crefyddol a gymerasant le yn y cyfnod hwn, dymchwelwyd y mynachdai, a thrwy hyny collwyd lluaws o sefydliadau addysg yn y wlad. Mae yn amheus a oedd dysgeidiaeth, ar y cwbl, yn mhellach yn mlaen yn niwedd teyrnasiad Elisabeth nag ydoedd ar ddechreu teyrnasiad ei thad, neu ei thadcu. Yr oedd y gelfyddyd o argraffu, mae yn wir, wedi gwneyd llawer erbyn hyn, ond nid cymaint oedd wedi ei wneyd eto gyda golwg ar addysg gyffredinol i'r lluaws. Efallai fod y genedl a gododd i fyny gyntaf ar ol darganfyddiad y gelfyddyd o argraffu, a'r rhai a gawsant groesawu gyntaf y Diwygiad a'r Bibl cyfieithiedig, yn fwy o ddarllenwyr na'u ŵyrion.†

Ar yr un pryd, cododd amryw o ysgolion o radd uwch nag o'r blaen yn y cyfnod hwn; ac y mae llawer o'r sefydliadau addysg rhydd y dyddiau hyn yn dyddio eu cychwyniad o dan deyrnasiad Elisabeth. Cyfeiria Cranmer at un gwall pwysig oedd yn ffynu yn y rhan fwyaf o'r ysgolion, sef llymdra y cerydd corphorol a weinyddid ar yr ysgolheigion. Beia Ascham, yn ei *Schoolmaster*, y creulondeb hwn, a dywed fod yr ysgolfeistr yn curo casineb at addysg i mewn i'r dynion ieuainc, ac yn eu gwneyd mor annhueddol i fyned i'r ysgolion. Y mae y sylw yn briodol at oesoedd diweddarach, ac, fel mae gwaethaf y modd, at rai sefydliadau addysg yn y dyddiau hyn.

Yr oedd Elisabeth yn gefnogol i addysg; ond tybiwn fod Harrison yn myned yn rhy bell pan ddywed fod pob swyddfa perthynol i'w llys yn cynwys Bibl, neu lyfr *Acts and Monuments of the Church of England*, neu bob un o'r ddau, heblaw hanesion a chroniclau, "er gochelyd diogi, a rhagflaenu amryw droseddau." Neu, os felly yr oedd, nid oedd nemawr o ddefnydd yn cael ei wneyd o honynt, gan fod genym dystion lawer fod ei llys yn dra llygredig.

* Gwel Ferguson's History, 110, 111. † Knight.

Traul addysg meibion Syr W. Cavendish yn Ngholeg Eton, yn niwedd yr unfed ganrif ar bymtheg, oedd fel hyn:—Traul wythnosol am fwyd, 5s.; dau bâr o esgidiau, 1s. 4c.; Chwedlau Esop, 4c. Holl draul y flwyddyn am ddau fachgen a'u gwas, yn cynwys dillad, llyfrau, a threuliadau eraill, 12p. 12s. 7c. Yn 1514, yr oedd pum punt y flwyddyn yn ddigon i glirio traul efrydydd yn un o'r prif ysgolion. Ond yr oedd y pris wedi codi, gyda'r codiad cyffredinol, erbyn diwedd y ganrif. Yr oedd y darpariadau ar gyfer yr efrydwyr tlotaf y pryd hwnw yn dra gwahanol i'r hyn ydyw heddyw. Mae desgrifiad Lever o fywyd yr ysgolor yn Cambridge tua chanol y ganrif yn dra dyddorol. "Mae llawer yno yn codi rhwng pedwar a phump o'r gloch y boreu; o bump i chwech cymerant lyfr gweddi gyffredin, gyda chyfarwyddiadau o air Duw yn y capel. O chwech i ddeg arferant naill ai efrydiaeth neillduedig neu ddarlithiau cyffredin. Ciniaw am ddeg, yr hon fydd yn cynwys gwerth ceiniog o gig eidion rhwng pedwar, a llymaid o gawl wedi ei wneyd o'r cig hwnw, gyda halen a blawd ceirch, a dim arall. Ar ol y giniaw ddiniwed hon ânt i ddysgu hyd bump y prydnawn, pryd y cymerant swper heb fod lawer gwell na'r giniaw. Yna yn union at eu gorchwylion—i ymresymu yn nghylch dyrys bynciau, neu ryw efrydiaeth arall, hyd naw neu ddeg o'r gloch. Wedi hyny, gan eu bod heb dân, y maent yn gorfod cerdded neu redeg yn ol a blaen am haner awr i dwymno eu traed cyn myned i'w gwely. Dynion yw y rhai hyn nad ydynt yn blino ar eu poenau, ond sydd yn flin o herwydd gorfod gadael eu hefrydiaeth; ac y mae amryw o honynt yn methu aros o ddiffyg modd." Dengys Syr Thomas More fod sefyllfa efrydwyr yn Rhydychain yn waeth fyth. "Mae ysgolheigion tlodion Rhydychain yn myned i gardota gyda'u cydau a'u gwaleti, ac yn canu o flaen drysau y cyfoethogion, pryd y bydd dynion da, o dosturi atynt, yn cyfranu at eu hangenion."

Yr oedd cylch yr addysg yn nodweddiadol o'r amseroedd. Dywed Ascham nad oedd ef am gaethiwo yr efrydwyr i fod bob amser yn syllu uwchben eu llyfrau, a rhydd gyfres o'r hyn fuasai ef yn gymeradwyō fel moddion addysg y bobl ieuainc. Cynwysai farchogaeth, rhedeg, trin arfau, saethu gyda bwa yn gystal a llawddryll, neidio, codymu, nofio, dawnsio, a chwareu ar offerynau cerdd, yn gystal ag astudio llyfrau. Gwelir nad oedd yn mysg y rhai hyn yr un o'r hapchwareuon segur, megys cardiau, *chess*, a'r cyffelyb, y rhai sydd a thuedd uniongyrchol i gynen ac oferedd.

Llenorion a Llenyddiaeth.

Er na ddangosodd Elisabeth unrhyw gefnogaeth arbenig i lenyddiaeth, eto cododd amryw o ser dysglaer llenyddiaeth Seisnig dan ei theyrnasiad. Yr ydym eisoes wedi coffa enwau More a Cranmer, ac eraill o'u cydoeswyr, yn y benod o'r blaen. Bernir mai rhai o weithiau More, ac yn enwedig ei lyfr

ar "Hanes Bywyd a Theyrnasiad Edward V.," yw y cyfansoddiadau cyntaf yn yr iaith a deilyngant eu galw yn glasurol. Cranmer oedd yr ysgrifenydd mwyaf yn mysg sylfaenwyr y diwygiad Seisnig. Nid oedd ei gyfeillion, Latimer a Ridley, yn gymaint o ysgrifenwyr ag o bregethwyr. Yr oedd Roger Ascham, hen ysgolfeistr y frenines Elisabeth, yn awdwr o radd uchel. Ei brif lyfrau oeddent y "*Toxophilus*" a'r "*Schoolmaster.*" Yn 1553 cyhoeddodd Wilson ei "*Art of Rhetorick;*" Lyly ei "*Euphues*" yn 1579; a Puttenham ei "*Art of Poesy*" yn 1582. Gwnaeth pob un o'r rhai hyn ei ran—a Lyly fwy na'r lleill—i buro a pherffeithio yr iaith Seisnig. Syr Phillip Sidney hefyd ydoedd awdwr enwog, ac un o brif ysgolheigion yr oes. Bu farw o archoll a gafodd yn mrwydr Zutphen yn 1586. Ni chyhoeddwyd yr un o'i weithiau yn ystod ei fywyd; ond yn ystod y deng mlynedd dylynol i'w farwolaeth, cyhoeddwyd ei "*Arcadia,*" ei "*Astrophel and Stella,*" a'i "*Defence of Poesy.*" "Mae rhyddiaith Sidney," meddai Knight, "y mwyaf dylifol a barddonol yn yr iaith Seisnig; ond y mae yr addurn yn fwy o ffrwyth llafur celfyddydol nag o ddadblygiad byw a naturiol. Mae y syniadau, yn wir, yn fwy barddonol na'r iaith; ysbryd barddoniaeth ydyw, wedi ei amgau mewn gwisg areithyddol." Mae hanes ei farwolaeth yn darawiadol: archollwyd ef yn farwol yn mrwydr Zutphen; ac fel yr oedd yn codi potel a gwin at ei enau, disgynodd ei lygad ar filwr cyffredin oedd yn nhagfa marwolaeth yn ei ymyl. Estynodd Syr Phillip y botel a'r gwin i hwnw, a dywedodd, "Druan, mae dy angen di yn fwy na'r eiddof fi!" ac yn y fan bu farw.

Yn olaf yn mysg awdwyr rhyddieithol yr unfed ganrif ar bymtheg yr enwir Richard Hooker, awdwr enwog y llyfr a elwir "*The Laws of Ecclesiastical Polity,*" am yr hwn y dywedodd y pab Clement VIII., "Mae y dyn hwn, yn wir, yn teilyngu yr enw awdwr; daw amser â mwy fwy o barch i'w lyfrau; oblegyd y mae ynddynt y fath hadau anfarwoldeb, ag a'u dwg yn mlaen nes i'r tân diweddaf losgi pob dysgeidiaeth."

Mae barddoniaeth y cyfnod yn cynwys rhan bwysig o'i lenyddiaeth. Yn mlaenaf yn y cyfnod hwn, fel bardd o ddim nod, y daw enw Arglwydd Surrey, yr hwn a ddygodd y mesur penrydd (*blank verse*) i'r iaith Seisnig. Cyhoeddwyd ei weithiau, yn nglŷn a gweithiau bardd arall llai enwog, o'r enw Syr Thomas Wyatt, yn 1557. Yn tra rhagori ar y rhai hyn oedd Edmund Spenser, awdwr y "*Farie Queen,*" argraffiad cyntaf pa un a gyflwynwyd i Elisabeth. Ganwyd Spenser yn Llundain, yn 1553, a chyhoeddwyd ei weithiau yn mlynyddoedd olaf y ganrif. Er nad ystyrir ef y bardd mwyaf, bernir fod ei farddoniaeth y mwyaf barddonol o bob barddoniaeth a ysgrifenwyd. Bardd ydoedd, a bardd yn unig. "Mae ei gyfansoddiadau yn wir farddoniaeth, oll yn farddoniaeth, a dim ond

barddoniaeth." Rhoddodd y werin ei dŷ ar dân yn Cork, a llosgwyd un o'i blant, ei holl eiddo, a chyfran o'i weithiau. Torodd yntau ei galon, a bu farw yn fuan mewn angen.

Ond bardd y cyfnod oedd WILLIAM SHAKSPEARE, yr hwn a aned yn Stratford-on-Avon, swydd Warwick, yn 1564, ac a fu farw yn 1616. Ystyrir ei gyfansoddiadau chwaryddol (y rhai ydynt tua phymtheg ar ugain mewn nifer) y goreu o'r fath a ysgrifenwyd erioed mewn unrhyw iaith, ac yr oedd eu cyhoeddiad yn ddechreuad cyfnod newydd yn hanes llenyddiaeth y wlad. Cyhoeddodd lawer o gyfansoddiadau barddonol, y rhai a ysgrifenodd gan mwyaf, os nid oll, o flaen ei weithiau chwaryddol. Ond yn yr olaf y cafodd ei feddwl nerthol ac athrylithgar o hyd i'w redle priodol. Yr oedd beirdd chwaryddol eraill yn gydoeswyr â Shakspeare, megys Ben Jonson, yr hwn a alwai Shakspeare yn *Rare Ben;* Beaumont, Fletcher, a Messenger. Yn mysg prif haneswyr y cyfnod yr oedd William Camden, o Lundain, yr hwn a ysgrifenodd hanes Prydain, dan yr enw "*Britannia;*" John Stowe, yr hwn a ysgrifenodd hanes cyffelyb dan yr enw "*The Chronicles of England;*" a Syr Walter Raleigh.

Cofnodir enwau dau fardd o gryn fri yn Ysgotland yn y cyfnod hwn, sef Dunbar, yr hwn a elwir yn "Chaucer Ysgotland," a Lyndsay. Cymherir Dunbar gan feirniaid diweddar i Burns, a Lyndsay i Allan Ramsay.

Mae rhai llenorion Cymreig hefyd yn perthyn i'r cyfnod hwn sydd yn deilwng o'u coffa. Dywedir fod WILLIAM SALESBURY, brodor o Lanrwst, a'r hwn a dderbyniodd ei addysg yn Rhydychain, yn feistr ar naw o ieithoedd, heblaw y Gymraeg a'r Saesneg. Cyhoeddodd amryw lyfrau yn haner olaf yr unfed ganrif ar bymtheg; ond y gwaith a anfarwolodd ei enw oedd ei gyfieithiad o'r Testament Newydd, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1567. Yn amser yr erledigaeth dan Mary, preswyliai Salesbury yn mhlwyf Llansanan, a dywedir fod ganddo yn ei dŷ ystafell ddirgel i ymguddio ynddi er dwyn yn mlaen ei lafur awdurol, nad oedd yn bosibl myned iddi ond o'r simnai. Bu wedi hyn yn aros am ddwy flynedd gyda Dr. Richard Davies yn Abergwili, yn parotoi cyfieithiad o'r Hen Destament; ond gadawyd hwnw heb ei orphen. DR. R. DAVIES hefyd o Gyffin, Conway, yr hwn a ffodd i Geneva yn amser Mary, ond a ddychweledd yn amser Elisabeth, ac a wnaed yn gyntaf yn esgob Llanelwy, ac wedi hyny a symudwyd i esgobaeth Tyddewi, oedd Gymro dysgedig, ac yn llenor o fri. Efe oedd un o'r pump a benodwyd gan y llywodraeth i arolygu y cyfieithiad Cymreig o'r Bibl, ac ymddengys mai efe oedd yr unig un a gymerodd ran weithredol yn y gorchwyl. Rhoddodd gynorthwy hefyd i Salesbury yn nghyfieithiad ei Destament. Un arall oedd THOMAS HUET, periglor Cefnllys, yn Mrycheiniog, yr hwn a gyfieithodd lyfr y Datguddiad i Salesbury.

A bydd enw DR. WILLIAM MORGAN mewn coffadwriaeth fendigedig gan y Cymry tra parhao eu hiaith, oblegyd iddo, yn y cyfnod hwn, eu hanrhegu â chyfieithiad o'r holl Fibl. Ganwyd ef yn mhlwyf Penmachno, Sir Gaernarfon; derbyniodd ei addysg yn Cambridge; yn 1578 derbyniodd ficeriaeth Llanrhaiadr-yn-Mochnant, ac yno y cyflawnodd ei orchwyl bythgofiadwy. Yr ydym eisoes wedi son am yr enwog JOHN PENRY, yr hwn a syrthiodd yn aberth i'w sel dros y gwirionedd, a thros efengyleiddiad ei wlad.*

## VII.—MASNACH A LLAFUR.

MAE y cyfnod hwn yn adeg o chwyldroad a chynydd rhyfeddol mewn masnach a llafur, nid yn unig yn y wlad hon, ond trwy holl barthau y byd. I amser Elisabeth y gellir dyddio dechreuad masnach forwrol Lloegr ar raddfa eang, ac agoriad llwybrau masnachol â pharthau pellenig. Prif nwyddau masnachol Lloegr oeddent gwlân a defnyddiau dillad. Rhoddodd Elisabeth nodded yn y wlad hon i luaws o ffoedigion o Flanders; a chan fod y rhai hyny yn fedrus fel gwehyddion, buont yn gyfnerth mawr i fasnach yn Lloegr. Yr oedd tua phedair mil o honynt wedi ymsefydlu yn Norwich yn y flwyddyn 1571. Cefnogwyd gwneuthuriad offerynau awch hefyd yn fawr gan y dyeithriaid hyn yn nghymydogaeth Sheffield. "Mae yn syndod i feddwl," meddai hanesydd o'r Netherlands, "y swm aruthrol o ddefnyddiau dillad a gludir o Loegr i'r Netherlands, yr hyn sydd, yn ddiau, a gosod y naill flwyddyn at y llall, yn llawn gwerth miliwn o bunau yn flynyddol; ac mae y rhai hyn, yn nghyda'r nwyddau eraill a ddygir i ni gan y Saeson, a'r pethau a gludir iddynt hwy oddiwrthym ninau, yn cyrhaedd y swm blynyddol o tua dwy filiwn a phedwar can mil o bunau (£2,400,000), yr hyn sydd fantais annhraethol i'r ddwy wlad, ac yn peri nad allai y naill, heb fyned i'r dyryswch mwyaf, hebgor nwyddau y llall." Dengys hyn fod masnach Lloegr a'r Netherlands ys tri chan mlynedd yn ol yn ddirfawr,—cymaint, os nid mwy, ac ystyried y gwahaniaeth sydd yn ngwerth arian, ag sydd rhwng Lloegr y dyddiau hyn ag unrhyw wlad ar y ddaear. Dyma y pryd y ceir yr hanes cyntaf am gynllun dyogeliad nwyddau. Dywed yr hanesydd uchod fod marsiandwyr, o bob tu i'r môr, wedi ymgymeryd â ffordd, trwy gydgyfraniadau, i ddyogelu eu nwyddau rhag colledion ar y môr.

Y cynydd masnachol hwn, yn gystal a ffurfiad amryw gwmnioedd masnachol yn y brif-ddinas, barodd yr angen am dŷ cyfleus yn Llundain i'r masnachwyr hyn i ymgyfarfod; ac yn 1566 y dechreuwyd adeiladu y *Royal Exchange* gan y marsiandwr enwog, Syr Thomas Gresham, ar ei draul ei hun, wedi i swyddogion y ddinas ei

* Gwel Rees's Nonconformity in Wales.

anrhegu â lle tair o ystrydoedd at y pwrpas. Llosgwyd yr adeilad orwych yn nhân mawr Llundain, yn mhen can' mlynedd.

Yr oedd cynydd gwareiddiad yn cynyddu y galwad am haiarn. Tua chanol yr 16eg ganrif y dechreuwyd arfer y ffwrneisi toddi yn y wlad hon. Daeth hon yn fuan yn fasnach bwysig, ac oni bai dygiad glo yn lle coed yn danwydd, buasai y fasnach wedi llwyr ddiflanu o Brydain ys blynyddoedd. Yn y seithfed flwyddyn i Elisabeth, gorfuwyd atal ffwrneisi swydd Lancaster, am fod angen brigau y coed ar yr anifeiliaid yn y gauaf.

Araf oedd cynydd amaethyddiaeth; eto yr oedd cynydd cyffredinol masnach yn rhwym o ysbardyno y gangen bwysig hon o lafur. Yn gydfynedol â'r cynydd hwn y cawn y deddfau cyntaf am wellhau ffyrdd yn amser Mary ac Elisabeth. Pasiwyd chwech o gyfreithiau gyda golwg ar welliant y prif ffyrdd yn amser Mary, a dwy ar bymtheg yn amser Elisabeth; ond ni ddygwyd tollbyrth i arferiad cyn amser Charles II. Cynyrchodd gwelliant y ffyrdd welliant amaethyddol mewn amryw barthau. Yr arferiad cyffredin yn mysg ffermwyr oedd, ar ol cnwd o wenith neu ryg, hau haidd neu geirch yn y gwanwyn, ac yna ei adael yn fraenar. Yn amser Elisabeth y dygwyd *clover* gyntaf i'r wlad hon o'r Netherlands, a'u prif wasanaeth oedd cyflenwi ag ir-fwyd pan fyddai y borfa yn brin; cynorthwyent y ffermwr hefyd i gadw mwy o anifeiliaid, ac felly gael mwy o wrtaith i'w dir. Cyfrifid fod erw o dir da y pryd hwnw yn cynyrchu o un ar bymtheg i ugain pwysel o wenith neu ryg, un ar bymtheg ar ugain o haidd, ac o bedwar i bump chwarter o geirch. Mae erw o'r tir goreu yn awr yn cynyrchu o bump ar ugain i ddeg ar ugain o wenith. Pris cyffredin y gwenith, yn fuan ar ol amser cynhauaf, mewn blynyddoedd cynyrchiol, yn nechreuad y ganrif, oedd oddeutu 5s. y pwysel; 8s. tua chanol y ganrif; a 15s. tua'i diwedd.*

*Mewn cyfansoddiad barddonol tua chanol y ganrif rhydd Thomas Tusser, o Essex, ddesgrifiad manwl o amaethyddiaeth y wlad. Mae y dyfyniad canlynol allan o'r "Corn Harvest:"—

1 One part cast forth for rent due out of hand.
2 One other part, for seed to sow the land.
3 Another part, leave parson for his tythe.
4 Another part, for harvest sickle and scythe.
5 One part, for plough-wright, cart-wright, knacker and smith.
6 One part, to uphold thy teams that draw therewith.
7 One part, for servant and workman's wages lay.
8 One part, likewise, for fill belly day by day.
9 One part, thy wife for needful things doth crave.
10 Thyself and child, the last one part would have.

Who minds to quote upon this note,
May easily find enow,
What charge and pain, to little gain,
Doth follow toiling plough.

Yn amser Elisabeth, fel y dangoswyd eisoes, y dechreuwyd yr hyn a ddeallir wrth y gaethfasnach, sef dal negroaid Affrica, a'u gwerthu fel anifeiliaid; dan yr un teyrnasiad hefyd y dechreuwyd pysgota môrfilod (*whales*). Dygwyd tybaco hefyd i'r wlad hon gyntaf gan Syr Walter Raleigh, o ynys o'r enw Tobago; a'r un gwr ddygodd y bytaten i'r Iwerddon. Myn rhai i Hawkins ddwyn pytatw i'r ynys hon o New Spain, yn y flwyddyn 1565. Dygwyd lluaws o lysieufwyd eraill drosodd yma yn amser Elisabeth, y rhai ydynt wedi parhau hyd heddyw yn rhan bwysig o ymborth y trigolion.

## VIII.—CYFLWR, ARFERION, A DEFODAU Y BOBL.

Y Tlodion.

Yr oedd cyflwr y bobl yn gwella gyda chynydd masnach, llafur, a gwareiddiad, fel y mae y cyfnewidiad yn agwedd gyffredinol y wlad yn fawr wrth gymharu dechreu a diwedd yr unfed ganrif ar bymtheg. "Am gaethion," meddai Harrison, "nid oes yma ddim i'w cael; yn wir, y cyfryw yw rhagorfraint ein gwlad, trwy ras Duw, a hynawsedd ein tywysogion, fel, os daw caethion yma o wledydd eraill, mor gynted ag y rhoddant eu traed ar ein tir, y maent mor ryddion â'u meistri." Ond parodd y rhyddid hwn, yn nghyda dinystriad y mynachdai, a chynydd poblogaeth y wlad, gynydd mawr hefyd ar dlodion a chardoteiwyr. Cyfrifir poblogaeth Lloegr a Chymru y pryd hwn o bump i chwe miliwn o eneidiau. Daeth achos y tlodion yn bwnc seneddol, a phasiwyd amryw gyfreithiau olynol i geisio llethu cardoteiaeth cynyddol y wlad. Y gyfraith unwaith oedd fod yn rhaid i gardotyn gael trwydded oddiwrth yr ynad heddwch, ac yr oedd yn rhaid iddo beidio myned dros derfynau ei ardal neu ei blwyf ei hun. Os efrydydd fyddai y cardotyn, byddai yn rhaid iddo gael trwydded gan ganghellydd y brif-ysgol. Wedi hyny pasiwyd cyfraith i beri i bregethwyr ac eraill gasglu rhoddion gwirfoddol er diwallu tlodion eu hardaloedd, ac ychwanegid cospedigaethau trymion ar grwydriaid cardoteiol, os byddent yn alluog i ddylyn unrhyw orchwylion. Yr oedd pob un felly i gael ei ystyried yn ddyhiryn, ac awdurdod gan y neb a fynai i'w ddal, a'i orfodi i weithio am ei fwyd a'i ddiod; ac os rhedai i ffwrdd, llosgnodid ef â'r llythyren V *(villain)*, ac ystyrid ef yn gaethwas i'w feistr am ddwy flynedd, ac awdurdod gan y meistr i'w orfodi i gyflawni unrhyw galedwaith gyda fflangellau a chadwynau. Os rhedai ymaith yr ail waith, llosgnodid S *(slave)* ar ei rudd, a dyfernid ef yn gaethwas i'w feistr

Yet farmer may thank God, and say,
  For yearly such good hap;
Well fare the plough, that sends enow,
  To stop so many a gap.

dros ystod ei oes. Os rhedai ymaith drachefn, yr oedd i ddyoddef marwolaeth fel drwg-weithredwr. Yr oedd awdurdod i gymeryd plant o bump i bedair ar ddeg oed a ddelid yn cardota i fyny, yn feibion a merched, ac heb ganiatad eu rhieni, i'w rhwymo i brentisiaeth, neu eu gosod mewn gwasanaeth. Newidid y cyfreithiau hyn yn fynych; ond yn 1562, pasiwyd deddf yn awdurdodi ynadon i osod treth ar bersonau anewyllysgar i gyfranu at y tlodion, a'u taflu i garchar os na thalent. Yr oedd y llymder blaenorol yn cael ei arfer yr un fath tuag at y crwydriaid a heidient dros y wlad; yr oeddent i gael eu fflangellu, eu llosgnodi, llosgi darnau o'u clustiau ymaith, a'u rhoddi i farwolaeth os parhaent i droseddu. Ond o'r diwedd, yn y flwyddyn 1601, pasiwyd yr Act nodedig a elwir y 43ain i Elisabeth, yr hon yw sylfaen holl drefniadau cyfraith y tlodion hyd y dydd hwn.

Anedd-dai.

Un prawf amlwg o'r cynydd cyffredinol oedd yn myned yn mlaen y pryd hwn ydoedd gwelliant adeiladau ac anedd-dai. Fel yr oedd y teimlad o ddyogelwch yn cynyddu, daeth y mawrion i adael eu hen gestyll trymaidd, ac i drigo mewn palasau teg, y rhai a adeiledid yn ol yr arddull Elisabethaidd, fel y gelwid ef. Os na fyddai ceryg yn gyfleus, adeiledid y tai â phriddfeini, neu goed wedi eu gorchuddio â phlastr; byddai wyneb y palasau yn hir ac yn gyffredin ar ffurf E—, y llythyren gyntaf yn enw y frenines; a'r ffenestri yn fawr, a lluosog, ac yn gwasgu allan ar ffurf grymaidd. Cwynai Bacon fod rhai o'r palasau hyn mor llawn o wydr fel yr oedd yn anhawdd i ddyn allu gwybod pa le i fod allan o'r haul. Yr oedd y ffenestri hyn yn gwneyd y tŷ i ymddangos yn fwy prydferth, ond yr oeddent yn ei wanhau, ac yn ei wneyd yn oerach y gauaf.

Adeiledid tai y bobl gyffredin, gan mwyaf, o goed wedi eu taclu yn *frame-work*, a'u gorchuddio â dellt a phlastr. Mewn trefi byddai yr ystafelloedd uchaf yn eangach, ac yn crogi dros y parthau isaf. Yr oedd y tai yn y wlad yn llai na'r tai presenol, ac yn cael eu gwneyd yn fynych o glai, eu gwynu â chalch, a'u toi â brwyn, ac yn cynwys dwy ystafell. Nid oedd y ffermdai bychain nemawr gwell. Yr oedd rhyw fath o simneiau iddynt yn gyffredin, yn awr, ac nid gadael y mwg i fyned allan trwy y drws a'r ffenestri, fel cynt. Yr oedd y coed yn cael eu difa mewn llawer parth gan y gweithfeydd, a glo yn dyfod fwy-fwy i arferiad, yr hwn a ddygid o Newcastle. Ond yr oedd llawer o ragfarn yn erbyn mwg a thawch y glo; ac yr oedd ei losgiad yn cael ei wahardd yn Llundain, yn amser Elisabeth, dros ystod eisteddiad y senedd, rhag niweidio iechyd aelodau o'r wlad. Garw ac annghyfleus oedd y tai o fewn. Mewn palasau, mae yn wir, byddai y gwelydd yn cael eu gorchuddio â brethyn goreuredig, neu addurnwaith arall, y lloriau yn cael eu haddurno

neu eu carpedu, â chelfi a llestri costus at wasanaeth y teulu; ond muriau moelion geirwon oedd yn y tai cyffredin; dillad, byrddau, ac ystolion o waith cartref; esgidiau coed am y traed, a llestri coed; plâd pren, phiol bren, a llwy bren, oedd

> "Yr hen amser gynt
> Pan oedd Bess yn teyrnasu;"

eto yr oedd y rhan fwyaf yn llwyddo i fyw yn o gysurus yn nghanol cymaint o annghyfleusderau. Dywedai yr Ysbaeniaid yn amser Mary, wrth gydmaru tai a bywioliaeth y bobl,—"Mae y Saeson yn gwneyd eu tai o goed a llaid, ond y maent yn byw ynddynt fel breninoedd."

Ymborth. Nid ydym i gasglu oddiwrth hyn fod ymborth beunyddiol y dosbarth cyffredin, nac hyd y nod y dosbarth uwchlaw iddynt, yn foethus, o'i gydmaru â'r hyn ydyw yn awr. Ni fwyteid bara gwenith pur, mewn teuluoedd cyfrifol, ond ar achlysuron neillduol. Bara tywyll a garw fyddai y bara cyffredin, wedi ei wneyd weithiau o wenith a rhyg, neu fran, neu haidd a cheirch a phys yn gymysg. Y cigfwyd cyffredin oedd eidion, defaid, moch, ac ednod. Gwnelid prydiau mynych o fara tywyll a llaeth enwyn, neu gig moch, neu gaws ceulfraen *(curds)*. Yr oedd amryw lysiau gerddi hefyd yn dyfod i arferiad yn niwedd y ganrif, megys bresych (*cabbages*), panas, moron (*carrots*), melon, pompiwn, a'r cyffelyb. Yr oedd caws, ymenyn, ac wyau yn dyfod i fwy o arferiad.

Nid oedd tê na choffi yn adnabyddus y pryd hwn; a'r ddiod gyffredin oedd cwrw. Yr oedd yn cael ei ddarllaw yn y teuluoedd, weithiau yn wanach, ac weithiau yn gryfach. Anfynych y rhoddid *hops* yn y cwrw cyn y ganrif nesaf. Desgrifia Harrison ei ffordd o ddarllaw yn 1586. O wyth pwysel o frag, haner pwysel o wenith, a haner o geirch, darllawai ddau can galwyn o gwrw. Byddai y cwrw goreu a gedwid yn gyffredin dros flwydd oed, ac nid ystyrid ef yn gyfaddas i'r teulu heb fod dros fis oed. Yr oedd gwin, mêdd, ac amryw wlybyroedd meddwol eraill, mewn cryn arferiad hefyd. Llygrwyd y wlad i raddau helaeth gan flys at y diodydd hyn, ac ymdyrai y bobl at eu gilydd i'r tafarndai i yfed a meddwi. Gelwid y cwrw a werthid yn gyffredin yn y tafarn yn "*huffcap*," ac ar enwau eraill, er dangos ei nodwedd ef, neu gariad y bobl ato; megys "ci drwg," "bwyd yr angel," "llaeth y ddraig," a'r cyffelyb. Ys tri chan mlynedd yn ol, yr oedd Lloegr yn diraddio ei hun gyda'r diodydd dinystriol hyn, ac y mae wedi parhau i wneyd hyny hyd heddyw.

Amser prydiau bwyd dan Elisabeth oedd, boreufwyd am wyth, yn cynwys, mewn teulu cyfrifol, bara a chwrw, neu gig, ac wyau; ciniaw am un ar ddeg; a swper am chwech. Yn y cyfnod hwn y

dechreuwyd arfer llieiniau ar y byrddau wrth fwyta, ar y rhai y gosodid llwyau, cyllill, a napcynau. Nid oedd ffyrch (*forks*) mewn arferiad yn y wlad hon y pryd hwnw; ond yr oedd yn rhaid i'r cyllill wasanaethu eu lle, yr hyn a barai i fysedd y llaw chwith dalu ymweliadau mynych â'r plâd, a throsglwyddo tameidiau oddiarno i'r genau.

Byddai darpariadau mawrion o ymborth yn cael eu gwneyd mewn angladdau, os byddai amgylchiadau y teulu yn caniatau. Mewn priodsaau, neu gyfarfodydd llawen yn mysg crefftwyr a llafurwyr, byddai pob un o'r ymwelwyr yn dyfod â dysglaid o ymborth gydag ef, er gwneyd i fyny y wledd. Rhoddir cipolwg ar godiad prisoedd ymborth a nwyddau eraill yn agos i ddiwedd teyrnasiad Elisabeth, yn y "*Stafford Dialogue.*" "Nis gall y rhai o honom sydd yn byw yn y wlad," meddai un o'r siaradwyr, "gadw tŷ â dau cant o bunau y flwyddyn yn awr, cystal ag y gallasem â dau cant o farciau (*mark*—13s. 4c.) ys un mlynedd ar bymtheg yn ol. Gellwch chwi gofio, fy nghymydog, y gallaswn i yn y dref hon, ddeng mlynedd ar ugain yn ol, brynu y mochyn goreu, neu yr ŵydd oreu allaswn osod fy llaw arnynt, am bedair ceiniog; ond yn awr costiant swllt; ceiliog da am dair ceiniog neu bedair; iar am ddwy geiniog, a chyw am geiniog, ond yn awr costiant gymaint ddwywaith a theirgwaith. Yr un fath mae gyda'r cig eidion a dafad. Gwelais hefyd gael cap am 13c., cystal ag a gaf yn awr am 2s. 6ch. Clywsoch fel mae brethyn wedi codi. Mae pâr o esgidiau yn awr yn costio swllt, pryd y gwelais yr amser y prynaswn eu gwell am chwe cheiniog. Nis gallaf gael pâr o bedolau dan fy ngheffyl yn awr dan 10c. neu 12c.; pryd yr wyf yn cofio mai y pris cyffredin oedd chwe cheiniog."

Gwisgoedd.

Yr oedd cyfnewidiadau mor fynych yn ffasiynau y gwisgoedd, fel y cymerai ormod o le i geisio eu desgrifio. Dangosai Elisabeth ei hun lawer o falchder ffol yn y peth hwn, a dywedir fod ganddi tua thair mil o wisgoedd gwahanol. Disgynodd yr un nwyd ar ei phobl, yn enwedig y boneddigesau, a rhoddent eu bryd ar wisgoedd gwychion. Eisteddai y merched yn fynych ar y drysau, er dangos eu hunain i'r rhai a elent heibio. Gwellhaent liw eu gwynebau â golch prydferth; ac i gadw eu gwynebau rhag yr haul a'r gwynt wrth deithio, gwisgent orchudd o felfed du, a dau lygad gwydr ynddo, yr hyn a'u gwnelai yn destun dychryn i lawer a gyfarfyddent, a dygent ddrychau gyda hwynt, er mwyn cadw eu hunain yn daclus. Gosodid bri mawr ar wallt hefyd; lliwient eu gwallt, a gwisgent ffug-wallt yn fynych. Byddai plant mewn perygl o golli eu cydynau prydferth os ceid gafael arnynt ar hyd gonglau yr heolydd. Yr oedd un peth, er hyny, yn tynu yn ol yn fawr yn mhrydferthwch y boneddigesau; yr oedd eu danedd yn gyffredin yn ddu a phydredig. Priodolir hyn i'w hoffder o siwgr, a'u harferiad â thybaco.

Y plant. Yr oedd dygiad priodol y plant i fyny yn y teulu yn cael ei esgeuluso yn fawr. Cedwid awdurdod y rhieni arnynt trwy ofn a dychryn. Safent neu penlinient yn ddystaw yn mhresenoldeb eu rhieni, ac ni feiddient eistedd heb ganiatad; a cheryddid hwy, yn feibion a merched, gyda dyrnodiau, tra fyddent dan gronglwyd eu rhieni. Dangosid yr unrhyw awdurdod yn amgylchiadau eu priodas; gwnai y rhieni y cytundeb priodasol yn hollol annibynol ar lais y pleidiau ieuainc.

Dygwyd llawer o ddyfeisiau newyddion i arferiad yn y cyfnod hwn, ydynt wedi parhau hyd heddyw i gefnogi gwareiddiad a moesoldeb yn y deyrnas; megys dyfeisiad hosanau, nodwyddau, melinau papyr, a'r newyddiadur. Er rhoddi hysbysrwydd am symudiadau yr Armada Ysbaenaidd y cyhoeddwyd y newyddiadur cyntaf yn y wlad hon. Yn amser Elisabeth hefyd y dygwyd y *coach* drosodd i'r wlad hon o Ffrainc. "Yr oedd y *coach* yn anghenfil dyeithr y dyddiau hyny, a'r olwg arno yn taflu y dyn a'r ceffyl i syndod. Dywedai rhai mai cragen môr-granc o China ydoedd, ac eraill mai teml baganaidd, yn yr hon yr addolid y diafol gan y canibaliaid, ydoedd." Ond cyn hir daethant i ddeall ei ddyben a'i ddefnyddioldeb yn well.

---

## PENOD VII.

### O ESGYNIAD JAMES I. HYD ADFERIAD CHARLES II.—1603—1660.

#### I.—JAMES I.—1603—1625.—(TEULU STUART).

AR farwolaeth Elisabeth disgynodd coron Lloegr i James VI. o Ysgotland, mab Mary *Queen of Scots*, ac orŵyr Margaret, merch hynaf Henry VII. Yr oedd y Pabyddion wedi ceisio cael gan frenin Spain i hawlio yr orsedd i'w ferch; ac eraill, gyda chenad y pab, dros ddwyn achos Arabella Stuart, merch i frawd tad James, yr hon oedd yn enedigol o Loegr; ond yr oedd Elisabeth wedi enwi James yn olynydd, a phobl Lloegr yn gyffredin yn edrych ar y fantais o uno Lloegr ac Ysgotland, yn fwy na'r anfri neu y diflasdod o ymostwng i benadur Ysgotaidd, gan gofio gair Henry VII., y buasai y mwyaf yn tynu y lleiaf ato ei hun. Felly cyhoeddwyd James gyda'r unfrydedd a'r llawenydd mwyaf; a daeth James VI. o Ysgotland yn James I. o Brydain Fawr. Yr oedd y brenin yn awr yn 36ain mlwydd oed, yn briod ag Anne, chwaer brenin Denmark, a chanddo dri o blant, Henry, yn ddeng mlwydd; Elisabeth, yn wyth, a Charles yn dair oed. Yr oedd wedi cael y manteision

addysg goreu o fewn ei gyrhaedd; ond yr oedd ei syniadau am ei awdurdod freninol yn eithafol a chyfeiliornus; yr oedd yn falch a gormesol; ond gan ei fod o feddwl gwanaidd ac ofnus, yr oedd bob amser yn groes i ryfel, yr hyn oedd yn gydweddol iawn â theimlad ac â mantais y wlad ar y pryd.

Ar y 5ed o Ebrill, 1603, gadawodd James Edinburgh, i ddyfod i "wlad yr addewid," fel y galwai Loegr. Ac yr oedd yn ddyrchafiad mawr iddo gael ei symud o ganol cyllid prin, a gerwindeb pobl Ysgotland, i ganol llawnder, gwychder, ac anrhydedd y sedd uchaf yn Ewrop. Rhedai y bobl yn dyrfaoedd i'w lon-gyfarch ar ei daith; ond yr oedd mor wahanol yn ei orymdaith freninol i Elisabeth, fel y cafodd y bobl eu siomi. Yr oedd ei wisg yn gyffredin ac anwych, ei berson yn anolygus, ei dafod yn fwy na llonaid ei safn, ac yn gwneyd ei ymadrodd yn glogyrnaidd; ac yr oedd yn anroesawus a diserch tuag at y bobl. Parodd hyn i'w boblogrwydd ddiflanu agos yn llwyr cyn iddo gyrhaedd y brif-ddinas.

Ychwanegodd James yr Ysgotiaid canlynol at y Cynghor Seisnig; Duc Lenox, Iarll Mar, Arglwydd Hume, Arglwydd Kinloss, Syr George Hume, a Syr James Elphinstone; ond gadawodd lywodraeth achosion y deyrnas yn nwylaw y swyddogion Seisnig, fel o'r blaen, y blaenaf o ba rai oedd Cecil yr ysgrifenydd. Gwlawiodd y brenin ffafrau yn ddibrin ar ei ddeiliaid o bob cenedl. Creodd Cecil yn Iarll Salisbury, Arglwydd Buckhurst yn Iarll Dorset, a Philip, brawd Iarll Penfro, yn Iarll Montgomery; ac yn mhen chwech wythnos, yr oedd wedi rhoddi urdd marchog i dros ddau cant o bersonau. Rhyddhawyd Iarll Southampton o'r Tŵr, a dychwelwyd ef a mab Iarll Essex i'w hetifeddiaethau a'u hanrhydedd. Derbyniwyd Thomas Howard, mab Duc Norfolk, a Henry, brawd y duc, i'r Cynghor, a gwnaed y cyntaf yn Iarll Suffolk, a'r olaf yn Iarll Northampton. Daeth cenadau oddiwrth wahanol benaduriaid Ewrop i lon-gyfarch y brenin ar ei esgyniad i'r orsedd. Yr enwocaf o'r cenadau hyn oedd Rosni, cenadwr Henry IV. o Ffrainc, yr hwn a adnewyddodd â James y cytundeb rhwng y ddwy wlad i amddiffyn y Taleithiau Unedig, a'r hwn a alwai brenin Lloegr y "ffwl doethaf yn holl wledydd cred." Coronwyd James ar y 17eg o Orphenaf, tra yr oedd angau yn medi y trigolion gyda phla dinystriol.

Prin yr oedd James wedi eistedd ar ei orsedd newydd pan gafwyd allan fod mwy nag un fradwriaeth ar droed yn ei erbyn, y rhai a adwaenir wrth yr enw "*Bye*" a "*Main*." Y prif offerynau yn y "*Bye Plot*" oedd Watson a Clarke, dau offeiriad Pabaidd, a Markham, boneddwr Pabaidd arall. Llwyddodd y rhai hyn i gael cefnogaeth George Brooke, brawd Arglwydd Cobham, ac Arglwydd Grey, blaenor ieuanc y Puritaniaid. Yr oedd anniddigrwydd i lywodraeth ormesol y brenin yn peri i bersonau o olygiadau

gwahanol ymuno yn ei erbyn. Bwriadai y bradwyr gymeryd y brenin i fyny, a'i daflu i garchar, nes ei orfodi i newid aelodau ei Gynghor, a chaniatau goddefiad i'r grefydd Babaidd. Ond pan ddeallodd Grey fod cymaint o elfen Babaidd yn y gyfrinach, enciliodd oddiwrthynt. Daeth Cecil i wybod am y symudiad, a chymerwyd i fyny y rhai oeddent â'r llaw flaenaf yn y peth.

Y prif ddwylaw yn y *Main Plot* oedd Syr Walter Raleigh, Arglwydd Cobham, a George Brooke. Yr oedd y rhai hyn wedi cael eu siomi yn y llywodraeth newydd, a Raleigh a Cecil wedi dyfod yn elynion penderfynol. Dywedir mai amcan y fradwriaeth hon oedd codi Arabella Stuart i'r orsedd trwy gymhorth byddin o Spain. Ni wyddis trwy ba foddion y cafwyd allan y syniadau dirgelaidd hyn. Cymerwyd Raleigh a'r lleill i fyny. Dygwyd ei achos yn mlaen gyda llymdra anesgusodol gan Coke, y cyfreithiwr cyffredinol; ac er nad oedd y profion yn ei erbyn ond aneglur a gwanaidd, er syndod i bawb dygodd y rheithwyr ddedfryd o deyrn-fradwriaeth yn ei erbyn, a dedfrydwyd ef i farw. Dywedai Raleigh "ei bod y ddedfryd fwyaf annghyfiawn a roddwyd ar ddyn erioed." Dywedodd y brenin, pan ddygwyd y newydd iddo, ei fod ef yn gweddio na chai rheithwyr o Middlesex byth eistedd ar ei achos ef. Tarawyd Coke ei hun gan y ddedfryd ddyeithr, a dywedai nad oedd yn dysgwyl am ei bath. Dywed Osborne i rai o'r rheithwyr wedi hyny fod ar eu gliniau o flaen Raleigh yn gofyn ei faddeuant. Beth bynag, caniatawyd ei fywyd iddo, taflwyd ef i'r Tŵr, a chadwyd ef yn garcharor yno am dros ddeuddeng mlynedd. Arbedwyd bywydau Grey, Cobham, a Markham hefyd, yr hyn a wnaed pan oeddent ar yr arteithglwyd, yn barod i osod eu penau ar y plocyn. Gwaharddwyd y deyrnas i Markham; difeddianwyd Cobham o'i etifeddiaeth a'i swyddi, a bu farw yn mhen rhai blynyddoedd yn y trueni dygnaf. Bu farw yr ieuanc, y gwrol, a'r uchelfrydig Grey yn mhen deng mlynedd, yn garcharor yn y Tŵr. Torwyd pen Brooke, a chrogwyd Watson a Clarke, a thynwyd eu hymysgaroedd allan tra yr oeddent eto yn fyw.

Edrychai y Puritaniaid yn mlaen at esgyniad James gyda llawer o obeithion, gan ei fod ef wedi ei fagu dan gysgod Eglwys Bresbyteraidd Ysgotland. Anfonasant ddeiseb* i'r brenin pan ar ei daith o Ysgotland i Lundain, wedi ei harwyddo gan wyth cant o offeiriaid Seisnig, yn gofyn am ddiwygiad yn seremoniau a dysgyblaeth yr eglwys. Yn mysg pethau eraill ceisient am ddileu yr arferiad o wneyd arwydd y groes wrth fedyddio, a gweinyddiad bedydd gan fenywod; peidio gwisgo y cap na'r offeren-grys yn y gwasanaeth, na modrwy mewn priodas; dyddimu y bedydd esgob,

* Mil-Ddeiseb y gelwid hi, am y bwriedid iddi gael ei harwydd-nodi gan fil o weinidogion.

ymwrthod â'r apocrypha yn y gwasanaeth eglwysig, ac amryw bethau cyffelyb. Daeth y ddwy brif-ysgol allan yn selog yn erbyn y symudiad, ac o blaid yr eglwys fel yr oedd. Ond nis gallasai y brenin, yr hwn oedd wedi ei godi i fyny yn Eglwys Bresbyteraidd Ysgotland, gydag unrhyw weddeidd-dra, ddirmygu y fath ddeiseb. Felly cyhoeddwyd cynadledd i'r ddwy blaid, i gyfarfod yn ei bresenoldeb ef a'i Gynghor yn *Hampton Court*, i ddadleu yr achos, ac i basio mesurau gyda golwg ar drefniadau eglwysig.

Cyfarfu y gynadledd ar y 14eg o Ionawr, 1604. O blaid yr eglwys yr oedd yr archesgob Whitgift, Bancroft, esgob Llundain, saith o esgobion eraill, ac wyth o uchel swyddogion eraill. Nid oedd ond pedwar o du y Puritaniaid—Dr. Reynolds a Sparks, proffeswyr duwinyddiaeth yn Rhydychain; a Knewstubs a Chatterton o Cambridge. Eisteddai y brenin ei hun yn llywydd y gynadledd, a chymerai y rhan benaf yn y ddadl o blaid yr eglwys. Ni chaniatawyd i'r Puritaniaid fyned i mewn y dydd cyntaf. Ar yr 16eg, ceisiodd y brenin gan y Puritaniaid ddwyn eu gwrthddadleuon yn mlaen, ac atebai James hwynt ei hunan. O'r diwedd collodd James ei dymher. Dywedodd eu bod am gael Presbyteriaeth Ysgotaidd, yr hyn nad oedd yn cytuno ag unbenaeth mwy nag oedd Duw a diafol. "Felly," ebai, "cyfarfyddai Jack, a Tom, a Wil, a Dick, a gwawdient fi a'm cynghor wrth eu pleser. Aroswch, atolwg, am un saith mlynedd cyn ceisio hyn genyf, yna, os cewch fi yn gestog a thew, a fy mhibellau gwynt wedi eu hystwffio, efallai y gwrandawaf arnoch; oblegyd unwaith y caffo y llywodraeth yma ei chodi, bydd anadl yn sicr o gael ei chadw ynof; a chawn oll lonaid ein dwylaw o waith. Gan hyny, Dr. Reynolds, hyd nes y gweloch fi wedi myned yn ddiog, gadewch fi yn llonydd." Yna trodd at yr esgobion, a dywedodd, "Fy arglwyddi, gallaf ddiolch i chwi am fy uchafiaeth; oblegyd os unwaith yr ewch chwi allan, a'r rhai hyn ddyfod i mewn, gwn beth a ddaw o fy uchafiaeth; oblegyd heb esgob, heb frenin." Yna gofynodd i Reynolds os oedd ganddo ychwaneg i'w ddweyd. Gwelai hwnw nad oedd o un dyben i ddadleu, a rhoddodd i fyny. "Os hyn yw yr oll sydd genych i'w ddyweyd," ebe James, "gwnaf i chwi gydymffurfio, neu gyraf chwi allan o'r wlad, neu rywbeth sydd waeth." Yr oedd llawenydd yr esgobion yn ddifesur wrth ymddygiad y brenin. Dywedai Whitgift ei fod yn llefaru trwy Ysbryd Duw. "Mae fy nghalon," ebai Bancroft, "yn toddi gan lawenydd am fod yr Hollalluog Dduw, o'i fawr drugaredd, wedi rhoddi brenin i ni na fu ei fath oddiar amser Crist ei hun. A dywedai yr arglwydd ganghellydd Ellesmere, na welwyd y fath gydgyfarfyddiad rhyfeddol o'r brenin a'r offeiriad yn yr un person erioed o'r blaen. Ymffrostiai James yn fawr yn ei lwyddiant. "Puprais hwynt yn dda," meddai; "rhedent o ddadl i ddadl fel plant ysgol." Yn fuan ar ol

y gynadledd cyhoeddodd gydag awdurdod yr orsedd y cydymffurfiad mwyaf manwl. Canlynwyd y cyhoeddiad hwn gan erledigaeth ar yr annghydffurfwyr, ac amddifadwyd tri chant o weinidogion o'u bywioliaethau, neu ragorfreintiau penodol. Galwyd senedd yn nghyd yn mis Mawrth, ar fedr codi swm o arian i'r brenin. Cynygwyd yno leddfu y cyfreithiau yn erbyn y Puritaniaid; ond pan welodd y brenin nad oedd gobaith am gyllid, torodd y senedd i fyny.

Cynyrchodd gormes James tuag at y Pabyddion y fradwriaeth echryslawn hono yn ei erbyn ef a'r senedd, a adnabyddir wrth yr enw Bradwriaeth y pylor gwn (*Gunpowder Plot*). Dyfeisydd y weithred erchyll oedd Robert Catesby, boneddwr Pabaidd o Swydd Northampton, yr hwn oedd wedi cael ei ddirwyo yn drwm am gymeryd rhan yn ngwrthryfel Essex. Yr oedd wedi bod am dro mewn cyfeillach â'r Jesuitiaid, a phenderfynodd ar gynllun i chwythu y senedd-dai, yn nghyda'r brenin, a'i gynghor, a'r holl aelodau, i fyny â phylor, ar ddydd agoriad y senedd. Hysbysodd ei fwriad yn gyntaf i ddau Babydd cyfrifol o'r enw Wright a Winter, ac wedi hyny i Guy Fawkes a Percy, perthynas i Iarll Northumberland. Gwnaethant gyfamod â'u gilydd i gadw y peth yn ddirgel, a chadarnhasant ef â llwon yn enw y Drindod, ac â chyfranogiad o'r sacrament, yr hon a weinyddwyd iddynt gan y Tad Gerard, offeiriad Jesuitaidd.

Cymerwyd tŷ yn awr oedd yn gysylltiedig â'r senedd-dai, ar ardreth yn enw Percy, a rhoddwyd ef yn ngofal Fawkes, yr hwn a gymerai arno fod yn was i Percy. Cymerwyd tŷ arall yn Lambeth, lle y gallent gyfarfod â'u gilydd, a chasglu defnyddiau i fyned â'r ymgymeriad yn mlaen. Derbyniasant amryw bersonau eraill o bryd i bryd i'w cyfrinach, ond gwnaent hyny gyda gofal mawr, a'r llwon mwyaf difrifol. Dechreuasant weithio ogof o seler y tŷ a gymerasent, i seleri y senedd-dai; a dygent y rhwbel a weithient y dydd i fyny trwy y tŷ yn y nos, a gwasgarent ef dros wyneb yr ardd. Bu raid iddynt dori trwy fur sylfaen y tŷ, yr hon oedd yn naw troedfedd o drwch. Yr oedd seleri y senedd-dai hefyd yn cael eu gosod ar ardreth i gadw a gwerthu glo, a chymerodd Percy un o'r seleri hyn eto, yr hon oedd yn gorwedd o dan Dŷ yr Arglwyddi. Dygwyd un ar bymtheg ar ugain o farilau o bylor i'r seler; rhoddwyd ceryg mawrion, a'r offer haiarn fu ganddynt yn cloddio, yn ngyddfau y barilau, a gorchuddiasant hwy â thanwydd a glo.

Yr oedd y darpariadau hyn wedi eu gwneyd yn gynar yn y fl. 1605; ond, trwy ohiriad unwaith ac eilwaith, nid oedd y senedd i gyfarfod hyd y 5ed o Dachwedd. Bu y bradwyr yn brysur yn ystod yr haf yn eangu eu cynllun. Aeth Fawkes drosodd i Flanders, a chenad arall i Rufain, geisio cymhorth tramor i adsefydlu

pethau yn y wlad hon ar ol chwyldroad y pylor. Yr oedd Catesby a Percy yn ddiwyd yn ceisio enill plaid Pabyddion galluog a chyfoethog yn y wlad hon. Llwyddasant i gael Digby, Rookwood, a Tresham, y rhai oeddent i gasglu llu o Babyddion ar y dydd penodedig, dan rith cadw cystadleuaeth hela. Fawkes oedd wedi ei ethol i danio y pylor, ac yr oedd hyny i gael ei wneyd trwy *match* araf, yr hwn oedd i gymeryd chwarter awr o amser i losgi cyn cyrhaedd y pylor. Ar ol tanio yr oedd i groesi yr afon, lle yr oedd llong yn ei aros i'w ddwyn drosodd i Flanders i arwain cymhorth milwrol yn ol.

Bellach yr oedd y diwrnod dychrynllyd yn yr ymyl, a'r gyfrinach echryslon, yr hon oedd yn awr yn hysbys i tuag ugain o bersonau, wedi ei chadw am flwyddyn a haner yn ddirgelwch perffaith i bawb ond eu hunain. Dysgwylid y brenin, y frenines, a'r tywysog Henry, eu mab hynaf, i fod yn bresenol ar agoriad y senedd, yn gystal a holl brif bendefigion y deyrnas. A bernir, rhwng nifer yr ymwelwyr a arferent ymgasglu ar y cyfryw amgylchiad, pe buasai amcan y bradwyr yn cael ei gyrhaedd, y buasai deng mil ar ugain o eneidiau yn cael eu hyrddio i dragwyddoldeb ar darawiad. Yr oedd un peth eto yn achos petrusder i rai o honynt. Tra yr oedd amryw yn foddlon i Babyddion a Phrotestaniaid gydsyrthio, dadleuai eraill dros ddyfeisio rhyw ffordd i beri i'w perthynasau Pabyddol fod yn absenol ar yr amgylchiad; a hyn brofodd yn fagl iddynt. Ar y 26ain o Hydref, deng niwrnod cyn dydd agoriad y senedd, yr oedd Arglwydd Monteagle, trwy ddygwyddiad anarferol, wedi myned i swpera i dŷ oedd ganddo yn Hoxton; a phan oedd wrth y ford, dygodd ei was lythyr iddo, heb ddyddiad nac enw wrtho, a'r hwn a gafwyd gan ddyn dyeithr ar yr heol. Bernir mai Tresham, ei frawd yn nghyfraith, a'i hysgrifenodd. Yr oedd yn rhedeg fel hyn:—

"Fy arglwydd,—Oddiar y cariad wyf yn ddwyn tuag at rai o'ch cyfeillion, mae genyf ofal am eich dyogelwch chwi; am hyny cynghorwn chwi, fel yr ydych yn gwerthfawrogi eich bywyd, i ddyfeisio rhyw esgus dros absenoli eich hun o'r senedd hon, gan fod Duw a dyn wedi cytuno i gospi drygioni yr amseroedd hyn. Peidiwch diystyru y rhybudd hwn, ond ymneillduwch i'ch gwlad, lle y galloch ddysgwyl y dygwyddiad mewn dyogelwch. Oblegyd er nad oes unrhyw ymddangosiad o gyffro, eto dywedaf y derbyniant ergyd ofnadwy yn y senedd hon, ac ni chanfyddant y neb a'u dryga. Nis gall y cynghor hwn wneyd niwed i chwi, ond gall wneyd daioni, a bydd y perygl drosodd mor gynted ag y llosgoch y llythyr hwn. A gobeithio y rhydd Duw y gras i chwi i wneyd defnydd da o hono, i ofal santaidd yr hwn yr wyf yn eich cyflwyno."

Dygodd Monteagle y llythyr y noswaith hono i Salisbury, ysgrifenydd y llywodraeth. Dangoswyd ef i eraill o'r cynghor, ac i'r brenin ei hun; tarawyd James yn y fan fod rhyw ffrwydriad gan bylor yn cael ei fwriadu; ond rhwystrodd Cecil unrhyw ymchwiliad uniongyrchol, rhag dychrynu y bradwyr. Aeth y swn am y llythyr

i glustiau y bradwyr, a bu Tresham dan arholiad caled gan Winter a Catesby. Ar y 4ydd o Dachwedd, y dydd nesaf at yr hwn y bwriedid agor y senedd, aeth yr arglwydd ystafellydd, Arglwydd Monteagle, ac eraill, i wneyd ymchwiliad trwy y senedd-dai. Daliwyd Fawkes yn y seler, a'r holl drefniadau ganddo yn barod. Dygwyd ef o flaen y cynghor, lle yr ymffrostiai yn ei ddyfais, ond ni chafwyd ganddo gyffesu nes ei roddi mewn dirdynfa. Pan aeth y son allan fod Fawkes wedi ei ddal, ffodd y bradwyr eraill allan i'r wlad, a cheisiasant gyffroi y Pabyddion i ddyfod i'w cynorthwyo i wrthsefyll eu hymlidwyr. Lladdwyd Catesby, Percy, a'r ddau Wright, yn yr ymgyrch i geisio eu dal, ac anafwyd eraill gan ffrwydriad eu pylor eu hunain. Dygwyd y lleill i Lundain, ac ar ol eu poenydio yn druenus, er cael ganddynt gyffesu, dedfrydwyd hwy i farw. Crogwyd Robert Winter, Digby, Grant, a Bates, yn y pen gorllewinol i *St. Paul's Churchyard;* a'r dydd canlynol dienyddiwyd Rookwood, Thos. Winter, Fawkes, a Keys, gyferbyn â'r senedd-dai. Bu Tresham farw yn y Tŵr, ffodd yr offeiriaid Jesuitaidd, Gerard a Greenway, dros y môr, ond daliwyd y llall (Garnet), a rhoddwyd ef i farwolaeth. Seintiwyd hwn gan Babyddion Spain, a rhoddwyd ei enw yn llechres y merthyron. Carcharwyd a dirwywyd Arglwyddi Montague, Mordaunt, a Stowton, oblegyd eu habsenoldeb drwgdybus o'r senedd; dirwywyd Northumberland o £30,000, a thaflwyd ef i'r Tŵr dros weddill ei oes. Penododd y llywodraeth y 5ed o Dachwedd yn ddydd o ddiolchgarwch am y waredigaeth oddiwrth "frad y pylor gwn."

Felly y terfynodd un o'r bradwriaethau echryslonaf a gynygiwyd erioed yn holl gylch hanesiaeth, ac y mae yn anmhosibl cael gwell prawf o effeithiau gresynol crefydd dwyllodrus ar y meddwl a'r galon. Er mor erchyll oedd y bwriad, dygid ef yn mlaen gan ddynion o gymeriad cyfrifol, gan mwyaf, a dynion yn meddu bywioliaethau annibynol; a gellir ychwanegu fod rhai o honynt yn credu eu bod yn gwneyd gwasanaeth i Dduw. "Yr wyf yn dawel," ebe John Grant, ar ddydd ei ddienyddiad, "fod ein hamcan mor bell o fod yn bechadurus, fel yr wyf yn pwyso ar deilyngdod fy ngwaith yn cymeryd rhan yn y fath weithred ardderchog, fel iawn digonol am yr holl bechodau a gyflawnwyd genyf dros ystod fy mywyd."

Am y chwech neu y saith mlynedd nesaf ni ddygwyddodd dim o bwys i derfysgu tawelwch y deyrnas. Yr oedd y brenin yn awchus am arian, a'r senedd yn gyndyn yn eu gwrthod, a chodai amrafaelion achlysurol rhyngddynt o'r herwydd. Prif orchwylion James oedd hela ac ysgrifenu, ac ymddiriedai y gwaith o gadw ei goffrau yn llawn i Robert Cecil, Iarll Salisbury, yr hwn oedd yn awr, fel ei dad o'i flaen, yn drysorydd—ond ei fod gyda phenadur mwy an-

enwog, a senedd mwy gwrthnysig; ac nid oedd yntau, er ei fod yn graffus a galluog, yn meddu ar gymeriad teilwng o'i gydmaru ag eiddo ei dad. Rhoddodd ei iechyd ffordd o dan ei lafur a'i bryder, a bu farw Mai 24, 1612.

Yn yr un flwyddyn y bu farw y tywysog Henry, yr hwn oedd wedi dyfod yn eilun y bobl. Yr oedd o ran ei berson yn hardd, hoyw, a gwrol, yn foesol ei gymeriad, ac yn gyfeillgar â'r Puritaniaid. Yr oedd yn gwbl groes i'w dad yn ei chwaeth a'i arferion; ac yr oedd ei boblogrwydd, a'i dueddiad at y grefydd ddiwygiedig, yn peri i'w dad edrych arno yn fwy fel cydymgeisydd nag fel mab. Teimlai hoffder mawr yn Syr Walter Raleigh, ac arferai ddweyd, "Nid oes un brenin ond fy nhad, yn sicr, a gadwai y fath aderyn yn y fath adargell." Yr oedd James yn dyngwr rhyfygus, ond ni thyngai Henry o gwbl, a mwy na hyny, codai ddirwy ar ei weinyddion am bob llw, a rhoddai yr arian i'r tlodion. Unwaith pan yn hela, dygwyddodd i'r carw groesi y ffordd fawr, a lladdwyd ef gan gigydd a'i gi oedd yn dygwydd myned heibio. Mynai yr helwyr gyffroi y tywysog i gospi y cigydd, a dywedent pe buasai ei dad yno, y buasai yn tyngu fel nas gallasai un dyn ei oddef. "Ymaith," ebe Henry; "nid yw holl bleserau y byd yn werth llw." Yr oedd mwy o dynu i'w lys nag i lys ei dad, a chan well dosbarth o bobl, yr hyn a barodd i'r brenin ofyn unwaith, "A ydyw yn meddwl fy nghladdu yn fyw?" Edrychai y Puritaniaid arno fel un wedi ei anfon i berffeithio y diwygiad, ac i waredu y wlad oddiwrth ormes James a'r uchel-eglwyswyr, a chlywid y llinellau canlynol yn fynych yn ngenau y bobl:—

"Henry the Eighth pulled down the abbeys and cells,
But Henry the Ninth shall pull down bishops and bells."

Ond er mawr siomedigaeth y deyrnas, bu y tywysog Henry farw o dwymyn, Tachwedd 6, 1612, yn ei 19eg mlwydd o'i oedran; yr oedd y teimlad yn fwy oblegyd nad oedd ei frawd Charles ond llanc afiach ac anmhoblogaidd. Dangosodd James y dideimladrwydd mwyaf annynol ar amgylchiad marwolaeth ei fab. Yn Rhagfyr, gwnaeth gytundeb priodas rhwng ei ferch, Elisabeth, yr hon nad oedd ond 16eg oed, â Frederick, iarll-deyrn y Rhine: cadwodd ei Nadolig gyda'r holl rwysg arferol, a phriododd ei ferch yn Chwefror.

Ar y pryd yr oedd y Foneddiges Arabella Stuart yn dihoeni yn y Tŵr, heb un achos am ei charchariad ond ei bod yn disgyn o'r gwaed breninol. Yr oedd hon, fel y dangoswyd, yn disgyn o Henry VII., yn ddynes o gymeriad uchel, ac o gymhwysderau uwch na'r cyffredin. Bu yn wrthddrych eiddigedd y frenines Elisabeth; ac ar adeg marwolaeth hono gofalwyd ei chadw o fewn gafael, ac yr oedd James wedi gwneyd ei feddwl i fyny na chawsai ganiatad i briodi. Beth bynag, yn Gorphenaf, 1610, priododd Arabella, yn groes i

ewyllys y brenin, â Syr William Seymour, mab Arglwydd Beauchamp, yr hwn oedd hefyd yn ddisgynydd o waed breninol Henry VII. Dychrynodd James wrth y newydd, a thaflodd Seymour i'r Tŵr, a rhoddodd Arabella dan wyliadwriaeth yn nhŷ Syr Thomas Parry, yn Lambeth. Llwyddodd y gwr a'r wraig i allu talu ymweliadau dirgelaidd â'u gilydd, er hyny; ond pan ddeallodd y brenin hyny, gorchymynodd symud y foneddiges i Durham. Gwrthodai Arabella ufuddhau; ond dygwyd hi ymaith yn ei gwely, trwy drais, a rhoddwyd hi ar fwrdd y bad. Effeithiodd y driniaeth arw, yn nghyda thrallod ei meddwl, ar ei hiechyd, ac wedi taer erfyn, caniataodd James iddi gael aros mis yn Highgate er mwyn ymgryfhau. Cedwid hi yno dan wyliadwriaeth fanwl; ond, trwy wisgo mewn dillad gwryw, llwyddodd i ddianc. Daeth i Gravesend, ac yr oedd yno long Ffrengig yn barod i fyned â hi drosodd i Ffrainc. Dysgwyliai gyfarfod â'i gwr yno; ond er ei fod yntau wedi dianc o'r Tŵr, ar wedd meddyg, nid oedd wedi gallu cyrhaedd eto; ac yr oedd dychryn cadben y llong gymaint, fel y methodd erfyniadau y foneddiges a'i berswadio i aros. Pan gyrhaeddodd Seymour yr oedd ei wraig wedi myned. Cytunodd i dalu deugain punt am ei ddwyn yntau drosodd mewn llong lô.

Erbyn hyn yr oedd y swn wedi myned ar led am ffoedigaeth y carcharorion, a hyny wedi peri y cyffro mwyaf. Anfonwyd haid o ymlidwyr ar eu hol, a chenadau i'r Cyfandir i erchi eu rhoddiad i fyny. Glaniodd Seymour yn ddyogel yr ochr draw, ac ni roddwyd ef i fyny i ddwylaw James; ond daliwyd y llong lle yr oedd Arabella ar ganol y môr, dygwyd y foneddiges yn ol, a chauwyd arni yn y Tŵr. Yr oedd ei chalon yn prysur dori; eto dywedai nad oedd yn gofalu am ei chaethiwed, os oedd ei gwr yn ddyogel. Aeth ei herfyniadau taerion gyda James am ei rhyddid, yn gystal ag eiriolaeth y frenines ar ei rhan, oll yn ofer. Ac o'r diwedd, dygodd ei gofid a'i hanobaith ddyryswch ar ei synwyrau; bu farw rhwng muriau y Tŵr, ac mewn cyflwr truenus o wallgofrwydd, Medi 27ain, 1615. Cawn weled yn nes yn mlaen i Seymour ddyfod eilwaith yn ymlynydd selog wrth fab ei erlidiwr presenol.

Un o wendidau James oddiar ei ddyddiau boreuaf, oedd ei duedd i gadw hoff-ddynion; ac er ei fod ef yn un o'r dynion mwyaf hagr ac afler yn ei berson a'i wisg, yr oedd gymaint a'i ragflaenor Elisabeth am ddynion golygus a gwych o'i gwmpas. Un o'r cyfryw a gododd uchaf yn ei ffafr oedd Robert Carr, Ysgotiad tlawd, yr hwn a dynodd ei sylw a'i fryd pan nad oedd Carr ond ieuanc. Gwlawiodd James ffafrau ar ol eu gilydd arno, nes o'r diwedd ei wneyd yn is-iarll Rochester. Ond er fod ei ddylanwad yn y llys yn fawr, ni chymerodd unrhyw ran yn materion y llywodraeth tra fu Salisbury (Cecil) fyw; ond wedi ei farwolaeth, gwnaed ef yn argl-

wydd ystafellydd, a disgynodd y gorchwylion pwysicaf i'w law. Ac er nad oedd yn dal unrhyw sefyllfa swyddogol, efe mewn gwirionedd oedd prif weinidog y deyrnas. Yr oedd yn ddigon call i gadw Syr Thomas Overbury—dyn o alluoedd uchel, ond o foesau isel—yn gynghorwr, yr hwn oedd yn gwneyd i fyny i raddau helaeth am ei ddiffygion ei hun, a gallasai gadw ei lwybr yn mlaen yn ddyogel felly, oni buasai iddo roddi ffordd annghyfreithlon i'w serchiadau.

Yr oedd iarll ieuanc Essex, mab yr iarll anffodus a ddienyddiwyd dan Elisabeth, wedi priodi â Frances Howard, merch Iarll Suffolk. Gan fod amcan penodol mewn golwg i uno y ddau deulu, cyflawnwyd y briodas pan nad oedd y priodfab ond pedair ar ddeg oed, a'r briodferch flwyddyn yn ieuangach. Wedi priodi aeth yr iarll i orphen ei addysg, ac i deithio i'r Cyfandir, a rhoddwyd ei wraig ieuanc dan ofal ei mham. Daeth y foneddiges yn hynod am ei glendid a gwychder ei ymddangosiad, a bu agos iddi swyno bryd y tywysog Henry. Ond yr oedd Rochester, trwy offerynoliaeth llythyrau wedi eu hysgrifenu gan ei gynghorwr Overbury, wedi enill ei chalon. Pan ddychwelodd Essex, yn mhen pedair blynedd wedi priodi, derbyniwyd ef yn oerllyd gan ei wraig, a gwrthodai roddi ei chyfeillach iddo. Yr oedd y rhesymau a ddygai dros ei hymddygiad yn ddisail; a phe buasent yn wir, buasai yn anhawdd gan ddynes yn meddu teimladau benywaidd eu coffa. Nid oedd dim a foddiai y foneddiges yn awr ond tori ei phriodas ag Essex, a phriodi â Rochester; ac yr oedd Rochester yn llawn mor foddlon. Pan osodwyd y peth o flaen Overbury, gwrthwynebai y cyfryw undeb yn y geiriau cryfaf, gan ddyweyd y buasai priodas â'r fath ddyhiren a'r foneddiges Frances yn sicr o brofi yn ddinystr iddo. Hysbyswyd cynghor Overbury i'r foneddiges, yr hon yn ei nwydau a gynygiodd fil o bunau i un Wood am ei lofruddio. Gwrthododd Wood, a dyfeisiwyd cynllun arall i ddial ar Overbury. Ceisiodd Rochester gan y brenin i'w anfon fel cenadwr i Ffrainc neu Rwsia, a pherswadiodd Overbury ar yr un pryd i beidio ufuddhau; ac felly taflwyd ef i'r Tŵr am ddirmygu awdurdod yr orsedd. Yr oedd y rhan arall o'r cynllun yn barod; newidiodd Iarll Northampton (ewythr y wraig ieuanc) a Rochester swyddogion y Tŵr, ac ni chaniateid i berthynas na chyfaill i Overbury dalu ymweliad ag ef.

Llwyddwyd i dori y briodas ag Essex, ac yr oedd y rhan a gymerodd y brenin yn yr achos yn mhell o fod yn anrhydedd iddo. Gwnaed Rochester yn Iarll Somerset, a phriododd (Rhagfyr 26, 1613,) a Frances Howard, yn y capel breninol, yn ngwydd y brenin a'r frenines. Dygwyd y briodas yn mlaen gyda'r rhwysg mwyaf; ymddangosai y briodferch yn ngwisg forwynaidd y dyddiau, a'i gwallt yn hongian yn gydynau modrwyol hyd ei chanol; ac anrheg-

wyd James ar y diwrnod â'r swm tywysogaidd o bum mil ar ugain o bunau gan y priodfab.

Y diwrnod cyn i ddedryd ysgariad gael ei chyhoeddi, bu Overbury farw yn ei gell. Claddwyd ef gyda brys o fewn y Tŵr, a rhoddwyd y gair allan iddo farw o glefyd drwg a heintus. Ond yr oedd sî allan o'r dechreu na chafodd chwareu teg; ac y mae dial y nefoedd yn dechreu ymgasglu uwchben y pâr euog—Rochester a Frances.

Erbyn hyn yr oedd hoff-ddyn arall wedi enill serchiadau y brenin; George Villiers, mab Syr Edward Villiers o Swydd Leicester, gwr ieuanc oddeutu ugain oed, yr hwn, fel Somerset, oedd a'i rinweddau yn fwy mewn ymddangosiad oddiallan nag mewn cymhwysderau meddyliol. Bu yr archesgob Abbot yn ddigon gwanaidd i eiriol gyda'r frenines o blaid ei ddyrchafiad. Llwyddodd yn ei amcan; ac fel yr oedd Villiers yn codi i fwy o fri a dylanwad, yr oedd rhagolygon Somerset yn tywyllu. Daeth y ddau hoff-ddyn hyn yn fuan yn elynion annghymodlon, a rhanwyd y llys yn ddwy blaid.

Yr oedd y gair ar led bellach am lofruddiad Overbury; caniataodd y brenin i ddwyn Somerset a'i wraig, ac eraill, i brawf, a rhoddodd orchymyn i'r prif farnwr Coke i wneyd gwarant i'w dal. Ceir esboniad tarawiadol ar gymeriad anwadal a dau-wynebog James yn yr amgylchiad hwn. Yr oedd Somerset gyda'r brenin yn Rayston pan ddaeth gwarant Coke i'w ddal, a James yn ol ei arfer at ei hoff-ddynion, a'i freichiau am ei wddf, ac yn plastrio ei fochau â chusanau. Ffromodd yn fawr pan dderbyniodd y warant, a dywedodd na roddwyd y fath sarhad erioed i bendefig Seisnig. "Oh," ebe y brenin, "pe byddai Coke yn anfon am danaf *fi*, byddwn yn rhwym o fyned." Ac ychwanegai, "pa bryd y caf dy weled eto—pa bryd, pa bryd?" gofynai, gan ymhongian wrtho eto, a'i gusanu. "Dydd Llun," ebe Somerset. "O'r goreu," ebe James, "a chofia am hyny; a rho y cusan hwn i dy foneddiges." Ond nid cynt y trodd ei gefn nag y dywedai James, "Eled y diafol gyda thi, oblegyd ni chaf weled dy wyneb mwy." Taflwyd Somerset a'i foneddiges i'r Tŵr; a chymerwyd eraill fu yn gyfranog â hwynt yn llofruddiad Overbury i fyny. Daeth Coke at James i Rayston yr un diwrnod. Achwynodd y brenin wrtho fod Somerset a'i foneddiges wedi ceisio ei ddwyn ef i mewn i'w godineb a'u llofruddiaeth. Gorchymynodd iddo chwilio y mater i'w waelod, a pheidio arbed un dyn, beth bynag fyddai ei sefyllfa. "Melldith Duw fyddo arnoch chwi a'ch eiddo," meddai, "os arbedwch un o honynt; a bydded melldith Duw arnaf finau a'm heiddo os maddeuaf i'r un o honynt." Daeth y prawf yn mlaen, a chafwyd fod Northumberland yn gyfranog yn y drwg; ond yr oedd ef wedi marw. Cyffesodd Weston iddo ef gymysgu gwenwyn ag ymborth Overbury; cafwyd Elwes, ceidwad y Tŵr, Franklin, fferyllydd, a dynes hynod o'r enw

Mrs. Turner, dewines, yn euog o ddwyn rhan yn y llofruddiad, a rhoddwyd hwynt oll i farwolaeth. Cydnabyddodd Iarlles Somerset ei heuogrwydd; ond dadleuai yr iarll yn gyndyn dros ei ddiniweidrwydd, a bygythiai ddatguddio pethau pwysig yn dwyn perthynas â'r brenin. Beth bynag, condemniwyd yntau: ond er syndod i bawb, rhoddodd y brenin, ar ol ei holl fygythion, faddeuant i'r iarll a'i foneddiges. Rhyddhawyd hwy o'r Tŵr yn 1621, ond gorfodwyd hwy i dreulio gweddill eu hoes yn un o'u palasau gwledig, gyda'r swm o bedair mil o bunau y flwyddyn at eu cynaliaeth, a rhoddwyd y rhan fwyaf o'u hetifeddiaethau i Villiers, yr hwn a wnaed (yn 1617) yn Iarll Buckingham. Yn y drigfan neillduedig hon cafodd y pâr euog fedi yn helaeth o ffrwyth eu gweithredoedd; buont fyw yn y gelyniaeth mwyaf at eu gilydd, ac at bawb eraill. Bu yr iarlles farw yn 1632, o glefyd poenus ac atgas, ond bu yr iarll fyw hyd 1645.

Collodd y prif farnwr Coke, cyfreithiwr enwocaf a barnwr mwyaf annibynol ei oes, ffafr y brenin yn nygiad yr achos hwn yn mlaen. Dygwyd amryw gyhuddiadau yn ei erbyn, ac er iddo amddiffyn ei hun yn wrol a llwyddianus, llwyddodd James, trwy gyfrwysdra Bacon ac eraill, i wneyd achos yn ei erbyn. Diswyddwyd ef, a rhoddwyd ei swydd i Montague, cofiadur Llundain. Dywedir ei fod yn wylo fel plentyn wrth dderbyn ei dynged. Iselodd y galluog Bacon ei hun yn fawr yn y drafodaeth; ac, i ddarostwng ei hun yn fwy fyth, ysgrifenodd y llythyr mwyaf sarhaus at Coke yn ei brofedigaeth. Gwnaed Bacon, ar enciliad Ellesmere, yn arglwydd geidwad, ac wedi hyny yn ganghellydd, ac felly cyrhaeddodd eithafnod ei uchelgais. Ond daeth dydd dial i'w gyfarfod yntau. Cyhuddwyd ef o luaws o achosion o lwgr-wobrwyaeth; cyffesodd ei euogrwydd, a dedfrydwyd ef i golli y sel fawr, i annghymwysder at wasanaeth y llywodraeth, i eistedd yn y senedd, i ddirwy o ddeugain mil o bunau, ac i garchariad dros ystod ewyllys y brenin. Ond rhyddhawyd ef o'r Tŵr gan y brenin ar ol dau ddiwrnod o garchariad, ac ni chodwyd y ddirwy arno. Treuliodd y gweddill o'i flynyddoedd i gyfansoddi y gweithiau ydynt wedi anfarwoli ei enw. "Dylai ei fywyd fod yn wers foesol, fel y mae ei athrylith yn arweinydd meddyliol, i holl ddynolryw."

Rhaid i ni daflu golwg ymadawol yn awr ar y nodedig Syr Walter Raleigh, yr hwn sydd wedi bod yn garcharor yn y Tŵr am tua thair blynedd ar ddeg. Yno yr oedd wedi cyfarfod ag amryw gymdeithion o gyffelyb chwaeth ac ysbryd, megys yr enwog Henry Percy, Iarll Northumberland, a Hoskins, yr ysgolor, y bardd, a'r beirniad, yn nghyda llenorion galluog eraill. Yr oedd gormes gwrthun y llys yn cynyddu eu nifer o flwyddyn i flwyddyn; a gellid meddwl fod James wedi penderfynu cau holl athrylith ac ysbryd

anturiaethus Lloegr yn hen garchardy aruthrol y Tŵr. Telid ymweliadau mynych â hwy gan lenorion ac enwogion oddiallan. Yma y daeth y tywysog Henry i gymaint cyfeillgarwch a Raleigh, ac er addysg y tywysog y dechreuodd ysgrifenu ei "*History of the World.*" Dygwyd castell ac etifeddiaeth Sherborne oddiar Raleigh, a rhoddodd James hwynt i'w hoff-ddyn Carr, a gelyn Syr Walter, a bu dda iddo wedi hyny gael cymhorth pwrs ei gyfaill haelfrydig, Northumberland.

Yn nghwymp ei wrthwynebydd Carr, yn awr Iarll Somerset, a chodiad Villiers, gwelai Raleigh wawr gobaith am ryddhad, a dechreuodd ddyfeisio i ddwyn hyny oddiamgylch. Yr oedd yn un o'r môr lywyddion medrusaf, a dangoswyd o'r blaen iddo wneyd mordaith i Guiana, yn Neheubarth America, yn y flwyddyn 1595, a chymeryd meddiant, mewn enw, o'r lle, a chael ei arwain i gredu fod gwythenau aur yno. Wedi hyny, yr oedd yr Ysbaeniaid wedi cymeryd meddiant o'r lle, ac wedi adeiladu math o dref yno o'r enw St. Thomas. Cynygiodd Syr Walter i James yn awr, trwy yr ysgrifenydd Winwood, drefnu nifer o longau i fyned i Guiana, i weithio yno, gan addaw rhoddi y bumed rhan o hono i'r brenin. Cymeradwyodd Winwood y cynygiad wrth ei feistr, ac yr oedd y rhagolwg am fodd i lenwi ei goffrau gwag yn un o'r cymhelliadau cryfaf i James. Derbyniwyd y cynygiad yn llyminog ar y cyntaf gan y brenin; ond wedi ail feddwl, gwelai rwystrau yn codi ar y ffordd, a dechreuodd betruso. Yr oedd ymosodiadau llwyddianus Raleigh ar yr Ysbaeniaid yn amser Elisabeth wedi gwneyd brenin Ysbaen yn elyn iddo. Yr oedd James yn awr yn bwriadu priodi Charles ei fab â merch y brenin hwnw, ac ofnai ei dramgwyddo trwy ollwng Syr Walter yn rhydd, ac yn enwedig wrth ganiatau iddo fyned allan ar y fath hynt i Guiana. Talodd Gondomar, cenadwr Ysbaen, ymweliad â James, a dadleuodd yn gryf yn erbyn y cynygiad. Sicrhaodd James i hwnw na fuasai yn rhoddi pardwn i Raleigh; ac os gwnelai unrhyw ymosodiad ar yr Ysbaeniaid yn ei hynt, y buasai yn ei ddienyddio ar unwaith, neu yn ei draddodi i ddwylaw brenin Ysbaen. Rhoddodd James holl fanylion yr hynt fwriadol i Gondomar, ac anfonwyd gorchymyn i'r Ysbaeniaid yn Guiana i fod ar eu gwyliadwriaeth, ac i wrthwynebu tiriad Raleigh.

O'r diwedd wele Syr Walter yn gadael ei hen gell annyddan yn y Tŵr, ac yn gadael hefyd yn awr iarll uchelfrydig Somerset yno yn garcharor yn ei le. Y cyfryw yw cyfnewidiadau ac anwadalwch bywyd. Wedi bod yn ymladd blwyddyn gyfan â gwrthnysigrwydd y brenin, ac â lluaws o rwystrau eraill, wedi suddo yr oll o'r cyfoeth oedd wedi ei adael yn weddill ganddo, ac wedi cael help cyfeillion, yn gynar yn y fl. 1617 hwyliodd allan o Plymouth gyda phedair ar ddeg o longau. Mordaith flin a cholledus a gafodd. Gwasgarwyd

hwy gan ystormydd, a lladdwyd nifer mawr o honynt gan afiechyd, a bu Raleigh ei hun yn agos i angau. Cyrhaeddodd geg afon Oronoco yn Tachwedd. Gan nad oedd eto wedi gwellhau o'i glefyd, anfonodd bump o'r llongau i fyny i'r afon, dan lywyddiad Cadben Kemys, yr hwn oedd wedi bod gydag ef yno yn ei fordaith flaenorol, a rhoddodd siars iddo i beidio ymosod ar yr Ysbaeniaid. Ond ymosododd yr Ysbaeniaid ar Kemys a'i wŷr yn y nos, yr hyn a barodd i'r Saeson daro a dinystrio tref St. Thomas. Lladdwyd y llywydd Ysbaenaidd, perthynas agos i Gondomar, o un tu, a mab hynaf Syr Walter o'r tu arall, yn yr ymgyrch. Dychwelodd y llongau at Raleigh, yr hwn a feiodd Kemys mor llym am ei ymddygiad, fel yr aeth hwnw i'w gaban, ac y gwnaeth derfyn ar ei fywyd. Torodd amrafael allan eilwaith yn mysg gwŷr Raleigh, fel y gorfu iddo ddychwelyd i Loegr yn aflwyddianus.

Ond yr oedd yr holl newyddion wedi cyrhaedd Lloegr o'i flaen, a Gondomar wedi bod gyda James yn bygwth rhyfel uniongyrchol oddiwrth Spain, os na wnai y brenin roddi boddlonrwydd i'w benadur. Dychrynodd James; gwadodd unrhyw berthynas â symudiadau Raleigh, ac, er gwaethaf dadleuon ei bendefigion, caniataodd iddo gael ei roddi i fyny i'r awdurdodau Seisnig neu Ysbaenaidd, yn ol ewyllys brenin Spain. Clywodd Raleigh hyn yn Kinsale, Iwerddon, ar ei ffordd adref, a gallasai fod wedi dianc; ond yr oedd Ieirll Penfro ac Arundel wedi meichnio am ei ddychweliad; ac i'w rhyddhau hwynt, beiddiodd y perygl. Glaniodd yn Plymouth yn nechreu Gorphenaf, 1618, a chymerwyd ef i fyny gan ei berthynas, Syr Lewis Stukeley, pan ar ei ffordd i Lundain. Wedi rhyddhau ei feichnion, ceisiodd ddianc i Ffrainc; ond dyryswyd ei gynllun trwy anffyddlondeb ei gynorthwywyr, a thaflwyd ef unwaith eto i'w hen garchar yn y Tŵr.

Nid oedd dim a foddiai Spain yn awr ond dienyddiad Raleigh, a dewisai i hyny gael ei wneyd yn y wlad hon. Bu James a'i wŷr yn ddiwyd yn ceisio gwneyd achos yn ei erbyn oddiwrth ei ymddygiad yn ei hynt ddiweddar, ond methwyd yn lân. O'r diwedd penderfynwyd profi ei achos yn ol y ddedryd a basiwyd arno bymtheg mlynedd yn ol. Dadleuai Raleigh fod gwaith y brenin yn rhoddi awdurdod iddo ar fywydau eraill yn cynwys pardwn. Ond yr oedd James wedi penderfynu ei ddyfetha, ac am hyny ni waeth pa mor wrol a llwyddianus yr amddiffynai y carcharor ei hun. Cyhoeddwyd dedryd marwolaeth arno yn Westminster, Hydref 28, 1618, a gwrthododd yr hynaws James ychydig o ddiwrnodau iddo i drefnu ei dŷ cyn marw. Nos y diwrnod uchod, galwodd ei wraig i ffarwelio ag ef, a dywedodd ei bod wedi llwyddo i gael ei gorph. "Da iawn, Bess," ebai, "dy fod wedi cael y corph marw at dy wasanaeth, yr hyn beth na chefaist ond anfynych tra yr oedd yn fyw."

Dranoeth (29ain) dygwyd ef i'r esgynlawr dyoddef, yn yr *Old Palace Yard*, lle yr oedd tyrfa fawr o edrychwyr wedi ymgasglu. Yr oedd ei wedd, ei wroldeb, a'i ymadroddion Cristionogol yn dra effeithiol. Diolchai i'r Arglwydd am gael ei ddwyn allan i'r goleuni i ddyoddef, gwadodd, yn enw ei holl obeithion am iachawdwriaeth, na luniodd yr un fradwriaeth yn erbyn ei wlad na'i frenin, ac nad oedd ganddo yr un amcan wrth fyned allan i Guiana ond mantais ei benadur, ei eiddo ei hun, ei gyfeillion, a'i wlad. Yn nghylch Iarll Essex dywedodd, "Yr wyf yn galw Duw yn dyst na fu genyf yr un llaw yn ei waed, ac nad oeddwn yn un o'r rhai a'i dygodd ef i'w farwolaeth. Wylais ddagrau oblegyd ei farw. Er fy mod i yn perthyn i'r blaid oedd yn wrthwynebol iddo, ac i mi gynorthwyo i'w dynu i lawr, yr oedd genyf barch i'w werth personol, a gwyddwn y buasai yn waeth arnaf fi wedi iddo ef fyned; a'r rhai a'm gosodasant i yn ei erbyn, a droisant wedi hyny yn elynion penaf i mi. Yr wyf wedi blino lawer gwaith na fuaswn yn ei ymyl pan fu farw, o herwydd deallais iddo wedi hyn ofyn am danaf, i gael heddychu â mi." Gofynodd Deon Westminster iddo yn mha ffydd yr oedd yn marw; atebodd yntau, "Yn y ffydd a broffesir gan Eglwys Loegr; ac yr wyf yn gobeithio cael fy nghadw, a chael fy holl bechodau wedi eu dileu, trwy waed a haeddiant ein Hiachawdwr Crist."

Gan ei bod yn foreu oer, cynygiodd y sirydd iddo gael myned i lawr i ymdwymno cyn gweddio. "Na, fy anwyl Mr. Sirydd," ebe yntau, "gadewch i ni gael gwneyd brys, o herwydd yn mhen chwarter awr daw y cryd arnaf; ac os na fyddaf farw cyn hyny, dywed fy ngelynion fy mod yn crynu gan ofn." Wedi offrymu gweddi anarferol at Dduw, a ffarwelio â phawb o'i gwmpas, ymaflodd yn y fwyall o law y dienyddwr, rhedodd ei fawd dros ei min, a dywedodd gyda gwen, "Cyfferi llym yw hon, ond y mae yn gwella pob clefyd." Pan aeth y dienyddwr i osod napcyn am ei lygaid, rhwystrodd ef, gan ddweyd, "A ydych chwi yn meddwl fod arnaf ofn cysgod y fwyall, pan nad oes arnaf ofn y fwyall ei hun?" Gosododd ei ben ar y plocyn; ac wrth weled fod y dienyddwr yn petruso, dywedodd, "Beth wyt yn ei ofni? taro, wr!" Disgynodd y fwyall, ac ar ddau ergyd syrthiodd pen Syr Walter Raleigh—y morwr, y milwr, y gwleidiadwr, a'r bardd enwog,* i'r llawr, pan oedd yn 67ain mlwydd oed. "Dywedai pob un a welodd Syr

*Dywedir iddo ysgrifenu y llinellau hyn ar ddalen wen yn ei Fibl y nos cyn ei farwolaeth:—

"Even such is time, that takes on trust
Our youth, our joys, our all we have,
And pays us but with age and dust:
Who in the dark and silent grave,
When we have wandered all our ways,
Shuts up the story of our days."

Walter yn marw," meddai llygad-dyst, "fod yn anmhosibl dangos mwy o weddusrwydd, dewrder, a duwioldeb; ac y buasai ei farwolaeth yn gwneyd llawer mwy o ddrwg i'r blaid oedd yn sychedu am dani, nag y gallasai ei fywyd byth wneyd." Y mae yr amgylchiad yn ysmotyn annileadwy ar gymeriad y brenin, yr hwn a'i bradychodd ef i'r Ysbaeniaid, ac a'i rhoddodd i farwolaeth, ar ol rhoddi pardwn iddo (mewn gwirionedd, os nid mewn ffurf) ar gyhuddiad y gwyddai ei fod yn annghyfiawn. Er ei holl ddiffygion, rhaid gosod enw Raleigh yn llechres enwogion ein gwlad.

Mawrth, 1619, bu brenines James farw, a rhoddodd hyn fwy o allu yn llaw ei hoff-ddyn, Duc Buckingham. Yr un flwyddyn cynygiwyd coron Bohemia i Frederick, mab yn nghyfraith James. Ar farwolaeth yr ymerawdwr Matthias, cododd y Bohemiaid Protestanaidd yr hen egwyddor fod y goron yn etholedig, a chynygiwyd hi yn gyntaf i Etholwr Saxony; ac wedi i hwnw wrthod, i'r Etholwr Frederick, yr hwn fu mor wan a byrbwyll a'i derbyn, a choronwyd ef yn Prague, Tachwedd 4ydd. Taflodd hyn James eto i gyfynggynghor. Ei gasbeth oedd rhyfel, ac nid oedd ganddo fodd i'w gario yn mlaen; ni fynai er dim dramgwyddo brenin Ysbaen, am ei fod yn dysgwyl cael ei ferch yn briod i Charles ei fab; ac nid hawdd y gallasai wrthod ei gynorthwy i'w fab yn nghyfraith a'r Protestaniaid. Wedi hir betruso gyrodd fyddin fechan drosodd i gynorthwyo Frederick; ond yr oedd yn rhy ddiweddar. Gorchfygwyd ef gan alluoedd Awstria, a dygwyd y goron oddiar ei ben; cymerwyd ei diriogaethau etifeddiaethol oddiarno hefyd gan Spinola, cadfridog Ysbaen; a symudodd ef a'i deulu i'r Hague i fyw mewn unigedd a thlodi.

Yr oedd James yn y cyfamser mewn nwyd wancus am arian, ac yn dirwyo a charcharu ei ddeiliaid yn y modd mwyaf digywilydd er mwyn eu cael. Hyn hefyd barodd iddo alw ei senedd yn nghyd yn 1621. Yn hon y dygwyd achos Bacon i brawf, ac y syrthiodd mor waradwyddus, fel y dangoswyd eisoes. Terfynodd y senedd mewn cweryl rhwng James a Thŷ y Cyffredin. Anfonodd y Tŷ hwnw ddeiseb ato i geisio ganddo gynorthwyo ei fab yn nghyfraith yn egniol; i gyhoeddi rhyfel â Spain; priodi ei fab â thywysoges Protestanaidd; a rhoi y gyfraith mewn grym yn erbyn y Pabyddion. Cyffrodd digofaint y brenin, a dywedodd wrth y deisebwyr eu bod yn ymyryd â dirgelion llywodraeth—pethau uwchlaw eu deall. Atebasant hwythau fod rhyddid llafar yn hawlfraint ac etifeddiaeth wedi ei throsglwyddo iddynt gan eu hynafiaid, ac na fuasent yn gollwng eu gafael ynddi mewn un modd. "Dylech ddyweyd yn hytrach," meddai James, "fod hyny wedi ei oddef i chwi gan eich hynafiaid a chenyf finau." Ond os oedd y brenin yn gyndyn dros eu oruwch-awdurdod, yr oedd y Cyffredin lawn mor gyndyn

dros ei hawl-freintiau; a phasiwyd gwrthdystiad dewr a chanmoladwy i'r perwyl, yr hwn a wrthwynebai unrhyw ymyriad â rhyddid llafar yn Nhŷ y Cyffredin gan neb, oddigerth ar ffurf cerydd gan y Tŷ ei hun. Darniodd y brenin â'i law ei hun y gwrthdystiad hwn allan o'r cofnodau; torodd y senedd i fyny; taflodd rhai o'r aelodau mwyaf eu dylanwad i garchar, ac anfonodd eraill allan o'r wlad oddiar y ffordd.

Yr oedd priodi Charles ei fab a'r *infanta* (yr enw a roddid ar ferched breninoedd, neu etifeddesau coron Spain), yn agos at galon James; ac yr oedd wedi gwneyd llawer i barotoi y ffordd i ddwyn hyny oddiamgylch. Hyn oedd wedi peri anfoniad Iarll Bristol yn genadwr i Madrid, anfon am gydsyniad y pab, llaesu y cyfreithiau yn erbyn y Pabyddion, a gollwng llawer o garcharorion Pabaidd yn rhydd. Bellach yr oedd llysoedd Lloegr, Spain, a Rhufain yn foddlon i'r undeb, ond yr oedd pobl Lloegr yn anfoddlon iawn i'r tywysog briodi â Phabyddes.

Nid oedd dim cyfeillgarwch yn bodoli rhwng Charles a Buckingham, hoff-ddyn ei dad; ac wrth weled iechyd y brenin yn gwaelu, ofnai y duc y canlyniad. Felly, er mwyn enill ffafr y tywysog, cynygiodd Buckingham ar fod iddynt ill dau fyned ar daith i Spain, i dalu ymweliad â'r *infanta*, ac â'r teulu breninol, ac i gwblhau y trefniadau angenrheidiol. Yr oedd y peth wrth fodd calon y tywysog; ond bu y brenin yn ymgyndynu yn hir cyn rhoddi ei ganiatad. Derbyniwyd y tywysog gan deulu breninol Spain gyda'r caredigrwydd a'r rhwysg mwyaf. Enillodd ei ymddygiad yntau y parch mwyaf yn ngolwg y llys, a phob dosbarth o'r bobl, a chymerodd y briodferch fwriadol yr enw tywysoges Lloegr. Ond tynodd ymddygiad trahausfalch Buckingham yr Ysbaeniaid am ei ben, ac i ddial arnynt, penderfynodd wneyd ei oreu i atal y briodas. Yr oedd y Pabyddion yn prysur ddefnyddio yr amgylchiad hwn i adferu awdurdod Rhufain yn Lloegr, a pharwyd ychwanegu rhai telerau newyddion yn nghytundeb y briodas. Bu y pab farw hefyd, a pharodd hyn oediad ychwanegol. Yn y cyfamser ymadawodd Charles a Buckingham o Madrid i ddyfod adref, a llwyddodd yr olaf i droi meddwl y tywysog i edrych am frenines i gyfeiriad arall.

Bu y newydd agos a llethu James; y fath siomedigaeth! y fath helbul! Yr oedd wedi cyfrif ar gael swm mawr o arian gyda'r dywysoges Ysbaenaidd i gyfarfod â'i angenrheidiau. Mae ei goffrau heb geiniog ynddynt, a'r rhagolygon am fodd i'w llenwi mor dywyll a'r fagddu. Mae ei bobl ei hun yn ei erbyn am iddo fwriadu priodi ei fab â Phabyddes, ac y mae wedi tynu Spain am ei ben, trwy dori y cytundeb ar ol i ddydd y briodas gael ei benodi. Yr oedd yn awr dan orfod o fyned at ei gasbeth o alw senedd yn nghyd. Cymer-

odd hyn le yn Chwefror, 1624; a rhoddodd y brenin holl achos yr ymdrafodaeth â Spain ger bron y Tŷ, mewn tôn llawer mwy gostyngedig nag arfer. Haerodd luaws o bethau yn ei araeth, gyda'r llwon mwyaf difrifol, pan y gwyddai pawb oedd yn gyfarwydd â'r drafodaeth ei fod yn tyngu anudon. Yn mhen ychydig ddiwrnodau, gwnaeth Buckingham yntau araeth yn cynwys adroddiad o'i hanes ef a'r tywysog yn Spain, a'r tywysog wrth ei ochr yn cynorthwyo ei gof, ac yn cadarnhau ei dystiolaethau anwireddus. Ceisiodd berswadio y senedd trwy anwireddau noethion nad oedd llys Spain yn ddifrifol yn y cytundeb priodasol diweddaf. Beth bynag, yr oedd y bobl yn falch o'r rhwyg hwn, ac o'r rhagolwg am ryfel â'r Pabyddion, a daeth Buckingham i fwy o fri nag erioed. Gorfu i'r brenin ganiatau rhyfel, a dyfarnwyd y swm o dri chan mil o bunau gan y senedd at ei ddwyn yn mlaen.

Gwnaeth Buckingham y goreu o'i boblogrwydd byr i ddangos ei awdurdod. Dygwyd cyhuddiad o gamymddygiad a llwgrwobrwyaeth yn erbyn Cranfield, Iarll Middlesex. Yr oedd hwn wedi ei godi o radd masnachydd yn Llundain i fod yn drysorydd y deyrnas, a hyny trwy ffafr Buckingham. Ond collodd ffafr y duc trwy ei ymddygiadau yn ei absenoldeb, ac yn awr mynodd y duc ad-dalu iddo trwy ddwyn cyhuddiad yn ei erbyn. Dangosodd y brenin anfoddlonrwydd mawr i'r mesur, a dywedodd wrth y duc "ei fod yn ffwl, a'i fod yn tori gwialen i'w fflangellu ei hun;" ac wrth y tywysog, y cai yntau fyw "i gael llonaid ei fol o gyhuddiadau seneddol." Ond mynasant eu ffordd er gwaethaf y brenin, a dirwywyd yr iarll o haner can mil o bunau.

Tua diwedd y flwyddyn hon, gwnaed cytundeb priodas eto rhwng Charles a Henrietta Maria, chwaer Louis XIII., brenin Ffrainc, â'r hon y cyfarfyddodd y tywysog yn Paris, wrth ddychwelyd o Spain. Yr oedd hon eto yn Babyddes; ac er fod y tywysog yn ddiweddar wedi gwneyd hysbysiad cyhoeddus gyda llwon, os priodai ag un o'r grefydd hono, na chawsai fwy o ryddid gyda'i chrefydd na therfynau ei theulu ei hun; eto yr oedd cytundeb dirgel wedi ei arwyddo gan James a'i fab, yn cynwys fod y frenines i gael gofal addysgiad y plant hyd nes byddent yn dair ar ddeg oed, fod y carcharorion Pabaidd i gael eu rhyddhau, ac addoliad Pabaidd yn y teuluoedd i gael ei oddef. Dengys hyn eto gymeriad rhagrithiol a thwyllodrus y brenin a'i fab. Ond er mor llawen oedd James i weled y cytundeb hwn wedi ei wneyd, ni chafodd fyw i weled dydd y briodas. Bu farw Mawrth y 27ain, 1625, heb gael ond pythefnos o glefyd, yn 59ain mlwydd oed, ac wedi bod yn teyrnasu dwy flynedd ar ugain.

Mae yr hanes ydym wedi ei roddi am James yn esboniad cyflawn ar ei gymeriad. Rhaid cyfaddef ei fod yn berchen dysg a thalentau,

ac y mae ei ysgrifeniadau yn fynych yn dangos craffder a synwyr da. Ond yr oedd ei wendid, ei ffolineb, ei ragrith, a'i falchder yn ddirmygus. "Nid yw doethineb mewn ymddygiad i'w gael lle byddo gwroldeb moesol yn eisiau, ac y mae yr olaf yn gofyn gwroldeb naturiol yn gyfnerth iddo."* Gwelwyd fod James yn nodedig o ddiffygiol yn hyn, ac am hyny nid oes dim mawr, nac ond ychydig o dda, i'w ddyweyd am dano. Yr oedd ei farn uchel am ei hawl-freintiau breninol, a'i wanc diball am awdurdod hollol, yn ei wneyd yn dra gormesol, yn peri iddo wasgu yn fynych at y grefydd Babaidd, ac i arfer mesurau llymion at y Protestaniaid. "Ymddarostyngai i gyflawni y gweithredoedd iselaf, ac ar yr un pryd hawliai warogaeth ac ufudd-dod Duw." Yr oedd yn gaeth i arferion isel a llygredig; yfai i feddwdod, ac arferai dyngu yn yr iaith fwyaf gableddus. Yr oedd o dymher naturiol addfwyn, ac o hyn y codai ei wrthwynebrwydd i ryfel; eto dangosodd greulondeb tuag at Arabella Stuart, Syr Walter Raleigh, a Duc Somerset. "Yr oedd ei lwfrdra, ei blentynrwydd, ei ddysgeidfost, ei lafar taleithiol, ac annymunoldeb ei berson a'i arferion, yn ei wneyd yn destun gwawd. Yr oedd rhyw beth anfreninol hyd y nod yn ei rinwedd a'i gymhwysderau. Am ddau can mlynedd yr oedd Lloegr wedi cael ei llywodraethu gan benaduriaid o feddwl galluog, o ysbryd uchel, ac ymddygiad dewr a thywysogaidd—yr anffortunus Henry VI. yn unig yn eithriad. Yr oeddent agos oll o gymhwysderau uwch na'r cyffredin. Ac nid peth dibwys oedd i'r orsedd gael ei llenwi, ar fin yr ymgyrch fawr rhwng ein breninoedd a'n seneddau, â brenin bloesg, mochynaidd, yn wylo dagrau annynol, yn dychrynu wrth olwg y cleddyf, ac yn actio rhan yr athraw a'r ffwl bob yn ail.†" Ond, fel yn achos y brenin John, tarddodd daioni o'i ddiffygion. Rhoddodd gwendid y brenin gyfnerth pwysig i'r elfen Buritanaidd yn ei seneddau diweddaf, a gwnaeth Dŷ y Cyffredin yn hyf i amddiffyn yr egwyddorion ydynt yn sail rhyddid ac annibyniaeth ein gwlad. Gellir dyweyd am ei farwolaeth yn ngeiriau y Bibl am Jehoram, brenin Israel, "Efe a ymadawodd heb hiraeth am dano.‡"

Dylasid coffa, er anrhydedd i James, am y gwelliant pwysig a gymerodd le yn Iwerddon dan ei deyrnasiad. Dywedir iddo wneyd

*Keightley. †Macauley, vol. i. 76.

‡Mae y desgrifiad trwsgl a ganlyn yn rhy wir am nodwedd James:—

"The pedant scholar, he forgot the prince,
And having with some trifles stored his brain,
Ne'er learn'd or wished to learn the arts to reign.
Enough he knew to make him vain and proud.
Mock'd by the wise, the wonder of the crowd.
False friend, false son, false father, and false king,
False wit, false statesman, and false every thing."

mwy tuag at ddiwygiad y wlad hono mewn naw mlynedd, nag a wnaed yn ystod y pedwar cant a deugain mlynedd oedd wedi pasio er ei oresgyniad. Dygodd y brenin y wlad dan lywodraeth a threfniadau newyddion; dyddimodd ei hen arferion gorthrymus, rhoddodd y cyfreithiau Seisnig yn eu lle, a chymerodd y trigolion dan ei nawdd, gan eu cyhoeddi oll yn ddinaswyr rhydd. Gosododd fyddin fechan yno fel amddiffyn, yr hon a gynelid o Loegr; dosbarthodd y tiroedd o'r newydd, a gosododd hwy allan mewn ffordd i gymhell llafur a gwrteithiad. Sefydlwyd cwmpeini yn Llundain, er hyrwyddo y trefniadau hyn, a chodi trefedigaethau mewn parthau anial o'r wlad, a chymhellwyd y Gwyddelod i ddisgyn o'u cilfachau mynyddig, a dyfod i ymsefydlu yn y dyffrynoedd agored. Cospid troseddau; lleihawyd a chyfartalwyd y trethi; a daeth rhai o'r parthau gwylltaf yn Iwerddon, y lleoedd mwyaf diwylliedig. "Y cyfryw oeddent y cynlluniau," meddai Hume, "a gymerodd James i ddwyn dynoliaeth a chyfiawnder i fysg pobl oeddent wedi eu claddu yn y barbareiddiwch mwyaf. Gorchwylion ardderchog! llawer rhagorach na gwag ogoniant goresgyniadau; ond gofynai oesoedd o lafur a dyfalwch i berffeithio yr hyn a ddechreuwyd mor ddymunol."

Archesgobion Canterbury yn ystod y teyrnasiad hwn oeddent, Whitgift, a fu farw yn 1604; Bancroft, yn 1610; ac Abbot, yr hwn a oroesodd y brenin. Y canghellwyr oeddent, Ellesmere, yr hwn a roddodd ei swydd i fyny yn 1617; Bacon, yr hwn a fu yn arglwydd-geidwad hyd 1619, ac yn ganghellydd hyd ei ddiswyddiad yn 1621, pryd y gwnaed Williams, esgob Lincoln, yn arglwydd-geidwad yn ei le. Yr uch-drysorwyr oeddent Iarll Dorset, a fu farw yn 1609; Iarll Salisbury, yn 1612; Iarll Suffolk, yr hwn a ddirwywyd, ac a ddiswyddwyd am lwgr-wobrwyaeth yn 1618; Arglwydd Mandeville, yr hwn a roddodd ei swydd i fyny yn 1621; Iarll Middlesex, a ddiswyddwyd yn 1624; a Iarll Marlborough, yr hwn a'i dylynodd. Yr arglwydd-lyngeswyr oeddent, Iarll Nottingham, yr hwn a roddodd ei swydd i fyny yn 1618; a Duc Buckingham. Ysgrifenyddion y llywodraeth oeddent, Iarll Salisbury, Syr Ralph Winwood, Nanton, Calvert, Arglwydd Conway, a Syr Albertus Moreton. Nifer Tŷ yr Arglwyddi yn senedd gyntaf James oedd triugain a deunaw o bendefigion tymhorol; a'r nifer yn senedd gyntaf Charles oedd pedwar ugain a dau ar bymtheg. Yr oedd Tŷ y Cyffredin yn nechreu y teyrnasiad hwn yn cynwys pedwar cant a thriugain a saith o aelodau, ac yn nechreu teyrnasiad Charles yn cynwys pedwar cant pedwar ugain a phedwar ar ddeg, yr hyn a ddengys fod James wedi ychwanegu at nifer y bendefigaeth, a'r bwrdeisdrefi etholiadol.*

*Hume.

II.—CHARLES I.—1625—1649.

MAWRTH 27, 1625, esgynodd Charles, yn ei 25ain mlwydd o'i oedran, i orsedd y tair teyrnas. Daeth yn fwy poblogaidd gyda'i bobl ar ol ei ddychweliad o Spain, a thoriad y cysylltiad bwriadol â theulu breninol Pabaidd y wlad hono. Yr oedd ei gymeriad cyffredinol yn rhagori cymaint ar eiddo ei dad, fel yr oedd dysgwyliad cryf yn y wlad am well teyrnasiad. Ond yr oedd Charles wedi llyncu yr un syniadau am hawl ddwyfol breninoedd a'i dad, ac yn ystyried fod ei awdurdod ef fel brenin uwchlaw cyfrifoldeb i neb ond i'r Goruchaf. Ac o'r syniad ffol hwn y tarddodd ei flinderau a'i gwymp. Yr oedd sefyllfa gyllidol y llywodraeth hefyd yn eithaf annymunol ar esgyniad Charles. Bu James farw yn llawn dyledion, a gadawodd ei goffrau yn wag. Ac heblaw dyledion ei dad, a'r treuliadau cyffredin, yr oedd y brenin yn awr am gychwyn rhyfel â Spain, ac ar fin priodi â thywysoges Ffrainc, ac heb geiniog ar gyfer yr amgylchiadau. Yr oedd teimladau drwg hefyd wedi eu cynyrchu rhwng yr orsedd a'r senedd, oedd yn gwneyd y rhagolygon am ffordd i gael arian yn dywyllach fyth.

Cadarnhaodd Charles y Cynghor a'r swyddogion blaenorol yn eu lle, fel na chymerodd nemawr o gyfnewidiad le yn ngweinyddiad y llywodraeth; ond cafodd ei hoff-ddyn, Buckingham, fwy o ddylanwad arno, os oedd bosibl, nag ar ei dad, a chododd i fwy o rwysg ac awdurdod nag erioed. Cyflawnwyd priodas y brenin â Henrietta Maria o Ffrainc, trwy ddirprwy, yn Paris, Mai y 1af, ac anfonwyd Buckingham gyda gosgordd fawreddog i'w chyrchu drosodd; glaniodd yn Lloegr yn nghanol mis Mehefin, a derbyniwyd hi gan y priodfab breninol gyda phob arwyddion o serch. Ni wnaed y defodau cyhoeddus arferol yn Llundain, oblegyd y pla dinystriol oedd yn y ddinas, yr hwn a laddodd ddeugain mil o'r trigolion mewn ystod blwyddyn; a bu ugain mil farw, yr un amser, o glefydau eraill.

Ymgyfarfu senedd gyntaf Charles yn Westminster, Mehefin 18, 1625, ac wele yr ymgyrch, ar ba un y mae tynged y bobl yn troi, yn dechreu. Fel yr awgrymwyd, yr oedd llawer o rinweddau canmoladwy a thywysogaidd yn Charles; ond yr oedd un diffyg mawr a dinystriol ynddo, yr hwn dynodd gyfres o drallodau am ei ben; yr oedd yn anffyddlon a thwyllodrus. Yr oedd y bai hwn yn nodweddu ei gymeriad o'i febyd. Yr oedd ei senedd hefyd yn cael ei gwneyd i fyny o bleidiau cyndyn i'w gwrthsefyll, ac yn eu mysg rai o'r gwleidiadwyr mwyaf dewr a galluog ag sydd gan ein gwlad i ymffrostio ynddynt. Y blaid luosocaf oedd y Puritaniaid, y rhai a edrychent ar ormes y brenin, a'i ogwydd at Babyddiaeth, oddiar safle crefyddol, ac a'u gwrthsafent oddiar sel dros ryddid cydwybod

a chrefydd. Yr oedd plaid arall lawn mor elynol i Babyddiaeth, ac mor groes i uchafiaeth gormesol Charles, a alwent eu hunain yn "*Patriots*" (gwladgarwyr), y rhai a edrychent ar y drygau uchod oddiar safle gwleidyddol, fel gelynion rhyddid a llwyddiant y wladwriaeth. Yn mysg y rhai hyn yr oedd Syr Edward Coke, Syr Thomas Cotton, John Selden, a John Pym.

Wedi i aelodau Tŷ y Cyffredin dderbyn y sacrament yn eglwys St. Margaret, er dangos eu hymlyniad wrth y grefydd Brotestanaidd, agorodd y brenin y senedd gydag araeth fer a synwyrol, a dygodd o'u blaen ar unwaith bwnc y gyllideb. Yr oedd ei goffrau yn wag; yr oedd dyledion ei dad, a'i ddyledion ei hun, ag eisiau eu talu; ac yr oedd angen swm mawr i gario y rhyfel yn mlaen â Spain. A chan fod y senedd flaenorol wedi addaw y swm o saith can mil y flwyddyn i'w dad, i gario y rhyfel yn mlaen a Ffrainc, dysgwyliai yntau y swm cyfatebol i gario y rhyfel â Spain yn mlaen. Ond nid oedd y senedd mewn tymher mor haelfrydig ag yr ewyllysiai y brenin iddynt fod. Yn lle y swm mawr a ddysgwyliai ef, caniataodd y senedd tua chant a deugain o filoedd (£140,000) o bunau, yn nghyda threth o gymaint a chymaint y dunell, a chymaint a chymaint y bunt, nid dros ei fywyd, yn ol yr arferiad am y ddwy ganrif yn flaenorol i hyny, ond am flwyddyn yn unig, yr hyn barodd i Dŷ yr Arglwyddi wrthod y mesur. Nid ydys yn gwybod yn sicr beth oedd syniad y Cyffredin am y fath ymddygiad; pa un ai dyfais ydoedd er cael gan y brenin i daflu Buckingham o'i le, yr hwn oedd wedi myned mor anmhoblogaidd; neu eu bod yn amheu gogwydd y brenin at Babyddiaeth trwy ei briodas ddiweddar. Beth bynag, ffromodd Charles wrth eu hymddygiad; a chan gymeryd esgus oddiwrth y pla oedd yn rhwygo y ddinas, gohiriodd y senedd hyd y 1af o Awst, i gyfarfod y pryd hwnw yn Rhydychain.

Nid oedd y senedd mewn gwell tymher pan gyfarfyddodd yn Rhydychain ar y 1af o Awst; ac yr oeddent wedi cael darganfyddiadau newyddion i'w cyffroi. Yn rhinwedd y cytundeb diweddar â Ffrainc, caniataodd y brenin a Buckingham anfon cymhorth llongau a milwyr i ddarostwng Rochelle (yn Ffrainc); ond yr oedd hyn i gael ei wneyd yn ddirgelaidd, dan rith myned i ddarostwng Genoa, yr hon a bleidiai deulu Awstria. Anfonwyd amryw longau allan dan lywyddiad y llyngesydd Pennington. Ond wedi dyfod i Dieppe deallwyd yr amcan, ac yn hytrach nag ymladd yn erbyn eu brodyr Protestanaidd, gwrthododd y Saeson ufuddhau, gan ddyweyd fod yn well ganddynt gael eu crogi yn Lloegr na darostwng eu hunain i'r fath wasanaeth. Dychwelasant i Loegr. Ond gorfodwyd hwy gan lythyrau o dan law y brenin ei hun i fyned allan eilwaith, a gorchymynwyd i Pennington i fynu ufudd-dod, bodd neu anfodd. Ond er pob bygythion, dychwelodd un o'r llongau i Loegr eilwaith,

gadawyd y lleill gan y dwylaw. a defnyddiwyd y llongau gan y Ffrancod i ymladd yn erbyn Rochelle. Cyffrodd hyn y senedd yn erbyn y brenin a'i hoff-ddyn, a chyhoeddwyd amryw gyhuddiadau yn erbyn yr olaf yn ddifloesgni. Ond i ragflaenu y Tŷ i wneyd achos yn erbyn Buckingham, ac yn gweled nad oedd gobaith am ei syflyd oddiar ei hen safle gyda golwg ar ganiatau arian, torodd Charles y senedd i fyny, gydag arddangosiad eglur o'i anfoddlonrwydd. Felly y terfynodd senedd gyntaf Charles.

Nid oedd rhyfel eto wedi ei gyhoeddi â Spain, ac am hyny nid oedd unrhyw orfodaeth ar Charles i ymgymeryd â hi. Beth bynag, yr oedd ei fryd ef arni, ac yr oedd yn cael ei hysio yn mlaen gan Buckingham. Ac, i ddangos ei sel Brotestanaidd, tynhaodd y cyfreithiau yn erbyn y Pabyddion, er ei fod wrth hyny yn tori telerau y cytundeb priodasol â Ffrainc. Benthyciodd symiau o arian ar ei ddeiliaid, a chododd drethi heb awdurdod y senedd. Ac yn mis Hydref, anfonodd lynges yn cynwys 90 o longau, yn cludo deng mil o filwyr, allan o Plymouth, dan lywyddiad Syr Edward Cecil, yn awr Arglwydd Wimbledon—gwr oedranus ac annghymhwys i'r ymgymeriad. Glaniodd ei wŷr gerllaw Cadiz, gan feddwl gwneyd ymosodiad ar y lle oddiar y tir. Nid oedd yr un gelyn yn y golwg; ond torodd y milwyr i mewn i'r seleri gwin, ac yno cyfarfuasant â gelyn sydd wedi gwneyd mwy o niwed i filwyr Prydain nag a wnaeth y cleddyf na'r magnel erioed. Meddwodd y fyddin, ac aeth yn aflywodraethus. Dychwelodd y llynges i Plymouth yn Rhagfyr, ar ol hynt ofer a diraddedig, ac wedi colli dros fil o wŷr trwy glefydau. Rhoddodd hyn eto ergyd trwm i boblogrwydd y brenin a'i hoff-ddyn, a darostyngodd Charles i fwy o angen nag erioed. Yr oedd wedi rhoddi ei air y galwai senedd yn nghyd ar ol y Nadolig. Yr oedd yn bryd iddo bellach i geisio palmantu ei ffordd ar gyfer hyny. Dyfeisiodd amryw ffyrdd i dori nerth y blaid wrthwynebol. Cymerwyd y sel fawr oddiwrth yr esgob Williams, a rhoddwyd hi i Syr Thomas Coventry. Ac, i ysgoi Coke a chwech eraill o elynion penaf Buckingham yn Nhŷ y Cyffredin, rhoddwyd eu henwau yn llechres y siryddion am y flwyddyn ddylynol.

Chwefror 2, 1626, coronwyd y brenin yn Westminster; gweinyddwyd y ddefod gan yr archesgob Abbot, o'r tu cefn i len, oblegyd fod y seremoniau mor atgas yn ngolwg y Puritaniaid. Gwrthododd y frenines roddi ei phresenoldeb ar yr amgylchiad, oblegyd ei syniadau Pabyddol; a goddefai yr edrychwyr y ddefod gyda theimlad oer a difater. Yn mhen pedwar diwrnod, galwodd y brenin ei ail senedd yn nghyd; ac er ei holl ddyfeisiau cafodd hwy mor gyndyn yn awr ag erioed. Gorchymynodd iddynt benodi cymhorth arianol dioed iddo. Addawent hwythau wneyd, ar yr amod fod iddo ef ddiwygio amryw gamweddau, a symud ymaith feichiau gormesol. Yr oeddent wedi penderfynu darostwng Buck-

ingham; etholasant bwyllgor, a thynwyd i fyny tuag un ar bymtheg o achwyniadau yn erbyn Charles a Buckingham, ac edrychid ar yr olaf fel yr achos o honynt oll. Yn mlaenaf yn yr achos hwn oedd Syr Dudley Digges a Syr John Eliot, Selden, Pym, a thri neu bedwar eraill. Cymerwyd Digges ac Eliot i fyny yn lladradaidd, a thaflwyd hwy i'r Tŵr; ond gwrthododd y Tŷ a myned yn mlaen gyda'i orchwylion nes i'r brenin eu rhyddhau.

Yn y cyfamser yr oedd gelynion Buckingham yn dwyn mesurau yn ei erbyn yn Nhŷ yr Arglwyddi—sef Arundel a Bristol. Taflwyd Iarll Arundel i'r Tŵr; ond gorchfygodd y Tŷ uchaf eto, a gorfododd y brenin i'w ryddhau. Nis gallasai Charles ddinystrio ei boblogrwydd yn fwy nag wrth noddi Buckingham; ac eto yr oedd yn para i wneyd hyny yn y modd mwyaf cyndyn a phenderfynol. Anfonodd at y Cyffredin unwaith,—"Byddai yn dda genyf i chwi brysuro i basio cynorthwy i mi; os na wnewch, bydd yn waeth i chwi; oblegyd os dygwydd rhyw ddrwg, myfi fydd y diweddaf i deimlo oddiwrtho." Anfonodd y genadwri hon yn ddiweddarach:—"Dywedwch wrthynt am ddwyn eu bil am gynorthwy ger bron ar unwaith, heb oediad nac amod, fel y byddo wedi ei basio erbyn diwedd yr wythnos nesaf o bellaf; ac os na wnant, byddaf dan orfod i gymeryd llwybr arall." Yr oedd y Cyffredin wedi bod yn brysur yn parotoi bil, ond yn benderfynol i ddiwygiad y camweddau a diswyddiad Buckingham fod yn delerau ynddo, gan feddwl myned ag ef gyda'u gilydd at y brenin. Ond tra yr oedd heb ei gwbl orphen, galwyd hwy yn ddisymwth ger bron y brenin i'r Tŷ uchaf. Ond yn lle y brenin, nid oedd yno ond ei ddiprwywyr, yn cyhoeddi toriad y senedd i fyny. Daliodd Llefarydd Tŷ y Cyffredin yr ysgrif i fyny, a chyhoeddodd brif bethau ei chynwysiad. Canfyddodd yr Arglwyddi y perygl o dori y senedd i fyny, a gadael pethau yn yr agwedd oedd arnynt, ac anfonasant at y brenin am ychydig oediad. "Na wnaf, ddim am foment!" oedd yr ateb. Ac felly y terfynodd ail senedd Charles, Mehefin 15fed, 1626. Cyn i aelodau Tŷ y Cyffredin ddychwelyd i'w cartrefloedd i weled beth wnai yr "hawl ddwyfol" dros y brenin yn annibynol ar eu cynorthwy hwynt, taenasant gopiau o'u penderfyniadau, yr hyn a wnaeth argraff ddwfn ar feddyliau y lluaws. Gwnaeth y brenin hysbysiad gwrthwynebol iddo, a gorchymynodd i bob un oedd yn meddu y blaenaf i'w losgi yn ddioed.

Pe buasai Charles yn meddu ar fyddin gref yn yr hon y gallasai ymddiried, diau y buasai ar unwaith yn taflu y ffug ymaith, ac yn ymgymeryd â llywodraethu y wlad trwy nerth arfau, heb senedd o gwbl. Ond yr oedd ei fyddin mewn cyflwr isel ac annysgybledig, ac i raddau helaeth dan ddylanwad boneddigion gwledig; ac felly yr oedd yn rhaid i'r brenin gymeryd mesurau mwy cynil. Wedi

tori y senedd i fyny, taflwyd Arundel a Bristol i'r Tŵr, a phrysurodd Charles i gario allan ei ddyfeisiau i lenwi ei goffrau. Cododd dollau y bunt a'r dunell, heb gydsyniad y senedd; cymerwyd amryw esgusodion dros godi dirwyon trymion ar rai abl i dalu; a gorfodwyd y wlad i fenthycia symiau mawrion i'r brenin, ac addawid eu talu yn ol o roddion a ganiateid gan y senedd. Taflwyd amryw bersonau enwog i garchar am wrthod talu, ac arferid y gormes mwyaf gan y brenin a'i ddiprwywyr. Cyffrodd Buckingham y brenin i gymeryd arfau i bleidio Protestaniaid Ffrainc, a chymhellodd Rochelle eilwaith i godi. Hwyliodd y duc o Portsmouth (Meh. 1627), gyda chant o longau, a saith mil o filwyr, gan gymeryd llywyddiad yr hynt ei hun, er ei fod yn gwbl annghyfarwydd â'r fath orchwyl. Glaniodd ar ynys Rhe, ac wedi gwarchae afiwyddianus ar y brif amddiffynfa, dychwelodd i'w wlad, wedi colli miloedd o'i wŷr, ac wedi prysuro dinystr preswylwyr Rochelle a'r Protestaniaid Ffrengig.

Derbyniwyd Buckingham yn llawen gan Charles, ond yr oedd pob symudiad o'i eiddo yn gwaethygu ei achos yn meddwl y wlad. Edrychent arno ef fel prif offeryn yr holl ddirwyo, y carcharu, a'r treisio a wnelid ar iawnderau y deiliaid. Er hyn oll, wele Charles a'i hoff-ddyn yn cynllunio hynt ryfelgar arall yn erbyn Ffrainc; ond y mae heb geiniog o arian i ddwyn traul yr ymgyrch. Ac nid oes ganddo yr un llwybr i'w gynyg tuag at gael arian heb alw ei senedd yn nghyd unwaith drachefn.

Yn Ionawr, 1628, anfonodd y brenin wys-ysgrifau allan i alw ei senedd yn nghyd yn nghanol mis Mawrth. Ond prin yr oeddent wedi myned allan cyn i Charles eto ddechreu trethu y bobl, a threisio arian oddiarnynt yn groes i gyfreithiau y wlad. Gwrthwynebwyd ef o'r diwedd gan ei farnwyr ei hun. Ac, fel yr oedd amser y senedd i gyfarfod yn nesâu, ceisiodd dymheru ei ysbryd i well hwyl i'w cyfarfod. Gollyngodd ugeiniau o'r rhai garcharwyd am wrthod talu yr arian benthyg yn rhydd, rhyddhaodd Iarll Bristol o'r Tŵr, ac adferodd Abbot i'w swydd. Pan ddaeth y Cyffredin yn nghyd prin y cynwysai y Tŷ hwynt, a dywedir am eu harweinwyr, na fu eu henwocach erioed o fewn y muriau hyny. Yr oeddent yn ddynion o gymeriad uchel, ac wedi eu hysbrydoli gan gariad at egwyddorion rhyddid; a bernir fod meddianau Tŷ y Cyffredin gyda'u gilydd yn gymaint deirgwaith ag eiddo yr Arglwyddi. Yr oedd araeth agoriadol Charles yn bigog, ac yn nodweddiadol o'i syniadau goruchel am ei awdurdod. Dywedai ei fod wedi eu galw yn nghyd i basio swm o arian cynorthwyol iddo ef; ac os na wnaent, ei fod dan rwymau i arfer y mesurau eraill oedd Duw wedi eu gosod yn ei ddwylaw tuag at eu cael. "Peidwch cymeryd hyn fel bygythiad," meddai, "yr wyf yn ysgornio

bygwth neb ond fy nghydradd, ond fel rhybudd oddiwrth yr hwn, yn ol natur a dyledswydd, sydd â'r gofal mwyaf am eich cadwraeth a'ch llwyddiant." Dylynwyd ei araeth gan un fwy pigog fyth, gan yr arglwydd-geidwad. Ond yr oedd y Cyffredin yn gwrando yn dawel a diysgog, ac yn dal mor gyndyn ag erioed wrth eu hawliau. Cydnabyddent ragorfreintiau y brenin gyda phob parch; ond ar yr un pryd, siaradent yn hyf a difloesgni yn erbyn y dirmyg a daflai y brenin ar iawnderau y deiliaid, a chyfreithiau y cyfansoddiad Prydeinig. Dywedent fod mantais y brenin a'r bobl yn cydredeg, a'u bod yn dymuno gofalu am y naill yn gystal a'r llall. Yr oeddent wedi dyfod yn nghyd i wneyd gwaith, ac yn barod i'w wneyd; ond ni wnaent ef oddieithr ar seiliau priodol. Addawsant godi pum miliwn o arian cynorthwy i'r brenin; ond eto ar yr amod fod i'r brenin gydnabod hawliau cysegredig y bobl, a diwygio y camweddau gormesol diweddar. "Gwnelem gam â ni ein hunain, a'n cydwybodau, ac â'n hiliogaeth ar ein hol, pe na safem at hyn," ebe Syr Francis Seymour. Yr un modd y siaradodd Coke, Syr Thomas Wentworth, ac eraill.

Ar yr 8fed o Fai, pasiodd y Cyffredin yn unllais,—Nad oedd un dyn rhydd i gael ei garcharu heb i achos cyfreithlon gael ei ddwyn yn ei erbyn—fod gwys-ysgrif *habeas corpus* (cael ymddangos yn bersonol mewn prawf) i gael ei chaniatau yn mhob achos—ac nad oedd un dreth na benthyg a osodid gan y brenin, neu ei gynghor, yn rhwymedig heb gydsyniad y senedd. Dygwyd y pethau hyn ger bron y Tŷ uchaf gan Selden, Coke, ac eraill, a dadleuwyd yn eu herbyn gan gyfreithwyr y goron. Cynygiodd yr Arglwyddi ychydig o welliant yn ffafr y brenin; ond gwrthododd y Cyffredin ildio modfedd. Ceisiodd Charles yn mhob modd ddal gafael yn ei awdurdod oruchel, ac ysgoi ymrwymo wrth gais y Cyffredin. Mai 28ain, ceisiwyd gan y brenin gadarnhau ysgrif nodedig DEISEB IAWNDERAU (*Petition of Rights*), yr hon a ystyrir yn ail *Magna Charta* Lloegr; ac wedi hir ddadleu, cafwyd gan y brenin ei harwyddo. Yn y weithred hon ymrwymodd i beidio codi arian byth mwy heb gydsyniad y senedd; i beidio carcharu neb ond wrth reol y gyfraith; ac i beidio darostwng ei bobl byth mwy i gael eu barnu gan lysoedd milwrol. Diwrnod o lawenydd oedd y diwrnod y rhoddodd y brenin ei law wrth yr ysgrif hon. Adseiniai y senedd gan y llon-gyfarchiadau, ac atebid hwy yn galonog gan y ddinas a'r holl wlad.

Er nad oedd y llawenydd hwn ond o fyr barhad, yr oedd y Cyffredin wedi enill buddugoliaeth fel ag i wneyd y senedd hono yn un o'r rhai enwocaf yn ein hanesiaeth seneddol. "Gall penaduriaid edrych gyda llygaid eiddigus ar Ddeiseb Iawnderau, fel ar ei dad anrhydeddus y *Magna Charta*, ond rhaid i'r bobl edrych arno

fel cydnabyddiaeth o'r mwyaf pwysig ar eu hawliau a'u rhyddid. Gallai rhai pethau yn ei gynwysiad, fel eiddo erthyglau Runnymede, gael eu hysgoi, a'u dibrisio; ond, fel yr erthyglau hyny, nid annghofir hwy gan y genedl; ond dygir hwy yn mlaen pan ddaw gormes breninol i orthrymu ar hawlfreintiau y deiliaid. Ei effeithiau uniongyrchol yn ddiau oedd gosod Charles mewn perthynas newydd a'r bobl oedd i'w llywodraethu rhagllaw. Nis gallasai ddychwelyd mwy at ei fesurau gormesol, heb droseddu yn fwy nag erioed yn erbyn teimladau moesol ei bobl. Gellir cyfaddef fod cyfnewidiad a wnaed yn y llywodraeth trwy y dygwyddiad hwn, agos cymaint a chwyldroad; ond dylid cofio mai cyfnewidiad yn y *llywodraeth* yn unig ydoedd, ac nid yn y *cyfansoddiad;* yr oedd y gyfraith yn para yr un, ond y mynai y wlad gael gwell gweinyddiad o honi."*

Wedi pasio bil yr arian cynorthwyol i'r brenin, canlynwyd ef yn fuan ag achwyniadau ar Buckingham; cyhuddid ef o'r holl ddrygau a'r colledion diweddar; a dymunid ar y brenin am ei symud o'r llys. Hysbyswyd y brenin gyda llaw fod trethi y bunt a'r dunell (rhodd er galluogi y brenin i gynal grym milwrol i amddiffyn y deyrnas) yn dibynu ar ewyllys y senedd, ac nas gallasai ef eu codi heb gydsyniad y ddeddfwriaeth; a'r dreth hon brofodd yn faen tramgwydd i'r brenin eilwaith. Wedi sicrhau y cynorthwyon arianol, penderfynodd y brenin ohirio y senedd; ac yr oedd clerc Tŷ y Cyffredin yn darllen bil treth y bunt a'r dunell pan wysiwyd hwy i wydd y brenin. Dywedodd wrthynt, "Ni chaniateais unrhyw hawliau newydd i fy mhobl, wrth arwyddo ysgrif yr iawnderau, dim ond cadarnhau yr hen." Dywedodd nas gallasai wneyd heb y dreth hon. "Ni fwriadasoch chwi erioed," meddai, "ofyn genyf ildio hon, ac ni feddyliais inau erioed i'w chaniatau." Felly gohiriodd Charles ei senedd, a chafodd y genedl brawf newydd o'i anffyddlondeb i'w ymrwymiadau mwyaf difrifol. Gwelwyd yn mhen ychydig wythnosau nad oedd erioed wedi meddwl cadw y cytundeb. Yr oedd argraffydd Tŷ y Cyffredin, ar gais y ddau Dŷ, wedi argraffu pymtheg cant o'r ddeiseb iawnderau, er eu taenu yn mysg y bobl. Ond parodd y brenin iddo ddinystrio y rhai hyny, ac argraffu eraill gyda chyfnewidiadau i ateb ei bwrpas ef ei hun.

Yr oedd anmhoblogrwydd Buckingham erbyn hyn wedi cyrhaedd ei eithafnod. Llofruddiwyd ei feddyg, Dr. Lamb, yr hwn oedd wedi codi yn uchel i'w ffafr, gan y bobl ar ystrydoedd Llundain: a bygythient y duc â chyffelyb driniaeth yn ddigon wyneb agored; yr oedd y rhigwm annghelfydd ond cynwysfawr hwn i'w glywed yn fynych:—

> "Let Charles and George do what they can,
> The Duke shall die like Dr. Lamb."

* England under the Stuarts, by Dr. Vaughan, vol. i., 239.

Cafwyd papyr un diwrnod ar golofn yn *Coleman Street*, ac yn ysgrifenedig arno, "Pwy sydd yn llywodraethu y deyrnas? Y brenin. Pwy sydd yn llywodraethu y brenin? Y duc. Pwy sydd yn llywodraethu y duc? Y diafol." Pan oedd y bobl yn yr ysbryd hwn, aeth y duc i Portsmouth, i gymeryd llywyddiad y fyddin oedd ar gychwyn i Ffrainc. Un boreu (Awst 23, 1628), tra yr oedd yn aros yr amser i gychwyn, ar ol dadl boeth â rhai o Brotestaniaid Ffrainc, a phan oedd wedi codi i fyned allan i'w gerbyd, tarawyd dagr i'w galon. Gwaeddodd "*villain!*" a bu farw yn y fan. Ni ddeallwyd gan gyffro y foment pwy a'i tarawodd. Ond pan oeddent yn amheu, gwaeddodd John Felton, Protestant, a swyddog yn y fyddin, yr hwn oedd wedi cael ei ormesu yn ddiweddar gan y duc, "Myfi yw y gwr." Yr oedd Felton wedi ei argyhoeddi gan lais Tŷ y Cyffredin mai y duc oedd yr holl achos o'r drygau oedd yn terfysgu y wlad, ac y buasai wrth ei ladd yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw, i'r brenin, ac i'r wladwriaeth. Dywedai nad oedd neb arall gydag ef yn y gyfrinach; a phan fygythiodd Iarll Dorset ei ddirboeni er mwyn cael ganddo gyfaddef, atebai, "Yr wyf fi yn barod; ond rhaid i mi ddyweyd gyda llaw, os gwnewch hyny, y cyhuddaf fi chwi, a neb ond chwi." Cyfaddefodd Felton ei euogrwydd, a dienyddiwyd ef fel llofrudd. Dangosodd y brenin alar mawr ar ol ei hoff-ddyn, gorchymynodd ei gladdu yn monachlog Westminster, a galwai ef yn "ferthyr ei frenin." Nid oedd Buckingham ond 36ain mlwydd oed; a phe buasai yn dianc dagr y llofrudd, yr oedd y tebygolrwydd yn fawr y buasai yn syrthio yn fuan trwy fwyall y dienyddwr. Mae yn anhawdd cael gafael ar anwesyn mwy dirinwedd na Buckingham, wedi cael y fath loches dan aden unrhyw benadur; "ac y mae yn ddigon i wneyd i un dyn wrido wrth feddwl i Loegr—fel y bu mewn gwirionedd—gael ei llywodraethu am flynyddoedd gan y fath laslanc difonedd, anwybodus, balch, ac anrasol."*

Yr oedd holl ymddygiadau y brenin yn ystod gohiriad y senedd, yn tueddu yn uniongyrchol i waethygu ei achos. Dyrchafodd Laud, esgob Llundain, yr hwn oedd o olygiadau Arminaidd, yn nghydag amryw eraill o gyffelyb farn ac ysbryd, i awdurdod uchel. Bu yn brysur gydag achosion yn llysoedd gormesol y *Star Chamber* a'r *High Commission;* trethodd nwyddau masnachol, a pharhaodd i godi treth y bunt a'r dunell. Ionawr, 20 (1629), ymgyfarfu y senedd eilwaith, a dechreuodd y Tŷ isaf adolygu anffyddlondeb a gormes y brenin gyda'u hyfdra a'u dewrder arferol. Ar y 24ain, galwodd Charles y ddau Dŷ i'w gyfarfod i Whitehall, a cheisiodd ganddynt roddi i fyny bob dadleu bellach, a phasio bil y bunt a'r dunell iddo ef; a sicrhäai iddynt nad oedd ef wedi codi

*Keightley.

y dreth hono ond fel rhodd iddo o eiddo ei bobl; a'i fod wedi ei chodi hyd hyny oddiar angen, ac nid oddiar ei fod yn honi hawl iddi. Ond ni fynai y Cyffredin eu hudo mwy â geiriau teg y brenin. Eu hegwyddor ddiysgog oedd cael ymchwiliad i'w hachwyniadau, a diwygio camweddau, cyn pasio biliau am arian cynorthwyol i'r brenin. Ymaflasant yn eu gwaith o ddifrif, gan roddi y flaenoriaeth i faterion eglwysig, "oblegyd," meddent, "dylai gorchwylion breninoedd y ddaear roddi ffordd i orchwylion Brenin y Nefoedd." Rhoddodd Syr John Eliot araeth fedrus ar y cyfnewidiadau diweddar mewn crefydd; dylynwyd ef gan eraill o gyffelyb syniadau ac ysbryd. Anfonai Charles genadwri ar ol cenadwri atynt i geisio ganddynt adael y pwnc hwn, a phasio bil yr arian iddo ef. Anfonasant hwythau yn ol at y brenin i ddyweyd fod ei ymyriad anmhriodol yn annghyson â'u rhagorfreintiau. Yr oedd y genadwri nesaf oddiwrth Charles yn fwy bygythiol; a chyffrodd ysbryd mwy cyndyn yn ei wrthwynebwyr. Y pwnc yn awr oedd Pabyddiaeth ac Arminiaeth. Dywedai Mr. Kirton mai "y ddau esgob fawr" (Laud a Neile), oedd prif achos y drygau oedd yn bygwth eu crefydd. "Edrychwch," meddai, "y fath ddynion y maent yn ddyrchafu yn yr eglwys, a phaham?" Yr oedd llawer o Arminiaid, a dynion eraill oeddent dan gondemniad y ddeddfwriaeth, wedi eu codi i awdurdod eglwysig.

Yn ystod y siarad ar y pwnc hwn cododd dyn cryf, gwledig ei olwg, a'i gôt yn annhrefnus, a hen het ddibris ar ei ben, ar ei draed i siarad am y waith gyntaf yn y Tŷ. Yr oedd tua deng mlwydd ar ugain oed. Yr oedd ei araeth hefyd yn arw ac anhyblyg fel ei berson; ond yr oedd difrifoldeb yn ei wedd, ac awdurdod o gwmpas ei berson, hawliai barch os nid parchedig ofn. OLIVER CROMWELL ydoedd, yr aelod newydd dros Huntingdon. "Clywais," ebe Cromwell, "gan Dr. Beard, fod Dr. Alabaster wedi pregethu Pabyddiaeth noeth wrth groes St. Paul, a bod ei esgob o Winchester (Neile) wedi gorchymyn iddo na phregethai ddim gwrthwyneb i hyny. Ac y mae Dr. Mainwaring, yr hwn a dderbyniodd yn gyfiawn gerydd y Tŷ hwn am ei bregethau, wedi ei godi gan yr un esgob i fywioliaeth gyfoethog. Os y rhai hyn ydynt y grisiau i ddyrchafiad eglwysig, beth nad allwn ddysgwyl?" Daw y gwr hwn yn fuan i chwareu rhan mwy pwysig yn ein hanes.

Gohiriodd Charles y senedd eto hyd yr 2il o Fawrth, er gwaethaf dadl y Cyffredin fod gohiriad yn eu dwylaw eu hunain. Ar y dydd nodedig uchod, eglurodd Eliot, mewn araeth effeithiol, benderfyniadau y Tŷ gyda golwg ar grefydd. Cynwysent y pethau canlynol:—1. Pwy bynag a newidio ddefodau crefydd, trwy ddwyn i mewn Babyddiaeth, Arminiaeth, &c., a gyfrifir yn elyn i'r deyrnas a'r wladwriaeth. 2. Pwy bynag a gynghoro, neu a gynorthwyo i godi

treth y bunt a'r dunell, heb ganiatad y senedd, a gyfrifir yn elyn, &c. 3. Pwy bynag a dalo y cyfryw dreth, a gyfrifir yn elyn, &c. Gydag egluro y pynciau hyn rhoddodd Eliot y fflangell yn drwm ar Esgob Winchester, a'r arglwydd drysorydd Weston. Yna aeth yn mlaen at y gadair, i roddi y penderfyniadau hyn, a'r gwrthdystiad yn erbyn ymddygiadau y brenin, i'r llefarydd, Syr John Finch, i'w darllen. Ond gwrthododd Finch wneyd hyny. Ceisiodd eilwaith gan glerc y Tŷ eu darllen; ond gwrthododd yntau. O'r diwedd darllenodd Eliot hwynt ei hun gyda phwyslais ac effaith anarferol, a cheisiodd gan y llefarydd eu gosod i bleidlais y Tŷ. Gwrthododd y llefarydd eto, a dywedodd fod y brenin wedi gorchymyn iddo beidio. Tynodd y gyffes hon gerydd trwm ar ben y llefarydd, a chododd yntau o'i gadair, ar fedr myned allan. Ond daliwyd ef yn ei le trwy orthrech gan ddau o'r aelodau o'r enw Hollis a Valentine. Cododd rhai o aelodau y cyfrin-gynghor, ac aethant yn mlaen i ryddhau y llefarydd; ond yr oedd breichiau rhy nerthol yn ei ddal yn rhwym wrth ei gadair, a thyngent na chai syflyd o'r fan nes byddai y gorchwylion drosodd. Yr oedd terfysg yn bygwth, a gwelid amryw yn gosod eu llaw ar eu cleddyfau. Anfonodd y brenin un o'i weision i ddwyn y *mace* (arwyddnod awdurdod y Tŷ) ymaith, ond gwrthodwyd ef. Clowyd y gwas i mewn yn garcharor, cymerwyd yr allweddau, a dyogelwyd hwynt. Anfonodd Charles eilwaith ddygiedydd y wialen ddu i wysio y Cyffredin ger ei fron, iddo gael tori y senedd i fyny; ond ni fynai y Cyffredin y wialen ddu na'r genadwri ddu; cafodd ddrws cloedig yn ei erbyn. Cynddeiriogodd y brenin, a gyrodd am filwyr i fyned i dori y drysau. Ond yn y cyfamser yr oedd Hollis wedi cymeryd swydd y llefarydd, a'r penderfyniadau wedi eu pasio gyda bloeddiadau byddarol, a hwythau wedi gohirio y Tŷ hyd y 10fed, ac wedi ymwasgaru.

Ar y 10fed aeth y brenin i lawr i Dŷ yr Arglwyddi, ac wedi tywallt cawod o weniaith ar y Tŷ uchaf, a chawod o fygythion ar y Tŷ isaf, torodd y senedd i fyny. Ei brif reswm am hyn oedd, "oblegyd ymddygiad twyllodrus rhai gwiberod yn Nhŷ y Cyffredin." Felly, ar y 10fed o Mawrth, 1629, y terfynodd trydedd senedd Charles; ac y mae genym lawer o flynyddoedd blinion i fyned trwyddynt cyn y cawn weled senedd yn ymgasglu eto.

Canlynwyd y toriad i fyny â charchariad naw o aelodau mwyaf blaenllaw Tŷ y Cyffredin. Dedfrydwyd Eliot, Hollis, a Valentine, gan lys y *King's Bench*, i ddirwyon trymion; ond rhyddhawyd y lleill ar ol deunaw mis o garchariad yn y Twr. Effeithiodd ei gaethiwed yn fawr ar iechyd Eliot; ac, ar ddymuniad ei gyfeillion, anfonodd gais ar ol cais at Charles am gael ei symud o'r Twr am ychydig, er mwyn ei iechyd; ac addawai ddychwelyd yno ar ol cryfhau. Ond gwrthododd y brenin ganiatau, a gwrthododd hyd

y nod ei gorph i'w deulu pan fu farw, wedi dyoddef tair blynedd a haner o garchariad. "Nis gellir gwadu," meddai Clarendon, "nad oedd yn yr holl seneddau hyn, ac yn enwedig yn seneddau y bedwaredd flwyddyn (i Charles), amryw ymadroddion ac areithiau annhymherus, annghydweddol â phwysigrwydd ac anrhydedd y lleoedd hyny, ac annghyfaddas i'r parch oedd yn ddyledus i'r brenin a'i gynghor. Ond nid wyf yn gwybod am un weithred ffurfiol o eiddo y naill Dŷ na'r llall (ac nid oedd gwrthdystiad na phleidlais y dydd diweddaf felly), nad oeddent yn gydweddol â doethineb a chyfiawnder llysoedd mawrion ar y cyffelyb achlysuron anarferol. Ac ni fydd neb mor barod i feio gwres a bywiogrwydd y cyfarfodydd hyny, os cadwant mewn cof y gweithredoedd o annghyfiawnder a wnelid yn yr adegau rhwng cyfarfyddiad y senedd." Mae y dystiolaeth hon yn bwysig, gan ei bod yn dyfod oddiwrth glodforydd Charles, a gelyn ei wrthwynebwyr.

O Mawrth, 1629, hyd Ebrill, 1640, bu Lloegr heb un senedd, ac y mae y cyfwng yn cynwys yr ail gyfnod yn hanes Charles. Yn y cyfamser gwnaeth y brenin ei oreu i droi llywodraeth y wlad yn unbenaeth ormesol. Prif orchwylion yr adeg oedd codi trethi i lenwi coffrau y brenin yn annibynol ar lais y Cyffredin, a threisio y bobl i ymostwng i awdurdod y goron trwy gospedigaethau llymion llysoedd y *Star Chamber* a'r *High Commission*. Ei brif gynghorydd oedd Laud, yr hwn a ddyrchafwyd trwy ffafrau Buckingham, ac i'r hwn, ar farwolaeth Abbot (1632), y rhoddodd Charles archesgobaeth Canterbury. Dyn o feddwl a golygiadau cyfyng oedd Laud, ac o ysbryd creulon ac erledigaethus; ac nis gallasai oddef neb i ddal golygiadau gwahanol iddo ei hun. Gwnaeth y brenin gytundeb heddwch â Ffrainc ac â Spain; ac, fel penaethiaid y gwledydd hyny, cymerai arian ei ddeiliaid wrth ei ewyllys, heb roddi un cyfrif am danynt; a chospai y neb a wrthwynebai neu a gwynai yn erbyn ei ormes, gwladol a chrefyddol. Enillodd rhai o'i wrthwynebwyr o'i blaid, trwy eu gwobrwyo â ffafrau ac â swyddi uchel; megys Wentworth, Saville, Dudley, Digges, a Noy a Littleton y cyfreithwyr, y rhai a fuont yn offerynau cymhwys iddo i gario allan ei ddyfeisiau gorthrymus. Adferodd lawer o hen ddefodau gwriogaethol oesau blaenorol, y rhai a dueddent i ychwanegu ei awdurdod a'i gyllidau; eangodd y fforestydd breninol yn anferth, yr hyn a barodd golledion dirfawr i berchenogion tiroedd; a chododd orfaeliaeth (*monopoly*) i ris uwch nag erioed, trwy roddi hawl masnachu mewn nwyddau penodol i gwmnioedd, fel y gallai gael mwy o doll arnynt.

Ond y peth oedd yn cyffroi y wlad fwyaf yn erbyn y llywodraeth ydoedd ymddygiad y blaid uchel eglwysig a arweinid gan Laud. Yr oedd y clerigwr hwn wedi ymwerthu i wenieitho i'w frenin, ac i ategu ei awdurdod unbenaethol. Pan roddodd Henrietta Maria

enedigaeth i fab (Charles II.) yn Mai, 1630, bedyddiwyd ef gan Laud, yr hwn a gyfansoddodd weddi ar yr achlysur. Yn y weddi hono yr oedd y dymuniad—"Dybla rasusau ei dad arno, O Arglwydd, *os yw hyny yn bosibl!*" Rhydd y driniaeth a gafodd Alexander Leighton, pregethwr Puritanaidd o Ysgotland, a thad yr enwog Archesgob Leighton, ryw syniad i'r darllenydd am y gospedigaeth a weinyddid ar y neb a dynai arnynt lid yr esgob Laud. Trosedd Leighton ydoedd cyhoeddi Llyfr yn Holland o'r enw, "Dadl Sïon yn erbyn Esgobyddiaeth," cyflwynedig i'r senedd ddiweddar. Yn y llyfr hwn arferai eiriau cryfion ac anmharchus yn erbyn yr esgobion, a galwai y frenines yn "un o ferched Heth," gan olygu mai Pabyddes ydoedd. Dygwyd achos Leighton o flaen llys y *Star Chamber;* ac er y cyfaddefai nad oedd wedi dyweyd dim yn ei lyfr oddiar elyniaeth personol, ond oddiar sel grefyddol, dedfrydwyd ef i dalu mil o bunau o ddirwy, i'w droi allan o'i swydd, i gael ei fflangellu yn gyhoeddus yn y *Palace Yard*, i'w osod yn y rhigod (*pillory*—math o beiriant coed gwaradwyddus) am ddwy awr, cael tori un o'i glustiau ymaith, hollti y naill ffroen, a chael ei losg-nodi ar y naill rudd â'r llythyrenau S. S.—*Sower of Sedition* (Hauwr Terfysg). Cyflawnwyd yr holl ddedryd i'r llythyren, a thaflwyd ef i garchar dros ei fywyd. Nid oedd hyn ychwaith yn ddigon i foddloni ei elynion. Yn mhen wythnos, cyn bod ei archollion wedi agos gwella, dygwyd ef allan i gael triniaeth gyffelyb eilwaith. Fflangellwyd ef eilwaith, torwyd ei glust arall ymaith, holltwyd ei ffroen arall, llosg-nodwyd y rudd arall, a thaflwyd ef i'w gell annyddan yn y carchar. Mae yn wir fod yn Leighton ysbryd penboeth ac eithafol yn erbyn y Pabyddion; ond nid oedd hyny mewn un modd yn cyfiawnhau y fath driniaeth ag a gafodd. Ond dygodd yr ysgelerder hwn ar ben Laud a'i gefnogwyr felldithion y wlad, ac ar ben Leighton anrhydedd merthyrdod. "Yn mhen deng mlynedd (1641) cafodd y dyoddefydd ei ryddid, nid trwy drugaredd Laud na Charles, ond trwy y senedd hono a brofodd yn ddinystr i'r brenin a'i esgob."

Y flwyddyn ganlynol dygwyd William Prynne, dadleuwr cyfreithiol galluog o Lincoln's-inn, dan fflangell Laud. Yr oedd eisoes wedi tynu digofaint yr uchel eglwyswyr trwy ei ysgrifeniadau yn erbyn Arminiaeth. Ysgrifenodd gyfrol fawr yn awr yn erbyn llygredigaeth y chwareudy, a disgynai y wialen yn ei thro ar bob dosbarth a gradd. Gosododd Laud ei gaplan, Peter Heylin, i chwilio ysgrifeniadau Prynne; a chafwyd digon i wneyd achos yn ei erbyn yn y *Star Chamber*. Dirwywyd ef o fil o bunau, trowyd ef allan o Lincoln's-inn, collodd ei hawlfraint fel cyfreithiwr, rhoddwyd ef ddwywaith yn y rhigod, a chafodd dori clust ymaith bob tro, llosgwyd ei lyfrau, a thaflwyd ef i garchar dros ei fywyd. Daros-

tyngwyd Dr. Bastwick hefyd, meddyg dysgedig Burton, John Lilburne, yr hwn a ddaeth ar ol hyn yn dra adnabyddus, a'r esgob Williams, i gospedigaethau creulon gan yr awdurdodau gormesol.

Dygwyddiad pwysicaf y flwyddyn 1637 oedd gwrthsafiad cyndyn John Hampden i'r dull gormesol y codai y brenin drethi oddiar ei ddeiliaid. Yr achos oedd codiad *arian llongau.* O'r blaen nid oedd ond porthladdoedd yn ddarostyngedig i'r dreth hon; ond yn awr rhoddwyd hi ar yr holl deyrnas yn gyffredinol. Rhoddwyd swm penodol ar bob sir, ac wedi hyny ar bersonau unigol. Mynai y bobl nad oedd angen llongau o gwbl, gan fod y deyrnas ar delerau heddychol; ofnai eraill ei fod yn casglu nerth, er mwyn gorfodi ei bobl i ymostwng i'w awdurdod gormesol. A dadleuid, hyd y nod pe buasai angen, fod dull y brenin o osod y dreth, heb gydsyniad y senedd, yn annghyson â chyfansoddiad y wlad. Cawn enwau Chambers, Arglwydd Say, a Hampden, yn apelio at y gyfraith am amddiffyniad dros beidio talu y *ship-money;* ond cododd achos yr olaf i fwy o hynodrwydd.

Boneddwr cyfrifol o swydd Buckingham oedd Hampden, yr hwn oedd yn aelod seneddol oddiar 1620; yn ddyn o wybodaeth eang, o ysbryd tawel, ond o feddwl penderfynol a diysgog. Yr oedd yn un o gyfeillion anwylaf Eliot, ac, fel yntau, yn selog dros iawnderau y bobl. Gosodwyd treth o ugain swllt o arian llongau arno; ond, gan fod Tŷ y Cyffredin wedi penderfynu fod y neb a godai neu a dalai y cyfryw dreth heb gydsyniad y senedd, yn euog o fradwriaeth yn erbyn y llywodraeth, gwrthododd Hampden ei thalu. Gadawodd i'r gyfraith gymeryd ei chwrs, a beiddiodd y canlyniadau. Dygwyd yr achos i brawf; gorchymynodd y brenin i'r deuddeg barnwr eistedd arno, a chyhoeddi eu dedryd derfynol ar yr achos. Amddiffynid Hampden gan Oliver St. John a Holborne; a'r goron gan Bankes a Littleton. Parhaodd y prawf am ddeuddeg niwrnod. Cymerwyd dyddordeb cyffredinol yn y pwnc, oblegyd yr oedd achos pwysig yn y chwareu—pa un ai y wlad neu y brenin oedd ag awdurdod i osod trethi. Dadleuodd dau o'r barnwyr—Croke a Hatton—yn gryf yn erbyn y brenin. Erbyn y diwedd cafwyd saith o'r barnwyr o du y brenin, a phump yn ei erbyn. Felly penderfynwyd fod y dreth yn gyfreithlon; ond yr oedd y bobl yn edrych ar Hampden fel buddugoliaethwr, a throdd yr achos yn fwy o anrhydedd a mantais iddo ef nag i'r brenin. Anfarwolwyd ei enw yn yr amgylchiad, a theimlir parch iddo yn mynwes pob carwr rhyddid hyd y dydd hwn. Ond cyffrodd yr achos deimlad amheus a gwrthwynebol y bobl at y brenin a'i gynghor i radd uwch nag o'r blaen.

Gwelodd y bobl bellach nad oedd gwiw gwrthsefyll gormes y brenin a'i gynghor, a phenderfynodd lluaws adael y wlad, a myned

ar ol y tadau pererinol i America. Yr oedd wyth llongaid yn gorwedd ar y Thames, yn barod i gychwyn, ac amryw o enwogion penaf y deyrnas yn mysg yr ymfudwyr—Hampden, Haselrig, Cromwell, ac eraill—pan ddaeth gorchymyn i'w hatal, ac i rwystro ychwaneg i ymadael â'r deyrnas heb drwydded oddiwrth y brenin. Felly dadlwythwyd y llongau, a gyrwyd yr ymfudwyr yn eu hol i'w cartrefleoedd. Yr oedd llaw Rhagluniaeth yn amlwg yn yr ymyriad gorthrymus hwn, fel y gwelir yn y rhan a gymerodd yr enwogion uchod yn nygwyddiadau dylynol y deyrnas. Amcan Laud a'i feistr oedd eu cadw yma i'w gorthrymu; ond cawsant ddeall iddynt wrth hyny gadw drain i'w hystlysau, ac elfenau i'w dinystr eu hunain.

Erbyn hyn yr oedd cymylau duon yn ymgasglu yn Ysgotland. Yn 1633, talodd Charles ei ymweliad cyntaf â'i wlad enedigol er adeg ei goroniad yn Lloegr. Derbyniwyd ef yn roesawus, a choronwyd ef yno gyda'r rhwysg arferol. Ond cyn dychwelyd hauodd hadau trallod iddo ei hun, a chynyrchodd ei ymddygiadau gormesol lawer o deimlad yn ei erbyn. Ychwanegwyd y teimlad drwg trwy erledigaeth ar Balmerino, pendefig Ysgotaidd. Ond ymyriad y brenin a'i gynghor â materion eglwysig Ysgotland yrodd y teimlad hwn yn fflam. Trosglwyddwyd gweinyddiad y gallu gwladol i swyddogion eglwysig, a chodwyd naw o'r pedwar esgob ar ddeg yn aelodau o'r cyfrin gynghor. Gwnaed amryw gyfnewidiadau yn yr adeiladau eglwysig, y rhai yr edrychai y bobl arnynt fel arwyddion o ddychweliad Pabyddiaeth. Yn 1637, anfonwyd llyfr gwasanaeth newydd, wedi ei barotoi dan arolygiad Laud, i'w arfer yn yr holl eglwysi. Dangoswyd gwrthwynebiad cyndyn iddo gan y lluaws, a gwadent hawl y brenin i'w gorfodi i arfer unrhyw ffurf o wasanaeth heb gydsyniad eu senedd eu hunain. Gorphenaf 23ain oedd y dydd penodedig i'r gwasanaeth newydd gael ei ddarllen yn yr holl eglwysi. Dechreuodd Deon Edinburgh ei ddarllen yn eglwys St. Giles. Yr oedd y bobl wedi ymgasglu yn dyrfaoedd o bob parth; ac yr oedd y swyddogion eglwysig, y pendefigion, a'r ynadon, wedi dyfod yn nghyd wrth orchymyn. Dechreuodd y gwasanaeth yn mysg cryn arwyddion o anfoddlonrwydd oddiwrth y gynulleidfa. Yn y man, taflodd dynes o'r enw Jenny Geddes yr ystol yr eisteddai arni at ben y deon gan waeddi, "Filain! a ddarlleni di yr offeren yn fy eglwys i?" Canlynwyd hyn gan derfysg trwy yr holl eglwys; a bernir y buasai deon ac esgob Edinburgh wedi eu lladd oni bai ymyriad yr ynadon; ac ni chafodd y llyfr newydd nemawr well derbyniad trwy barthau eraill o'r wlad.

Anfonwyd deisebau taerion at Charles unwaith ac eilwaith, i ofyn ganddo alw y llyfr gwasanaeth hwn yn ol; ond daliai ef yn gyndyn a bygythiol. Cynyddodd gwrthnysigrwydd y brenin nifer ei

wrthwynebwyr, ac ymunodd yr holl wlad yn fath o bwyllgorau (*tables*) i'w wrthwynebu. Penderfynwyd adnewyddu y cyfamod cenedlaethol a gychwynwyd gan Arglwyddi y Gynulleidfa, a'r hwn a adnewyddwyd ddwy waith yn ystod teyrnasiad James. Amcan y cyfamod hwn oedd gwrthwynebu Pabyddiaeth, ac amddiffyn rhyddid ac annibyniaeth mewn achosion crefyddol. Adnewyddwyd ef y pryd hwn eto, mewn sel a brydaniaeth digyffelyb, trwy ddiwrnod o ympryd a gweddi. Gwrthodasant ufudd-dod i'r brenin, condemniasant ei ymddygiadau, a dyddimasant esgobyddiaeth yn eu gwlad.

Penderfynodd Charles bellach gasglu byddin yn nghyd i'w darostwng, a gosododd yn drwm ar logellau eglwyswyr er ei gynorthwyo. Darparodd y cyfamodwyr hwythau fyddin amddiffynol, dan lywyddiad Leslie, yr hwn oedd wedi enill clod milwrol yn y rhyfeloedd o blaid Protestaniaeth ar y Cyfandir. Dychwelodd lluaws o Ysgotiaid enwog i'w gwlad i gynorthwyo eu brodyr; ac anfonodd Cardinal Richelieu gymhorth arianol iddynt oddiar elyniaeth at Charles. Arweiniodd y brenin fyddin o dair mil ar ugain i Berwick, yn Mai, 1639. Daeth Leslie yntau â byddin o tuag ugain mil yn mlaen i'w gyfarfod, gan gymeryd y cestyll breninol yn ei lwybr, a sefydlodd yn Dunse-law, a'r arwyddair, "*Dros goron Crist a'r Cyfamod*," yn chwyfio ar bob baner. Yr oedd un fantais bwysig gan yr Ysgotiaid ar y Saeson; tra yr oedd yr olaf yn oerllyd a difater yn yr achos, yr oedd y blaenaf yn berwi gan sel a brydaniaeth, a'u gwersyll yn cael ei gadw yn gyffrous gan bregethu, gweddio, a chanu parhaus. Pan ddaeth y milwyr Seisnig, dan arweiniad Iarll Holland, i olwg y galluoedd Ysgotaidd, ciliasant yn ol. Gwelodd y brenin nad oedd ei filwyr am ymladd, ac ofnodd gynyg ar ymosodiad. Yr oedd yr Ysgotiaid hwythau yn barod i amodau heddwch. Cynygiwyd ar delerau, a chaniataodd Charles i senedd a chymanfa gyffredinol gael cyfarfod yn Awst i benderfynu y trefniadau eglwysig. Felly gwasgarodd y byddinoedd, er nad oeddent ond gwasgaru i gasglu nerth erbyn ymgyrch dyfodol.

Penodwyd Iarll Traquair yn genadwr i gynnrychioli y brenin, ac i lywyddu yn y gymanfa a'r senedd; ond cafodd yr Ysgotiaid yn fwy cyndyn nag y dysgwyliodd, a gorfu i Charles gydsynio, am ryw adeg, i wneyd i ffwrdd â'r esgobion, ac amryw bethau eraill. Ysgrifenodd yr un pryd at yr esgobion i ddyweyd y gwnai ef ei oreu i gynal eu heglwys, ac i'w digolledu hwythau. Dangosodd y senedd eu penderfyniad i gyfyngu awdurdod y goron, a pharodd hyn i Traquair ei gohirio am chwech mis. Yn y cyfamser penderfynwyd gwneyd ymgais arall i ddarostwng y wlad trwy rym arfau. Cynghorwyr y brenin yn hyn oedd Wentworth, Hamilton, a Laud. Yr oedd Wentworth yn îs-raglaw Iwerddon; ond y pryd hwn

gwnaed ef yn arglwydd raglaw, a dyrchafwyd ef i'r bendefigaeth dan y titl o Iarll Strafford. Cynghorwyd y brenin hefyd gan y rhai hyn ac eraill i alw senedd eto yn Lloegr, ac addawodd yntau wneyd hyny. Cytunwyd hefyd i Strafford alw senedd yn nghyd yn Iwerddon, a chodi arian a milwyr i gynorthwyo y brenin i fyned yn erbyn Ysgotland. Anfonodd yr Ysgotiaid hwythau Dumferline, Loudon, Douglas, a Barclay, i Lundain, i ddwyn achwyniadau ger bron y brenin am ohiriad annghyfreithlon y senedd, yn nghydag amryw feichiau gormesol eraill. Ond taflwyd Loudon i'r Tŵr, oblegyd i Traquair gael o hyd i gopi o lythyr a fwriedid ei anfon am gymhorth at frenin Ffrainc, cyn i'r cytundeb heddwch gael ei wneyd. Ebrill 13eg, 1640, galwyd y senedd yn nghyd yn Westminster am y waith gyntaf er ys deuddeg mlynedd. Yr oedd hyn yn destun o lawenydd mawr i'r holl bobl, gan y dysgwylid y dygid mesurau yn mlaen i ysgafnhau eu beichiau. Er fod mwyafrif Tŷ y Cyffredin y tro hwn yn aelodau newyddion nad eisteddasant yno o'r blaen, eto yr oedd y Tŷ ar y cyfan o'r un ysbryd a'r un blaenorol, a'r elfen wladgarol a Phuritanaidd yn gorbwyso ynddo o ddigon. Anerchwyd y Tŷ yn fyr gan y brenin, a gosododd yr arglwydd geidwad achos Ysgotland ger eu bron, gan ychwanegu nad oedd ei fawrhydi yn dysgwyl unrhyw gynghor oddiwrthynt, ond ei fod yn dymuno arnynt basio cynorthwy arianol iddo yn mlaenaf oll, ac y cawsent amser i ddwyn eu cwynion yn mlaen ar ol hyny. Yr oedd y Tŷ wedi dewis Glanville yn llefarydd, a dechreuodd ar ei orchwylion. Buont yn edrych ar eu gilydd am dro, gan betruso pwy oedd i ddechreu; ond "torwyd yr ia" gan yr enwog Pym, un o aelodau hynaf y Tŷ, mewn araeth hirfaith yn dynoethi gormes y brenin a'i gynghorwyr. Daliodd y Tŷ yn gyndyn wrth ei egwyddor o ddwyn achwyniadau ger bron cyn pasio arian cynorthwy. Rhanwyd hwy dan dri phen:—1. Yr achwyniadau gyda golwg ar grefydd, yn nghyda chynydd yr awdurdod eglwysig. 2. Yn nghylch codi arian trwy awdurdod y goron heb gydsyniad y senedd; megys arian llongau, hawliau fforestydd, gorfaeliadau, a dulliau eraill o godi cyfroddion. 3. Toriad hawlfreintiau seneddol trwy ohiriad y Tŷ gan y llefarydd wrth orchymyn y brenin, a dygiad yr aelodau o flaen llysoedd cyfreithiol am eu hymddygiad yn y Tŷ.

Collodd y brenin ei amynedd, a gosodwyd ar y Tŷ uchaf i wasgu y Cyffredin i ddechreu gyda chynorthwy arianol. Pasiodd y Tŷ isaf eto fod hyn yn doriad ar ei hawlfraint. Anfonodd y brenin i addaw gwneyd i ffwrdd â'r arian llongau, os caniataent iddo ef ddeuddeg cynorthwy (*subsidies*), yn cynwys y swm o wyth can mil o bunau, i'w talu mewn tair blynedd. Tra yr oedd hyn dan sylw, daeth cenadwri oddiwrth y brenin yn hysbysu na fuasai ef yn foddlon ar unrhyw swm llai na deuddeg cynorthwy. A phan welwyd

nad oedd gobaith am basio hyn, ar y 5ed o Fai, torodd Charles y senedd i fyny, a thaflodd rhai o'r aelodau i garchar, ar y cyhuddiad "o gynyg cyfarwyddo y llywodraeth, a chwilio a cheryddu ei gweithrediadau, fel pe byddai breninoedd yn rhwym o roddi cyfrif o'u gweithrediadau breninol a'u dull o lywodraethu i'w deiliaid cynulledig yn y senedd." Felly y terfynodd y "senedd fer," fel y gelwir hi. Yn groes i'r arferiad cyffredin, parhaodd cymanfa y clerigwyr i eistedd, a phasiwyd amryw fesurau ffafriol iddynt eu hunain, er nas gallesid rhoddi awdurdod cyfraith iddynt heb gydsyniad y senedd. Nid oedd yn ddrwg gan y Cyffredin weled y senedd yn cael ei thori, am y gwyddent y buasai yn rhaid i Charles alw un yn fuan eilwaith. "Mae pob peth yn dda," meddai St. John wrth Hyde, "oblegyd y mae yn rhaid iddi fyned yn waeth cyn dyfod yn well; ac nis gallasai y senedd hon wneyd yr hyn oedd yn angenrheidiol."

Gwnaed cynlluniau yn awr i ymosod ar yr Ysgotiaid o dri phwynt ar unwaith, gyda byddin o ddeugain mil; sef, ugain mil o Loegr, dan lywyddiad y brenin; deng mil o Iwerddon, dan lywyddiad Iarll Strafford; a deng mil o'r Ucheldiroedd, dan lywyddiad Hamilton. Ond yr oedd yn hawddach cynllunio na chael arian a dwylaw i gario y cynllun allan. Croeswyd y Tweed i Loegr gan chwech mil ar ugain o Ysgotiaid, dan lywyddiad Leslie, yn Awst, 1640, gyda'r cleddyf yn un llaw, a deiseb yn y llaw arall, yn dangos nad oeddent yn taro yn erbyn Lloegr, ond yn unig ceisio cyfiawnder iddynt eu hunain, a fflangellu y blaid ormesol hono oedd yn felldith i Loegr yn gystal ag Ysgotland. Felly gorfu i'r brenin hwylio tua'r gogledd mewn brys ac annhrefn, gyda Strafford a Conway yn brif lywyddion. Gyrwyd Conway gyda'i farch-lu yn mlaen; ond wedi gwrthwynebiad dibwys, croesodd yr Ysgotiaid y Tyne, a chymerasant feddiant o Newcastle, ac amryw drefi pwysig eraill. Syrthiodd dwy sir i'w dwylaw, yn cynwys ardaloedd pwysig y gweithiau glo. Parodd hyn i Lundain deimlo yn fuan, a chododd achwyniadau lluosog oddiyno, yn gystal ag o'r siroedd lle yr arosai y fyddin Ysgotaidd. Yr oedd Charles yn York, gyda byddin anfoddog, heb fawr gobaith am allu gwrthsefyll byddin ddysgybledig a bywiog yr Ysgotiaid. Galwodd gynghor o'i bendefigion yn Medi, i ymgynghori pa lwybr i'w gymeryd. Daeth deiseb ato oddiwrth yr Ysgotiaid, yn gofyn ganddo ganiatau yr amodau a gynygient er arbed tywallt gwaed. Anfonwyd deiseb arall ato, wedi ei llawnodi gan ddeuddeg o'r pendefigion, ac un arall yn dwyn enwau deng mil o ddinaswyr Llundain, yn ceisio ganddo alw senedd yn nghyd yn Lloegr. Addawodd yntau ufuddhau i lais cyffredin y deyrnas, a galw senedd yn nghyd yn Tachwedd; ac anfonodd un ar bymtheg o bendefigion i gyfarfod wyth o Ysgotland, i Ripon, er gwneyd

cytundeb â'r Ysgotiaid. Symudwyd y gynadledd oddiyno i Lundain; ac i aros i'r senedd gyfarfod, penderfynwyd i'r siroedd gogleddol dalu tuag wyth cant o bunau y dydd er cynaliaeth y fyddin Ysgotaidd, y rhai oeddent i gael eu talu yn ol o'r cyllid cyntaf a ganiateid gan y senedd.

Ar y 3ydd o Dachwedd, 1640, yr ymgyfarfyddodd y fythgofiadwy SENEDD HIR (*Long Parliament*), un o'r seneddau pwysicaf yn holl hanes Lloegr. "Hynodwyd y tri mis ar ugain cyntaf o'r senedd hon uwchlaw braidd unrhyw adeg mewn hanesiaeth, gan bryderwch ac ymdrechion, gan obaith ac ofn, a chan gyfnewidiadau pwysig a disymwth i'r holl wlad." Ar ol ymroddiad egniol gan y naill blaid a'r llall, trodd yr etholiad yn anffafriol i'r brenin; a chytuna haneswyr na chyfarfyddodd cymanfa o ddynion mwy enwog mewn unrhyw wlad ac oes, na'r hon a gyfarfyddodd yn awr yn Nhŷ y Cyffredin yn Westminster. Dywed Clarendon fod gwedd yr aelodau ar eu cyfarfyddiad cyntaf yn brudd a difrifol, yr hyn oedd yn arwyddo fod dygwyddiadau pwysig yn dynesu. Yr oedd y brenin, fel arfer, i gael llais yn mhenodiad y llefarydd, a mynai osod Gardiner, cofnodydd Llundain, yn y swydd; ond ni etholwyd hwnw, a disgynodd yr anrhydedd ar un Lenthall, cyfreithiwr, gwr annghymhwys i'r fath swydd ar y fath adeg.

Ni ddaeth y brenin i agor y senedd yn ei ffordd a'i rwysg arferol, ond daeth mewn cwch dros yr afon, ac aeth i mewn dros risiau dirgel o'r tu cefn. Ni chyfarchodd y fath gynulleidfa erioed o'r blaen; ac yr oedd ei araeth agoriadol o duedd heddychlon. Proffesai daflu ei hunan ar serchiadau ei bobl, a'i fod yn barod i wrando eu cwynion, a symud eu beichiau; anogai y naill i beidio dal eiddigedd at y llall, a dywedai nad arno ef y byddai y bai os na ddybenai y senedd hono yn ddymunol. Ond yr oedd dau beth yn gwneyd ei araeth yn aneffeithiol; yn gyntaf, nid oedd ganddynt ymddiried mewn dim a ddywedai; yn ail, yr oedd ei addewidion yn dyfod yn rhy ddiweddar. Pe buasai wedi dweyd hyn, a sefyll atynt, flynyddau yn gynt, buasai wedi rhagflaenu y gronfa oedd yn awr wedi casglu yn anocheladwy yn ei erbyn. Dechreuodd y Tŷ arni o ddifrif, yn benderfynol "nid yn unig i ysgubo y llawr," fel y dywedai Pym, "ond i garthu holl weoedd y pryf gopyn oddiwrth y top a'r cornelau, fel na chadwent lwch a gwneyd Tŷ afiach rhagllaw." Gwrandawyd achwyniadau o bob parth yn erbyn gormes y llywodraeth; trowyd dedfrydau llysoedd y *Star Chamber* a'r *High Commission* yn ol, a gollyngwyd yr esgob Williams a Leighton allan o'r Tŵr. Rhyddhawyd Prynne, Burton, a Bastwick; derbyniwyd hwy ar eu dychweliad i Lundain gyda llawenydd mawr, a gosodwyd ar y rhai a'u condemniasant i dalu symiau mawrion o arian iddynt.

Penderfynwyd yn awr ddwyn achos Strafford yn mlaen, yr hwn oedd wedi dyfod o'r gogledd i Lundain ar gais y brenin. Mynai yr iarll gadw draw, ond sicrhaodd y brenin iddo "na chai y senedd gyffwrdd â blewyn o'i ben." Dranoeth wedi ei ddyfodiad, gorchymynodd Pym i'r Tŷ gael ei glirio o ddyeithriaid, a'r drysau allan gael eu cloi, am fod ganddo achos o bwys i'w osod ger bron. Yna dywedodd ei fod ef o'r farn y buasai Charles yn llywodraethu y deyrnas yn foddhaol, oni bai fod eraill yn ei hyfforddi i fyned ar draws cyfreithiau a rhyddid y wlad. Yna enwodd Thomas Wentworth, Iarll Strafford, yr hwn a fu unwaith yn eistedd yn Nhŷ y Cyffredin, ac yn selog dros gyfreithiau y deyrnas a hawlfreintiau y bobl, ond oedd yn awr wedi troi yn wrthgiliwr, yn elyn i'w wlad, ac yn gefnogydd i'r gormes mwyaf cywilyddus. Gwnaeth adolygiad ar ei ymddygiadau yn Iwerddon ac yn y gogledd, gan nodi amgylchiadau er dangos ei fod wedi cam-arfer yr ymddiried a roddwyd iddo. Dylynwyd ef yn yr un cyfeiriad gan amryw eraill; a phenderfynodd y Tŷ ddwyn cyhuddiad yn ei erbyn ar unwaith i Dŷ yr Arglwyddi, cyn elai y sî allan. Felly aethant yn un corph i'r Tŷ uchaf, gan ddwyn yno y cyhuddiad o deyrn-fradwriaeth yn erbyn Strafford am gynyg dymchwelyd cyfreithiau sylfaenol y cyfansoddiad Prydeinig. Yr oedd Strafford wedi cael gair am yr hyn oedd yn myned yn mlaen, a phrysurodd i gymeryd ei le yn y Tŷ uchaf; ond gorchymynwyd iddo fyned allan. Yn mhen ychydig galwyd ef at y bar, a gwnaed iddo benlinio tra fyddai cyhudd-gwyn y Cyffredin yn cael ei ddarllen. Yna rhoddwyd ef i ofal dygiedydd y wialen ddu i'w ddwyn i'r Tŵr hyd nes y penodid dydd ei brawf.

Y rhai a flaenorent yn Nhŷ y Cyffredin yn awr oedd, Pym, Hampden, a St. John. Cefnogid hwy gan Hollis, Falkland, Vane, Hyde, Selden, a Digby, er nad oeddent hwy yn barod i fyned mor bell a'r rhai blaenaf. Yn y man dygodd y Cyffredin gwyn eilwaith yn erbyn yr archesgob Laud, a thaflwyd yntau i'r Tŵr. Taflodd eu hysbryd dewr a phenderfynol ddychryn i fysg plaid y brenin, a ffodd yr ysgrifenydd Windebank a'r arglwydd geidwad Finch drosodd i'r Cyfandir. Daliodd y Cyffredin i fyned yn mlaen gyda chamrau breision a phenderfynol, tra yr oedd y brenin yn cael ei amddifadu o'i gynghorwyr a'i swyddogion. Yn Ionawr, 1641, pasiwyd bil er sicrhau cynulliad y senedd bob trydedd blwyddyn; fel, os esgeulusid ei galw gan y goron, y gallai y bobl ymgasglu o honynt eu hunain, ac ethol eu cynnrychiolwyr. Rhoddodd y brenin ei gydsyniad i'r bil, a thystiodd y bobl eu llawenydd trwy oleuo y dinasoedd a chyneu coelcerthi. Pasiwyd arian i'r fyddin Ysgotaidd, amryw fesurau gyda golwg ar drethi a chrefydd, a phenderfynwyd na chai clerigwyr eistedd yn farnwyr ar achosion gwladol. Dyddimwyd

hefyd yn hollol ac am byth lysoedd y *Star Chamber* a'r *High Commission*, yn nghydag amryw lysoedd bychain gorthrymus eraill.

Yn mis Mawrth dygwyd prawf Strafford yn mlaen yn Neuadd Westminster. Eisteddai yr arglwyddi yn eu gynau ar feinciau yn y canol, a chynnrychiolwyr Tŷ y Cyffredin ar esgynloriau o bob tu iddynt. Yn eu mysg yr oedd cenadau Ysgotaidd a Gwyddelig i roddi tystiolaeth yn erbyn y carcharor. Yn y pen uchaf yr oedd gorsedd ddyrchafedig i'r brenin, a lle i'r teulu breninol ar bob tu iddo, ac oriel wrth droed yr orsedd i foneddigesau pendefigol. Yr oedd bar hefyd wedi ei daflu ar draws y neuadd, yn gadael tua'r drydedd ran o honi at wasanaeth y cyhoedd. Yma yr eisteddwyd o bymtheg i ddeunaw niwrnod yn olynol ar achos Strafford—y dyn mwyaf ei rwysg a'i ddylanwad yn yr holl deyrnas. Amcanwyd cael dedryd marwolaeth arno ar y cyhuddiad o fradwriaeth yn erbyn y wlad, trwy geisio gwrthdroi ei chyfreithiau, a sefydlu gallu hollol yn llaw y brenin. Amddiffynodd yr iarll ei hun yn ddoeth, yn fedrus, ac yn effeithiol. Tynodd ddagrau o lygaid, a thosturi o galonau llawer o'r rhai a eisteddent ar ei achos. Er y gwyddai pawb fod Strafford wedi arfer y gorthrwm mwyaf, a chymeryd i'w law ei hun awdurdod penadur, yn llys York, ac yn Iwerddon, a bod y farn gyffredinol o blaid ei ddienyddiad, eto gwelai y Cyffredin rwystrau i gael ei achos i derfyniad yn y dull hwn; a phenderfynasant y buasai dull arall yn fwy syml ac effeithiol. Felly dygasant fil o warthruddiad yn ei erbyn. Pasiodd yn Nhŷ y Cyffredin gyda mwyafrif o 204 yn erbyn 59, ac anfonwyd ef i'r Tŷ uchaf. Yn mhen dau ddiwrnod galwodd y brenin y ddau Dŷ ger ei fron, a dywedodd na oddefai ei gydwybod iddo ef gondemnio Strafford o fradwriaeth, na chydsynio â bil gwarthruddiad; ond yr oedd yn gweled rheswm, ac yn foddlon cydsynio, i gyhoeddi yr iarll yn annghymhwys i ddal unrhyw swydd dan y llywodraeth byth mwy, os caniataent ei fywyd iddo. Felly cynghorodd yr arglwyddi i gymeryd rhyw lwybr canol. Ond ni wnaeth hyn ond gwaethygu yr achos; a chododd y Cyffredin eu llais yn erbyn ymyriad annghyfreithlon y brenin â bil pan ar ei yrfa yn y senedd.

Cynygiodd y brenin amryw gynlluniau tuag at arbed bywyd Strafford. Ceisiwyd gwobrwyo Balfour, ceidwad y Tŵr, am ei adael i ddianc, ond ni wrandawai hwnw ar ddim o'r fath. Ceisiwyd eilwaith gael gan y fyddin Seisnig ddyfod i Lundain i ddychrynu y seneddwyr, ond annghytunai prif swyddogion y fyddin, a bradychwyd y cynllun gan y milwriad Goring. Yr oedd hyn oll yn drygu achos Strafford, ac yn gwneyd Tŷ y Cyffredin yn fwy penderfynol yn eu hamcan. Nis gallent roddi ymddiried yn addewid y brenin i'w gadw yn garcharor dros ystod ei oes; a gwyddent, os rhoddid awdurdod i'w law eilwaith y talai y pwyth iddynt gyda llog. Am

hyny yr oeddent yn ddiysgog, er holl ymgais ac erfyniadau y brenin. Taflodd yr arglwyddi yr achos i'r barnwyr; a bernir mai dychryn Tŷ y Cyffredin oedd yr achos i'r rhai hyny ddwyn barn unllais yn erbyn Strafford. Wedi cael dedryd y barnwyr, pasiodd yr arglwyddi y bil trwy fwyafrif o 26 yn erbyn 19, ac anfonwyd ef i'r brenin i osod ei sel wrtho. Bu y brenin mewn penbleth am dro, heb wybod beth i'w wneyd. Ond pan ddaeth llythyr ato oddiwrth Strafford, yn ceisio ganddo beidio ymrwystro o'i blegyd ef, am ei fod yn foddlon marw, rhoddodd Charles ei law wrth y bil yn ddioed. Bernir fod yr iarll yn dysgwyl i'w lythyr gael effaith wahanol ar y brenin; oblegyd pan ddywedwyd wrtho fod y brenin wedi cydsynio, ni chredai ar y cyntaf; ac wedi cael sicrwydd, cododd ei ddwylaw, a dywedodd, "Na hyderwch ar dywysogion, nac ar fab dyn, yr hwn nid oes iachawdwriaeth ynddo."

Mai 12fed, arweiniwyd ef i'r esgynlawr dyoddef ar Fryn y Tŵr, a bernir fod can mil o bobl wedi ymgasglu ar yr amgylchiad. Dywed Rushworth, ysgrif-was y senedd, a llygad-dyst, fod yr iarll yn cerdded at yr ysgaffald yn fwy fel cadfridog o flaen byddin, nag fel dyn dan gondemniad yn myned i dderbyn ei ddedryd. Daeth Laud i'r ffenestr i edrych arno yn myned heibio, a rhoddodd ei fendith arno. Yr oedd yr archesgob Usher ac eraill gydag ef ar yr esgynlawr. Yn ei araeth, haerai na feddyliodd ddrwg erioed yn erbyn ei wlad, ac na fu erioed yn teimlo yn erbyn seneddau, ond ei fod yn eu hystyried "y moddion goreu dan Dduw i wneyd y brenin a'i bobl yn hapus." Wedi ceryddu ei frawd am wylo, dywedodd, "Y plocyn yna fydd fy ngobenydd, ac yn awr caf orphwys oddiwrth fy holl lafur. Un ergyd a wna fy ngwraig yn weddw, fy mhlant yn amddifaid, ac a'm gwahana oddiwrth fy holl gyfeillion." Wrth ddadwisgo, dywedai, "Yr wyf yn tynu oddiam danaf y tro hwn mor siriol ag y gwnaethum erioed wrth fyned i'm gwely." Gosododd ei ben ar y plocyn, a phan roddodd yr arwydd, disgynodd ei ben i'r llawr ar un ergyd. Felly y bu farw Strafford, yn y 49ain mlwydd o'i oedran.

Mae lluaws o wahanol farnau am gymeriad Iarll Strafford, am y llwybr a gymerwyd i'w ddarostwng, ac am uniondeb y ddedryd a dderbyniodd. Rhaid cyfaddef ei fod yn ddyn o alluoedd a chymhwysderau anarferol; ond y mae mor amlwg a hyny iddo ymgymeryd â'r llwybr chwith o gario pethau yn mlaen, ac actio y gormeswr i'r fath raddau, nes oedd teimlad y wlad yn addfed i'w ddienyddiad. Ceir golwg ar y ddwy farn wrthwynebol yn yr achos yn sylwadau y ddau ysgrifenydd galluog hyn. Dywed Brougham, "Yr oedd ei symudiadau gormesol ac annghyfansoddol yn seiliau digonol i'w gondemnio o droseddau a chamymddygiadau pwysig. Ond nid oedd y ddadl o gymeryd ei fywyd ymaith oblegyd nad oedd

yr un llwybr arall i ddyogelu y bobl yn erbyn gelyn mor alluog, ond yr un ddadl ag a roddasid gan Henry VIII. am ladd y rhai a syrthiodd dan ei deyrnasiad ef; cymerodd y senedd esiampl y gormeswr hwnw yn y dull y cyflawnasant ei ddinystr; nid oedd yr hawl oedd ganddynt i'w ddyfetha, os oedd yn seiliedig ar ofn ei allu a'i dalentau, yn ddim gwell na hawl Henry i roddi unrhyw wrthwynebwr galluog i farwolaeth; ac yr oedd ymostyngiad cywilyddus Charles, yn groes i bob egwyddor o ddyledswydd a chydwybod, yn rhan gyferbyniol hollol i îs-wasanaethgarwch y senedd i'w ragflaenydd gormesol (Henry) wrth basio biliau gwarthruddol."* Mae Hallam, o'r tu arall, o'r farn na ddylid gwrando ar achwyniadau uchel mawrygwyr Strafford, fel ag i edrych ar ei erlyniad fel arllwysiad ysgeler o ddialgarwch plaid. "Edrychwch," meddai, "ar holl genedloedd y ddaear, a dywedwch yn mha oes neu wlad y buasai y fath un yn syrthio i ddwylaw ei elynion, heb i'w fywyd gael ei fforffedu am ei droseddau yn erbyn y wladwriaeth. * * * Os ydym yn beio, i ryw fesur, y ddedryd yn erbyn Strafford. nid ydym yn ei wneyd er ei fwyn ef, ond er mwyn y cyfreithiau a fathrodd, a'r rhyddid a fradychodd. Bu farw yn gyfiawn ger bron Duw a dyn, er y gallwn edrych ar yr ymddygiad tuag ato yn beryglus, fel rheol i'w dylyn, ac i lwybr mwy godidog tosturi gael ei wrthod; ac wrth gondemnio bil y gwarthruddiad, nis gallwn edrych arno fel trosedd."† "Ni fynem fod yn gyfrifol," meddai Dr. Vaughan, "am bob peth a ddywedwyd neu a wnaed gan erlynwyr Strafford; er fod y rhan fwyaf o'r achwyniadau ar y dull y dygwyd ei achos yn mlaen, yn seiliedig, i raddau helaeth, ar anwybodaeth o'r gyfraith ac o arferion yr amseroedd hyny. Llai fyth y cytunem â'r rhai a gyhuddent y Cyffredin, heblaw o arfer brys a llymder, o fod a'u hamcan i ddial eu llid, ac nid mynu cyfiawnder, gan edrych mwy ar nerth eu plaid nag ar lesiant y wladwriaeth. Yr oedd plant y dyoddefydd yn golledwyr o fri a meddianau eu tad trwy weithred y gwarthruddiad; ond cadwyd y rhai hyn iddynt trwy fil a basiwyd yn ddioed i'r pwrpas hyny,—yr enghraifft gyntaf o diriondeb, mewn achos o'r fath, yn ein hanesiaeth."‡ Dylid cadw mewn cof fod gwarthruddiad Strafford yn cael edrych arno fel peth angenrheidiol er achubiaeth y deyrnas, a hyny gan y rhan fwyaf a'r rhan oreu o Dŷ y Cyffredin—"gan y gwleidiadwyr penaf a welodd y byd erioed wedi ymuno yn yr un achos cyffredin," y rhai a gredent nad oedd dyogelwch i'r deyrnas tra fyddai Strafford yn fyw. Yr ydym braidd yn gwrido wrth edrych ar y fath deyrnged eithafol yn cael ei thalu gan genedl o ddewrion, i weinidog unigol a syrthiedig. Teimlwn na ddylasai

*Brougham's British Constitution, chap. vi., 86, 87. † Hallam's Constitutional History, vol. ii., 111. ‡Vaughan's England under the Stuarts, vol. i., 343.

yr iarll gael ei roddi *i farwolaeth*, er fod cymaint o bethau gwrthun yn ei gymeriad a'i ymddygiad; a daeth mwy fyth o'i ddrwg i'r golwg ar ol hyny. Mae amgylchiadau ac ysbryd yr amseroedd yn galw am ganiatad helaeth yn ffafr ei erlynwyr seneddol; ond y mae ymddygiad iselwael y brenin, yn rhoddi i fyny y gweinidog fu mor ffyddlon yn cario allan ei ewyllys yn mhob dim, yn taflu diffygion pawb eraill i'r cysgod. Nid oedd trwy holl Ewrop ond un farn ar hyn, a'r farn hono yn ddinystriol i gymeriad Charles, yr hwn a ddylasai fyned i'r ysgaffald gydag ef yn hytrach na rhoddi Strafford i fyny.*

Wedi symud Strafford oddiar y ffordd, rhoddodd llawer o bleidwyr y brenin eu swyddi i fyny gan ofn; rhoddwyd eu lle i ddynion o olygiadau poblogaidd, a daeth cyfran helaeth o'r gallu gweinyddol i ddwylaw newydd. Digon araf ac anfoddog y cydsyniai Charles â llawer o fesurau; ond nid gwiw sefyll yn eu herbyn. Gwasgarwyd y byddinoedd Seisnig, Ysgotaidd, a Gwyddelig, a dychwelasant gartref. Teimlai y brenin fod yr elfen wrthwynebol iddo yn enill tir yn brysur yn Lloegr, ac yn mis Awst talodd ymweliad ag Ysgotland, i weled a allai gasglu ychydig nerth yno. Yr oedd wedi bod mewn gohebiaeth ddirgelaidd ag un o bendefigion y wlad hono, yr hwn a addawai godi yr holl wlad o'i blaid; James Graham, Iarll Montrose, ydoedd, yr hwn a gafodd ei siomi yn newisiad Argyle i flaenori yn y senedd, a Leslie yn y fyddin, a'i adael yntau. Ond wedi cynyg amryw ddyfeisiau, nid enillodd Charles unrhyw fantais iddo ei hun yn yr hynt hon i wlad ei enedigaeth.

Tra yr oedd y brenin yn Ysgotland y daeth y newydd prudd am y gyflafan ddychrynllyd ar Brotestaniaid Iwerddon. Yr oedd y wlad anffortunus hono ganrifoedd ar ol Lloegr ac Ysgotland mewn gwareiddiad cyffredinol. Yr oedd ei chrefydd Babaidd yn cadw ei thrigolion mewn tywyllwch ac ofergoeledd; ac yr oedd llywodraeth orthrymus Strafford, ac addewidion toredig Charles wedi eu gweithio i fyny yn awr i wres gwrthryfel. Dyfeisiodd yr offeiriaid Pabaidd a'r penaethiaid anfoddog gynllun i ddinystrio eu gorthrymwyr Protestanaidd Seisnig ar unwaith. Yn blaenori yn y gyflafan hon mae enwau Roger Moore, Maguire, ac O'Neal. Yr oedd yr ymgodiad i gymeryd lle yn ddirybudd ar y 23ain o Hydref, 1641, ac yr oeddent i gymeryd yr amddiffynfeydd, gyru allan a lladd y sefydlwyr Seisnig ac Ysgotaidd, adfeddianu eu tiroedd, ac adsefydlu eu crefydd. Llwyddwyd i gadw yr holl gynllun yn ddirgelwch perffaith hyd o fewn ychydig oriau i amser yr ymgodiad; a chan fod cylch yr ymgodiad yn estynedig dros yr holl wlad, ychydig allesid wneyd mewn amser mor fyr i'w ragflaenu.

Nid oes un pin na thafod all ddesgrifio y creulonderau ysgeler a

*Knight's Hist., vol. iii. 246.

gyflawnwyd gan y Gwyddelod anwaraidd a choelgrefyddol ar wŷr, gwragedd, a phlant diamddiffyn yn yr amgylchiad hwn. Claddent hwy yn fyw; crogent hwy gerfydd eu breichiau a'u coesau, a darnient hwy yn dameidiau â'r cleddyf; crogent wragedd beichiogion, a rhwygent hwy nes syrthiai eu babanod ar y ddaear, y rhai a adewid i'r cwn a'r moch i'w llarpio; tarawent ymenyddiau y plant wrth y meini, a mathrent hwy i farwolaeth dan eu traed; cauent dyrfaoedd yn nghyd mewn tai, a gosodent hwy ar dân; gyrent hwy wrth y canoedd i'r afonydd i'w boddi; cymhellent wragedd i ladd eu gwŷr, a phlant eu rhieni, gan addaw rhoddi eu bywyd iddynt am hyny; ond wedi hyny lleddid hwythau yn ddiarbed. Mae adroddiadau rhai a ddiangasant o ddwylaw y cigyddion annynol yn ddigon i geulo gwaed dyn yn ei wythienau. Rhoddai yr offeiriaid faddeuant i droseddwyr ar yr amod nad arbedent yr un Protestant; ac yr oedd y neb a ddangosai drugaredd i un o honynt i gael ei felldithio ag esgymundod. Mae haneswyr yn amrywio yn fawr am nifer y rhai a lofruddiwyd yn y fradwriaeth hon; y nifer lleiaf a roddir yw deugain mil, ac mae y mwyafrif a roddir yn ddau can' mil!

Dychwelodd y brenin o Ysgotland pan oedd y wlad yn un cyffro yn achos trychineb Iwerddon, a derbyniwyd ef yn Llundain gyda llawer o arwyddion o barch. Cynygiodd godi byddin, a'i harwain i Iwerddon yn ei berson ei hun, i gospi y Gwyddelod; ond nid oedd gan y senedd gymaint o ymddiried ynddo ag y gallasai osod y fath allu yn ei law. Ac heblaw hyny, yr oedd llawer o'r farn fod y brenin ei hun yn un o gynllunwyr y ddyfais i ddinystrio y Protestaniaid; felly gwrthodwyd ei gynygiad. Ar ol dadl gyffrous rhwng y senedd a'r brenin yn nghylch yr angenrheidrwydd o wyliadwriaeth y blaenaf, dygodd Tŷ y Cyffredin fesur nodedig y Gwrthdystiad (*Remonstrance*) yn mlaen, ar yr 22ain o Dachwedd, 1641. Cynwysai grynodeb o'r diffygion yn ngweinyddiad y llywodraeth oddiar esgyniad Charles i'r orsedd, a chydnabyddiaeth o anymddiried y wlad yn y llywodraeth ar y pryd.

Yr oedd Tŷ y Cyffredin erbyn hyn wedi ymranu yn ddwy blaid, y naill o du y brenin, a'r llall yn ei erbyn; er fod ei blaid ei hun yn ormod o ryddfrydwyr o lawer i ryngu bodd Charles. Dyma yr amser y rhoddwyd yr enwau nodedig hyny, *Roundheads* a *Cavaliers*, mewn dirmyg gan y naill blaid ar y llall. Gelwid y rhai a bleidient y senedd yn *Roundheads* (Pengryniaid), am fod llawer o honynt yn tori eu barf a'u gwallt yn fyr; a gelwid y rhai a bleidient y brenin yn *Cavaliers* (Marchogion), fel y gelwid bygylwyr milwraidd yn gyffredin. Dygodd y Gwrthdystiad allan un o'r dadleuon poethaf a chaletaf yn hanes y senedd, a rhoddodd esboniad eglur ar nerth y ddwy elfen wrthwynebol yn Nhŷ y Cyffredin. Wedi i'r Tŷ fod yn eistedd o naw o'r gloch y boreu hyd ddau o'r gloch y boreu can-

lynol, nes oedd rhai o'r aelodau yn llewygu gan newyn, pasiwyd y gwrthdystiad gan fwyafrif o un ar ddeg—159 yn erbyn 148. "Pe gwrthodasid ef," ebe Cromwell wrth adael y Tŷ, "buaswn yn gwerthu yr oll a feddwn, ac yn gadael y wlad am byth." Ond nis gallasai Lloegr fforddio colli y fath ddyn ar hyn o bryd. Yr oedd gwaith mawr ar gael ei ymddiried iddo gan Ragluniaeth; ac yr oedd yr esgynlawr ar yr hwn yr oedd i chwareu rhan mor ardderchog yn cael ei barotoi yn brysur. Argraffwyd y Gwrthdystiad, gwasgarwyd ef trwy y wlad, a chynyrchodd deimlad mawr yn erbyn y brenin.

Ymdrechodd Charles yn galed i wrthsefyll nerth llifeiriant y teimlad cyffredin. Yr oedd ei ragrith a'i ystrywiau parhaus yn ddigon o reswm am ddrwgdybiaeth y senedd o'i holl symudiadau, ac yn awgrymu iddynt, nid yn unig ei fod yn ddyledswydd arnynt i ddal eu gafael yn eiddigus yn yr hyn oeddynt wedi enill, ond y dylasent arfer pob moddion i'w dyogelu, os nid eu helaethu. Felly pasiwyd bil yn Rhagfyr yn cynwys fod ffurfiad y cartreflu, a phenodiad ei swyddogion, i gael ei wneyd o hyn allan trwy gydsyniad y senedd. Yr oedd hwn yn ergyd trwm ar awdurdod y brenin, ond edrychid arno yn gam hanfodol i ddyogelwch iawnderau a Phrotestaniaeth y wlad. Yr un mis y cyffrowyd lluaws pobl y ddinas trwy waith y brenin yn troi Balfour, prif swyddog y Tŵr, ymaith, ac yn gosod Lunsford yn ei le, er mwyn cael y lle pwysig hwnw yn llaw offeryn cymhwys at ei wasanaeth ei hun.

Yn y cyffro hwn cododd y bobl eu llais yn uchel a difloesg yn erbyn yr esgobion. Yr oeddent wedi myned mor anmhoblogaidd fel y casglai tyrfaoedd o bobl o gwmpas Westminster, gan floeddio, "Dim esgobion! dim esgobion! Gochelwch fradwriaeth!" Torodd terfysg allan, a chollwyd peth gwaed, cyn llwyddo i'w gwasgaru. Derbyniodd yr hen esgob Williams, yr hwn oedd yn awr wedi ei godi i archesgobaeth York, sarhad gan y dorf: galwodd ei frodyr esgobol yn nghyd, ac anfonasant ysgrif at y brenin yn dangos fod eu bywydau hwy mewn perygl wrth fyned i'w seddau yn Nhŷ yr Arglwyddi, a'u bod yn gwrthdystio yn erbyn yr holl fesurau a basid yn y senedd yn eu habsenoldeb hwy. Anfonwyd yr ysgrif i Dŷ yr Arglwyddi, ac oddiyno i Dŷ y Cyffredin, lle yr oedd yr esgobion mor anmhoblogaidd a chyda'r werin oddiallan. Wedi cau y drysau, barnodd y Tŷ isaf y gallasai yr esgobion gymeryd eu seddau yn y senedd neu beidio, yn ol eu dewisiad; ond fod eu gwaith yn tystio yn erbyn symudiadau y senedd yn eu habsenoldeb hwy yr un peth a dyweyd fod bodolaeth y ddeddfwriaeth yn dibynu ar eu hewyllys. Ar y tir hwn pleidleisiwyd fod ymddygiad yr esgobion yn honiad o awdurdod freninol; dygwyd cyhuddiad o deyrnfradwriaeth yn eu herbyn, a danfonwyd deg o honynt at eu harchesgob Laud yn garcharorion i'r Tŵr; ac felly collodd y brenin eto gyfran helaeth o

ddylanwad yn y Tŷ uchaf. Er cadw yr esgobion fel urdd yn yr eglwys, gorfu i Charles o'r diwedd gydsynio â bil yn eu cau allan o'u cysylltiad hynafol â senedd y deyrnas; ond yr oedd hyn yn un o'i weithredoedd diweddaf cyn apelio at y cleddyf.*

Yn mhen pedwar diwrnod wedi dwyn cyhuddiad yn erbyn yr esgobion (Ionawr 3, 1642) penderfynodd y brenin ddangos y medrai yntau ddangos dewrder o blaid ei gynlluniau. Anfonodd y cyfreithiwr cyffredinol i Dŷ yr Arglwyddi i gyhoeddi cyhuddiad o deyrnfradwriaeth yn erbyn Arglwydd Kimbolton o'r Tŷ uchaf, a Hollis, Haselrig, Pym, Hampden, a Strode, o'r Tŷ isaf. Anfonwyd swyddog yr un pryd i Dŷ y Cyffredin gyda chenadwri oddiwrth y brenin i roddi y pump aelod cyhuddedig i fyny. Atebiad y Cyffredin oedd, y buasai yr aelodau ar gael mor fuan ag y buasai cyhuddiad cyfreithlon yn cael ei ddwyn yn eu herbyn. Y dydd canlynol ymgynullodd y senedd; rhoddasant rybudd i'r ddinas i fod yn barod ar gyfer y gwaethaf, a chaniatasant i'r aelodau cyhuddedig absenoli eu hunain o'r Tŷ. Yn brin yr oeddynt wedi myned allan trwy un drws cyn fod y brenin ei hun yn dyfod i mewn trwy y drws arall. Daeth yno yn cael ei gylchynu gan tua thri chant o wŷr arfog. Gorchymynodd i'w osgordd aros yn y neuadd tra yr elai ef i mewn. Aeth yn mlaen, ac eisteddodd yn nghadair y llefarydd. Wedi edrych o gwmpas, sicrhaodd y Tŷ nad oedd yn bwriadu troseddu yn erbyn eu hawlfreintiau, ond fod gweithredoedd ysgeler o fradwriaeth wedi eu cyflawni, y rhai y gwyddai y buasent oll yn ddiolchgar iddo ef am eu cael allan. Yna galwodd ar Pym a Hollis wrth eu henwau; a phan nad oedd neb yn ateb, gofynodd i'r llefarydd pa le yr oeddynt. Syrthiodd Lenthall ar ei liniau, a dywedodd mai "gwas y Tŷ oedd ef, ac nad oedd ganddo na llygaid na thafod i weled na llefaru dim ond yr hyn a orchymynai y Tŷ." Dywedodd y brenin fod ei lygaid ei hun yn gystal ag eiddo y llefarydd; ac wedi edrych o'i amgylch, ychwanegodd, "Gwelaf fod yr adar wedi dianc; gobeithio y gwnewch eu danfon i mi; os amgen, rhaid i mi gymeryd fy llwybr fy hun i gael gafael ynddynt." Gyda'i fod yn myned allan, yr oedd amryw yn gwaeddi, "Hawlfreintiau! hawlfreintiau!"

Nid oes sicrwydd hyd heddyw beth oedd cynwys trosedd yr aelodau hyn. Tybia rhai mai rhyw beth ddeallodd y brenin yn Ysgotland am eu gwaith yn cymhell yr Ysgotiaid i Loegr yn 1640. Tybia eraill, gan fod yr aelodau hyn yn blaenori y blaid boblogaidd, ei fod am ddial arnynt oblegyd eu symudiadau diweddar. Beth bynag oedd yr achos, y mae yn sicr fod y frenines yn ei yru yn mlaen. Dywedir i'r brenin unwaith roddi ei fwriad o fyned i lawr i Dŷ y Cyffredin i fyny, ac i'r frenines waeddi wrtho, "Dos, y

*Dr. Vaughan.

bawddyn; dos, a thyn y dyhirod allan gerfydd eu clustiau; neu paid a dyfod i'm golwg i mwy!"

Erbyn hyn yr oedd yr holl ddinas yn un berw; a bu y noswaith hono dan arfau. Dranoeth daeth Charles i'r Guildhall, i geisio gan y maer a'r cynghor cyffredin i draddodi yr aelodau cyhuddedig i fyny iddo, y rhai a lochesid gan y ddinas, a cheisio tawelu yr ysbryd cynhyrfus oedd wedi ei gyffroi. Ond ni thyciodd yn y naill na'r llall. Penderfynodd y Cyffredin fod cyhuddiad y brenin yn erbyn yr aelodau yn ddisail, a bod ei holl ymddygiad yn yr achos yn drosedd ar eu hawlfreintiau. Ionawr 10fed, aeth y brenin a'i deulu i Hampton Court mewn tymher ddigofus, ac ni ddychweloddd i Lundain mwy hyd nes ei ddwyn yno yn garcharor. Dranoeth dygwyd y pump aelod mewn rhwysg mawr dros yr afon i Westminster, yn nghanol tyrfaoedd brwdfrydig ac arfog, y rhai a floeddient yn erbyn yr esgobion, y Pabyddion, a marchogion y brenin. Yn eu mysg yr oedd pedair mil o wŷr o swydd Buckingham, y rhai oeddent wedi dyfod i amddiffyn Hampden, eu cynnrychiolydd, ac i dystio eu hymddiried yn ei uniondeb gwleidiadol. "Gallwn yn briodol," meddai Clarendon, "ddyddio dechreuad y rhyfel yn Lloegr o'r dydd hwn, oblegyd nid oedd yr oll a wnaed wedi hyn ond goruwch-adeiladaeth ar y sail oedd eisoes wedi ei gosod." Yr oedd y ddwy blaid yn awr wedi penderfynu apelio at y cleddyf, a phob plaid yn meddwl y buasai ei gwaith yn gwneyd hyny yn dychrynu y llall i ymostyngiad; ond nid oedd neb yn breuddwydio fawr am y tywallt gwaed a'r trychineb ofnadwy oedd i ganlyn.

Yr oedd Tŷ y Cyffredin wrthi yn brysur, mesur ar ol mesur yn cael ei ddwyn ger bron, deisebau yn dylifo iddo oddiwrth y bobl yn achwyn ar y brenin a'i gynghorwyr, a sefyllfa pethau yn y deyrnas, y rhwyg rhwng Charles a'r senedd yn myned fwyfwy, a chyndynrwydd y naill yn gyru y llall i eithafoedd. Ildiai y brenin, mae yn wir, lawer yn fynych er mwyn cydsynio â mesurau y Cyffredin, ond er hyny nid oedd ganddynt ymddiried ynddo y safai at ddim a wnelai. Yr oedd yn amlwg fod y ddwy blaid yn darparu i ryfel. Anfonodd y brenin am gynorthwy at benaduriaid y Cyfandir; ac aeth y frenines drosodd i Holland, dan rith dwyn ei mherch at ei phriod, y Tywysog Orange, ond mewn gwirionedd i werthu perlau ei choron i brynu nwyddau ac arfau rhyfel i'w gwr.

Y mesur roddodd y tân yn y gwellt oedd y *Militia Bill*, sef mesur o eiddo y Cyffredin er cael awdurdod y fyddin a'r llynges, a phenodiad eu swyddogion, i law y senedd. Pan anfonwyd ysgrif o'r bil hwn at Charles, gwrthododd roddi unrhyw atebiad iddo am dro, ond yn unig sicrhau nad oedd dim yn ei fryd ef ond cael heddwch a chyfiawnder i'w bobl. Wedi gweled ymddygiad y brenin, penderfynodd y senedd osod y deyrnas ar unwaith mewn sefyllfa o

amddiffyniad, a chyhoeddi y rheswm am eu hofnau, i'w anfon at y brenin. A phan ofynodd Iarll Penfro i Charles a fuasai ddim yn well caniatau cais y senedd yn nghylch y cartreflu *am dymhor*, atebodd yntau, "Na wnaf, yn enw Duw, ddim am un awr. Yr ydych yn hyn yn gofyn peth genyf na ofynwyd gan frenin erioed; a chyda'r fath beth nis gallwn ymddiried fy ngwraig a'm plant." Dychrynodd Arglwydd Digby, a ffodd i Holland. Pan wrthododd y brenin gymeryd awdurdod y Tŵr o law Byron, rhoddodd y senedd wyliadwriaeth o'i amgylch dan lywyddiaeth un Skippon, i atal nwyddau rhyfel i gael eu dwyn allan, nac ymborth i gael ei ddwyn i mewn. Anfonwyd Syr John Hotham i Hull i gymeryd gofal nwyddau rhyfel y fyddin ddiweddar oedd wedi eu hystorio yn y lle hwnw; ac anfonwyd at Goring, llywydd Portsmouth, i beri iddo beidio gollwng neb i mewn nac allan o'r dref hono, heb orchymyn y senedd. Adffurfiodd y senedd hefyd holl raglawiaeth y siroedd, ac felly daeth awdurdod y cartreflu, a phenodiad eu swyddogion, i'w llaw. "Rhaid i ni yma eto sylwi," meddai Keightley, "fod dyfeisiau dirgelaidd y brenin, y rhai oll a hysbysid i Pym a'i gyfeillion gan Arglwyddes Carlisle ac eraill, yn rhyw fath o gyfiawnhad ar yr estyniad hwn ar allu y senedd."

"Yr oedd cymaint yn ymddygiad ac amgylchiadau y ddwy blaid yn y flwyddyn 1642, i gyffroi annghymeradwyaeth ac anymddiried, fel mai prin y gallasai dyn doeth a da ymuno yn galonog â'r naill na'r llall. Ar y naill law nis gallasai amheu dymuniad y brenin i ddymchwelyd, trwy rym neu ddichell, beth bynag a wnaed gan y senedd, a sefydlu unbenaeth hollol; yr oedd ei ysbryd gormesol, ei egwyddorion llywodraethol adnabyddus, teimlad naturiol o falchder ac anrhydedd archolledig, anogaethau gwraig drahausfalch, erfyniadau hoff-ddynion, ac addewidion dynion uchelfrydig, oll ar waith er gwneyd ei sefyllfa fel penadur cydweddol â ffurf-lywodraeth y wlad—heb son dim am ddirmyg a chyfyngiad newydd—yn rhy flinderus a darostyngol i'w goddef. * * * Ar y llaw arall yr oedd rhagolygon pethau yn Nhŷ y Cyffredin yn fwy anffafriol fyth. Ni ddylem, yn wir, roddi barn rhy lem ar rai gweithredoedd o ddigofaint rhinweddol yn mynydau cyntaf buddugoliaeth, neu ar boethder y dadleuon hyny, heb raddau gormodol o'r hyn y mae cymanfa boblogaidd mewn perygl o syrthio i'r eithafoedd arall o ddifaterwch. Ond, ar ol gwneyd pob caniatad dyladwy, rhaid i hwnw ddyfod ag ysbryd cynhyrfus uwch ben hanes yr amseroedd hyn, os na chenfydd yn ymddygiad y corph hwnw (y senedd) gyfres o'r troseddau mwyaf dybryd, nid yn unig yn erbyn y ffurf-lywodraeth gyfansoddiadol, ond yn erbyn yr egwyddorion uchaf yn mhob gwladlywiaeth uniongyrchol."*

*Hallam, vol. ii., 138—140.

Yn Ebrill, 1642, aeth y brenin gydag oddeutu tri chant o wŷr tua Hull, ar fedr cymeryd meddiant o'r ystorfeydd milwrol; ond cododd Hotham y pynt, a chauodd y pyrth yn ei erbyn. Dywedai fod y senedd wedi ymddiried y dref i'w ofal, ac nas gallasai ei ollwng i mewn gyda'r fath nifer o wŷr heb fradychu yr ymddiried hwnw. Wedi bod yn crefu am oriau am gael ei ollwng i mewn, parodd gyhoeddi Hotham yn fradwr, a dychwelodd yn ddigofus i York. Bu yr amgylchiad hwn yn destun cynen rhyngddo a'r senedd eilwaith. Yr oedd y ddwy blaid yn awr yn prysur godi a dysgyblu eu byddinoedd. Yn Mehefin, anfonodd y senedd ei deiseb olaf at y brenin, yn cynwys pedair ar bymtheg o erthyglau, ac yn cynyg telerau heddwch iddo. Gofynent i'r brenin gydsynio â'r senedd yn yr holl gyfnewidiadau a gynygient, a bod pob math o swyddi yn y llywodraeth i gael eu llenwi trwy gydsyniad neu apwyntiad y senedd. Addawent, os cydsyniai y brenin â'r telerau, sicrhau iddo goffrau llawn. Yr oedd yr hyn a ofynent, meddai Hallam, "o ran ysbryd, yn cynwys dymchweliad yr holl gyfansoddiad." Rhoddodd y brenin atebiad digofus; dywedodd, pe buasai wedi ei orchfygu ac yn garcharor, ac mewn cyflwr gwaeth nag y darostyngwyd un o'i ragflaenoriaid anffortunus, na fuasai byth yn ymostwng mor isel a chaniatau y fath delerau. "Cymerir fy ninasoedd," meddai, "oddiarnaf, fy llongau, fy arfau, a fy arian; ond y mae genyf achos da eto o fy mhlaid, a chalonau deiliaid ffyddlon, y rhai nid oes ynof amheuaeth, gyda bendith Duw, a enillant y lleill yn ol."

Aeth y brenin trwy swyddi Nottingham a Lincoln, a llwyddodd i godi tua phedair mil o wŷr o'i blaid. Daeth llongaid o nwyddau ac arfau rhyfel iddo hefyd drosodd oddiwrth ei wraig. Gosododd warchae ar Hull, gan ddysgwyl dyfodiad y llynges i'w gynorthwyo; ond yr oedd y llynges yn awr dan lywyddiaeth Iarll Warwick, dros y senedd, a gwnaeth Hull i'r brenin godi y gwarchae yn fuan, ac encilio. Yr oedd y senedd yn awr wedi codi byddinoedd lluosog, ac arian at ddwyn traul y rhyfel yn dylifo iddynt oddiwrth gyfoethog a thlawd yn nghyd. "Dygai y wniadyddes ei gwniadur arian, y law-forwyn ei *bodkin*, a'r gogyddes ei llwy arian; ac yr oedd rhai gwragedd mor hael yn eu cyfraniadau, fel yr ymadawent â'u clustdlysau a'u modrwyau, fel pe buasai rhyw lo aur ar gael ei osod i fyny i'w addoli." Er fod corph mawr y pendefigion, y boneddigion, a'r holl Babyddion o blaid y brenin, yr oedd mwyafrif mawr y masnachwyr, y trefwyr, a'r bobl gyffredin o blaid y senedd. Yr oedd y prif drefi hefyd, y nwyddau a'r arfau rhyfel, yn nghyda lluaws o fanteision pwysig eraill, o blaid cefnogwyr y senedd.

Rhoddwyd llywyddiad byddinoedd y senedd i Iarll Essex, yr

hwn, flynyddau yn ol, ddyoddefodd y fath ddiraddiad a chamwri oddiar law ei wraig ieuanc, yn gystal ag oddiwrth dad Charles; ac yn nesaf ato mewn awdurdod yr oedd Iarll Bedford, gwr y rhinweddol Anne Carr, unig ferch iarlles ddiras Essex. Cododd amryw aelodau seneddol galluog fyddinoedd trwy eu dylanwad personol, ac arweinient hwynt eu hunain fel cadbeniaid. Nid arferai y milwyr ddillad unffurf eto, ond gwisgai y gwahanol fyddinoedd liwiau gwahanol yn eu gwisgoedd y pryd hwn er mwyn hwylusdod eu harweinwyr. Codai y brenin hefyd fyddinoedd trwy lwybr cyffelyb, y rhai oeddent yn y cyffredin o radd uwch nag eiddo y senedd, oblegyd cyflogai yr olaf luaws o'r dosbarthiadau iselaf. Yr oedd byddin Oliver Cromwell yn eithriad. "Yr oedd gan Cromwell," meddai Whitelock, "fyddin ardderchog o farchogion, o'i gydwladwyr, y rhan fwyaf o honynt yn rhydd-ddalwyr a meibion rhydd-ddalwyr, y rhai oeddent wedi ymuno â'r achos dan arweiniad Cromwell fel mater cydwybod. Ac felly, wedi ymarfogi yn dda o fewn gyda chydwybod dawel, ac oddiallan gydag arfau dur rhagorol, safent yn ddiysgog fel un gwr, ac ymladdent yn ffyrnig."

Awst 25, 1642, cododd Charles ei faner yn Nottingham; ond nid oedd ei wŷr yn lluosog, na'i ragolygon ond tywyll, ac edrychid ar waith y gwynt yn chwythu ei faner i lawr y noswaith hono fel argoel drwg iddo. Cychwynodd â'i wyneb tua'r brif-ddinas, ac erbyn cyrhaedd Birmingham, yr oedd ei fyddin wedi chwyddo i ddeunaw neu ugain mil. Daeth y tywysog Rupert, mab yr iarlldeyrn Frederick, a nai Charles, drosodd i'w gynorthwyo. Gwr ieuanc creulon a diegwyddor ydoedd; cynorthwyodd i chwythu y cweryl rhwng y brenin a'i ddeiliaid yn fflam; cymerodd daith trwy y siroedd canoldirol, casglodd lawer o wŷr dan faner ei ewythr, a chyflawnodd ddifrod a barbareidd-dra dyeithr i'r wlad hon. Yr oedd Essex a'i alluoedd hefyd yn awr yn yr un parthau, a chanlynodd yn frysiog yn llwybr y brenin.

Hydref 22ain, daeth Essex i olwg ol-fyddin Charles, a phenderfynodd yr olaf droi, a chynyg brwydr iddo. Ac ar Sabbath, Hydref 23ain, yr ymladdwyd y frwydr gartrefol gyntaf yn Lloegr ar ol brwydrau y Rhosynau. Cymerodd le yn Edgehill, ar gyffiniau swyddi Warwick ac Oxford. Yr oedd byddin y brenin wedi ymsefydlu ar y bryn, ac Essex a'i fyddin yn y dyffryn odditanynt. Yr oedd llawer o alluoedd Essex daith niwrnod o'i ol, ac yr oedd nifer ei filwyr yn llai nag eiddo y brenin. Ymosododd Rupert yn ffyrnig ar y naill aden i fyddin y senedd, gyrodd ei wrthwynebwyr yn eu hol, ac ymlidiodd hwy am filldiroedd hyd Keinton, gan adael maes y frwydr i eraill. Pan ddychwelodd gyda chleddyf gwaedlyd ac ysbail trwm, yr oedd y byddinoedd wedi ymwasgaru. Enciliodd byddinoedd y brenin dros y bryn, ond arosodd byddinoedd y senedd

ar y maes yn ddiorchudd trwy y nos. Daeth Hampden yno dranoeth gyda miloedd o adgyfnerthion, ond penderfynwyd dychwelyd i Warwick yn lle ymlid ar ol y brenin. Parhaodd y frwydr yn boeth am lawer o oriau, hyd nes i dywyllwch y nos eu gorchuddio; ac yr oedd yr ymgyrch mor gyfartal o bob tu, fel yr hawliai y naill a'r llall y fuddugoliaeth. Dywedir fod y lladdedigion o bob tu agos yn gyfartal, a'u bod yn rhifo pum mil; ond myn eraill osod y nifer yn llawer llai. Lladdwyd Verney, banerwr y brenin, a chymerwyd y faner gan y gelynion, ond dygwyd hi yn ol eilwaith. Archollwyd Lyndsey, llywydd byddinoedd y brenin (mewn enw—Rupert ydoedd mewn gwirionedd) yn farwol, cymerwyd ef yn garcharor, a bu farw o'i archollion yn mhen ychydig ddiwrnodau. Y prif golledion o du y senedd oedd Arglwydd St. John, a'r milwriaid Essex a Ramsay.

Ymddengys i lawer o foneddigion y wlad, ar ol y frwydr hon, ymuno ag achos y brenin, oddiar argoelion, efallai, o lwyddiant byddinoedd y brenin, a chanlyniad hyny iddynt eu hunain. Aeth Essex yn ei flaen i Lundain, a sefydlodd gatrodau o'i fyddin i warchod yn y trefi cymydogaethol. Symudodd y brenin yntau yn mlaen i Reading, ac wedi hyny i Colnbrook. Tra yn y lle olaf aeth Iarll Northumberland a thri o aelodau Tŷ y Cyffredin ato gyda deiseb yn cynyg amodau heddwch. Rhoddodd Charles atebiad ffafriol iddynt; ac wedi derbyn ei atebiad, gorchymynodd y senedd i Essex roddi atalfa ar bob symudiadau rhyfelgar. Ond prin yr oedd y gorchymyn wedi ei roddi, pan glywid swn magnelau yn cynhyrfu yr holl ddinas. Cymerodd Charles fantais ar niwl tew Tachwedd i wneyd ymosodiad ar dref Brentford, lle yr oedd byddin fechan o ddewrion dan Hollis wedi ei gosod gan Essex i'w gwarchod. Daliodd y gwarchodwyr yn gyndyn yn erbyn yr ymosodiad, hyd nes i adgyfnerthion ddyfod; yna rhoddodd y brenin i fyny, a dychwelodd i Rydychain. Cyffrodd yr ymddygiad twyllodrus hwn o eiddo Charles y ddinas yn fawr, ac yr oedd pedair mil ar ugain o wŷr dranoeth at wasanaeth Essex. Rhyw fodd, gadawyd i'r brenin syrthio yn ol i Rydychain yn ddiwrthwynebiad, pryd y bernid y gallasai Essex yn hawdd ei gylchynu, a chyflawni trwy y cleddyf yr hyn fethwyd wneyd trwy y ddeiseb.

Treuliodd y brenin y gauaf yn segur yn Rhydychain, tra yr oedd mân ymgyrchiadau yn cymeryd lle mewn gwahanol barthau o'r deyrnas. Yn mis Mawrth, 1643, anfonwyd cenadau a thelerau heddwch iddo eilwaith oddiwrth y senedd; anfonodd yntau delerau yn ol; ond yr oedd y naill a'r llall yn gofyn mwy nag a allasent yn rhesymol ddysgwyl, ac felly terfynodd y gynadledd mewn dim. Yr oedd y frenines wedi glanio yn Chwefror, a dygodd ystor o nwyddau ac arfau i'r brenin. Yn fuan dygwyd cyhuddiad o deyrn-

fradwriaeth yn ei herbyn gan y Cyffredin, am gynorthwyo ei gwr ag arfau i ymladd yn erbyn y senedd. Yn Ebrill, cymerwyd Reading gan Essex, a mynai Hampden fyned yn mlaen ar unwaith i ymosod ar Rydychain, gan obeithio dwyn y rhyfel i derfyniad trwy gymeryd y brenin yn garcharor. Barnai Clarendon y buasai y symudiad yn sicr o fod yn llwyddianus, am nad oedd y ddinas wedi ei hamddiffyn yn dda, nac yn meddu darpariaeth ar gyfer gwarchae. Ond yr oedd arafwch petrusgar Essex o hyd yn atal ei lwyddiant, yn peri i rai amheu ei ddifrifoldeb, a bu y senedd droion ar fin rhoddi ei swydd i arall. Yn Mai, cyffrowyd Llundain trwy ddarganfyddiad bradwriaeth i roddi y ddinas i fyny i alluoedd y brenin. Yn mlaenaf yn y ddyfais yr oedd y bardd Edmund Waller, yr hwn oedd hefyd yn aelod o Dŷ y Cyffredin. Cymerwyd chwech neu saith i fyny: cyfaddefodd Waller y cwbl yn ddigel, a chydag edifeirwch dwys; crogwyd dau o'r herwydd gyferbyn a drysau eu tai eu hunain, a thaflwyd Waller i'r Tŵr. Caniatawyd iddo eilwaith ddianc i'r Cyfandir, trwy dalu dirwy o ddeng mil o bunau. Parodd y fradwriaeth hon, yn nghydag un arall gyffelyb yn Bristol, i'r Cyffredin wneyd cyfamod difrifol gyda llw, i beidio rhoddi eu harfau i lawr tra fyddai y Pabyddion oedd yn rhyfela yn eu herbyn yn cael eu hamddiffyn.

Nis gallwn ddylyn manylion y rhyfeloedd gofidus hyn. Ychydig o ryfelwyr profedig oedd ar y maes, ac yr oedd apwyntiadau y senedd gan mwyaf yn anffortunus. Nid oedd Essex yn gymhwys i arwain y byddinoedd, ac nid oedd y swyddogion dano yn cyflawni ei ddiffygion. Yr oedd rhyfeloedd ar raddfa eang yn beth dyeithr yn y wlad bellach, felly nid oedd dynion cymhwys i'w cael. Gwelwyd y gallai dynion fod yn wleidiadwyr ac yn areithwyr da, ond yn llywyddion a rhyfelwyr canolig. "Yn wir," meddai Macauley, "o'r holl wleidiadwyr a dderbyniasant lywyddiaeth milwrol yn yr amser hwn, ymddengys mai Hampden yn unig ddygodd i'r gwersyll y cymhwysderau a'r nerth meddwl a'i gwnaeth yn enwog mewn gwleidiadaeth." Derbyniodd y gwr rhagorol hwn archoll farwol mewn ymgyrch yn Chalgrove, gerllaw Rhydychain, yn Meh. 1643. Gwelwyd ef yn troi ymaith o'r maes cyn fod yr ymgyrch drosodd, ei ben yn hongian ar ei fynwes, a'i ddwylaw yn pwyso ar wàr ei farch; dywedodd rhyw un, "Yr wyf yn sicr fod Mr. Hampden wedi ei archolli!" Bu farw yn mhen chwe diwrnod, gan adael yr holl genedl mewn dagrau ar ei ol.

Dros ystod y flwyddyn gyntaf o'r rhyfel yr oedd y fantol yn troi o blaid y brenin. Yr oedd wedi cael y llaw drechaf ar y siroedd gorllewinol a gogleddol; syrthiodd Bristol i'w law, ac nid oedd unrhyw le o bwys yn y parthau hyn, oddigerth Caerloyw, wedi ei adael i'r Pengryniaid. Amddiffynodd gwarchodlu y senedd, dan

Massey, ddinas Caerloyw yn wrol, a gwnaeth Essex i'r *Cavaliers* godi y gwarchae, a myned i'w ffordd. Rhoddodd hyn adnewyddiad ysbryd i'r blaid seneddol, a digalonodd eu gwrthwynebwyr. Cyn diwedd yr un mis (Medi, 1643), ymladdwyd brwydr Newbury, lle y dangosodd Essex a'i wŷr wrhydri canmoladwy. Cwympodd pum cant o'i wŷr ac ychydig swyddogion, ond collodd y brenin y tri chymaint, ac amryw swyddogion o bwys. Yn eu mysg yr oedd Ieirll Sunderland a Chaernarfon, a'r enwog Arglwydd Falkland, ysgrifenydd y llywodraeth dan Charles, ac un o'r dynion goreu yn ei fyddin. Galwodd am grys glân ar foreu y frwydr, fel na leddid ef mewn crys brwnt, oblegyd yr oedd yn ymwybodol y byddai farw y diwrnod hwnw: nid oedd ond 34ain mlwydd oed pan fu farw.

Un o achosion aflwyddiant byddinoedd y senedd ydoedd yr annghydwelediad oedd yn mysg eu llywyddion a'u hyfforddwyr. Yr oedd gwahanol olygiadau crefyddol yn mysg aelodau y senedd, ac yr oedd a fynai hyny â sefyllfa bresenol pethau yn y deyrnas. Yr oedd yma blaid nerthol o Annibynwyr yn codi, y rhai a gredent fod pob cynulleidfa Gristionogol yn meddu awdurdod hollol, dan Grist, mewn pethau ysbrydol; ac edrychent ar Babyddiaeth, Esgobyddiaeth, a Phresbyteriaeth, fel ffurfiau gwahanol ar yr un gwrthgiliad. Dynion "gwreiddyn a changen," yn ol iaith y dyddiau hyny, oedd yr Annibynwyr; neu *radicals*, yn ol iaith ein dyddiau ni. Nid oeddent yn foddlon ar gyfyngu awdurdod y brenin; ond yr oeddent am sefydlu gwerin-lywodraeth ar adfeilion yr hen ffurflywodraeth Seisnig. Yr oedd y blaid hon wedi cynyddu yn fawr erbyn hyn, a'r hen arweinwyr seneddol wedi marw. Yr oedd y gwrol Hampden wedi cwympo yn ei fri ar faes y gwaed; yr oedd Pym, "y dyn mwyaf poblogaidd," meddai Clarendon, "fu byw erioed, a'r un ddeallodd ysbryd a serchiadau y deyrnas oreu, wedi marw yn dlawd, ac wedi cael claddedigaeth rwysgfawr yn monachlog Westminster; yr oedd Clare, Bedford, a Holland, wedi encilio at fyddin y brenin i Rydychain. Claiar oedd Northumberland, a diysbryd ar y cyfan oedd Essex a'i swyddogion. Yn y cyfwng hwn cafodd y blaid Annibynol gyfleusdra i godi ei phen yn y senedd ac yn y gwersyll; ac enaid y blaid oedd Oliver Cromwell.*

Ffermwr o Huntingdon oedd Cromwell, yn hanu o deulu Cymreig, o Forganwg.† Cododd i'w fri a'i awdurdod trwy nerth ei gymhwysderau personol, a'r dyddordeb dwfn a gymerodd yn achubiaeth a dyrchafiad ei wlad. Prif elfen ei allu a'i lwyddiant oedd ei onestrwydd a'i dduwioldeb. "Yr oedd Oliver bellach," meddai Carlyle, ar ol adrodd hanes ei droedigaeth, "yn Gristion; credai yn Nuw, nid ar y Suliau yn unig, ond bob dydd, yn mhob lle, ac yn mhob amgylchiad."‡ Ni pharhaodd y rhyfeloedd cartrefol yn hir rhwng

*Macauley. †Gwel Traethodydd 1858. ‡Cromwell's Letters, &c., vol. i, 72.

Charles a'r senedd cyn i gymeriad a gwrhydri Cromwell ddyfod yn destun siarad cyffredinol. Enillodd glod nid bychan yn ngwrthwynebiad llwyddianus ac ymlidiad llwyr Cavendish a'i wŷr; ac wedi hyny yn Horncastle, pan wnaeth ef a'i farchogion dewr y fath ddifrod ar fyddin y brenin. Cychwynasant eu hymosodiad gyda'r floedd, "*Gwirionedd a heddwch!*" Lladdwyd ceffyl Cromwell odditano, a chyn ei fod wedi codi yn iawn, tarawyd ef i lawr eilwaith gan ergyd gelyn. Cododd drachefn, a chymerodd geffyl truan un o'i wŷr, gyrodd eto i ddanedd y tân, ac ymladdodd fel cawr nes llwyr ymlid y gelyn. Erbyn hyn siaredid am Rupert o du y brenin a Cromwell o du y senedd fel dau wron y byddinoedd; a buasai yn dda gan Charles gael yr olaf i'w law yn fyw neu yn farw.

Cynghorwyd Charles i alw senedd yn nghyd yn Rhydychain; ac er fod yr enw senedd yn gasbeth ganddo bellach, cydsyniodd â'i gynghorwyr; ac yn Ionawr, 1644, ufuddhaodd dros ddeugain o arglwyddi, a chant a deunaw o aelodau Tŷ y Cyffredin, y rhai oeddent wedi encilio at blaid y brenin, i'r alwad. Eisteddai y senedd yr un amser yn Llundain, gyda llai o arglwyddi, a mwy na dwbl y nifer o aelodau y Cyffredin. Ond torwyd "*mongrel Parliament*" Rhydychain, fel y galwai Charles ei hun ef, i fyny yn fuan, heb i ddim effeithiol gael ei wneyd ganddo. "Yr oedd Charles yn dylyn camrau ei dad, a chyda phrysurdeb dychrynllyd; yr oedd ef a'i draddodiadau a'i syniadau cyfrifol, wedi ymwisgo mewn croen dafad a thorynau Eglwysig (*Church tippets*) cyfrifol, yn tynu y naill ffordd; Lloegr a'r deddfau tragywyddol yn tynu y ffordd arall; y rhwyg yn lledu yn gyflym, fel nas gallai un dyn ei gwella."* Llwyddodd y brenin i gael byddin o'r Gwyddelod drosodd i'w gynorthwyo, yr hyn a roddodd sail pellach i'r wlad i gredu fod ganddo ef law yn y terfysgoedd creulon gododd yno yn ddiweddar. Glaniasant yn Mostyn, swydd Flint. Ond ymlidiwyd hwy gan Syr Thomas Fairfax; lladdwyd pum cant o honynt, a chymerwyd pymtheg cant yn garcharorion, yn mysg y rhai yr oedd y milwriad Monk, yr hwn a gododd i hynodrwydd ar ol hyny.

Yn nechreu y flwyddyn hon y daeth ugain mil o Ysgotiaid dros y Tweed i Loegr, dan arweiniad Leslie, Iarll Leven, i gynorthwyo byddinoedd y senedd. Ymunasant â'u cyngreiriaid i warchae ar York, yr hon a amddiffynid dros y brenin gan Ardalydd Newcastle. Parhaodd y gwarchae hwn yn hir, tra yr oedd brwydrau mynych yn cael eu hymladd yma a thraw ar hyd y wlad. Cyn diwedd yr haf, yr oedd cymydogaeth York wedi dyfod yn ganolbwynt y galluoedd o bob tu. Gorfodwyd y cyngreiriaid i godi y gwarchae, ond canlynodd brwydr fawr ar yr ail ddydd o Orphenaf ar Marston Moor, o fewn pum milldir i York. Yr oedd y galluoedd agos yn

*Carlyle's Cromwell, vol. i., 82.

gyfartal—oddeutu pum mil ar ugain o bob tu. Yr oedd aden ddeheu byddin y brenin yn cael ei llywyddu gan Newcastle, yr aswy gan Rupert, y canol gan Goring, Lucas, a Porter. O'r tu arall, arweiniai Syr Thomas Fairfax ar y deheu, Cromwell ar yr aswy, Arglwydd Fairfax (tad Syr Thomas) a Ieirll Manchester a Leven yn y canol. Yr oedd yn saith o'r gloch yn yr hwyr pan ddechreuodd y frwydr. Rhuthrodd Rupert ar aden ddeheu ei wrthwynebwyr gyda'i ffyrnigrwydd arferol, ac ymlidiodd ar eu hol, gan adael maes y frwydr. Bu canol y fyddin freninol yn llwyddianus hefyd, a gyrwyd Leslie a'i Ysgotiaid yn eu hol. Ond bu Cromwell yn llwyddianus ar yr aswy, medodd y gelyn i lawr, ac ail ffurfiodd Syr Thomas Fairfax ei wŷr, ac ymosododd ef a Cromwell ar gatrodau Rupert a Goring, ac yr oeddent wedi enill y maes erbyn fod llen y nos yn eu gorchuddio. Claddwyd dros bedair mil o gyrph ar y maes gwaedlyd hwnw, a chymerwyd pymtheg cant o wŷr y brenin yn garcharorion. Arosodd Cromwell ar y maes trwy y nos, ac erbyn y boreu, cafodd ei hun mewn meddiant o holl fagnelau ac ymborth ei elynion. Aeth Rupert i York, a ffodd Iarll Newcastle yn nghydag arglwyddi eraill i'r Cyfandir. Dywedai Cromwell mewn llythyr a anfonodd o fwg yr ymladdfa at y milwriad Walton, i'w gysuro am gwymp ei fab, "Cafodd Lloegr ac Eglwys Dduw ffafr fawr oddiwrth yr Arglwydd, yn y fuddugoliaeth hynod hon a roddwyd i ni, y cyfryw na fu ei bath er dechreuad y rhyfel. Yr oedd ynddi holl brofion buddugoliaeth hollol wedi ei chael, trwy fendith yr Arglwydd, ar y blaid annuwiol. Nid ymladdasom ddim heb ymlid y gelyn. Curodd yr aden aswy, dan fy arweiniad i, yr hon a gynwysai ein marchoglu ein hunain, gydag ychydig Ysgotiaid o'r tu ol, curodd holl feirch-filwyr y tywysog. Gwnaeth Duw hwynt fel sofl i'n cleddyf. Rhoddwch y gogoniant, yr holl ogoniant i Dduw." Rhoddodd York ei hun i fyny; ymwasgarodd byddinoedd y senedd; dychwelodd yr Ysgotiaid â'u gwynebau tua'u gwlad, a chymerasant dref Newcastle. Felly collodd y brenin holl ogledd Lloegr, a ffodd y frenines drosodd i Ffrainc.

Yr oedd y brenin yn fwy llwyddianus yn y gorllewin, ac aeth Cromwell i Cornwall i gynorthwyo byddinoedd y senedd. Ar enciliad y brenin o'r parthau hyn yr ymladdwyd brwydr eto yn Newbury (Hydref 27ain, 1644). Parhaodd y frwydr am bedair awr, ac yr oedd y canlyniad yn amheus. Beth bynag, goddefodd Iarll Manchester i'r brenin encilio yn ddiwrthwynebiad, er holl erfyniadau Cromwell i'r gwrthwyneb—yr hyn, yn ol ei dyb ef, fuasai yn sicrhau buddugoliaeth, ac efallai yn rhoddi terfyn ar y rhyfel.

Y canlyniad fu i amrafael dori allan rhwng byddinoedd y senedd. Yr oedd teimlad drwg ac annghydwelediad yn ffynu rhyngddynt, a

hyny yn rhwystr mawr i'w llwyddiant. Dywedid fod Waller o'r dechreu yn chwenych y blaen ar Essex; a bod Manchester a Cromwell o olygiadau a theimladau gwahanol. Yr oedd annghydweled-iad yn codi oddiar eu golygiadau gwahanol am grefydd. Annibynwr Puritanaidd oedd Cromwell, fel y dywedwyd; ac efe oedd blaenor ei blaid. Presbyteriaid oedd Manchester a Waller; ond gwell oedd gan Essex yr Eglwys Esgobol. Yr oedd Essex a Manchester hefyd o blaid y cyfansoddiad fel yr oedd, tra y dewisai Cromwell ffurf-lywodraeth werinol. Pan gyfarfyddodd y senedd yn niwedd y flwyddyn, dygodd y llywyddion hyn achwyniadau yn erbyn eu gilydd. Penodwyd pwyllgor i chwilio i mewn i'r achwyniadau, ac i ystyried sefyllfa bresenol y deyrnas. Y cyntaf i agor ei enau oedd Cromwell. "Mae yn llawn bryd llefaru," ebai, "neu ddal y tafod am byth; gan mai yr achos pwysig yw achub y genedl o'i chyflwr gwaedlyd, ïe, agos angeuol, i'r hwn y mae wedi ei dwyn trwy barhad y rhyfel." Yna cynghorodd hwy, yn lle gwastraffu amser gwerthfawr gyda'r hyn oedd wedi myned heibio, i ad-drefnu a diwygio y fyddin, ac ymroddi i ddwyn eu gwaith yn mlaen gyda difrifwch a phenderfyniad. Yn y man cynygiodd Mr. Tate fesur yr "Ordeiniad hunan-ymwadol," fel y gelwid ef, amcan yr hwn oedd cau allan aelodau y ddau Dŷ rhag dal swyddi yn y wladwriaeth na'r fyddin. Cefnogwyd ef gan Mr. Vane, a chafwyd mwyafrif y Tŷ o blaid y mesur annysgwyliadwy. Wedi cryn wrthwynebiad, pasiwyd ef eilwaith yn Nhŷ yr Arglwyddi. Dechreuwyd ffurfio y fyddin yn awr ar gynllun newydd, a chyda dysgyblaeth fanol. Dewiswyd y prif swyddogion trwy bleidlais y Cyffredin. Gwnaed Syr Thomas Fairfax yn faes-lywydd; Skippon yn *major-general;* apwyntiwyd pedwar ar ugain o filwriaid; ond gadawyd lle yr îs-gadfridog *(lieutenant-general)* yn wag.

Yn Ionawr, 1645, cyhoeddwyd dedryd marwolaeth ar yr archesgob Laud, yr hwn oedd yn awr yn 72ain mlwydd oed, a thrwy ymyriad yr Arglwyddi cafodd y ffafr o farw trwy dori ei ben yn lle ei grogi. Mae llawer o feio ar lymder y Cyffredin yn y ddedryd hon, gan haeru ei bod "yn weithred oedd yn groes i'r cyfansoddiad, ac yn ddiangenrhaid." "Yr oedd holl ymddygiadau Laud," meddai Ferguson, o'r tu arall, "yn groes i gyfreithiau a manteision y wlad; ac er nad ydym dros ddienyddio am unrhyw drosedd, eto rhaid dweyd nad cospedigaeth gyffredin oedd yn ddyledus i'r dyn, yr hwn, yn nesaf at Charles ei hun, oedd wedi gwneyd yr oll a allai i roddi Lloegr ar dân, ac felly i ddryllio rhwymau ei bywyd cymdeithasol a gwladol." Mae yn wir nas gellir galw gwaed Laud yn waed gwirion, eto dylasai y senedd arbed ei fywyd, a gallasai gyrhaedd ei holl amcanion, er gwneyd hyny.

Wythnos cyn dienyddiad Laud pasiodd y senedd gyfraith

i droi o'r neilldu lyfr gwasanaeth yr eglwys, a gosod yn ei le yr Hyfforddwr at wasanaeth cyhoeddus, yr hwn a gasglwyd gan y gymanfa o dduwinyddion a apwyntiwyd i arolygu a gwella achosion eglwysig. Trowyd tua dwy fil o offeiriaid annghymhwys o ran athrawiaeth a buchedd allan o'u swyddi, a rhoddwyd eu lle i'w gwell. Gwnaed chwyldroad hollol yn sefydliad prif-ysgol Cambridge, trwy roddi y swyddi a'r anrhydedd i athrawon newyddion.

Ar y 30ain o Ionawr, tair wythnos ar ol dienyddiad yr archesgob, cynygiwyd eto ar wneyd heddwch rhwng y brenin a'r senedd trwy gyflafareddiad yn Uxbridge. Yr oedd rhagolygon y senedd yn awr yn fwy ffafriol nag eiddo y brenin; nid oedd mwy na'r drydedd ran o'r deyrnas yn cydnabod ei awdurdod, ac yr oedd ei fyddinoedd nid yn unig yn llai o nifer, ond yn drygu ei achos yn fawr trwy ei hymddygiadau trachwantus a barbaraidd. Gan hyny, yr oedd y senedd mor helaeth a chyndyn yn ei gofynion ag erioed. Y prif delerau a gynygient i Charles ydoedd, dyddimiad esgobyddiaeth, defnyddiad yr Hyfforddwr yn lle y llyfr gwasanaeth cyffredin, a bod llywodraeth y fyddin i fod yn llaw y senedd. Wedi dadleu y materion yn ol a blaen hyd yr 22ain o Chwefror, torodd y senedd y gynadledd i fyny, dychwelodd y pleidiau i Westminster a Rhydychain, a phrysurwyd i barotoi i ryfel eilwaith.

Yr oedd gan y senedd erbyn hyn, ar ol ei ffurfio o'r newydd, fyddin ragorach na dim fu ganddi o'r blaen. Cynwysai saith mil o farchogion, a phedair mil ar ddeg o draed-filwyr. Dywedir mai dyma y pryd y dechreuodd traed-filwyr wisgo dillad cochion. Pigion oedd y fyddin hon o'r byddinoedd blaenorol, rhai o duedd grefyddol, ac yn gogwyddo gan mwyaf at y blaid Annibynol. "Arferid dysgyblaeth lymach nag o'r blaen arnynt, ac felly y ffurfiwyd y fyddin ardderchog hono, yr hon a ysgogid gan egwyddor uwch na chariad at arian ac ysbail; byddin na orchfygwyd erioed, ac a adawodd ei choffadwriaeth yn destun mawrygiad yr oesau dyfodol."* Yr oedd Cromwell wrthi yn brysur yn dysgyblu y milwyr, ac yn symud o fan i fan i wylio symudiadau ei wrthwynebwyr. Yr oedd yn benderfynol i roddi ei gleddyf yn ei waun, a rhoddi ei swydd yn y fyddin i fyny, yn ol telerau y *self-denying ordinance*. Ond ni fynai y wlad golli gwasanaeth y fath wron. Gwelid fod brwydr eto yn darllaw; ac anfonodd y cadfridog Fairfax a'i swyddogion ddeiseb at y senedd, yn dymuno arnynt wneyd eithriad i'r act uchod trwy benodi Cromwell yn is-raglaw cyffredinol, yr hon swydd oedd wedi ei gadael yn wag (ar ei gyfer, medd rhai). Anfonodd y senedd, yr hon oedd yn ymwybodol o'i gymhwysderau, ac yn deall nad oedd un dyn yn meddu cymaint o ddylanwad ar y marchoglu, ac ar ran helaeth o'r fyddin, anfonodd ganiatad iddo gymeryd y swydd am

*Keightley.

dri mis; ac ymunodd Cromwell â Fairfax mewn pryd i ymladd brwydr fawr Naseby, yr hon oedd i benderfynu y cwestiwn pwysig, "beth oedd rhyddid a chyfreithiau Lloegr, a pheth oedd gallu a hawlfreintiau y brenin, i fod rhagllaw."

Ymladdwyd brwydr Naseby, yr olaf rhwng y brenin a'r senedd, ar y 14eg o Fehefin, 1645. Hon oedd y frwydr gyntaf i fyddin ddiwygiedig y senedd; ac er i'r frwydr fod yn boeth a ffyrnig, enillodd y fuddugoliaeth, sefydlodd ei chlod, a seliodd dynged y brenin anffodus. Yr oedd nifer y byddinoedd o bob tu agos yn gyfartal. Llywyddid traed-filwyr y brenin yn y canol gan Astley, y meirch-filwyr ar y ddeheu gan Rupert, ac ar yr aswy gan Syr Marmaduke Langdale. Yn y fyddin arall, arweinid y canol gan Fairfax, yr aden ddeheu gan Cromwell, a'r aswy gan Ireton. Ymosododd Rupert gyda'i ffyrnigrwydd arferol, ac ymlidiodd ei wrthwynebwyr o'i flaen. Clwyfwyd Ireton, a bu yn garcharor am beth amser: ond ni wyddai Rupert byth pa bryd i sefyll; ac yn lle troi i gynorthwyo ei gyfeillion, treuliodd yr amser i gymeryd meddiant o gyflegrfeydd ei elynion. Bu Cromwell, ar y tu arall, mor llwyddianus a Rupert, a gwyddai ef y ffordd i wneyd y goreu o'i fantais. Trodd i ymosod o'r tu ol i ganol byddin y brenin, y rhai oeddent hyd yma wedi dal eu tir yn gyndyn. Bellach yr oeddent wedi eu cau rhwng dau dân, a rhoddasant eu hunain i fyny yn garcharorion. Yr oedd byddin y brenin yn awr wedi ei rhwygo a'i gwasgaru, a'i gwrthwynebwyr wedi cael y llaw drechaf. Dychwelodd Rupert yn y man, ond gwrthododd gynyg ar ymosodiad arall. Ni ddangosodd Charles a'i filwyr fwy o egni a gwroldeb erioed; ond yr oedd Cromwell a Fairfax wedi ei gwasgar a'u dychrynu yn awr, fel y methodd Charles yn deg a chodi eu hysbryd. Gwaeddodd y brenin, "Un ymosodiad eto, a bydd y fuddugoliaeth yn eiddo i ni!" Ond nid oedd calon yn y bobl mwy, a gadawodd Charles a'i wŷr y maes. Ymlidiodd march-lu Cromwell ar eu hol, a chymerwyd lluaws yn garcharorion. Enillodd byddin y senedd fuddugoliaeth gyflawn. Nid oedd lladdedigion y frwydr ond bychan mewn cydmariaeth; o dri i bedwar cant o du y brenin, a llawer llai o'r tu arall. Gadawodd Charles tua phum mil o garcharorion ar ol, yn cynwys nifer mawr o swyddogion o bob gradd, yn nghyda swm anferthol o arfau, nwyddau, a darpariadau eraill. A mwy pwysig na'r cwbl, daeth cist a llythyrau y brenin i ddwylaw ei elynion. Yn eu mysg cafwyd apeliadau am gymhorth at dywysogion tramor, ac ymadroddion celyd yn erbyn y senedd. Gwnaed detholiad o honynt, a chyhoeddwyd hwynt dan y titl, "Cist y brenin wedi ei hagoryd," yr hyn a ddrygodd achos y brenin yn fwy eto.

Aeth Charles o Naseby i Leicester, ac oddiyno i Henffordd; ac wedi treulio rhai diwrnodau i wledda a hela gydag Ardalydd

Worcester yn nghastell Raglan, daeth i Gaerdydd. Gadawodd Rupert ef yn Henffordd i fyned i amddiffyn Bristol, yr hon y bwriadai Charles wneyd yn brif orsaf. Yr oedd y brenin hefyd mewn gohebiaeth â'r Gwyddelod, ac yn dysgwyl byddin oddiyno i'w gynorthwyo. Yr oedd Fairfax a Cromwell yn ysgubo y cyfan o'u blaen yn awr, ac yn gwneyd achos y brenin yn anobeithiol; yn gymaint felly fel y dymunai hyd y nod Rupert ei hun am amodau heddwch. Yn Gorphenaf, cymerodd Fairfax dref bwysig Bridgewater; syrthiodd Bath yn fuan i'w ddwylaw, a nesaodd at Bristol. Yr oedd Charles yn awr wedi dychwelyd i Rydychain, ac yno cafodd newyddion cysurus am fuddugoliaethau Montrose o'i blaid yn Ysgotland. Ond dychwelodd cyfran o'r fyddin Ysgotaidd o Loegr i gynorthwyo pleidwyr y senedd yn eu gwlad eu hunain, ymlidiwyd Montrose, a ffodd i'r Cyfandir. Wedi i gyfran o'r fyddin Ysgotaidd adael Lloegr, cymerodd Charles y fantais ar y gweddill; gadawodd Rydychain gyda phum mil o wŷr, a gyrodd warchaewyr Henffordd ymaith. Ac yr oedd ar ei ffordd tua Bristol pan gafodd y newydd galarus fod y dref bwysig hono yn nwylaw Fairfax. Rhoddodd Rupert hi i fyny, wedi ychydig ddyddiau o warchae, er ei fod wedi addaw ei chadw am bedwar mis. Teimlodd Charles fwy oblegyd colli Bristol nag am unrhyw anffawd blaenorol; ac yn ei ddigofaint, diswyddodd Rupert o'i holl awdurdod, a gorchymynodd iddo adael y deyrnas. Trodd yn awr i gynorthwyo Chester, yr hon a warchaeid gan y milwriad Jones. Ond pa le bynag y troai ei wyneb, nid oedd ond methiant a gwaradwydd yn ei aros. Dylynwyd ef tua Chaer gan Poyntz, yr hwn a ymosododd arno o'r tu ol, ac a wnaeth iddo encilio mewn dyryswch, gan adael chwe chant o laddedigion, a mil o garcharorion, ar ei ol.

Yr oedd holl obeithion Charles bellach wedi diffodd. Petrusai beth i wneyd. Yn awr meddyliai am fyned i Ysgotland; bryd arall i Iwerddon; ac yn ei benbleth anfonodd Montreuil, y cenadwr Ffrengig, i geisio gwneyd rhyw amodau â'r fyddin Ysgotaidd oedd yn Lloegr. Yn fuan yr oedd byddin y senedd yn dynesu at Rydychain, lle yr arosai y brenin, ac yr oedd yn rhaid iddo benderfynu naill ai aros i gael ei warchae, a syrthio yn garcharor i'w dwylaw, neu ffoi. Dewisodd yntau yr olaf. Ebrill 27ain, 1646, gadawodd Rydychain, wedi ymddyeithrio trwy dori ei wallt a'i farf, a marchogaeth gyda boneddwr fel gwas iddo. Penderfynodd fyned yn ei flaen i Lundain, gan hyderu ar gydymdeimlad y dinasyddion. Ond cyn cyrhaedd yno, newidiodd ei feddwl, a dychwelodd i wersyll yr Ysgotiaid, yr hwn oedd yn awr yn Newark. Derbyniwyd ef gan Leslie gyda syndod a pharch, a symudodd y fyddin a'r brenin yn ol i Newcastle.

Rhoddodd y Saeson a'r Ysgotiaid yn awr eu telerau o flaen y

brenin; ac yr oeddent wedi y cwbl, yn foddlon ei adferu i'w orsedd a'i awdurdod, ar agos yr un telerau ag a gynygiwyd iddo o'r blaen; sef, cymeradwyo y cyfamod, dyddimu esgobyddiaeth, a rhoddi llywodraeth y fyddin i'r senedd am ugain mlynedd. Gwrthodai Charles eto gydsynio, ond addawai drefnu pob peth yn bersonol yn Westminster. Ond yr oedd y senedd yn awr yn teimlo mwy o bwys mewn dyfod i ddealltwriaeth clir â'r Ysgotiaid nag â'r brenin. Y ddau bwnc pwysig i'w penderfynu â'r genedl hono oeddent, rhoddiad y brenin i fyny, a thaliad ol-ddyled am wasanaeth y fyddin. Ar ol llawer o ddadleu, penderfynwyd yr olaf trwy dalu pedwar can mil o bunau i'r Ysgotiaid, ac yr oeddent hwythau i roddi y brenin i fyny i'r senedd. Mynai yr Ysgotiaid roddi ar ddeall nad oedd cysylltiad rhwng y swm hwn a rhoddiad y brenin i fyny. Ond nid yw yn debygol y buasai y senedd yn ymadael â'r fath swm, oni bai fod traddodiad y brenin yn y drafodaeth; a chafodd yr Ysgotiaid y gair o fradychu a gwerthu eu brenin am arian. Yr oedd Charles yn chwareu *draughts* pan gafodd y llythyr a phenderfyniad y fyddin i'w roddi i fyny i'r senedd. Darllenodd ef heb i neb o'r cwmni ddeall fod ynddo unrhyw newydd o bwys; ac yna aeth yn mlaen â'r chwareu hyd nes gorphen y *game*. Symudwyd ef o Newcastle i Holmby, yn swydd Northampton, a rhoddwyd gwyliadwriaeth yno i'w gadw.

Yr oedd y rhyfel yn awr drosodd, wedi parhau am bedair blynedd, Castell Harlech, yn Ngogledd Cymru, oedd yr olaf i roddi i fyny i'r senedd (Mawrth 30ain, 1647). Ac er i filoedd o fywydau gael eu haberthu, a'r wlad gael ei difrodi gan ei phreswylwyr eu hunain, eto, ar y cyfan, ni chariwyd un rhyfel o'r fath yn mlaen yn fwy anrhydeddus o bob tu, nac yn fwy rhydd oddiwrth greulondeb diangenrhaid oddiwrth y blaid fuddugoliaethus. Ni roddwyd cymaint ag un o'r gelynion i farwolaeth ar ol enill buddugoliaeth hollol.

Dwy elfen bwysig yn awr yn y senedd a'r fyddin oedd Presbyteriaeth ac Annibyniaeth. Presbyteriaeth, dan arweiniad Hollis, oedd yn gorbwyso yn Nhŷ y Cyffredin; ond Annibyniaeth oedd yn gorbwyso o ddigon yn y fyddin, oddiar adeg ei hail ffurfiad. Yr oedd y ddwy blaid hyn yn wahanol eu golygiadau, nid yn unig am grefydd ond am faterion gwladol, a'r llwybr i'w gymeryd rhagllaw. Mynai y Presbyteriaid godi Presbyteriaeth yn awr i'r un awdurdod gormesol ag ydoedd Esgobyddiaeth dan y brenin; ond ni oddefai yr Annibynwyr iddynt. Ac yr oedd hyn wrth wraidd yr amrafael a dorodd allan rhwng y senedd a'r fyddin. Y cwestiwn ydoedd, fel y dengys Neale a Hallam, "nid rhwng Annibyniaeth a Phresbyteriaeth, ond rhwng Presbyteriaeth gyda goddefiad (*toleration*), ac hebddo." Mynai y sect hon ganlyn ysbryd Laud, a gorfodi yr holl

deyrnas i ymostwng dan ei hiau, tra y dadleuai yr Annibynwyr am fwy o ryddid, nid yn unig iddynt eu hunain, ond i bob dyn. Dysgwyliai Charles am fantais iddo ei hun oddiwrth yr amrafael hwn, ac ysgrifenai at un o'i gyfeillion, nad oedd yn anobeithiol na fuasai y naill blaid yn diwreiddio y llall. Ond nid Charles oedd y dyn i wylio y cyfleusdra oddiwrth amgylchiad o'r fath.

Y gorchwyl cyntaf o eiddo y senedd ar ol gorphen y rhyfel oedd diswyddo a gollwng y fyddin, gan fod cadw y fath gorph yn rhy gostus a pheryglus. Penderfynodd Tŷ y Cyffredin ollwng rhan o'r fyddin ymaith, a gyru y gweddill i ddarostwng gwrthryfel Iwerddon. Ffurfiasant gynlluniau hefyd i gael gwared o Cromwell, a bu peth petrusder am barhad Fairfax yn ei swydd. Ond yr oedd y swyddogion a'r milwyr yn awr wedi dyfod mor hoff o fywyd milwraidd, ac yn gweled hefyd duedd y senedd at ormes Presbyteraidd, fel y gwrthodasant ymwasgaru, ond ar yr amod eu bod i dderbyn ol-ddyledion eu cyflog, ac nad oeddent i fyned drosodd i Iwerddon. Ffurfiwyd math o gynghor neu senedd arall yn y fyddin, yn cynwys y swyddogion a chynnrychiolwyr y catrodau, y rhai a alwent eu hunain yn *adjutators*, ond a elwid wedi hyny *agitators* (cynhyrfwyr), a chymerodd pethau agwedd beryglus. Dychrynodd y senedd, a gorfu iddynt anfon Cromwell, Ireton, a Fleetwood, i geisio cael gan y fyddin i ymostwng. Gwnaed amryw gynygion, ond daliai y fyddin yn gyndyn. Er fod Cromwell yn fawr dros heddwch, a thros ragflaenu terfysg arall, eto yr oedd ei gydymdeimlad â'r fyddin yn fawr; a rhwng sefyllfa y brenin, y senedd, a'r fyddin, ni wyddai pa lwybr i'w gymeryd. Pe troasai yn erbyn y fyddin, buasai yn peryglu ei fywyd, ac achubiaeth ei wlad; a phe codasai yn erbyn y senedd, yr oedd yn amheus a fuasai y canlyniad yn llai peryglus. Beth bynag, yr oedd pethau wedi dyfod i bwynt fel yr oedd yn rhaid dewis y naill ochr neu y llall, a thaflodd Cromwell ei hun i fynwes ei hen gyfeillion ymlynol yn y fyddin.

Pan ddeallwyd fod gohebiaeth yn myned yn mlaen rhwng y brenin a'r senedd am ei ryddhad, gwelai y fyddin y canlyniad; ac heb aros am orchymyn y Cadfridog Fairfax, anfonwyd un Joyce, yr hwn a fu unwaith yn ddilledydd wrth ei alwedigaeth, ond oedd yn awr wedi ei godi yn llumanwr y march-lu, gyda phum cant o farchogion, i gyrchu y brenin o Holmby, a'i ddwyn i'r fyddin. Mehefin 4, 1647, trefnodd Joyce ei wŷr o flaen castell Holmby, ac archodd i'r brenin ddyfod gyda hwy. "I ba le?" gofynai Charles. "I'r fyddin," ebe Joyce. "Pa le mae eich gwarant?" gofynai y brenin. "Dyna fy ngwarant i," ebe Joyce, gan gyfeirio at ei wŷr. Gwenodd y brenin, a dywedodd, "Ni ddarllenais y fath warant o'r blaen; ond y mae wedi ei hysgrifenu mewn llythyrenau teg ac eglur; byddin o foneddigion mor hawddgar a golygus ag a welais er ys

llawer dydd." Yr oedd cenadau y senedd gyda'r brenin ar y pryd, ac yr oeddent wedi eu taro gan y symudiad dyeithr hwn. Gofynasant i Joyce "a gafodd efe orchymyn oddiwrth y senedd." "Naddo," ebai. "Oddiwrth y cadfridog?" "Naddo." "Pa le y mae eich awdurdod, ynte?" Atebodd yntau yr un peth ag i'r brenin. Dywedasant yr ysgrifenent hwy at y senedd i wybod ei hewyllys. "Gellwch wneyd hyny," ebe Joyce; "ond rhaid i'r brenin ar unwaith ddyfod gyda mi." Nid oedd gwiw gwrthwynebu; ac aeth y brenin yn ddigon siriol ymaith gyda'r marchogion, a chanlynwyd hwynt gan ddirprwywyr y senedd. Pan ddeallodd Fairfax beth oedd yn myned yn mlaen, anfonodd i gyfarfod y brenin, i geisio ganddo ddychwelyd i Holmby; ond gwrthododd Charles; a thranoeth talodd Fairfax, Cromwell, ac Ireton ymweliad ag ef. Taflodd y newydd am y symudiad hwn ddychryn trwy y senedd; a haerai Hollis fod yr holl ddyfais wedi ei chynllunio gan Cromwell ac Ireton; ac y mae llawer o'r haneswyr yn tybio hyn, ond heb seiliau digonol.

Yr oedd y fyddin yn awr yn rhifo ugain mil, y brenin yn ei llaw, a Cromwell wrth ei phen; ac yr oedd yn symud yn mlaen tua chyffiniau Llundain. Yn Gorphenaf, anfonodd gyhuddiad yn erbyn un ar ddeg o flaenoriaid y Presbyteriaid, a gofynid am eu troi allan o'r senedd, a'u taflu i garchar. Gwelai y wlad yn awr pa le yr oedd ffynonell yr awdurdod, ac anfonid cyfarchiadau o'r siroedd i gadfridog y fyddin. Anfonid cenadwriaethau mynych rhwng y senedd a'r fyddin; ac o'r diwedd cafodd yr un aelod ar ddeg genad i fyned i'r wlad neu dros y môr am chwe mis. "Ac yma," meddai Hallam, "y gellir dyweyd i allu deddfwriaethol a llywodraeth wladol Lloegr syrthio, yr hon, o'r pryd hwn hyd yr adferiad, na chafodd ond ambell belydryn o fodolaeth diflanol ac ansefydlog, yn cael ei atal yn barhaus gan y cleddyf." Yr oedd y brenin yn awr yn cael llawer mwy o rwysg a rhyddid nag yn Holmby. Caniateid iddo wasanaeth ei gaplaniaid esgobol, a chafodd ei blant dalu ymweliad ag ef. Yr oedd Cromwell yn bresenol pan gyfarfu Charles a'i blant, a dywedai wrth Berkeley, dan wylo, mai "dyna yr olygfa fwyaf garuaidd welodd ei lygaid erioed."

Nid oes un amheuaeth nad oedd yn mryd Cromwell i adferu Charles i'w orsedd a'i awdurdod, ond iddo gydsynio â thelerau manteisiol i ryddid gwladol a chrefyddol y genedl. Dywedai "nad oedd yn meddwl y gallasai un dyn fwynhau ei etifeddiaeth heb i'r brenin gael ei hawliau." Ond yr oedd gwahanol bleidiau yn cynyg amodau gwahanol i'r brenin, a phob plaid am derfynu cytundeb ffafriol iddi ei hun. Yr oedd Charles yntau yn coleddu syniadau cyfeiliornus am ei boblogrwydd, ac yn ystyried ei hunan o gymaint pwys i bob plaid, fel y buasai ar unwaith yn troi y fantol yn ffafr

yr hon y taflasai ei hun ati. Parodd hyn iddo betruso cyhyd rhwng cynygion y Presbyteriaid yn y ddau Dŷ, yr Ysgotiaid, a Cromwell a'r Annibynwyr, nes y collodd yr adeg i wneyd heddwch â'r naill a'r llall.

Yn mis Mehefin, 1647, tra yr oedd y senedd yn pasio nad oedd y fyddin i ddyfod yn nes i Lundain na deugain milldir, daeth yr holl fyddin, yr hon oedd yn rhifo dros ugain mil, yn mlaen at y brif ddinas. Mynai y fyddin drosglwyddo llywyddiaeth cartreflu y ddinas i ddwylaw newyddion, ond gwrthwynebai y dinaswyr Presbyteraidd a breninol, a chodasant derfysg o amgylch y senedd-dai. Parodd y terfysg hwn i'r ddau lefarydd—Manchester a Lenthall—wyth o'r arglwyddi, ac oddeutu triugain o aelodau y Cyffredin, ddianc at y fyddin, y rhai a dderbyniwyd yn llawen. Daeth Fairfax yn ei flaen i'r ddinas, gwasgarodd y terfysgwyr, cymerodd feddiant o'r ddinas a'u hamddiffynfeydd, darostyngodd y senedd, a phenderfynwyd ar heddwch ar delerau a roddwyd gan y fyddin. Felly llethwyd y blaid Bresbyteraidd. Ffodd amryw o'r rhai blaenaf i'r Cyfandir, a chyhuddwyd hwy o fradwriaeth; taflwyd y maer, un sirydd, a thri henadur, i'r Tŵr, a gwnaed amryw eraill yn garcharorion.

Tra yr oedd y pethau hyn yn myned yn mlaen, yr oedd cynghor o swyddogion y fyddin yn darparu cynygion i'w gosod ger bron y brenin, "yn y rhai y darperid ar gyfer diwygiad cyffredinol ac adsefydliad y deyrnas ar egwyddorion o'r mwyaf rhyddfrydig, yn wladol a chrefyddol, ac o oddefiad gogoneddus nad oedd Ewrop eto wedi gweled ei fath hyd y nod mewn damcaniaeth."* Ireton a ystyrir yn gyffredin fel awdwr yr ysgrif nodedig hon; ond bernir ei fod yn cael ei hyfforddi gan ei dad yn nghyfraith, Cromwell. Yr oedd y telerau yn fwy cymedrol a ffafriol i'r brenin na dim a gynygiwyd o'r blaen er dechreuad y rhyfel. Dygwyd hwy i'r brenin gan Berkeley; ond yr atebiad a roddodd Charles ydoedd—"Caf eu gweled cyn hir yn falch i gynyg telerau mwy cymedrol na hyn." Dro arall dywedai, "Nis gellwch chwi wneyd hebof fi; syrthiwch i ddinystr heb i mi eich cynal." Ond yr oedd Charles eto mor ddiymddiried yn ei drafodaeth ag erioed.

Yn wir, yr oedd y pryd hwn mewn cynadleddau, nid â Cromwell ac Ireton, a swyddogion eraill o syniadau gwahanol yn y fyddin, ond hefyd â Lauderdale a'r Cyfamodwyr Ysgotaidd, y Presbyteriaid Seisnig, ac â'r Pabyddion Gwyddelig, ac yn gwneyd amryw fathau o addewidion iddynt oll. Myn rhai, heb fawr seiliau, amheu difrifoldeb Cromwell ac Ireton yn y drafodaeth hon; ond pwy bynag a amheuir yn y peth hwn, y mae yn sicr nad oedd Charles yn ddifrifol yn ei drafodaeth â neb, oddigerth yr hen *royalists*, y rhai a flaenorid

* Knight.

gan Ardalydd Ormond, yr hwn, ar ol gwneyd cytundeb ar ran y brenin â senedd Iwerddon, a oddefwyd i ddyfod drosodd i Loegr.

Yr oedd y brenin yn awr yn *Hampton Court*, gyda'i gyfeillion Berkeley, Ashburnham, a Legge, ac yn cael pob rhyddid i weled ei ffryndiau a gohebu â hwynt. Gwnaed cynygion drosodd a throsodd i gael y brenin i ryw delerau boddhaol; parhäai yntau yn gyndyn, ac i ddyfeisio ystrywiau twyllodrus, nes o'r diwedd i Cromwell ac Ireton gael allan gynllun o'i eiddo i gyffroi yr holl wlad eilwaith o'i blaid. Achwynodd y rhai hyn wrth Ashburnham, fod y brenin, tra yr oeddent hwy ar eu goreu i berswadio y fyddin i ddyfod i delerau heddychlon ag ef, yn prysur ddyfeisio llwybr eu dinystr. Cyffrodd hyn ysbryd y fyddin, a mynai cyfran helaeth o honi daflu y brenin o'r neilldu yn hollol, a ffurfio gwerin-lywodraeth; ac nid oedd Cromwell ei hun yn ddiberygl, am ei fod, er ys misoedd bellach, yn gwasgu mor daer ar y fyddin am ddyfod i gymod â'r brenin. Y dosbarth mwyaf brwd o blaid y syniadau hyn, ac yn erbyn adferiad y brenin, a alwyd ar yr enw *Levellers* (Gwastadwyr), am y mynent ddifodi breniniaeth, a chael pawb yn gydwastad.

Yr oedd sefyllfa y brenin bellach yn beryglus, ac yn Tachwedd, 1647, llwyddodd i ddianc o *Hampton Court*, ac aeth i gastell Carisbrook, yn *Isle of Wight*. Yr oedd yr ynys hono dan lywyddiaeth Hammond, un o wŷr Cromwell, felly yr oedd Charles eto mewn gafael ddyogel. Anfonodd y senedd eto unwaith at Charles bedwar gosodiad, ac os cydsyniai â hwy, caniateid iddo ddyfod yn bersonol i geisio penderfynu ar delerau heddychlon. Gwrthododd y brenin hyn eto, oblegyd y tybiai fod ganddo ddyfais well mewn golwg. Yr oedd yn gobeithio gallu dianc, a thrwy osod ei hunan uwch ben byddin o Gyfamodwyr a'r blaid freninol ar gyffiniau y ddwy deyrnas, gyflawni yn awr yr hyn a fethodd o'r blaen. Wedi i'r cenadau ddychwelyd, penderfynodd y senedd (Ionawr, 1648), nad oedd ychwaneg o genadwriaethau i'w hanfon at y brenin, na'u derbyn oddiwrtho; a bod y neb a ohebai ag ef, heb ganiatad, yn euog o deyrn-fradwriaeth. Yr oedd hyn mewn effaith yn ddiorseddiad ar Charles. Dywedodd Cromwell yn ei gyfarchiad i'r Tŷ, "Mae y brenin yn ddyn o feddwl a thalentau mawrion, ond y mae mor llawn o ffalsder a thwyll fel nad yw yn bosibl ymddiried ynddo. Tra mae yn protestio ei gariad at heddwch, y mae yn cario yn mlaen drafodaeth ddirgel â'r dirprwywyr Ysgotaidd i suddo y genedl i ryfel arall. Dysgwylir bellach i'r senedd lywodraethu ac amddiffyn y deyrnas."

Yr oedd dau deimlad peryglus yn awr yn bygwth drwg. Yn y fyddin, yr oedd amryw gatrodau yn benboeth am ddwyn achos y brenin i brawf, a sefydlu gwerin-lywodraeth; a gorfu i Cromwell, wedi cynal llys milwrol ar achos amryw, saethu un er dychrynu y

lleill i ymostyngiad. Y teimlad arall oedd yr un gwrthgyferbyniol i hwn; tra yr oedd y senedd a'r fyddin yn cynyddu mewn teimlad gwrthwynebol i'r brenin, yr oedd ei garchariad a'i drallod yn cyffroi cydymdeimlad yn lluaws y bobl, nes yr oeddent yn barod i ganiatau llawer iddo, a chodi mewn arfau o'i blaid. Torodd gwrthryfel allan eto mewn amryw barthau o'r deyrnas.

Y cyntaf i godi baner y brenin yn yr ail ryfel cartrefol oedd y milwriad Poyer, llywydd Penfro dan y senedd, yn Mawrth, 1648. Dylynwyd ef gan amryw swyddogion milwrol yn Neheubarth Cymru. Penderfynodd senedd Ysgotland godi deugain mil o wŷr i'r pwrpas. Ymdaenodd yr un ysbryd trwy ogledd Lloegr, ac oddiyno yn mlaen i'r brif-ddinas. Ymgasglai tyrfaoedd yn Llundain, a'u harwyddair oedd, "Duw a'r brenin Charles." Arweiniodd Hamilton bedair mil ar ddeg drosodd o Ysgotland, a Munro dair mil o Iwerddon. Cafodd y blaid Annibynol ddigon o waith yn awr i geisio gostegu y terfysgoedd hyn; ac yn y cyfamser trodd y Presbyteriaid y fantol yn y senedd, fel y cyhoeddasant nad oedd y llywodraeth, gyda brenin, arglwyddi, a chyffredin, i gael ei newid.

Prysurodd Cromwell gyda byddin o'i ddewis filwyr i Gymru; ac er mor lluosog a brwd oedd pleidwyr y brenin yn y parthau hyn, darostyngwyd hwy, a chwalwyd eu cestyll gan Cromwell a'r milwriad Horton. Symudodd y gorchfygwr oddiyma tua'r Gogledd, ac ysgrifenai at ei gyfeillion yn *Derby House*, "Anfonwch esgidiau i fy milwyr lluddedig; y mae taith fawr o'u blaen." Gyda'r milwyr hyn, oeddent â'u gwisgoedd yn wael, a'u traed allan trwy eu hesgidiau, teithiodd yr ynys o ddwyrain i orllewin, ac o ogledd i ddeheu, gyda buandra annghredadwy. Pan ddywedwyd wrth Duc Hamilton fod Cromwell yn dynesu, "Anmhosibl," ebe y duc; "nid yw wedi cael amser eto." Gyda hyny yr oedd byddin Hamilton yn dechreu profi nerth ei fwledi. Ysgubai bleidwyr y brenin y ffordd y cerddai, darostyngodd yr Ysgotiaid yn llwyr, a theithiodd yn mlaen yn fuddugoliaethus i Edinburgh, lle y cafodd dderbyniad o'r mwyaf croesawgar. Bu Fairfax, Ireton, ac eraill yn llwyddianus mewn parthau eraill. Gorfodwyd Colchester i roddi i fyny wedi dal dros y brenin am dri mis, nes oedd cyflwr y dref mor ddrwg fel yr oeddent wedi bwyta y ceffylau, ac hyd y nod y cwn a'r cathod. Galwodd Fairfax gynghor milwrol, yr hwn a gondemniodd y marchogion Lucas, Lisle, a Gascoigne, i farwolaeth uniongyrchol. Saethwyd y ddau flaenaf, ac arbedwyd yr olaf. Yr oedd Tywysog Cymru hefyd wedi cymeryd amryw longau rhyfel dan ei lywyddiaeth; ond methodd wneyd dim mewn ymladd na rhyddhau ei dad o'i gaethiwed yn Isle of Wight, a hwyliodd ei longau drosodd i Holland.

Dychrynodd buddugoliaethau Cromwell a'i gyfeillion y senedd;

anfonodd yr olaf gynygion eto at y brenin, y rhai a adnabyddir dan yr enw Cytundeb Newport. Yr oedd y telerau yn gyffelyb i'r rhai a gynygiwyd iddo yn Hampton Court. Wedi hir ddadleu rhwng Charles a'r dirprwywyr, cydsyniodd y brenin â'r rhan fwyaf o'r pethau; ond safodd yn gyndyn yn erbyn y lleill. Ni roddai i fyny y personau a ofynent; ac ni ddyddimai esgobyddiaeth, ond rhoddai atalfa ar ei gweinyddiad am dair blynedd, a thorai ymaith bob swyddi uwchlaw ac islaw eiddo esgob. Ond daliodd y brenin y gynadledd mor hir, nes y collwyd pob gobaith am ei llwyddiant. Yr oedd yn ddiwedd Tachwedd cyn iddi ddyfod i derfyniad.

Yn y cyfamser yr oedd y fyddin wedi ymgasglu i St. Albans; ond yr oedd Cromwell a'i wŷr yn Ysgotland. Wedi i gynghor milwraidd eistedd am wythnos, penderfynwyd ar wrthdystiad i'w anfon i'r senedd yn erbyn gwneuthur unrhyw gytundeb â'r brenin; yn galw am ei ddwyn i brawf am yr holl ddrwg oedd wedi ei achosi i'r deyrnas; yn gofyn ar fod penaduriaeth y wlad o hyn allan i fod yn etholiadol; fod terfyniad i gael ei roddi ar y senedd bresenol; fod y senedd o hyn allan i ymgynull bob blwyddyn neu bob ail flwyddyn; a bod helaethiad i gael ei wneyd ar yr hawlfraint etholiadol. Yr oedd y gwrthdystiad hwn yn un maith a manwl, ac wedi ei arwyddo gan yr hanesydd Rushworth, yr hwn oedd yn awr yn ysgrifenydd i'r arglwydd gadfridog Fairfax, ac yn cael ei gefnogi gan lythyr oddiwrth Fairfax ei hun. Teimlai hen flaenoriaid y senedd bwysigrwydd eu sefyllfa; a chan dybied fod lluaws y wlad yn awr yn addfed i gymeradwyo cytundeb heddwch â'r brenin, pleidleisiwyd yn erbyn cymeryd gwrthdystiad y fyddin dan ystyriaeth ar hyny o bryd gan fwyafrif o 67.

Yr oedd y gynadledd â'r brenin eto heb dori i fyny; wedi hir oediad, cydsyniodd â'r prif bethau a ofynai y senedd; ac yn mysg pethau eraill, caniataodd roddi saith o'i brif gefnogwyr i fyny. Ond ychydig ddysgwyliai Charles oddiwrth y drafodaeth hon, oddigerth mantais i ddianc. Profa ei lythyr at Ormond, yr hwn oedd yn awr gyda'r Pabyddion yn Iwerddon, nad oedd yn ddifrifol yn y drafodaeth hon eto; oblegyd dywedai wrth hwnw am beidio dychrynu o herwydd yr hyn a ganiataodd, gan na ddaethai dim o hono. Ac yn mhen pedwar diwrnod haerai eilwaith nad oedd wedi ysgrifenu at Ormond. Beth bynag, yr oedd yn ymwybodol o'i berygl, ac wedi gwneuthur cynyg unwaith ar ffoi, ond methodd ymwthio trwy farau ei ffenestr, a chafodd orchwyl caled i ymryddhau. Yr oedd ganddo ddyfais eto ar droed i ddianc, ond aeth hono hefyd yn ofer. Pan oedd dirprwywyr y senedd yn ei adael, dywedodd, "Fy arglwyddi, prin y credwyf y cawn weled ein gilydd mwy. Ond ewyllys Duw a wneler. Y mae genyf heddwch ag ef, a derbyniaf yn ddiofn pa beth bynag oddefo ef i ddynion wneyd i mi. Fy arglwyddi, nis

gellwch beidio gweled eich dinystr eich hunain, a hyny yn agos, yn fy nghwymp i." Ac ychwanegodd ei fod yn hysbys o ddyfeisiau ei elynion, ac mai ei ofid mwyaf oedd edrych ar y trallod oedd wedi ei ddwyn ar y tair teyrnas gan ddynion oedd yn ceisio eu lles eu hunain.

Dychwelodd y dirprwywyr i Lundain, yn nechreu Rhagfyr, 1648, a phleidleisiodd mwyafrif y Tŷ dros "fod atebiad y brenin yn foddhaol fel sail i wneyd cytundeb heddwch." Apwyntiwyd pwyllgor hefyd i ohebu â Fairfax er cael dealltwriaeth â'r fyddin; ond yr oedd yn awr yn rhy ddiweddar; yr oedd ffrwd aruthrol chwyldroad yn rhy gref i'w throi yn ol. Yr oedd y brenin eisoes wedi ei symud o *Isle of Wight* i gastell Hurst, ar draeth Hampshire, yr hwn ar y llanw a gylchynid gan y môr. Yn mhen ychydig ddiwrnodau daeth y fyddin i mewn i'r ddinas—gallu o ugain mil o ddynion penderfynol, wedi tyngu y mynent buro y senedd. Dywedent eu bod yn dyfod "i ganlyn Rhagluniaeth, fel y byddai yr Arglwydd yn clirio y ffordd." Cylchynwyd y senedd gan feirch-filwyr y milwriad Rich, a thraed-filwyr y milwriad Pride, a gyrwyd ymaith y gwylwyr oedd yn arfer cadw y lle. Safodd Pride yn nghyntedd y Tŷ, a gorchymynodd gymeryd yr aelodau Presbyteraidd i fyny, y naill ar ol y llall, fel yr oeddent yn pasio. Ac oddiwrth hyn y cafodd y gorchwyl ei alw yn "*Pride's Purge*." Cymerwyd tua deugain o'r aelodau fel hyn yn garcharorion; diangodd eraill i'r wlad, neu ymguddiasant yn y ddinas, fel nad oedd yn mhen dau ddiwrnod ond oddeutu haner cant o aelodau wedi eu gadael, a'r rhai hyny, bid sicr, yn Annibynwyr. Dyma y rhai a alwyd yn *Rump Parliament* (senedd y gynffon). Dyma yr agwedd gafodd Cromwell ar bethau pan ddychwelodd o Ysgotland, a phrotestiai nad oedd yn gwybod dim am y symudiadau. "Mae Duw yn dyst i mi," ebai, "nad wyf yn gwybod dim am yr hyn sydd wedi myned yn mlaen yn y Tŷ hwn. Ond y mae y gwaith yn awr ar droed; yr wyf yn falch o hyny, ac mae yn rhaid i ni fyned drwyddo." Dranoeth cymerodd ei eisteddle yn y Tŷ, a derbyniodd ddiolchgarwch gwresog am ei wasanaeth pwysig i'r senedd a'r deyrnas.

Yr oedd sefyllfa Cromwell yn awr yn gylchynedig gan anhawsderau, ac nid hawdd oedd gwybod pa lwybr i'w gymeryd yn y fath gyfwng; eto yr oedd tynged y deyrnas yn troi ar ei benderfyniad. Daliodd hyny o senedd oedd i gael i fyned yn mlaen yn eu llwybr arferol; galwodd benderfyniadau diweddar y Tŷ yn ol, a chynygiwyd fod i'r brenin gael ei ddwyn i brawf ar y cyhuddiad o deyrnfradwriaeth. Petrusai Cromwell yn yr achos. Cododd a dywedodd, "Pe buasai rhyw ddyn wedi amcanu diorseddu y brenin, a difeddianu ei hiliogaeth, neu os oes neb a'r fath amcan ganddo, rhaid ei fod y bradwr mwyaf yn y byd. Ond gan fod rhagluniaeth Duw

wedi taflu hyn arnom, nis gallaf beidio ymostwng i Ragluniaeth, er nad wyf yn barod i roddi atebiad ar hyn o bryd."

Ionawr 1af, 1649, pleidleisiodd Tŷ y Cyffredin ei fod yn fradwriaeth i frenin Lloegr wneyd rhyfel yn erbyn y senedd a'r bobl; a'r dydd canlynol anfonwyd yr ysgrif am ddwyn y brenin i brawf i Dŷ yr Arglwyddi. Nid oedd ond un ar bymtheg o aelodau yno, a gwrthodasant yr ysgrif yn un llais. Yn mhen tri diwrnod pasiwyd mai Tŷ y Cyffredin oedd awdurdod uchaf y genedl, a bod penderfyniadau y Tŷ hwnw yn gyfraith heb gydsyniad y brenin na'r arglwyddi. Ar y 6ed, pasiwyd yr ysgrif i ddwyn y brenin i brawf. Yr oedd Charles yn awr wedi ei symud i Windsor; ar y 19eg, dygwyd ef i St. James, Llundain, ac eisteddodd y frawdle ar ei achos yn Whitehall ar yr 20fed.

Yr oedd y brawdlys hwn yn gynwysedig o driugain a chwech o ddirprwywyr, wedi eu penodi gan Dŷ y Cyffredin, y rhai a wnelid i fyny o aelodau y Tŷ, swyddogion y fyddin, cyfreithwyr, a dinaswyr cyfrifol. Llywydd y llys oedd John Bradshaw, y cyfreithiwr, yr hwn a eisteddai ar gadair ddyrchafedig wedi ei gorchuddio â melfed cochliw, a'r dirprwywyr yn eistedd ar feinciau o bob tu iddo, oll yn gwisgo eu hetiau. Yr oedd Cromwell a Marten y pellaf o'r tu cefn i'r llywydd, ac arf-bais y Weriniaeth uwch eu penau. I lawr, o flaen y llywydd, yr oedd bwrdd, gyda'r *mace* a chleddyf yn gorwedd arno, a'r ddau glerc, Phelps a Broughton, yn eistedd wrtho. Dros y bwrdd, gyferbyn a'r llywydd, yr eisteddai y carcharor breninol, ar gadair orwych; ac o'r naill du iddo y safai y dadleuwyr, Cooke, Steele, Dorislaus, ac Aske. Safai y gwylwyr o'r tu cefn i'r brenin; ac yr oedd yr orielau o bob tu yn llawn o edrychwyr.

Darllenwyd y cyhuddiad yn erbyn "Charles Stuart, brenin Lloegr," yr hwn a dadogai arno ef yr holl flinderau a'r tywallt gwaed yn ystod y blynyddoedd diweddar, a dynodid ef yn ormeswr, yn fradwr, yn llofrudd, ac yn elyn cyhoeddus i wladwriaeth Lloegr. Cynygiodd Charles droion rwystro y siaradwyr; ond cyfryngai y llywydd. Pan ofynwyd ei atebiad i'r cyhuddiad, gwadai awdurdod y llys, a gwrthodai roddi atebiad. Atebodd Bradshaw fod awdurdod pobl Lloegr gan y llys, "y rhai oeddent wedi ei *ethol* ef yn frenin." "Yr wyf yn gwadu hyna," ebe y brenin. "Ni fu Lloegr erioed yn deyrnas etholiadol, ond y mae yn deyrnas etifeddiaethol, am agos mil o flynyddoedd. Nid wyf wedi dyfod yma i ymostwng i'r llys; nid oes yma yr un Tŷ yr Arglwyddi i gyfansoddi senedd; ac y mae yn rhaid i'r brenin hefyd fod yn gyfran o'r senedd." "Os nad yw ein hawdurdod yn eich boddhau chwi," ebe Bradshaw, "y mae yn ein boddhau ni; ac yr ydym wedi ei derbyn oddiwrth Dduw a'r bobl."

Aeth tri diwrnod heibio mewn dadleuon o'r fath hyn, a thri

diwrnod arall i wrando tystion yn erbyn y brenin. Ar y 27ain, dygwyd y brenin ger bron i wrando dedryd y llys, a deallodd Charles ei dynged wrth weled y llywydd wedi newid ei ddillad duon arferol, ac mewn gwisg ysgarlad. Dymunodd Charles am gael ei wrando mewn ystafell arall gan y ddau Dŷ. Ymneillduodd y Cynghor am haner awr i ystyried ei gais, a phenderfynwyd ei wrthod. Gwnaeth Bradshaw adolygiad ar yr holl drafodaeth mewn araeth faith, a darllenodd y clerc y ddedryd farwol. Cododd yr holl ddirprwywyr ar eu traed i dystio eu cymeradwyaeth. Mynai y brenin, mewn cryn gyffro, gael llefaru; ond dywedwyd ei bod yn anmhriodol iddo siarad ar ol cyhoeddiad y ddedryd; a gorchymynwyd i'r swyddogion ei gymeryd ymaith.

Yn ystod y prawf galwyd unwaith ar enw Fairfax, yr hwn oedd wedi cadw draw dros ystod yr holl brawf, ac atebodd llais benywaidd oddiar yr oriel, "Mae ef yn gallach na bod yma." Yn nes yn mlaen, pan ddarllenid y cyhuddiad yn enw y Cyffredin a phobl Lloegr, atebodd yr un llais, "Celwydd! dim o'u chwarter!" Achosodd hyn gryn gyffro yn y lle; a chafwyd mai gwraig Fairfax, yr hon oedd yn Bresbyteriad selog, oedd y llefarydd. Amgylchiad arall ddygwyddodd yn ystod y prawf ag a barodd aflonyddwch i feddwl Charles, oedd syrthiad clopa aur ei ffon; cwympodd heb un rheswm gwybyddus i'r brenin, ac edrychai ar yr amgylchiad fel argoel drwg.

Yr oedd tawelwch digyffro a boneddigeiddrwydd ymddygiad Charles trwy yr holl amgylchiadau hyn, yn destun syndod hyd y nod i'w wrthwynebwyr. A pha faint bynag feïir ar y ddedryd a gafodd, a pha faint bynag o goel a roddir i'r adroddiadau am y sarhad roddwyd arno, yr oedd holl ymddygiad y llys yn foneddigaidd. "Os oedd Bradshaw yn llym a chyndyn, os oedd pob dyn a eisteddai ar y prawf dyeithr hwnw wedi ymddiofrydu i wneyd yr hyn a dybiai ef yn angenrheidiol er ei ddyogelwch ei hun, ac achubiaeth ei wlad, rhaid i bob ymchwiliwr diragfarn i'r amgylchiadau gyfaddef, na fu dim diffyg ar weddusrwydd a pharch yn holl weithrediadau y llys."* Rhoddwyd tri diwrnod i'r brenin i ddarparu ar gyfer ei farwolaeth. Treuliodd y rhai hyny mewn tawelwch mawr, yn nghwmni ei gynghorwr ysbrydol a'i blant. Trwy eiriolaeth Hugh Peters, caplan nodedig y fyddin, caniatawyd iddo gael gwasanaeth Juxon, esgob Llundain, yn yr amgylchiad difrifol. Nid oedd ond dau o'i deulu yn y deyrnas ar y pryd: y dywysoges Elizabeth, 13eg oed, a duc Gloucester, naw oed. Yr oedd golygfa ei ymadawiad â hwynt yn dra effeithiol. Cymerai y bachgen ar ei glun, a dywedai, "Rhaid i ti beidio myned yn frenin tra fyddo dy frodyr, Charles a James, yn fyw. Torant benau dy frodyr ymaith

*Knight, vol. iii., 395.

hefyd pan allont eu dal; a thorant dy ben dithau ymaith hefyd yn y diwedd; gan hyny gwrando fi, paid goddef iddynt dy wneyd yn frenin." Atebodd y llanc gydag ochenaid, "Cânt fy nhori yn ddarnau yn gyntaf."

Ionawr 30ain, 1649, oedd dydd dienyddiad Charles. Cysgodd yn drwm y noswaith flaenorol, deffrodd yn foreu, a gwisgodd ei hun gyda mwy o ofal nag arfer. Crynai Herbert, ei weinidog, wrth gribo ei wallt. "Er nad yw i fod yn hir ar fy ysgwyddau," ebe Charles wrtho, "cymerwch yr un gofal i'w drin ag arfer. Herbert, dyma ddydd fy ail briodas; ac yr wyf am fod mor daclus ag sydd yn bosibl." Rhoddodd ddau grys am dano oblegyd ei bod mor oer. "Nid oes arnaf ofn marw," ebai. "Diolch i Dduw, yr wyf yn barod; gadewch i'r dyhirod ddod." Arweiniwyd ef o St. James i'r esgynlawr dyoddef, yr hwn oedd wedi ei godi o flaen y *banqueting house*, yn Whitehall. Yr oedd y plocyn a phob peth arall yn orchuddiedig â brethyn du, dau ddienyddwr du a mwgwd dros eu gwyneb, nifer o filwyr yn cylchynu yr esgynlawr, a thyrfa bryderus o amgylch. Yn ei anerchiad dywedodd fod ei ddedryd yn annghyfiawn, ac nad oedd y senedd na phobl Lloegr yn cydsynio ynddi, a bod holl euogrwydd y rhyfeloedd diweddar yn gorwedd ar ei wrthwynebwyr. Cwynai ei fod wedi goddef i ddedryd annghyfiawn gael ei gweinyddu ar Strafford, a'i fod yntau yn awr yn myned dan ei chyffelyb. "Yr wyf wedi maddeu i'r holl fyd," ebai, "ac yn arbenig i'r rhai hyny ydynt wedi bod yn brif offerynau fy marwolaeth. Pwy ydynt, Duw a ŵyr; nid wyf fi am wybod; yr wyf yn gweddio ar Dduw am faddeu iddynt." Dywedodd na ddychwelai heddwch byth i bobl Lloegr, nes y byddai brenin yn eu mysg yn meddu ar yr holl awdurdod a berthynai yn gyfreithlon iddo ef; nes adferu yr eglwys yn ol y gyfraith a'r ysgrythyrau; ac nes y dysgai dynion gydnabod fod brenin a deiliad yn bethau hollol wahanol, gan fod pob peth llywodraeth yn perthyn i'r blaenaf, a dim i'r olaf; a'i fod ef yn awr yn marw "yn ferthyr y bobl." Er nad oedd Charles yn ofni marw, yr oedd yn ofni y poenau cysylltiedig ag ef. Pan gyffyrddodd un â'r fwyall, dywedodd, "Peidiwch anafu y fwyall, onide anafa hithau fi." Dywedodd wrth Hacker eilwaith, "Gofelwch na chaffont beri poen i mi." Pan yn derbyn cap *satin* o law yr esgob i'w osod ar ei ben, dywedodd, "Y mae genyf achos da, a Duw graslawn o fy mhlaid." Wedi ychydig o ymddyddan pellach rhyngddo a'r esgob, aeth ar ei liniau, gosododd ei wddf ar y plocyn, estynodd ei ddwylaw allan yn arwydd i'r dienyddwr, ac ar un ergyd disgynodd y pen gwaedlyd yn y cap i'r llawr. Cododd y dienyddwr arall ef i fyny, a gwaeddodd, "Dyma ben bradwr." Canlynwyd y weithred brudd gan ochenaid ddofn oddiwrth yr edrychwyr, a mynai llawer ddyfod yn mlaen i drochi eu napcynau

yn ei waed, oni bai i'r milwyr eu gyru ymaith. Wedi perarogli ei gorph, claddwyd ef yn Windsor, yn yr un bedd-gell a gweddillion Henry VIII. a Jane Seymour. Dyna ddiwedd Charles Stuart, yn y 49ain mlwydd o'i oedran.

Gadawodd y brenin chwech o blant ar ei ol, tri o feibion a thair o ferched: Charles, tywysog Cymru; James, duc York; Henry, duc Gloucester; Mary, tywysoges Orange; Elizabeth, a Henrietta. Yr oedd Charles yn ddyn o berson golygus a glân, o gyfansoddiad cadarn, a'i wynebpryd yn gwisgo agwedd fyfyrgar a thrymaidd. Y mae cymeriad Charles, fel eiddo ei wrthwynebwyr, yn cael ei ddirdynu i eithafoedd gan wahanol bleidiau. Mae y naill yn ei wneyd yn gasgliad digymysg o ddrwg, a'r llall yn ei wneyd yn ddifrycheulyd. Yr ydym wedi cofnodi digon o'i hanes i'r darllenydd ffurfio syniad iddo ei hun. Ni fynem er dim guddio ei rinweddau, na chymeradwyo y dynged a dderbyniodd. Yr oedd yn un o'r tadau mwyaf serchog ac anwyl; a chredwn nas gall rhinwedd o'r fath fodoli heb rinweddau eraill yn nglŷn â hi. Rhaid dweyd, er hyny, fod ynddo ddiffygion a beiau lluosog ac amlwg. Yr oedd wedi ymwerthu i ewyllys gwraig o'r mwyaf balch ac anfad. Nid oedd safon ei foesoldeb a'i grefydd yn uchel. Arferai iaith isel a chableddus, ac nid oedd yn ffyddlon i'w wely priodasol.* Ond ei fai mawr oedd rhagrith ac anffyddlondeb. Ni phrisiai ddim am ei air, ei lw, na'i anrhydedd, pan ddychymygai fod ei hawlfreintiau breninol mewn perygl. Aberthai ei lwon, ei gyfeillion, a gwirionedd ei hun, er mwyn cael llywodraethu yn ddirwystr a direol, fel rhaglaw Duw, heb un ymyriad o gwbl o eiddo y bobl. "Os dywedir y gwir am ddygwyddiadau y teyrnasiad hwn gan unrhyw hanesydd o unrhyw blaid, nid oedd ei ymddygiad, o'i esgyniad hyd gynulliad y senedd hir, ond un gyfres o ormes a bradwriaeth."† Hyn dygodd ef i'w ddiwedd anffodus. A pheth hynod iawn yw, y mynai y gormesdeyrn Charles i eraill gredu ei fod ef, o bawb, yn marw yn ferthyr y bobl. Gwir na ddylasai dderbyn dedryd eithaf y gyfraith, ond y mae son am dano fel merthyr dros ddim ond ei ffuantrwydd cyndyn ei hun, yn berffaith ynfydrwydd. Ni fu neb ychwaith yn fwy difrifol yn ceisio arbed bywyd y brenin na Cromwell, hyd nes iddo fynu gwneyd ei achos yn anobeithiol. Diau fod Cromwell yn tybied ei fod yn gwneyd ei ddyledswydd tuag at ei wlad "pan drochai y pin yn yr inc du, du hwnw i lawnodi y warant angeuol! Ond pe buasai yn dyfeisio llwybr i arbed ei fywyd, buasai yn gwisgo ei gymeriad â gogoniant seithplyg, ac yn gorchfygu ei elyn penaf."‡ Edrychir ar gymeriad Charles gan oesoedd dylynol yn fwy oddiwrth ei farwolaeth nag oddiwrth ei fywyd.

*Dywedir i'r esgob Jeremy Taylor briodi merch ordderch i Charles.
†Ferguson. ‡Macauley's Essays.

## III.—Y WERINIAETH, 1649—1660.

GADAWODD marwolaeth Charles y wlad mewn sefyllfa annymunol a therfysglyd. Yr oedd y pleidiau gwladol a chrefyddol yn gyndyn wrthwynebol i'w gilydd, a'r blaid orchfygol yn mhell yn y lleiafrif yn mysg pob dosbarth a gradd. O'r pum cant aelodau cynulledig yn Nhŷ y Cyffredin ar ddechreuad y Senedd Hir, nid oedd ond ychydig ugeiniau o honynt yn aros; ac yr oedd y fyddin aruthrol yn faich trwm i'w chynal, ac wedi myned yn allu peryglus ac anhawdd i'w lywodraethu. Cromwell oedd yr unig ddyn allai ymaflyd yn yr elfenau terfysglyd oedd yn bygwth ysgwyd y deyrnas yn adfeilion, a'u darostwng dan ei awdurdod.

Y dyddiau cyntaf ar ol marwolaeth Charles, pasiodd Tŷ y Cyffredin ei fod yn fradwriaeth i gyhoeddi Charles Stuart, tywysog Cymru, na neb arall yn frenin heb genad y senedd; fod Tŷ yr Arglwyddi yn beth diangenrhaid, yn beryglus, ac y dylasai gael ei ddyddimu; fod swydd brenin yn ddiangenrhaid, yn feichus, a pheryglus i ryddid y genedl, ac y dylasai gael ei dyddimu. Torwyd y sel fawr yn ddarnau, a gwnaed un arall yn ei lle yn dwyn darlun y Cyffredin yn eistedd, ac arni yr argraff hon—"Trydedd blwyddyn rhyddid, a adferwyd trwy fendith Duw, 1651;" a rhoddwyd ei gofal i Whitelock, Lisle, a Keble. Rhoddodd chwech o'r barnwyr eu swyddi i fyny; ond cydsyniodd y chwech eraill i'w dal, ar yr amod na wnai y senedd newid cyfreithiau sylfaenol y cyfansoddiad. Yr oedd llys y *King's Bench* i gael ei alw y Llys Uchaf, a gwysiau (*writs*) i'w hanfon allan yn enw "Ceidwaid rhyddid Lloegr trwy awdurdod y senedd." Ffurfiwyd Cynghor Llywodraeth, yn cynwys deugain o aelodau, yn mysg pa rai yr oedd pump o arglwyddi, gyda Bradshaw yn llywydd, a'i gyfaill a'i berthynas, John Milton—y bardd enwog—yn ysgrifenydd tramor. Tynwyd cerflun y brenin i lawr o'r *Exchange*, a rhoddwyd ar y golofn, "Mae y gormeswr wedi myned—yr olaf o'r breninoedd." Dygwyd amryw o flaenoriaid plaid y brenin i sefyll eu prawf, ac yn mis Mawrth torwyd penau Duc Hamilton, Arglwydd Capel, ac Iarll Holland, yn y *Palace Yard*. Yr oedd holl lywodraeth y fyddin a'r wladwriaeth yn awr yn nwylaw y Cynghor Llywodraeth; ond yr oedd hwylio yn mlaen yn sefyllfa bresenol pethau yn bob peth ond hawdd a dymunol. "Nid ymgymerodd llywodraethwyr erioed," meddai Godwin, "â'u swyddi dan anhawsderau mwy nag yr ymgymerodd y dynion hyn â hwylio llong newydd y Weriniaeth. Nid oeddent, ar ryw olwg, ond dyrnaid o ddynion, gyda holl bobl Lloegr yn eu herbyn."

Yr oedd amryw yn y fyddin yn gweled y chwyldroad yn y llywodraeth wedi sefyll heb fyned yn ddigon pell, a chyhuddent eu blaenoriaid o drawsfeddianu awdurdod y blaid freninol iddynt eu

hunain. Chwythai un John Lileburne y tân hwn yn mysg ei gydfilwyr trwy areithiau a thraethodau, a thaflwyd ef o'r herwydd yn garcharor i'r Tŵr. Torodd gwrthryfel peryglus allan yn mysg y gwahanol gatrodau, a threthodd holl ddoethineb a dylanwad Fairfax a Cromwell am dri neu bedwar mis i'w ddarostwng. I'r dyben hwnw gorfu iddynt saethu pedwar, a charcharu amryw eraill. Y pedwar hyn, yn nghyda'r tri a nodwyd o flaenoriaid plaid y brenin, oedd yr holl waed a dywalltwyd yn y chwyldroad digyffelyb hwn. Torodd amryw derfysgoedd allan yr amser hwn yn mysg pleidwyr y brenin hefyd mewn gwahanol barthau o'r wlad, ond llwyddwyd i'w llethu yn mhob man.

Erbyn hyn yr oedd Charles, mab hynaf y brenin diweddar, yr hwn oedd yn awr yn symud o fan i fan ar y Cyfandir, wedi ei gyhoeddi yn frenin, dan yr enw Charles II., gan y senedd yn Ysgotland, a chan Ormond, y rhaglaw cyffredinol, yn Iwerddon, a'r ddwy wlad wedi anfon gwahoddiad iddo i ddyfod drosodd. Yr oedd yntau â'i fryd ar ddyfod i Iwerddon, ond aeth y wlad hono yn fuan yn rhy beryglus iddo. Yr oedd y terfysgoedd a'r creulonderau mwyaf yn ffynu yn y wlad anffortunus hono ys blynyddoedd, ac nid oedd y llywodraeth oedd gan Loegr yno yn awr yn nemawr gwell nag enw gwag. Yr oedd yr holl wlad, yn cynwys pob tref o ddim pwys, oddigerth Dublin a Derry, wedi codi baner yn awr o blaid y brenin, fel yr oedd yn rhaid i senedd Lloegr gymeryd mesurau uniongyrchol tuag at ei darostwng. Wedi cryn betrusder, cafwyd gan Cromwell, yr hwn a wnaed yn rhaglaw cyffredinol Iwerddon, ymgymeryd â'r gorchwyl. Yn Awst aeth ef a'i fab yn nghyfraith dewr, Ireton, gyda rhyw ddeng mil o'r milwyr mwyaf gwrol a dysgybledig feddai y byd, drosodd o Milford i Dublin. Yr oedd y milwriad Jones yno gyda byddin fechan yn barod, yn gwrthsefyll yn wrol ymosodiadau Ormond. Cludai Cromwell y cwbl o'i flaen. Cyrhaeddodd yn fuan at furiau Drogheda. Yr oedd Ormond, oddiar bwysigrwydd sefyllfa y dref hon, wedi gosod gwarchodlu o dair mil o'i ddewis wŷr i'w chadw. Yn hytrach na cholli amser i'w gwarchae, penderfynodd Cromwell dori rhwyg yn y muriau a'i hystormio. Gyrwyd yr ymosodiad cyntaf yn ol gan y gwarchodwyr gyda cholled; ac felly yr ail. Arweiniodd Cromwell ei hun y trydydd; aeth i mewn i'r ddinas, a lladdodd yr holl filwyr yn ddiarbed. Un yn unig a ddiangodd o'r miloedd. Aeth yn ei flaen i Wexford, a gwnaeth yno yr un modd, gan daro ei wrthwynebwyr â'r cleddyf hyd y dyn diweddaf, a dial galanasdra diweddar y Gwyddelod ar y Protestaniaid. Yr oedd ei ymweliad â'r wlad fel disgyniad taranfollt, ac ymdaenodd ei ddychryn i bob cwr. O hyn allan cafodd byrth pob tref yn agored i'w dderbyn, fel nad oedd angen tywallt gwaed; a dywedai fod ei lymder ar y cychwyn wedi byrhau y gwaith, ac

arbed miloedd o fywydau. Dywedir iddo wneyd mwy o'i ôl ar Iwerddon mewn deng mis nag a wnaeth un penadur o'r blaen mewn deng mlynedd.

Erbyn hyn yr oedd sefyllfa pethau yn Ysgotland yn cymeryd agwedd fygythiol, a gyrodd y senedd genadwri i alw Cromwell adref. Gadawodd y gweddill o orchwylion Iwerddon i Ireton, a daeth drosodd i Lundain yn Mai, 1650, a chafodd y derbyniad mwyaf croesawgar. Yr oedd dwy blaid yn Ysgotland yn awr yn barod i gefnogi achos y brenin; y naill oedd hen blaid y brenin, a gelynion y Presbyteriaid, yr hon a flaenorid yn awr gan y *royalist* brwd, Montrose; a'r blaid arall oedd y Presbyteriaid, yn cynwys y senedd a mwyafrif mawr y bobl. Anfonodd y senedd ddirprwywyr drosodd i'r Cyfandir at Charles i gynyg eu telerau iddo; ac addawent, os cydsyniai â hwy, gymeryd arfau ar unwaith o'i blaid. Daliodd Charles y dirprwywyr yn hir heb roddi ei atebiad. Yr oedd dyblygrwydd nodweddiadol ei deulu yn perthyn iddo yntau. Nid oedd dim yn y cyfamodwyr yn ateb ei chwaeth ef; a buasai yn well ganddo, pe gallasai, beidio dyfod i'w cyfrinach. Yr oedd Montrose wedi dyfod â byddin dramor drosodd i Ysgotland, ac yr oedd y brenin ieuanc am wybod tynged hwnw cyn rhoddi ateb i'r dirprwywyr. Ond pan glywodd fod Montrose wedi ei orchfygu, ac wedi ei grogi a'i ddarnio yn Edinburgh, cydsyniodd â thelerau y Presbyteriaid, a hwyliodd drosodd i Ysgotland yn Mehefin, 1650. Ond gorfodwyd ef i "lyncu y cyfamod oreu y gallai," cyn iddo gael gosod ei droed ar y lan. Cynwysai y telerau hefyd fod pob cytundeb â'r Gwyddelod gwaedlyd yn ofer, a'i fod i gasâu Pabyddiaeth, esgobyddiaeth, &c. Petrusodd y tywysog; ond nid oedd gobaith am gefnogaeth heb hyny, felly bu raid iddo ymostwng. Dangosodd yr Ysgotiaid lawenydd mawr o'r herwydd; casglwyd byddin i ymladd dros Charles II., brenin Ysgotland ac Iwerddon, a chyhoeddwyd senedd Lloegr yn deyrn-lofruddion a bradwyr.

Pan ddaeth y newyddion hyn i Lundain, barnwyd yn oreu beidio aros i'r fyddin Ysgotaidd groesi y cyffinau, ond myned ar unwaith i'w cospi yn eu gwlad eu hunain. Gwrthododd y cadfridog Fairfax ymgymeryd â'r gorchwyl, trwy ddylanwad ei wraig, meddir, yr hon oedd yn Bresbyteriad poeth, a rhoddodd y swydd i fyny; a gwnaed Cromwell yn gadfridog cyffredinol ar holl alluoedd gweriniaeth Lloegr. Yn niwedd Mehefin gadawodd Lundain, ac arweiniodd fyddin o un fil ar bymtheg o wŷr dros gyffiniau Ysgotland. Yr oedd yr Ysgotiaid wedi clirio y parthau cyffiniol o ddynion, anifeiliaid, a meddianau, fel nad oedd dim cynaliaeth i'r Saeson i'w gael ond a gaffent o'u llongau. Aeth Cromwell yn mlaen hyd ymyl Edinburgh cyn gweled gelyn; ond parodd diffyg ymborth, a chlefyd yn mysg ei wŷr, iddo encilio i Dunbar, ryw ugain milldir o Edin-

burgh. Bu eu cyflwr yma yn flin a phrofedigaethus; darfu eu cynaliaeth, darostyngwyd eu nifer i ddeuddeg mil, a chylchynwyd hwy gan saith mil ar ugain o Ysgotiaid dan arweiniad David Lesley. Yr oedd Cromwell wedi gwneyd yr oll a allai i gymhell brwydr, ond cadwai y gelyn y tu cefn i'w cloddfeydd, gan feddwl amgau Cromwell a'i wŷr, a'u gorfodi i roddi eu hunain i fyny. Yr oedd pob mantais gan yr Ysgotiaid, o ran sefyllfa a nifer. Beth bynag, yr oedd y Saeson yn rhwym o wneyd ymosodiad; galwyd cynghor o swyddogion y fyddin; penderfynwyd ar frwydr boreu dranoeth gyda'r dydd, a'u bod i dreulio y noswaith hono mewn ymbiliau a gweddiau. Cysurodd Cromwell hwy eilwaith gyda sicrwydd am fuddugoliaeth, oblegyd y profiad a gafodd wrth weddio. Wrth syllu ar y gelyn trwy yr ysbienddrych, a gweled cyffro yn y byddinoedd, dywedodd, "Y mae Duw wedi eu rhoddi yn ein dwylaw; y maent yn dyfod i lawr atom." Ac er llawenydd annhraethol i Cromwell, felly yr oedd. Tywalltodd y marchoglu Ysgotaidd i lawr gyda bloedd yn rhwygo yr awyr—"Y cyfamod! y cyfamod!" Atebwyd hwy gan fyddin Cromwell gyda bloedd arall—"Arglwydd y lluoedd!" a safai y traedfilwyr mor ddiysgog a chraig o dan ymosodiad y meirch. Yn y man, dyna yr haul yn dyfod i'r golwg o'r cwmwl niwl, a Cromwell yn gwaeddi, "Cyfoded Duw, a gwasgared ei elynion." Ac wedi ymladd ffyrnig am dro yn nghanol y mwg a'r tân, cleciadau y cleddyfau, ac ergydion trymach bôn y drylliau, ymlidiwyd yr Ysgotiaid yn ol dros y bryniau, wedi gadael o dair i bedair mil yn farw ar wyneb y maes, a deng mil yn garcharorion. Ni chafodd Cromwell erioed fuddugoliaeth mwy ardderchog a llwyr. Gorchymynodd i'r seithfed salm ar ol y ganfed gael ei chanu yn y fan. Yna cychwynodd yn mlaen i Edinburgh; taflodd y ddinas hono, a Glasgow ar ei hol, eu pyrth yn agored o'i flaen; a darostyngodd holl ddeheubarth Ysgotland. Ffodd y brenin i'r Highlands, a mynai adael Ysgotland, neu o leiaf y Presbyteriaid, am byth; ond gorfodwyd ef i aros, a choronwyd ef ar y dydd cyntaf o'r flwyddyn ganlynol yn Scone, pryd y tyngodd yr ail waith ei ymlyniad wrth y cyfamod, ac y rhoddwyd y goron ar ei ben gan yr Ardalydd Argyle.

Bu yr Ysgotiaid yn brysur yn ystod misoedd y gauaf yn casglu byddin eto; ac er nad oedd y *royalists* a'r cyfamodwyr yn gallu asio â'u gilydd, yr oedd byddin o ugain mil yn Stirling yn Ebrill, 1651, yn cael ei harwain gan y brenin yn ei berson ei hun, gyda Hamilton yn rhaglaw, a Lesley yn *major-general*. Prysurodd Cromwell, yr hwn oedd yn awr yn gwella o'i glefyd diweddar yn Edinburgh, yn ei flaen, a thorodd gysylltiad y brenin a'r gogledd, fel nas gallasai dderbyn cynaliaeth, nac encilio. Yn y cyfwng hwn penderfynodd Charles ar yr ymgymeriad beiddgar o groesi y cyffiniau i Loegr,

gyda phedair mil ar ddeg o wŷr, gan hyderu y buasai y *royalists* yn heidio at ei faner. Gwrthododd Argyle gydsynio, a dychwelodd i'w gartref. Dychrynodd Lloegr wrth y symudiad annysgwyliadwy. Gyrodd Cromwell Lambert gyda thair mil o wŷr i ymlid ar ol Charles, a gorchymynodd i Harrison ddyfod â chynifer a hyny o Newcastle i'w gyfarfod. Ond methai Cromwell a chael esmwythder i'w feddwl, a brysiodd drosodd ei hun, gan adael Monk a phum mil o wŷr i orphen y gwaith yn Ysgotland. Gyrodd Charles yn mlaen yn frysiog a llwyddianus nes dyfod i Worcester, ac yr oedd ei fyddin erbyn hyn wedi cael ychwanegiad o tua dwy fil. Derbyniwyd Charles yn serchog yn Worcester, a chyhoeddwyd ef yn frenin gan y maer ac amryw o foneddigion y sir. Ond er hyn, nid oedd ei achos yn ymddangos mor obeithiol. Nid oedd y *royalists* wedi codi, fel y dysgwyliasai, oblegyd eu gwrthwynebrwydd i'r cyfamod Presbyteraidd, a dyna y rheswm i ymdrechion Massey, hen amddiffynydd dewr Caerloyw, yr hwn oedd yn awr o blaid y brenin, i godi gwŷr yn swydd Lancaster, fethu.

Erbyn i Cromwell gyrhaedd Worcester yr oedd ei fyddin yn rhifo deng mil ar ugain. Parotodd ar unwaith i ymosod ar y dref o bob cyfeiriad. Ac ar y 3ydd o Fedi, pen blwyddyn brwydr Dunbar, yr ymladdwyd brwydr nodedig Worcester, yr hon a barhaodd yn ffyrnig am bum awr. "Trugaredd ogoneddus oedd hon," meddai Cromwell yn ei lythyr, "a brwydr mor gyndyn am bedair neu bum awr a'r un a welais erioed." Lladdwyd tair mil o'r gorchfygedig, a dau cant o'r gorchfygwyr, a chymerwyd deng mil o'r Ysgotiaid yn garcharorion. Yn mysg y rhai hyn yr oedd Ieirll Derby, Cleveland, a Shrewsbury, o'r pendefigion Seisnig, nifer mawr o'r pendefigion Ysgotaidd, a'r cadfridogion Lesley, Middleton, a Massey; felly lladdwyd a charcharwyd agos yr holl fyddin Ysgotaidd; clwyfwyd Hamilton yn farwol. Rhoddwyd Derby a dau eraill i farwolaeth, yn ol dedryd cynghor milwraidd, yn Chester. Ac am y carcharorion cyffredin, gyda chywilydd y dylid ei goffa, gwerthwyd y rhan fwyaf o honynt yn gaethion i wledydd pellenig.

Gadawodd y brenin Worcester tua thri o'r gloch brydnawn, a marchogodd yn nghwmni lluaws o'i gyfeillion am chwech milldir ar ugain heb sefyll; yna barnodd yn oreu eu gadael, a chwilio am noddfa i lechu rhag ei ymlidwyr ar ei ben ei hun. Mae hanes ei ffoedigaeth o'r naill fan i'r llall, a'i lwyddiant i ymguddio ac ymddyeithro cyhyd pan oedd y llywodraeth yn bygwth â marwolaeth y neb a'i noddai, ac yn cynyg mil o bunau o wobr i'r neb a'i rhoddai i fyny, yn nesaf peth i wyrthiol. Taflodd ei hunan yn gyntaf ar drugaredd ffermwr o'r enw Penderell, yr hwn oedd yn Boscobel, tŷ unig ar gyffiniau swydd Stafford. Torodd ei wallt, lliwiodd ei wyneb a'i ddwylaw, rhoddodd ddillad gwlad-ddyn am dano, a

chymerodd filwg ar ei fraich i fyned allan gyda Penderell a'i bedwar brawd, i dori coed. Mentrodd y brodyr hyn eu bywydau i'w amddiffyn, a threuliai y dydd yn y coed, a'r nosweithiau mewn ystafell wael gyda bwyd hynod o gyffredin. Treuliodd bedair awr ar ugain yn mrig derwen ddeiliog, o'r fan y gwelai y milwyr yn chwilio pob twll a chongl am dano. Galwyd y dderwen yn "*Royal Oak*," a bu mewn bri mawr gan yr ardalwyr. Gorfu iddo ymadael o'r parth hwn, ac aeth i Bentley, ac oddiyno i Bristol, gan farchogaeth o flaen boneddiges ieuanc o'r enw Miss Lane fel ei gwas, ar fedr cael llong i fyned i Ffrainc. Ond adnabyddwyd ef yno gan un o'r teulu lle yr arosai, a diangodd at y milwriad Windham, i swydd Dorset, i'r lle yr arweiniwyd ef eto gan y foneddiges ieuanc. Bu o fewn trwch blewyn droion wedi hyn i gael ei gymeryd i fyny, trwy gyfarfod ag amryw a'i hadwaenai; ond o'r diwedd, wedi cael ei siomi mewn llong amryw weithiau, aeth ef a'i gyfaill Wilmot drosodd i Ffrainc mewn llong lo; ac er i dros ddeugain o bersonau gael y cyfleusdra, a bod y wobr fawr yn gymhelliad cryf, ni fradychwyd ef i'w elynion. "Mae hyn, yn ddiau, yn glod i ddynoliaeth. Y gofid yw, i wrthddrych y fath ffyddlondeb droi allan yn y diwedd mor ddiwerth."

Cwblhaodd Ireton a Ludlow ddarostyngiad Iwerddon, a Monk eiddo Ysgotland; felly, mewn ychydig o amser, daeth Cromwell yn orchfygwr hollol y tair teyrnas, y rhai a unwyd yn fuan yn un Weriniaeth. Derbyniwyd ef gan y senedd gyda rhwysg mawr, cyflwynwyd diolchgarwch y Tŷ iddo am ei wasanaeth, rhoddwyd iddo bedair mil o bunau y flwyddyn yn ychwanegol at y pum mil ar ugain y flwyddyn oedd wedi gael o'r blaen, a threfnwyd Hampton Court i fod yn breswylfa iddo. Rhoddwyd anrhegion hefyd i amryw o'i swyddogion dewr, ond gwrthododd Ireton dderbyn dim, hyd oni thelid dyledion y llywodraeth, y rhai oeddent yn awr wedi myned yn drwm.

Erbyn hyn yr oedd y wlad yn llonydd; cymerai ei hanadl ar ol blynyddoedd o derfysgoedd blin; a chafodd hamdden i adolygu ei chysylltiadau tramor. Edrychid ar y Weriniaeth ieuanc gyda llygad eiddigus gan benaduriaid Ewrop; ac nid oedd teimlad da yn bodoli rhwng y wlad hon a Gweriniaeth y Dutch. Yr oedd tywysog Orange yn berthynas agos i deulu breninol Lloegr, ac wedi pleidio achos Charles yn erbyn y senedd. Cododd hyn ymryson, yr hwn a derfynodd yn fuan mewn rhyfel gwaedlyd. Arweinid galluoedd Lloegr gan y llyngesydd enwog Blake, yr hwn a gododd gymeriad y llynges i uwch bri nag y bu erioed o'r blaen; a llywyddid llynges y Dutch gan Van Tromp. Bu yr olaf yn aflwyddianus yn ei ymgyrch gyntaf; gyrwyd ef yn ol i gyffiniau ei wlad gyda cholled; a derbyniwyd ef gyda'r fath anfoddlonrwydd, fel y rhoddodd ei

swydd i fyny. Arweiniwyd y llynges yn erbyn Blake yn yr ymgymeriad nesaf gan De Ruyter a De Witte. Arweiniwyd y galluoedd i frwydr, ac ymladdwyd hyd nes i dywyllwch y nos eu gwahanu. Erbyn y boreu, cafwyd fod y Dutch eto wedi encilio i'w gwlad. Yn mhen tua mis (Tachwedd, 1652), ymddangosodd Van Tromp gyda thriugain a deg o longau, a beiddiodd Blake ei wrthsefyll gyda haner ei nerth. Wedi i Blake ymladd brwydr, a cholli pump o longau, enciliodd y noswaith hono tua'r lan i gael ychwaneg o nerth. Yn y cyfamser hwyliai Tromp yn ol a blaen ar hyd y *channel* gydag ysgubell ar ben yr hwylbren, i arwyddo yr ysgubai y Saeson allan o'r môr. Ond yn Chwefror, 1653, aeth y llyngeswyr Blake, Dean, a Monk, i gyfarfod y Dutch, gyda nerth agos cyfartal; ac wedi ymladd tri diwrnod, enillodd y Saeson fuddugoliaeth hollol. Collodd y gelyn dros ddeugain o longau, dwy fil o wŷr lladdedig, a phymtheg cant o garcharorion. Yr oedd y lladdedigion Seisnig ryw beth yn gyffelyb; ond pan ddychwelasant nid oedd ond un o'u llongau yn eisiau. Hon oedd buddugoliaeth ddiweddaf y Senedd Hir, yr hon oedd yn awr, wedi bodolaeth o ddeuddeg mlynedd, ar gael ei thori i fyny, a hyny trwy offerynoliaeth ei gweision ei hun.

Y pwnc mawr bellach ydoedd, pa lwybr i'w gymeryd i gario llywodraeth y wlad yn mlaen. Dywedir fod Cromwell, oddiar fuddugoliaeth Worcester, wedi coleddu y dymuniad am gael ei goroni yn frenin. Galwodd gynghor o swyddogion y fyddin a chyfreithwyr, i dŷ y llefarydd, i ymgynghori yn nghylch materion y llywodraeth. Cafwyd yno fod y milwyr dros Weriniaeth, a'r cyfreithwyr dros benaduriaeth gyfyngedig. Dangosodd Cromwell ei hun o blaid yr olaf; ond pan soniwyd am ddealltwriaeth ag un o blant y brenin diweddar, cododd Oliver wrthwynebiad. Bu cynadledd faith ar yr un achos rhwng Cromwell a'r cyfreithiwr Whitelock hefyd. Yn ystod yr ymddyddan gofynodd Cromwell, "Beth pe cymerai dyn arno fod yn frenin?" Atebodd Whitelock, yr ystyriai ef felly y feddyginiaeth yn waeth na'r clefyd, gan ychwanegu na fuasai titl brenin yn ddim iddo ef, am fod ei holl anrhydedd a'i awdurdod ganddo yn barod, ac os dychwelid at y ffurf hono o lywodraeth, yr aethai yn ymdrechfa ofidus rhwng teuluoedd Cromwell a Stuart. Yna cynghorodd Cromwell i gynyg telerau i Charles, yr hwn oedd yn awr wedi ei ddarostwng mor isel, fel y gallai gael ei gydsyniad i unrhyw amodau; ac y gallai fel hyny wneyd unrhyw ddarpariadau ar ei gyfer ei hun, ei gyfeillion, a'r genedl. Dywedodd Cromwell y cawsent ymddyddan yn mhellach ar y mater dro arall; ond magodd dyeithrwch mwy rhyngddynt ar ol hyn.

Cynaliwyd amryw gynadleddau i ddadleu y mater yn ystod y gauaf. Yr oedd yr achos yn bwysig ac anhawdd, a llawer o

annghydwelediad yn ei gylch. Tybiai Cromwell, yn gystal ag eraill, fod yn well tori y senedd i fyny, er fod hyny yn gam pwysig, gan mai y senedd yn awr oedd unig allu llywodraethol y wlad; ond yr oedd mwyafrif y senedd am barhau yn eu hawdurdod, a hawlient, fel arfer, nad oedd gan neb awdurdod arnynt ond hwy eu hunain. Ebrill 19eg, 1653, galwodd Cromwell gynghor eto o swyddogion y fyddin ac amryw aelodau seneddol, i'w dŷ yn Whitehall, i gynyg ar ryw lwybr i roddi pen ar y senedd bresenol, a dygiad yn mlaen lywodraeth y Weriniaeth. Torodd y gynadledd i fyny heb ddyfod i un penderfyniad, a daethant yn nghyd eilwaith dranoeth. Yr oedd eu nifer yn llai y dydd hwn; a thra yr oedd y cynygiad hwn ger bron,—Fod i oddeutu deugain o bersonau, o wŷr seneddol a swyddogion y fyddin, i gael eu penodi gan y senedd i lywyddu achosion y Weriniaeth, hyd onid ymgynullai senedd newydd, a bod yr un bresenol i gael ei thori i fyny ar unwaith—tra yr oedd y cynygiad hwn ger bron, daeth y milwriad Ingoldsby â'r newydd fod y Tŷ yn eistedd, ac ar basio mesur dros barhad ei eisteddiad. Cyffrodd Cromwell drwyddo, a dywedodd, "Y mae hyn yn anonest —yn groes i onestrwydd cyffredin. Rhaid i mi fyned i lawr." Prysurodd i Westminster gyda nifer o filwyr yn ei ganlyn. Aeth i mewn i'r Tŷ, gan adael y milwyr yn y cyntedd, ac eisteddodd i wrando y siarad. Dillad brethyn du diaddurn oedd am dano, a hosanau llwydion, yn ol dull cyffredin y Puritaniaid o wisgo. Gwrandawodd yn fud ac astud am tua chwarter awr; ond pan aeth y llefarydd i osod yr achos i bleidlais, sibrydodd Cromwell wrth y *lieutenant* Harrison, "Dyma yr adeg; rhaid i mi ei wneyd."

Cododd ar ei draed, tynodd ei het, a chyfarchodd y Tŷ ar y mater oedd o'i flaen. Ond yn y man poethodd ei ysbryd, a llefarodd ymadroddion celyd yn erbyn yr aelodau; cyhuddodd hwy o annghyfiawnder, gormes, a llygredigaeth; o geisio dwyn y Presbyteriaid eilwaith i awdurdod, a dinystrio y Weriniaeth; ac o geisio eu manteision eu hunain yn lle eiddo y wladwriaeth. Protestiodd Syr Peter Wentworth yn erbyn y fath ymadroddion, yn enwedig oddiwrth un oedd yn ddyledus i'r gymanfa hono am bob enwogrwydd. Cyffrodd hyn ef yn fwy fyth, rhuthrodd yn mlaen at y bwrdd i ganol y tŷ, a gollyngodd gawod drymach nag oll o achwyniadau a bygythion ar eu penau. Cerddodd yn ol a blaen am dro dan gynhyrfiadau dwfn, yna dyrchafodd ei lais, a dywedodd, "Nid ydych yn senedd! nid ydych yn senedd! Mae yr Arglwydd wedi dewis eraill yn eich lle." Yna, gan guro ei droed ar y llawr, dywedodd, "Dygwch hwy i mewn, dygwch hwy i mewn." Agorwyd y drws, a daeth tuag ugain o'r milwyr i mewn. "Y mae hyn yn anonest," ebe Syr Henry Vane; "ïe, yn groes i foesoldeb a gonestrwydd cyffredin." Atebiad Cromwell ydoedd, "Syr Harry Vane! Syr Harry Vane!

gwareded Duw fi rhag Syr Harry Vane;" er fod Vane y doethaf a'r mwyaf yn mysg y gynulleidfa hono. Nododd amryw eraill â'i lygad, er nad oedd yn eu henwi, a dywedai eu bod yn feddwon, yn odinebwyr, ac yn buteinwyr llygredig, ac felly yn annghymwys i'r fath gyfrifoldeb. "Ymaith â chwi!" meddai, "a rhoddwch eich lle i'ch gwell." Gwrthododd Lenthall adael ei gadair hyd nes i Harrison ymaflyd yn ei law. "Beth a wnawn i'r tegan hwn?" gofynai Cromwell am y *mace*, a gorchymynodd i'r milwyr ei ddwyn ymaith. Felly cliriwyd yr holl dŷ. Wrth edrych ar yr aelodau yn myned allan o un i un, dywedodd Cromwell, "Chwi a'm gyrodd i wneyd hyn. Yr wyf wedi bod yn ceisio gan Dduw, ddydd a nos, i'm lladd yn hytrach na fy rhoddi i wneyd y gorchwyl hwn." Wedi i'r holl aelodau—oddeutu pedwar ugain—fyned allan, clodd Cromwell y drws, rhoddodd yr allwedd yn ei boced, a dychwelodd i Whitehall. Dywedodd wrth y cynghor, y rhai oeddent eto heb ymadael, "Nid oeddwn yn meddwl gwneyd hyn pan aethum i'r Tŷ; ond pan deimlais Ysbryd Duw mor nerthol arnaf, nid ymgynghorais yn hŵy â chig a gwaed."

Prydnawn yr un diwrnod aeth Cromwell gyda Harrison a Lambert i *Derby House*, a chyfarchodd y cynghor a eisteddai yno,—"Foneddigion, os ydych yma fel personau annghyhoedd, nid aflonyddir arnoch; ond os fel cynghor llywodraeth, nid hwn yw eich lle; a chan y gwyddoch yr hyn a gymerodd le yn y Tŷ y boreu hwn, bydded hysbys i chwi fod y senedd wedi ei thori i fyny." Atebodd Bradshaw, y cadeirydd, ef: "Syr, clywsom yr hyn a wnaethoch chwi yn y Tŷ y boreu hwn, a chaiff holl Loegr ei glywed cyn pen ychydig oriau. Ond yr ydych yn camsynied, syr, wrth feddwl fod y senedd wedi ei thori i fyny; oblegyd nid oes un gallu dan y nefoedd all wneyd hyny ond hi ei hunan; am hyny bydded hyn yn hysbys i chwithau." Ond er hyn, ymadawsant oll, pan welsant nad oedd gwiw gwrthwynebu. Dyma y modd y terfynodd y Senedd Hir, wedi deuddeg mlynedd o fodolaeth a gweithrediadau bythgofiadwy. Yr oedd Lloegr yn awr heb orsedd, penadur, na senedd; ac nis gallasai neb ddywedyd pa agwedd welid nesaf ar y llywodraeth.

Prysurodd Cromwell i gyhoeddi rhesymau i'r wlad am dori y senedd i fyny, a derbyniodd amryw gyfarchiadau yn cymeradwyo y symudiad. Ffurfiwyd cynghor llywodraeth, yn cael ei wneyd i fyny o wyth swyddog milwrol, pedwar eraill, yn nghyda Cromwell. Ac er fod llawer o ormes ac annhrefn yn ngweinyddiad yr awdurdod, ymostyngodd y fyddin a'r llynges, a'r wlad yn gyffredin, yn dawel dani, a dygid trafodaeth y llysoedd gwladol yn mlaen fel arfer. Yr oedd Cromwell yn adnabod ei gydwladwyr yn rhy dda i feddwl y buasent yn dawel yn hir heb ryw fath o senedd; a gwelai

ar yr un pryd berygl etholiad cyffredinol. Ac y mae yn rhaid cadw mewn cof nodwedd grefyddol y fyddin, er canfod priodoldeb y llwybr a gymerodd. Yn Mehefin, 1653, anfonodd Cromwell at weinidogion yr eglwysi Cynulleidfaol, i fŷnu teimlad yr eglwysi yn newisiad personau "ffyddlon, yn ofni Duw ac yn casâu cybydd-dod," i gynnrychioli y wlad yn y senedd, ac anfon eu henwau i'r cynghor. O'r enwau hyn detholwyd a gwysiwyd gan Cromwell 139 dros Loegr, 6 dros Gymru, 5 dros Ysgotland, a 6 dros Iwerddon. Ar y 4ydd o Orphenaf, ymgyfarfu tua chwech ugain o honynt yn Llundain. Dyma y gymanfa a alwyd yn "Senedd Fach," ac mewn gwawd yn *Barliament Barebone*.* "Os nad oeddent y gymanfa hynotaf, yr oeddent y gymanfa i'r pwrpas hynotaf a ymgyfarfyddodd yn yr oesoedd diweddar. Eu gwaith oedd dwyn y grefydd Gristionogol i ymarferiad gwirioneddol yn helyntion cymdeithasol y genedl—cynygiad o'r mwyaf ardderchog ac angenrheidiol, yr hwn na ddylesid ei adael heibio cyhyd yn y deyrnas hon."† Cyfarchwyd hwynt mewn araeth ddifrifol a duwiolfrydig gan Cromwell; dangosodd iddynt eu gwaith, a phwysigrwydd yr ymddiried a drosglwyddid iddynt; fod prif awdurdod y deyrnas yn eu dwylaw hwy; a rhoddodd ef, a'r swyddogion dano, eu henwau wrth ysgrif yn cydnabod eu hunain fel gweision iddynt. "Yr wyf yn atolygu arnoch," ebai, wrth orphen ei araeth, "gofelwch am yr holl braidd; ac os bydd y Cristion tlotaf, a mwyaf camsyniol yn ewyllysio byw yn heddychlon danoch, amddiffynwch ef." Yr oedd y senedd hon i barhau mewn awdurdod am bymtheg mis; y pryd hwnw yr oeddynt i roddi eu lle i fyny, ac enwi eraill i fod yn olynwyr iddynt; a'r rhai hyny eilwaith i wneyd yn gyffelyb.

Dechreuodd y senedd hon ei heisteddiad trwy ddiwrnod o gyfarchiadau crefyddol, ymbiliau, a gweddiau, gan yr aelodau. Dymunasant ar Cromwell i eistedd yn eu mysg, ac ymaflasant yn eu gorchwylion mewn ysbryd annibynol a brwd. Penderfynasant buro y wladwriaeth trwy ddiwygiad cyffredinol. Yn mysg y prif bethau yr oedd diwygiad llywodraeth yr eglwys, a gweinyddiad y gyfraith. Penderfynwyd fod hawl cyflwyniad (*presentation*) i gael ei alw yn ol, a bod plwyfi i ddewis eu gweinidogion eu hunain. Condemniwyd y degwm hefyd; a phenderfynwyd cael casgliad newydd o gyfreithiau, a dyddimu y canghell-lys (*chancery*). Ond cyn pen ychydig fisoedd yr oedd eu gweithrediadau wedi cyffroi dau gorph pwysig o bobl—y clerigwyr a'r cyfreithwyr—yn eu herbyn. A phan aethant i leihau y fyddin, daeth gwrthwynebrwydd o'r parth hwnw eilwaith, fel yr aeth eu llwybr yn rhy rwystredig i fyned yn mlaen. Cyhuddid

*Cafodd yr enw hwn oddiwrth werthwr lledr o Lundain, o'r enw Barebone, aelod o'r senedd hon, a'r hwn oblegyd ei sel grefyddol a elwid *Praise-God Barebone.*
†Carlyle's Cromwell.

hwy o geisio dadymchwelyd yr holl gyfansoddiad. "Nis gallent lai na methu," meddai Carlyle, "oblegyd yr oedd yr holl fyd, a'r hyn a alwn ni yn ddiafol a'i angylion, yn eu herbyn." Cyhuddir Cromwell gan ei elynion o fod y tu cefn i'r llen yn cyffroi yr ysbryd anfoddog yn erbyn y senedd. Yn Rhagfyr cododd y milwriad Sydenham i gyfarch y Tŷ; achwynodd ar y mesurau oeddent wedi eu pasio; dywedodd nad allai ef eistedd yn hŵy yn y fath gymanfa, a chynygiodd eu bod i fyned yn un corph, a throsglwyddo eu hawdurdod i'r arglwydd-gadfridog. Eiliwyd a gwrthwynebwyd y cynygiad. Beth bynag, gadawodd Rous, y llefarydd, y gadair, a chanlynwyd ef allan gan oddeutu haner cant o'r aelodau. Arosodd ryw bymtheg ar ugain ar ol; a thra yr oeddynt yn ymgynghori pa lwybr i'w gymeryd, daeth y milwriad Goffe â milwyr gydag ef i mewn; cliriodd y Tŷ, a chlowyd y drysau. Fel hyn y terfynodd y Senedd Fach, ar ol tua phum mis o fodolaeth.

Pedwar diwrnod ar ol toriad i fyny y senedd hon, gwnaed Oliver Cromwell, trwy seremoni rwysgfawr yn neuadd Westminster, yn Arglwydd Amddiffynydd Gweriniaeth Lloegr, Ysgotland, ac Iwerddon. Darllenwyd ysgrif, yr hon a elwid Gweithred y Llywodraeth, ger ei fron, a thyngodd yntau ffyddlondeb iddi. Cynwysai y weithred hon fod y prif awdurdod i orwedd yn yr arglwydd amddiffynydd a'r senedd; yr amddiffynydd i gael ei gynorthwyo gan gynghor, heb fod dan dri ar ddeg, na thros un ar ugain o nifer, y rhai oeddynt i barhau yn eu swydd dros ystod eu bywyd, os ymddygent yn briodol. Yr oedd swyddogaethau breninol i gael eu cyflawni gan Cromwell, gyda chydsyniad y cynghor a'r senedd; senedd i gael ei galw bob trydedd flwyddyn, yn cynwys pedwar cant o aelodau dros Loegr a Chymru, deg ar ugain dros Ysgotland, a deg ar ugain dros Iwerddon; ac nid oedd i'w gohirio na'i thori i fyny heb ei chaniatad ei hunan dan bum mis o amser. Yr oedd yn ofynol i etholwr fod yn werth dau gant o bunau; ac nid oedd neb fu dan arfau yn erbyn y senedd oddiar 1641 i ethol na chael ei ethol am y tair senedd ddylynol; nid oedd Pabyddion na chefnogwyr y gwrthryfel Gwyddelig i gael y rhagorfraint o gwbl. Yr oedd darpariaeth mwy boddhaol na'r degwm i gael ei gwneyd ar gyfer dysgawdwyr crefydd, a phawb oedd yn proffesu ffydd yn Nuw trwy Iesu Grist i gael eu hamddiffyn. Cyflwynwyd cleddyf yn ei waun i Cromwell gan Lambert, a rhoddodd yntau ei gleddyf ei hun i fyny, er dangos nad oedd i lywodraethu trwy awdurdod filwrol, ond trwy awdurdod a dderbyniodd gan y cyfansoddiad.

Yr oedd Cromwell yn awr wedi cyrhaedd y pinacl, ac yr oedd ei sefydliad wrth y llyw y peth mwyaf dymunol a llesiol allasai y wladwriaeth gael yn ei chyflwr presenol. Cafodd meddyliau y bobl yn awr hamdden i ymsefydlu; a chynyrchodd ei amddiffyniad

agwedd newydd ar bethau yn y wlad. Dychwelodd heddwch i bob aelwyd, a rhoddodd terfysg a thywallt gwaed eu lle i drefn, a llais llawenydd. Prysurodd holl lysoedd Ewrop i gydnabod llywodraethwr newydd Lloegr; ac yr oedd cenadwyr Ffrainc, Spain, Holland, Portugal, a Denmark, yn awyddus i dalu gwarogaeth iddo.

Yr oedd y rhyfel morwrol â'r Dutch wedi ei ddwyn yn mlaen yn llwyddianus yn ystod y cyfnewidiadau a nodwyd. Mewn un frwydr, pan oedd cant o longau yn ymladd o bob tu, gwasgarwyd y Dutch, cymerwyd un ar ugain o'u llongau, pan na chollodd y Saeson ond un; ond syrthiodd y llyngesydd Dean yn yr ymgyrch. Cyn diwedd yr un haf, tra yr oedd amodau heddwch dan ystyriaeth y ddwy wlad, ymladdwyd brwydr waedlyd arall ar draeth Holland, pryd y saethwyd Van Tromp trwy ei galon; ac wedi colli eu blaenor, digalonodd ei wŷr, ac enciliasant. Enillodd y llyngeswyr Seisnig, Blake a Monk, enwogrwydd difesur yn y rhyfeloedd hyn.

Yn mis Mai, cafwyd allan ddyfais o eiddo y *royalists* i lofruddio Cromwell ar ei ffordd i Hampton Court, a thybid nad oedd Charles II. yn anwybodus o'r symudiad. Cymerwyd amryw i fyny, ac yn eu mysg rhai pendefigion; rhyddhawyd y rhan fwyaf, ond dienyddiwyd rhai.

Yn Medi, 1654, cyfarfu Cromwell mewn rhwysg breninol â'i senedd newydd. Wedi gwrando pregeth, cyfarchodd hwynt ag araeth deirawr o hyd ar sefyllfa y deyrnas, yn y *Painted Chamber*. Wrth son am y diwygiad oedd wedi ei ddwyn oddiamgylch, dywedai mai eu gorchwyl hwy oedd gosod y pen congl faen ar y gwaith, a chwbleiddio hapusrwydd y genedl. Yna gollyngodd hwy i'w tŷ eu hunain i ddewis llefarydd. Syrthiodd y coelbren heb raniad ar hen lefarydd y Senedd Hir, Lenthall. Yr oedd yn y Tŷ eto bleidiau amryw a nerthol, a chafwyd yn fuan nad oedd cefnogwyr Cromwell ond y lleiafrif. Cymerodd y senedd amryw o bynciau y weithred, yn rhinwedd yr hon yr ydoedd yn awr yn eistedd, dan ystyriaeth, a daeth awdurdod yr amddiffynwr yn destun dadl. Pan welodd Cromwell hyn, penderfynodd ymyryd. Ar yr un boreu, cafodd yr aelodau y tŷ wedi ei gloi yn eu herbyn, a'r cyntedd yn llawn o filwyr, a hysbysid y cyfarfyddai ei uchelder â hwy yn y *Painted Chamber*. Dywedodd Cromwell wrthynt yno fod pedwar o bethau sylfaenol yn y weithred oedd wedi eu galw yn nghyd, y rhai nad oedd ganddynt hawl i ymyryd â hwy, sef, fod gallu uchaf y llywodraeth i fod mewn person unigol a senedd—seneddau i fod yn olynol, ac nid yn barhaol—nad oedd yr amddiffynydd na'r senedd i gael llywodraeth hollol ar y fyddin—a rhyddid cydwybod. Dywedodd nad oedd ganddynt hawl i gyffwrdd â'r pethau hyn, ond y gallent ddiwygio pethau eraill llai pwysig oedd ynddi. Pan ddychwelasant i'r tŷ, yr oedd swyddog wrth y drws yn gofyn eu henwau wrth ysgrif yn rhwymo dystawrwydd ar y materion uchod. Gwrthododd tua'r bedwaredd ran gymeryd eu heisteddleoedd ar y telerau hyn.

Aeth y senedd yn mlaen eto i ddadleu a phasio mesurau ar rai o bynciau y weithred, a chafwyd amryw brofion o anoddefgarwch y blaid Bresbyteraidd, yr hon oedd yn awr yn gwneyd i fyny fwyafrif y Tŷ, ac y buasai eu goruchafiaeth hwy ar Cromwell yn ddinystr ar ryddid crefyddol y wlad. Nid oedd y senedd ar ol eistedd pum mis—y tymhor byraf a nodid yn y weithred i'r senedd eistedd—wedi gwneyd dim o bwys. Yr oedd hefyd wedi taflu dirmyg ar yr amddiffynwr trwy beidio anfon un mesur ato i ofyn ei gydsyniad, na chenadwri o fath yn y byd, nac wedi pleidleisio ceiniog iddo at draul y llywodraeth. Mor gynted ag y daeth y pum mis i fyny (Ionawr 22, 1656), galwodd Cromwell y senedd ger ei fron, a dywedodd wrthynt yn eglur nad oeddent wedi gwneyd dim, oddigerth cynhyrfu y *cavaliers* i gynllunio bradwriaethau, a chodi terfysgoedd yn erbyn llywodraeth a chrefydd y wlad. Yr oedd ef wedi gadael llonydd perffaith iddynt heb eu blino â chwestiwn na chenadwri, ac ni wyddai beth oeddent hwy wedi bod wrtho. "Nis gwyddwn," meddai, "pa un ai byw ai marw oeddech; ni chlywais oddiwrthych gymaint ag unwaith yn ystod yr holl amser; ac yr ydych oll yn gwybod hyny." Wrth derfynu, dywedodd, "Tybiwyf mai fy nyledswydd yw eich hysbysu, nad yw o un fantais i'r wlad i chwi i aros yma yn hŵy; am hyny yr wyf yn cyhoeddi fy mod yn tori y senedd i fyny."

Yn fuan wedi tori y senedd i fyny, cafodd Cromwell allan fod bradwriaethau peryglus ar droed gan Weriniaethwyr yn gystal a phlaid y brenin, a chynlluniau yn barod i godi y wlad yn erbyn yr amddiffynwr, ac i sefydlu Charles Stuart ar yr orsedd; ond llethwyd hwy agos yn mhob man cyn iddynt gael eu gosod mewn gweithrediad, a rhoddwyd cospedigaeth y gyfraith ar amryw o'r *royalists*. Yr oedd yr amddiffynwr bellach wedi treio amryw ffyrdd i gyflawni yr hyn oedd ar ei galon tuag at ddyrchafiad ei wlad; ceisiodd trwy gymanfa o foneddigion wedi eu henwi ganddo ef ei hun, ac wedi hyny trwy senedd wedi ei hethol gan y wlad; ond aeth y naill a'r llall yn fethiant. Ac wrth weled eraill naill ai yn anewyllysgar, neu yn anabl i'r gorchwyl, ymaflodd ynddo ei hun, a rhoddodd yr un egni i adeiladu yn awr ag a roddodd i dynu i lawr o'r blaen. Dangosodd gryn bleidgarwch am dro i blaid y brenin, gan feddwl wrth hyny orchfygu eu gwrthwynebrwydd; ond ni wnaeth ond noddi drwg. Ar un adeg bu yr holl wlad, o ucheldiroedd Ysgotland hyd fryniau Cornwall, yn llawn bradwriaethau yn ei erbyn. Hyn barodd iddo ranu Lloegr a Chymru yn un ar ddeg o ddosbarthiadau, a rhoddi pob dosbarth dan lywodraeth *major-general*, yr hyn fu yn foddion effeithiol i ddarostwng y terfysgoedd, a chadarnhau awdurdod yr amddiffynwr.

Trodd Cromwell ei lygad yn awr at ei gysylltiadau tramor. Yr

oedd Spain a Ffrainc mewn gelyniaeth â'u gilydd, ac yn cystadlu am gyfeillgarwch a chefnogaeth Cromwell. Yn ymwybodol o'i allu ceisiodd yr amddiffynwr gan Spain ganiatau na fyddai yr un Sais byth yn ddarostyngedig i'r chwil-lys, a bod India y Gorllewin a Deheubarth America i gael eu taflu yn agored i'w faner, gyda masnach rydd i'r holl ddeiliaid Seisnig. Atebodd y cenadwr Ysbaenaidd fod hyn yr un peth a gofyn dau lygad ei frenin. Ar hyn anfonodd Cromwell lynges allan dan y llyngesydd Penn, gyda byddin dirol dan y cadfridog Venables, y rhai a gymerasant ynys bwysig Jamaica, ar ol gwneyd cynygiad chwithig ac aflwyddianus ar Hispaniola. Yn y cyfamser aeth llynges arall, dan Blake, i Fôr y Canoldir i geisio iawn gan y taleithiau cylchynol am y golled a barwyd i fasnach Seisnig yn y môr hwnw.

Dyrchafodd Cromwell ei enw yn awr hefyd trwy ei ymyriad o blaid rhyddid crefyddol y Waldensiaid, y rhai a oddefent erledigaeth dost yn mharthau uchaf Piedmont, dan lywodraeth Duc Savoy. Cafodd gynorthwy mawr yn hyn gan ysgrifell alluog Milton. Gorfodwyd y duc Pabaidd i adael i'w ddeiliaid Protestanaidd arfer addoliad crefyddol eu tadau, ac anfonodd Cromwell swm o arian i'w cynorthwyo, yn ychwanegol at yr hyn a gasglwyd iddynt gan yr eglwysi. Gwnaeth yr Amddiffynwr gytundeb heddwch â Ffrainc, a chyhoeddwyd rhyfel â Spain. Blake oedd gwron y rhyfel morawl hwn eto, a buan y dygodd ef a'i gadbeniaid longau llwythog o ysbail i borthladdoedd Lloegr. "Yn mysg dygwyddiadau y flwyddyn hon (1656), y mae dychweliad yr Iuddewon i Loegr, lle na fuont yn sefydlog oddiar amser Edward I. Daeth Manasseh Ben Israel, rabbi enwog, drosodd i Loegr i gytuno â Cromwell yn yr achos; ac er i ragfarn y pwyllgor a benodwyd i ystyried y mater atal Cromwell i fyned mor bell ag y dymunasai, caniataodd iddynt ddyfod drosodd, adeiladu synagog, a phwrcasu tir claddu."*

Prif ddygwyddiad y flwyddyn 1657, oedd cynygiad coron Lloegr i Cromwell gan y senedd. Ymgyfarfu y senedd yn nechreu y flwyddyn; ac, yn mysg pethau eraill, yr oedd gormes y *major-generals*, bradwriaeth diweddar Syndercomb i lofruddio Cromwell, ac achos y rhyfel â Spain, yn galw am eu hystyriaeth. Gwelai yr amddiffynwr fod angen gwneyd rhyw gyfnewidiadau eto yn ngweinyddiad y llywodraeth; a dywed llawer fod ei fryd ar gael ei goroni yn frenin, er fod holl awdurdod brenin ganddo yn barod. Beth bynag, yr oedd hyny yn gystal ag adferiad y Tŷ uchaf, yn mryd llawer o'i gyfeillion; ac ar y 23ain o Chwefror, cododd *Alderman* Pack yn ei le yn y senedd i ddarllen ysgrif yn cwyno yr erbyn ffurf bresenol y llywodraeth, ac yn galw ar Cromwell i arno ei hun ditl brenin, gan y buasai hyny yn llawer mwy

*Keightley.

a manteisiol i gyflwr y wlad. Gwrthwynebwyd ef yn gyndyn gan aelodau milwrol, cododd cythrwfl, a llusgwyd Pack o'i sedd gerllaw y llefarydd, at far y Tŷ. Er hyny cafwyd pleidlais y Tŷ dros gymeryd y mater dan ystyriaeth. Wedi mis o ddadleu, Mawrth 1657, penderfynwyd, trwy fwyafrif o 123 yn erbyn 62, cynyg anrhydedd a thitl brenin i Cromwell. Gwrthododd Cromwell atebiad i'r senedd heb gael ychwaneg o amser i ystyried y peth. Yn y cyfamser cadwyd cynghorau, a thynwyd allan luaws o ddeisebau, dros ac yn erbyn. Yr oedd swyddogion y fyddin a'r gwerinwyr mwyaf selog yn hollol groes i hyny; tra yr oedd mwyafrif mawr y senedd, a theimlad mwyaf cyffredin y lluaws, yn frwd o'i blaid; ac yr oedd rhesymau yr olaf yn lluosog a nerthol. Yn mysg gwrthwynebwyr y mesur, yr oedd Desborough, brawd yn nghyfraith Cromwell, a Fleetwood, ei fab yn nghyfraith, y rhai a ddywedent wrtho y rhoddent eu swyddi i fyny ar unwaith os cymerai ef ditl brenin. Felly yr oedd yn ddyrys iddo o bob tu. Os credwn eiriau Cromwell ei hun—ac nid oes genym y rheswm lleiaf dros beidio—yr oedd ef yn dueddol, o ran ei hun, i wrando ar gais y senedd, a chymeryd y titl, gan y credai y buasai yn fwy manteisiol i lywodraethiad priodol y wlad; ond yn hytrach na gwerthu ei hen gyfeillion milwraidd a gwerinol, y rhai yr oedd ganddo y meddwl uchaf am eu gonestrwydd a'u duwioldeb, penderfynodd ddal yn gyndyn a diysgog i wrthod. Yn ei atebiad i'r senedd dywedai, "Yr wyf yn ymddwyn yn onest a ffyddlon tuag atoch wrth ddyweyd nad wyf yn meddwl y bendithia yr Arglwydd unrhyw ymgymeriad—bydded ef freniniaeth neu ryw beth arall—a roddo achos cyfiawn i flino dynion goreu a duwiolaf y genedl. Gwn nad yw dynion da yn gyffredin yn gallu llyncu y titl hwn; gan hyny yr wyf yn atolwg arnoch, oddiar deimlad o ddyledswydd a chydwybod, na roddoch ddim caled arnaf; pethau caled iddynt hwy wyf yn feddwl, nas gallant eu llyncu."

Felly, ar ol yr holl ddadleu a'r ymresymu, gorfuwyd tynu y gair brenin allan o'r ysgrif, a rhoddi Arglwydd Amddiffynydd yn ei le. Rhoddwyd awdurdod iddo enwi ei olynydd, a galw Tŷ arall yn nghyd, aelodau yr hwn oedd i gael eu dewis ganddo ef, gyda chymeradwyaeth Tŷ y Cyffredin. Wedi ei gydnabod fel hyn gan y senedd, urddwyd ef eto gyda rhwysg breninol yn Neuadd Westminster. Safai ar esgynlawr, yn y pen uchaf, ac aelodau Tŷ y Cyffredin ger ei fron. Gwisgwyd ef â mantell felfed o liw porphor, yn enw y senedd, gan y llefarydd, yn cael ei gynorthwyo gan Whitelock ac eraill. Anrhegwyd ef â Bibl addurnedig, gwisgwyd cleddyf ar ei glun, a rhoddwyd teyrnwialen aur yn ei law. Ac wedi gweinyddu y llw iddo, a therfynu y ddefod gyda gweddi ddifrifol, cyhoeddwyd ef â sain udgorn yn Amddiffynydd Lloegr, Ysgotland, ac Iwerddon; ac atebid yr udgorn gan floedd mwy

nerthol y bobl, "Duw gadwo yr Arglwydd Amddiffynydd." Tyngodd y rhan fwyaf lw o ffyddlondeb iddo; ond gwrthododd Lambert, yr hwn a ddiswyddwyd o'r herwydd.

Parhaodd Cromwell i ddwyn yn mlaen yr un bywyd tawel a chymedrol, a chadwai drefn a dysgyblaeth fanwl yn ei lys. Nid oedd swn terfysg nac oferedd i'w glywed un amser o gylch Hampton Court, ei hoff drigfan. Yr oedd ei fywioliaeth arferol yn dra chyffredin, ond rhoddai wleddoedd mynych i'w swyddogion yn ei dŷ. Weithiau, o ddifyrwch, galwai ei draed-filwyr i mewn i'w ystafell, ar ganol ciniaw, a chaent ysglyfio y cwbl fyddai ar y bwrdd. Byddai yn hoff iawn o gerddoriaeth, ac yn cadw cerddorion da yn ei dŷ. Yr oedd wrth ei fodd pan wedi ei gylchynu gan ddynion galluocaf ei oes a'i wlad, megys ei ysgrifenydd Milton, Marvel, Waller, Dryden, ac eraill. "Yn awr dechreuodd masnach y wlad flodeuo, a gwawriodd dyddiau hafaidd dros holl Loegr."

Yn mis Awst, y flwyddyn hon (1657), er mawr alar Cromwell, bu farw y llyngesydd enwog Blake, yr hwn a wnaeth gymaint o wasanaeth i'r deyrnas mewn gwrthsefyll a chospi yr Ysbaeniaid. Dygwyd ei gorph adref, a chladdwyd ef gyda rhwysg mawr yn monachlog Westminster. Tua diwedd y flwyddyn, priododd un o ferched Cromwell ag Arglwydd Falconbridge, ac un arall ag ŵyr i Iarll Warwick, yr hyn a barodd flinder nid bychan i'r *cavaliers*.

Ionawr, 1658, ymgyfarfu y senedd, yn awr yn gynwysedig o ddau Dŷ, er mai Gweriniaeth ydoedd. Yr oedd Cromwell wedi gwysio tua thriugain i gyfansoddi y Tŷ uchaf; ond cafwyd yn fuan nad oedd y cwbl ond ofer. Ni chytunai aelodau y Tŷ uchaf â'u gilydd, a llai fyth y cydymddygai aelodau y Tŷ isaf â hwynt. Ceisiodd Cromwell ei oreu i'w hasio â'u gilydd, a'u perswadio i fyned yn mlaen, ond ni thyciai. Ac heblaw hyny, gwelwyd fod eu cyndynrwydd hwy yn achlysur i luaws o fradwriaethau yn erbyn bywyd yr amddiffynwr. Wedi anobeithio am ddaioni oddiwrth y senedd, gwnaeth Cromwell ei feddwl i fyny i'w gyru adref. Chwefror 4ydd, heb gymeryd amser i aros i'w gerbyd ei hun, cymerodd gerbyd ddygwyddai sefyll o flaen Whitehall, a gyrodd tua'r senedd-dŷ, gyda chwech o'i warchodwyr i'w ganlyn. Gwysiodd y Cyffredin ger ei fron, ac achwynodd wrthynt eu bod yn ei ddisodli ef yn lle ei gynorthwyo, a'u bod yn cyffroi ei elynion i gynllunio bradwriaethau yn ei erbyn o bob cyfeiriad. "Gan hyny," ebai, "yr wyf yn tori y senedd hon i fyny, a bydded Duw yn farnwr rhyngof fi a chwi." Felly y terfynodd senedd olaf Cromwell, ar ol eisteddiad o bedwar diwrnod ar ddeg.

Tra yr oedd y pethau hyn yn myned yn mlaen yn Lloegr, yr oedd arfau Cromwell yn enill clod nid bychan mewn cyngrair â Ffrainc yn erbyn Spain, a rhoddodd Louis Dunkirk i Cromwell, yn ol

cytundeb blaenorol, yr hon a roddwyd dan wyliadwriaeth byddin o warchodwyr Seisnig. Ond os oedd ei gysylltiadau tramor yn ddymunol, yr oedd yn cael ei gylchynu gartref gan flinderau. Yr oedd, nid yn unig pleidwyr y freniniaeth, ond gwerinwyr brwd hefyd, wedi ymuno mewn dyfeisiau bradwrus yn ei erbyn. Gwasgarwyd traethodyn o'r enw, "*Killing no murder*," wedi ei ysgrifenu gan Sexby, neu y milwriad Titus, yn yr hwn y ceisid profi mai y gwasanaeth mwyaf allai dyn wneyd i'r deyrnas oedd llofruddio yr amddiffynwr. Bu Ormond yn Llundain am ddyddiau yn gosod bradwriaeth ar droed, a diangodd drosodd yn ddyogel at Charles Stuart. Llwyddodd Cromwell i gael allan lawer o'r drygau hyn mewn pryd i'w rhagflaenu; ac er fod ei gyfansoddiad cadarn bellach yn ymollwng dan lwyth o bryder ac afiechyd, ymwrolodd i'w gwrthsefyll. Syrthiodd lluaws o'r bradwyr i'w law; torodd benau Dr. Hewit, Syr Henry Slingsby, ac eraill, a thaflodd amryw i garchar. Eto yr oedd ymwybyddiaeth o'i berygl yn ei ymlid ddydd a nos, a hyny yn bwyta ei gysuron a'i nerth. Gwisgai arf-wisg dan ei ddillad, a chariai lawddrylliau *(pistols)* yn ei bocedi; ac ni ddychwelai un amser ar hyd yr un ffordd ag yr aeth. Newidiai ei ystafell wely yn fynych, arolygai y wyliadwriaeth cyn myned i orphwys, a gyrai pryder ei feddwl ei gwsg i gilio.

Daeth blinderau teuluaidd hefyd i wneyd eu rhan yn nadfeiliad ei gyfansoddiad Nid oedd Cromwell yn uwch mewn dim nag yn ei rinweddau teuluaidd, yn ei serch a'i dynerwch fel mab, fel gwr, ac fel tad. Claddodd ei fab yn nghyfraith, Mr. Rich, yn nechreu y flwyddyn; ac yn awr y mae ei hoffusaf blentyn, Mrs. Claypole, yn gorwedd ar ei gwely marw yn Hampton Court: ac yno y mae y tad caruaidd yn eistedd wrth erchwyn ei gwely, ddydd a nos am bythefnos, ac yn ceisio yn ddyfal agor gwirioneddau mawrion Cristionogaeth o flaen ei mheddwl. Ac yn ei mharwolaeth hi y cafodd ei iechyd ef yr ergyd tostaf eto—ergyd rhy drwm i ymiachau o dan ei effeithiau; yn wir torodd ei galon. Yn mhen mis cymerwyd yntau yn glaf o gryd blin, ac ofnid yn y fan fod angau yn agosâu. Cymerwyd ei achos at Dduw mewn gweddiau ac ymprydiau am ei adferiad. Un diwrnod, pan welodd ei feddygon yn sibrwd wrth eu gilydd, gyda gwedd ofidus, dywedodd, "Ni fyddaf farw y tro hwn, yr wyf yn sicr. Yr wyf yn dyweyd hyn ar well seiliau na Hippocrates na Galen. Mae Duw wedi ateb, nid fy ngweddiau i yn unig, ond gweddiau rhai sydd yn dal cymundeb agosach ag ef na mi. Peidiwch edrych mor brudd; gall natur wneyd fwy na'r holl feddygon yn nghyd; ond gall Duw wneyd llawer mwy na natur."

Ond nid oedd Oliver i wellhau o'r clefyd hwn, a daeth yn fuan i ddeall hyny. Ac y mae ei ddyddiau diweddaf yn gyffrous a dyddorol.

Dacw ef yn awr, er ei holl fri a'i fuddugoliaethau, yn troi at yr hen Fibl fel unig ffynonell ei gysur. Ac nid peth newydd iddo oedd hyn ychwaith; ond yr oedd yn gyfarwydd â'r gorchwyl. Ceisiodd gan ei weinidog Goodwin, ddarllen rhanau o'r bedwaredd benod o'r epistol at y Philippiaid—"Yr wyf wedi dysgu yn mha gyflwr bynag i fod yn foddlon," &c. "Mae yn wir, Paul," ebai, "dy fod *di* wedi dysgu hyn, ac wedi cyrhaedd y mesur hwn o ras; ond beth a wnaf fi? Oh greadur tlawd! y mae yn wers galed i mi i'w thynu allan; yr wyf yn ei phrofi felly."

Symudwyd ef o Hampton Court i Whitehall; ac yr oedd ei feddwl weithiau yn isel, ac weithiau yn uchel. Gofynodd unwaith i'w gaplan, os oedd yn bosibl syrthio oddiwrth ras; pan atebodd hwnw nad oedd, dywedodd Cromwell, "Yna yr wyf yn ddyogel, oblegyd gwn i mi fod unwaith mewn cyflwr o ras." Medi 2il, (1658), y diwrnod cyn iddo farw, yr oedd yn ystorm aruthrol, a'r gwynt yn diwreiddio y coed trwy barciau Llundain. Y noswaith hono yr ysgrifenodd *Major* Butler y weddi hon o enau Cromwell, tra yr oedd amryw yn bresenol yn yr ystafell:—"O Arglwydd, er fy mod yn greadur tlawd a thruenus, yr wyf mewn cyfamod â Thi trwy ras. Gwnaethost fi, er mor annheilwng, yn offeryn i wneyd peth daioni i'th bobl, a gwasanaeth i tithau. Mae llawer o honynt yn gosod gormod o bwys arnaf, er fod eraill yn falch o'm marwolaeth. Arglwydd, beth bynag a wnai o honof fi, parha i wneyd daioni iddynt hwy. Maddeu eu ffolineb a'u pechodau, a phaid a'u gwrthod; ond dyro iddynt dy gariad a'th fendith. Dyro iddynt farn uniawn, un galon, a chariad at eu gilydd; a dos rhagot i'w gwaredu, ac i ddwyn yn mlaen waith y diwygiad, a gwna enw Crist yn ogoneddus yn y byd. Dysg y rhai sydd yn edrych gormod ar dy offeryn i ymddiried mwy ynot ti. Maddeu i'r rhai sydd yn ewyllysio sathru ar lwch pryfyn gwael; oblegyd dy bobl di ydynt hwy hefyd. A maddeu ffolineb y weddi fer hon. A dyro orphwysfa i mi, er mwyn Iesu Grist. I'r hwn, gyda thi a'th Lân Ysbryd, y byddo anrhydedd a gogoniant, yn awr a byth. Amen." Dranoeth, Medi 3ydd—diwrnod nodedig ei fuddugoliaethau yn Dunbar a Worcester, y rhai a gadwai bob blwyddyn gyda llawenydd a diolchgarwch—cyn fod yr haul wedi machlud yr oedd ei enaid wedi ehedeg i fyd yr ysbrydoedd. Yr oedd yn ei 60fed mlwydd o'i oedran.

Cymeriad Cromwell. Nid gorchwyl hawdd yw cael y safle briodol i edrych ar gymeriad Cromwell. Nid oes un dyn yn hanesiaeth ein gwlad ag y mae cymaint o ddrwg a da, annghlod a chlod, gwarth a gogoniant, wedi eu tywallt mor ddibrin ar ei ben, gan haneswyr a beirniaid y ddau gan mlynedd diweddaf. Ceisia un dosbarth berswadio y byd nad oedd ei holl fywyd ond un casgliad o falchder a thwyll, gyda phethau crefyddol a gwladol. Gesyd dosbarth arall

ef allan fel penboethiad dallbleidiol ac ynfyd, ac os nad oedd yn twyllo eraill, ei fod yn ei dwyllo ei hun. Ac y mae dosbarth arall, wedi eu gyru i eithafoedd gan yr ysgrifenwyr hyn, am ei ddangos fel angel goleuni, heb ynddo na diffyg na bai. Caiff ei elyn, y Pabydd brwd (ond hanesydd o fri), Dr. Lingard, droi tystiolaeth y blaenaf yn ol. "Myn rhai ysgrifenwyr," meddai, "fod Cromwell yn dwyllodrus mewn pethau crefyddol yn gystal ag mewn pethau gwladwriaethol; ond y mae y dybiaeth hon yn cael ei gwrthbrofi gan holl nodwedd ei fywyd." Mae Carlyle a Macauley, a llu o haneswyr diweddar eraill, wedi codi hanes cyflawn Cromwell i olwg y byd, ac wedi profi yn wyneb haul, nad ydoedd yn benboethiad dall, nac yn ormeswr cul-feddwl, fel y myn rhai i ni gredu. Y maent wedi clirio ymaith hen rwbel rhagfarn a chenfigen oddiar ei gymeriad, fel y mae barn derfynol y cyhoedd erbyn hyn wedi ei gyfiawnhau, a'i brophwydoliaeth yntau wedi ei chyflawni. "Gwn," meddai, "fod Duw wedi bod uwchlaw pob cam-gyhuddiadau, ac y bydd iddo, yn ei amser da ei hun, fy amddiffyn."

Y prif bechodau y cyhuddir Cromwell o honynt gan ei elynion ydoedd, ei waith yn cytuno i dori pen Charles, ei greulondeb yn Iwerddon, a'i ymddygiad at ei seneddau. Ni fynem ei gyhoeddi yn ddifai yn y naill na'r llall o'r amgylchiadau hyn; ond dylid cymeryd yr holl amgylchiadau i mewn cyn ffurfio barn na chyhoeddi y ddedryd ar ei ymddygiadau. "Yr ydym yn rhwym," meddai Dr. Vaughan, "o gymeryd i ystyriaeth y temtasiynau y teflid ef o'u blaen gan yr amgylchiadau y gosodid ef ynddynt, yn gystal a thueddfryd a neillduolion ei syniadau crefyddol, a'i dymher naturiol; ac wedi hyny edrych pa sawl dyn sydd wedi bod, a fuasai, mewn sefyllfa gyffelyb, yn cadw ei gymeriad yn ddifrycheulyd."*

Mae Cowley yn myned dros gyfres o orchestion bywyd Oliver gyda thalent arbenig, ac yn eu dangos mewn goleuni dysglaer. "Beth all fod yn fwy hynod na gweled dyn o enedigaeth ac addysg annghyhoedd, heb ffortun, heb alluoedd corphorol anarferol—y rhai sydd weithiau, na thalentau meddyliol dysglaer—y rhai sydd yn fynych, yn codi dynion i'r anrhydedd uchaf,—gweled hwn yn meddu ar ddewrder i gynyg, a galluoedd i gyflawni amcan mor fawr a dymchweliad un o'r breniniaethau hynaf a chadarnaf yn y byd—iddo feddu y gallu a'r hyfdra i roddi ei dywysog a'i feistr i farwolaeth agored a gwaradwyddus—alltudio y teulu lluosog a chadarn hwnw—gorchuddio y gorhyfder hwn ag ufudd-dod ymddangosiadol i'r senedd, i'r hon y cymerai arno fod yn was—mathru y senedd hono eilwaith, yn ei thro, a'i diswyddo yn ysgornllyd mor fuan ag yr anfoddlonodd ef—sefydlu yn ei lle lywodraeth o saint, a sylweddoli y meddylddrych mwyaf breuddwydiol ag a goleddwyd erioed

*History, part ii., 547.

yn nychymyg cyffrous unrhyw benboethiad—llethu eilwaith yr anghenfil hwnw yn ei fabandod, a gosod ei hunan i fyny yn agored uwchlaw pob peth a alwyd erioed yn frenin yn Lloegr—gorchfygu ei holl elynion trwy arfau yn gyntaf, a'i holl gyfeillion eilwaith trwy gyfrwysdra—gwasanaethu pob plaid am dro, a'i llywodraethu o'r diwedd yn fuddugoliaethus—goresgyn pob congl o'r tair cenedl, a darostwng gyda'r un rhwyddineb gyfoeth y deheu a thlodi y gogledd—cael ei ofni a chynffon-loni iddo gan yr holl dywysogion tramor, a chael ei fabwysiadu yn frawd i dduwiau y ddaear—galw seneddau yn nghyd gyda gair o'i ysgrif-bin, a'u gwasgaru eilwaith gydag anadl ei enau? * * * Etifeddiaethau a bywydau y tair teyrnas yn gymaint at ei law ag y bu unwaith etifeddiaeth fechan ei dad, ac yn eu defnyddio mor rhagorol a haelfrydig—marw mewn meddiant o heddwch cartrefol a choncwest dramor—cael ei gladdu yn mysg breninoedd, a chyda rhwysg mwy na breninol; a gadael enw ar ei ol i farw gyda'r byd, yr hwn, fel yr oedd yn rhy fychan i'w glod, allasai fod yn rhy fychan i'w fuddugoliaethau, pe gallasai llinyn byr ei fywyd ymestyn allan i eangder ei fwriadau anfarwol."

Pwnc mawr Cromwell yn y deng mlynedd diweddaf o'i fywyd, oedd atal y naill blaid i esgyn i'r fath oruchafiaeth fel ag i orthrymu pleidiau eraill, a dwyn yr holl bleidiau at eu gilydd ar seiliau cedyrn a manteisiol. Dadleuai Ludlow dros "i'r genedl gael ei llywodraethu trwy ei chydsyniad ei hun." Atebodd Cromwell ef, "Yr wyf gymaint am lywodraeth trwy gydsyniad ag un dyn; ond pa le y cawn y cydsyniad hwnw—yn mysg yr Esgobyddion, y Presbyteriaid, yr Annibynwyr, yr Ail-fedyddwyr, neu y Gwastadwyr?" Credai Cromwell nad allai neb lywio y llywodraeth yn mlaen i gyrhaedd yr amcan hwn ond ei hunan; a thybiodd unwaith nas gallasai yntau heb y titl *brenin*.

Dywed D'Aubigne fod y dygwyddiadau gofidus ganlynodd farwolaeth Cromwell yn pregethu ei bregeth angladdol gyda mwy o hyawdledd na thafod Bosuet, neu delyn Waller,* Dryden, neu

*Mae cyfeiriad gan Waller yn y llinellau hyn at yr ystorm oedd yn diwreiddio y coedydd mawrion yn mharc St. James, pan oedd Cromwell yn ymdagu ag angau.

"We must resign! Heaven his great soul doth claim
In storms, as loud as his immortal fame;
His dying groans, his last breath shakes our isle;
And trees, uncut, fall for his funeral pile;
About his palace their broad roots are tost
Into the air. * * * *
Ungrateful then! if we no tears allow
To him that gave us peace and empire too.
Princes that fear'd him grieve, concern'd to see
No pitch of glory from the grave is free.
Nature herself took notice of his death,
And sighing, swelled the sea with such a breath
That, to remotest shores her billows roll'd,
The approaching fate of their great ruler told."

Milton. "Datododd ei farwolaeth," meddai Macauley, "holl gorph cymdeithas. Cododd y fyddin yn erbyn y senedd, ac un rhan o'r fyddin yn erbyn y llall. Cododd sect yn erbyn sect, a phlaid yn erbyn plaid; aberthodd y Presbyteriaid, yn eu gwanc i ddial ar yr Annibynwyr, eu rhyddid a'u hen egwyddor; heb daflu trem ar yr amser a aeth heibio, na phrisio am y dyfodol, taflasant eu rhyddid wrth draed y gormeswr mwyaf gwageddus a digalon. Yna y daeth y dyddiau hyny nas gellir eu cofio heb wrido; dyddiau gwaseidd-dra heb deyrngarwch, cnawdolrwydd heb gariad; dyddiau talentau bychain a drygau mawrion, paradwys calonau oerllyd a meddyliau culion, ac oes auraidd y llibinwas, y penboethyn, a'r caethwas. Yn mhob uchelfan addolid Charles a James, Belial a Moloch; a chymodai Lloegr yr eilunod ffiaidd hyny â gwaed ei mheibion goreu a dewraf. Dylynid trosedd gan drosedd, gwaradwydd gan waradwydd, nes i'r genedl gael ei gyru yr ail waith, wedi ei mhelldithio gan Dduw a dyn, i grwydro ar hyd wyneb y ddaear, ac i fod yn wrthddrych gwawd ac ysgydwad pen i'r holl genedloedd."*

Ychwanega yr un awdwr galluog, "Yr oedd Cromwell *yn ddyn.* Ni chafodd llywodraethwr erioed ei eni yn fwy amlwg i benaduriaeth. Y cwpan yr hwn a feddwai agos pawb eraill, a'i sobrai ef. Gorphwysai ei ysbryd, yr hwn oedd yn aflonydd gan ei ysgafnder ei hun yn mhob cylch îs—gorphwysai mewn tawelwch mawreddog can gynted ag y cyrhaeddodd yr uchder oedd yn gydnaws iddo. Er mor gyflym y tyfai ei ffortun, ymeangai ei feddwl yn fwy cyflym. Yr oedd yn ddibwys fel dinesydd, yn fawr fel cadfridog, ond yn fwy fyth fel tywysog. Yr oedd ei lywodraeth yn ogoneddus, ac nid gogoniant cyffredin ydoedd. Nid un o'r cyfnodau o ymdrech dirdynol ydoedd, sydd o angenrheidrwydd yn dwyn gwendid ac eiddilwch ar ei ol. Yr oedd ei yni yn naturiol, yn iachus, a chymedrol. Gosododd Loegr yn ben yr achos Protestanaidd, ac yn y rhes flaenaf yn mysg galluoedd Cristionogol. Dysgodd bob cenedl i brisio ei chyfeillgarwch, ac i ofni ei gelyniaeth." Dywed Dr. Vaughan na chododd un rhyfelwr hunan-ddysgedig erioed gymaint yn uwch na'i gydoeswyr; nad oedd Napoleon ei hun yn fwy o flaen ei oes, er iddo gael yr addysg filwrol oreu allai yr oes fforddio.

Gellir ychwanegu at hyn oll, mai ffynonell nerth a dirgelwch llwyddiant Cromwell oedd ei dduwioldeb anarferol. Mae yn anmhosibl darllen ei lythyrau a'i areithiau heb fod dan yr argyhoeddiad mai crefydd oedd ei nod mawr. Yr oedd ymdrechion ei enaid gafaelgar mor ddifrifol ac ymroddgar ar ei ddeulin ger bron Duw, ag oeddent o flaen ei fyddin yn nghanol mwg a thwrf y rhyfel. "Dau ddyn oedd yn yr eilfed ganrif ar bymtheg—Louis XIV. o Ffrainc, ac Oliver Cromwell. Y cyntaf yn cynnrychioli unbenaeth

*"Macauley's Essays," i. 47, 48.

a Phabyddiaeth, a'r llall yn cynnrychioli Cristionogaeth efengylaidd a rhyddid. Rhyngddynt hwy—rhwng eu cyfundraethau, os nid eu personau—yr ymladdwyd y frwydr; a Cromwell gafodd y fuddugoliaeth. Y maent yn gynnrychiolwyr dwy egwyddor—dau fyd. Mae eu delwau wedi eu codi ar ben colofnau uchel; a'u cysgod yn ymdaflu, nid dros eu hoes eu hunain yn unig, ond yn ymestyn dros yr holl oesau dyfodol. * * * Os oes rhyw ddyn, fel offeryn yn llaw Duw, wedi cyfranu mwy na phawb eraill i gynyrch rhyfeddodau yr oes bresenol, y dyn hwnw yw Oliver Cromwell. Nid yw mawredd presenol Lloegr ond cyflawniad o'i gynllun ef. * * * Os bydd i'r brwdfrydedd hwnw dros yr efengyl, ac i'r gwrthwynebrwydd hwnw i Babyddiaeth, dau o brif nodweddion meddwl Cromwell, y rhai a argraffodd ar bobl Prydain Fawr,—os bydd iddynt golli o'r wlad; os bydd i gwymp marwol atal gyrfa Gristionogol y genedl hono; ac os bydd i Rufain, yr hon sydd eisoes wedi dystrywio cynifer o deyrnasoedd, dderbyn gwarogaeth brenines y moroedd; yna, os dygwydd i mi, mewn amser dyfodol, dalu ail-ymweliad â'i glanau, caf ei gogoniant wedi ymadael, a'i gallu wedi ei ddarostwng i'r llwch. Ond ni chyflawnir y dybiaeth bruddaidd byth. Bydd Prydain Fawr yn ffyddlon i'r llwybr a dorwyd allan iddi gan Dduw yn nyddiau Oliver. Erys yn 'ddinas wedi ei gosod ar fryn, yr hon nid ellir ei chuddio;' a deil i wasgar goleuni, gwareiddiad, a ffydd, dros wyneb yr holl ddaear."*

---

Ar farwolaeth Cromwell, cyhoeddwyd ei fab hynaf, Richard Cromwell, yn ol arch ei dad, meddid, yn olynydd iddo fel amddiffynydd y deyrnas, a dangoswyd yr unfrydedd mwyaf yn yr achos. Cydnabyddwyd ei ddyrchafiad gan y fyddin a'r llynges yn Lloegr, yn gystal a chan y bobl, a chan Monk a'i fyddin yn Ysgotland. Dywedai yr ysgrifenydd Thurloe, mewn llythyr at Henry Cromwell i Iwerddon, Medi 7fed, "Rhyngodd bodd i'r Arglwydd roddi i'w uchelder, eich brawd, gael mynediad rhwydd a heddychlon i'w lywodraeth." Yr oedd Richard yn ddyn serchog a dymunol, ond yn hollol amddifad o nerth meddwl, a gogwydd milwrol ei dad, ac o'r yni angenrheidiol i ddal awenau y llywodraeth ar y fath adeg. Treuliodd ei ddyddiau boreuol i astudio y gyfraith; ac er fod ei dad wedi ei wneyd yn arglwydd masnach, yn ganghellydd Rhydychain, ac yn aelod o'r Tŷ uchaf, yr oedd bywyd tawel boneddwr gwledig yn fwy cydnaws â'i ysbryd ef. Mae cymdeithas yn rhwym o deimlo wrth golli dyn mawr dan unrhyw amgylchiadau. "Ond pa gyfnewidiad allai fod mor fawr a hwnw o Oliver Cromwell i'w fab! o dan un ag yr oedd ei ddychryn yn gwneyd i genedl yswatio, a thywysogion tramor welwi; un wedi ei ddysgyblu mewn ugain

* "The Protector," by Dr. D'Aubigne, 308—310.

mlynedd o chwyldroadau pwysig, i ddyn ieuanc dibrofiad, heb fod ynddo unrhyw alluoedd naturiol yn rhagori ar y lluaws."

Daeth y cyfnewidiad yma i'r golwg yn fuan mewn achwyniadau ac anfoddlonrwydd—yn benaf yn mysg swyddogion y fyddin. Edrychid ar ddyrchafiad Richard gyda llygad eiddigus gan Fleetwood, ei frawd yn nghyfraith. Tybiai Lambert yntau mai efe ddylasai fod yn olynydd Cromwell. Anfonwyd deiseb at Richard yn gofyn ganddo roddi ei awdurdod ar y fyddin i fyny. Boddlonodd yntau benodi Fleetwood yn *lieutenant-general* ar y fyddin; ond dywedai fod ildio dim pellach yn groes i ysgrif y *Petition and Advice*, yr hwn oedd yn sefydlu yr awdurdod yn nwylaw yr Amddiffynydd a'r senedd yn nghyd. Parodd y pethau hyn, yn nghydag angen am arian, i Richard alw senedd yn nghyd; ac, wrth gynghor Whitelock, anfonwyd gwys-lythyrau i ethol aelodau yn ol yr hen ddull.

Cyfarfu y senedd yn Ionawr, 1659. Yr oedd hon eto yn gymysgedd o elfenau gwrthwynebol. Y gwleidiadwyr mwyaf profedig a gefnogent Richard oeddent Thurloe, Broghill, St. John, Whitelock, a Pierpont. Yr oedd tua haner yr aelodau yn gefnogol i'r Amddiffyniaeth. Yr oedd yn eu mysg hefyd tua haner cant o Werinwyr, dan arweiniad Haselrig, Vane, Ludlow, Lambert, Bradshaw, a Scot. Ac yr oedd yn eu plith hefyd amryw freninwyr, yn cael eu cyfarwyddo gan Hyde ac eraill, i gyffroi cynenau rhwng y pleidiau, y rhai a bleidleisient weithiau fel hyn, ac weithiau ffordd arall. Dewiswyd Chute yn llefarydd. Y ddau bwnc pwysig a ddygwyd ger bron oedd, a fuasent hwy (y Cyffredin) yn cydnabod yr amddiffynydd newydd, ac a fuasent yn cydnabod awdurdod y Tŷ arall. Trodd y cyntaf, gyda chryn anhawsdra, o blaid Richard, a'r llall, ar ol gwneyd amryw o gyfnewidiadau, o blaid y Tŷ uchaf. Ond er cario y ddau bwnc, parhaodd yr amrafaelion i fygwth dyogelwch yr amddiffynydd. Cynelid cyfarfodydd gan swyddogion y fyddin, a chan y pleidiau eraill mewn gwahanol fanau yn y ddinas. Aeth aflonyddwch y fyddin yn ormod yn fuan i Dŷ y Cyffredin i'w lywodraethu. O'r diwedd, aeth Desborough yn genadwr dros y fyddin at Richard i geisio ganddo dori y senedd i fyny, ac yna y buasent hwy yn ei amddiffyn; ond os na wnai, y gwnelent hwy hyny eu hunain. Wedi ymgynghori a'i gyfeillion (Whitelock yn unig a wrthwynebai), cydsyniodd Richard, a thorwyd y senedd i fyny cyn diwedd Ebrill; a seliwyd tynged yr amddiffynydd trwy hyny.

Ond yr oedd llwybr y swyddogion milwrol yn llawn rhwystrau eto. Y prif beth yn eu golwg hwy oedd cadw eu hunain mewn awdurdod. Wedi petruso yn hir pa lwybr i'w gymeryd, penderfynasant alw yn nghyd eto weddill y Senedd Hir, yr hon a elwid *Rump* (y gynffon), a'r hon a wasgarwyd gan Cromwell. Ar y 7fed o Fai ymgyfarfu lluaws o honynt gyda Lenthall, ei hen lefarydd.

Etholwyd cynghor llywodraeth, ac ar yr 21ain, pasiwyd "gweriniaeth rydd, heb un amddiffynwr na Thŷ Arglwyddi." Cymerodd y fyddin arni amddiffyn y senedd hon, a chydnabyddwyd ei hawdurdod yn o gyffredinol. Felly syrthiodd Richard Cromwell o'i anrhydedd heb wneyd unrhyw ymdrech i wrthsefyll; arwyddodd ei ddiswyddiad ei hun yn dawel, ymneillduodd i fywyd annghyhoedd, a bu byw agos hyd ddiwedd teyrnasiad Anne. Yr oedd Henry ei frawd, yr hwn oedd yn meddu mwy o ysbryd ei dad na Richard, yn llywodraethwr Iwerddon, ac mewn bri mawr gyda'r bobl. Ofnwyd y buasai ef yn gwrthwynebu; ond rhoddodd yntau ei swydd i fyny yn dawel, a daeth drosodd i Loegr.

Ond magodd teimladau drwg yn fuan rhwng y senedd a'r fyddin; oblegyd mynai y naill fod â'r awdurdod uchaf ar y llall. Hefyd ymunodd y Presbyteriaid a'r *cavaliers* â'u gilydd i'w gwrthwynebu, a ffurfiwyd cynlluniau dirgelaidd o blaid adferiad Charles Stuart i'r orsedd. Penderfynwyd ar godiad cyffredinol trwy y wlad, ac yr oedd Charles yn barod i forio drosodd; ond bradychwyd y cynlluniau gan Willis, ac ni chodwyd oddigerth yn Cheshire, dan arweiniad Syr George Booth, yr hwn a ddarostyngwyd yn fuan gan Lambert. Cymerwyd Booth, Iarll Derby, ac eraill, a thaflwyd hwy i'r Tŵr, ac anfonwyd i rwystro Charles i ddyfod drosodd. Parodd buddugoliaeth Lambert iddo ef a'i gyd-swyddogion ymhyfhau yn erbyn y senedd, a dechreuasant arfer eu hawdurdod yn annibynol arni. Gwnaed Fleetwood yn faes-lywydd, Lambert yn *major-general*, a Desborough a Monk yn is-raglawiaid. Gwelodd y senedd ei pherygl, a cheisiodd ddal ei hawdurdod trwy ddiswyddo Lambert, Desborough, ac eraill, a phasio amryw fesurau beiddgar. Apeliwyd at arfau gan y fyddin a'r senedd, a daeth y byddinoedd i wyneb eu gilydd yn Westminster. Penderfynodd y cynghor nad oedd y senedd i eistedd yn hŵy, a bod senedd newydd i gael ei galw yn fuan.

Dychrynwyd y wlad gan yr agwedd fygythiol hon ar bethau, ac ofnai syrthio eto i ryfel cartrefol. Teimlai Monk a'i fyddin yn Ysgotland hefyd y dylasai fod ganddynt hwy lais yn nygiad llywodraeth y deyrnas yn mlaen, yn gystal a'r swyddogion milwrol oedd yn Lloegr, a chymerodd y cadfridog hwn y lle blaenaf yn y symudiadau o hyn i adferiad Charles. Bu y dyn hynod hwn yn gwasanaethu dan Goring yn Holland, ac yn myddin y brenin yn Iwerddon; cymerwyd ef yn garcharor gan y Pengryniaid yn Nantwich; cyflogwyd ef wedi hyny gan y senedd, bu yn was ffyddlon i Cromwell, gan yr hwn y cafodd y llywodraeth yn Ysgotland, ac ymroddodd i gefnogi ei fab ar ei ol: ac eto trwy y cyfnewidiadau hyn oll dywedir nad oedd y breninwyr wedi colli eu gobaith ynddo. Nid oedd ef yn selog iawn dros unrhyw egwyddor, os gallai gadw ei hunan mewn awdurdod. Gwelai fod gallu Cromwell wedi syrthio, ac y mae yn

ddios mai ei fwriad oedd adferu y brenin, os gallai weled gobaith am lwyddiant. Croesodd i Loegr gyda saith mil o wŷr, a phrysurodd tua'r brif-ddinas, heb neb yn gwybod ei neges—os gwyddai ef ei hun. Yr oedd Fairfax hefyd, yr hwn oedd mewn dealltwriaeth â Monk, ac yn bleidiol i'r adferiad, wedi cael derbyniad gan y breninwyr i York. Cafodd Monk Lundain yn llawn ymbleidiau a therfysg, yn mysg y pendefigion, y milwyr, a'r dinaswyr. Yr oedd Lambert wedi ei adael gan ei wŷr, ac wedi ei letya yn y Tŵr, ac yr oedd y bobl yn uchel eu cri am senedd rydd. Yr oedd y *Rump* eto wedi ymgasglu at eu gilydd, a swyddogion y fyddin yn awr yn foddlon derbyn eu hawdurdod oddiwrthynt. Ond yr oedd y gymanfa hon bellach yn wrthodedig gan y bobl, a'r fyddin yn llawn ymrwygiadau. "Cadwodd byddin unedig genedl ymranedig yn hir dan ei hawdurdod; ond yr oedd y genedl yn awr yn unedig, a'r fyddin yn ymranedig."

Crochlefai y bobl am senedd rydd; ac yr oedd yn amlwg, os ceid hono, y troisai y fantol yn ffafr Charles Stuart. Ni wyddid beth oedd yn mryd Monk, ac y mae yn debyg nad oedd ganddo un cynllun wedi ei wneyd hyd nes iddo dreulio amryw ddyddiau yn Llundain. Pan welodd y gallai feiddio, cyhoeddodd ei hun o blaid senedd rydd, ac atebwyd ei gyhoeddiad gan lon-gyfarchiadau calonog y genedl. Ymgasglai y miloedd o'i gwmpas, bendithient ei enw, cenid y clychau, llifai y cwrw trwy y cwterydd, a gwridai awyrgylch Llundain a'i chwmpasoedd gan y coelcerthi. Dychwelodd yr hen aelodau Presbyteraidd i'r senedd, ac enciliodd y blaenoriaid Annibynol. Cadarnhawyd ac eangwyd awdurdod Monk, ac ysgrifenwyd gwys-lythyrau i awdurdodi etholiad cyffredinol. Ac o'r diwedd, ar ol ugain mlynedd o yrfa fythgofiadwy, rhoddodd y gymanfa nodedig hono, a elwir y Senedd Hir, derfyn ar ei heisteddiad ei hun.

Aeth yr etholiad yn mhob man o blaid y *Royalists*, a gwelwyd bellach fod adferiad y brenin yn beth sicr. Yr unig allu peryglus iddo oedd y fyddin, yr hon oedd tua haner can mil o nifer, ac yn casâu y titl brenin, yr enw Stuart, ac yn casâu Presbyteriaeth yn fawr, ac Esgobyddiaeth yn llawer mwy. Ond yr oeddynt heb un blaenor i'w harwain; ac wrth weled ymgais Lambert, wedi dianc allan o'r Tŵr, i godi gallu yn erbyn plaid y brenin yn methu, penderfynasant ymostwng.

Ebrill, 1660, ymgyfarfu y senedd newydd yn Westminster, a daeth yr Arglwyddi yn nghyd ar ol cael eu cau allan am un mlynedd ar ddeg. Yno yr eglurodd Monk ei fwriad o blaid adferiad Charles, a chytunwyd i anfon cais ato am ei ddychweliad. Yr oedd Monk eisoes mewn cyfrinach â'r brenin, trwy gyfrwng Syr John Granville, ac yr oedd Granville yn mhorth y Tŷ gyda llythyrau oddiwrth Charles at y senedd ar y pryd, yn ol cyfarwyddyd Monk—

er y mynai y cadfridog iddynt ddeall na wyddai ef ddim am y peth. Yn y llythyrau hyn, y rhai a adnabyddir wrth yr enw "Y mynegiad o Breda," rhoddai Charles atebiad i'r pethau a awgrymasid iddo gan Monk; sef addaw maddeuant cyffredinol; rhyddid cydwybod; taliad ol-gyflogau y fyddin, ac amryw bethau eraill; ond gofalodd ychwanegu y gwnaethai hyn gyda chydsyniad ei senedd, yr hyn oedd cystal ag ymryddhad oddiwrth ei rwymedigaeth iddynt. Cynghorodd Syr Matthew Hale, Prynne, ac eraill, y Tŷ i arafu, a mynu dealltwriaeth mwy clir, a chytundeb mwy cadarn â Charles, tra fyddai y gallu yn eu dwylaw. Ond gwrthododd Monk redeg y perygl o oedi, a dadleu y pynciau hyn. Derbyniwyd mynegiad Charles gan y Tŷ gyda llawenydd, a chyhoeddasant yn ddioed adferiad yr hen ffurf-lywodraeth, gyda brenin, arglwyddi, a chyffredin. Pleidleisiwyd y swm o haner can mil o bunau i Charles, deng mil i Duc York, a phum mil i Duc Gloucester. Tynwyd arf-arwyddion y Weriniaeth i lawr o bob man, a gosodwyd yr arf-arwyddion breninol yn eu lle. Cyhoeddwyd Charles, ar yr 8fed o Fai, wrth borth Neuadd Westminster, ac anfonwyd cenadau i'w gyrchu drosodd. Llon-gyferchid ef gan filoedd o'r tu draw i'r môr pan yn symud o Breda i'r Hague. Glaniodd ef a'i ddau frawd, York a Gloucester, yn Dover, ar y 25ain, a derbyniwyd ef yn llawen gan Monk ac eraill. Yr oedd yr holl ffordd o Dover i Lundain yn cael ei llinellu ag edrychwyr ac ewyllyswyr da i Charles, a'u banllefau yn rhwygo yr awyr; ac ar y 29ain, dydd pen ei flwydd, cyrhaeddodd Lundain, ac adferwyd y crwydredig yn ddyogel a llawen i balas ei hynafiaid. Dangoswyd y fath brysurdeb i'w ddwyn adref, a'r fath orfoledd cyffredinol ar ei dderbyniad, fel yr oedd yn syn meddwl beth ddarfu i'w wrthwynebwyr, ac y dywedodd Charles, y rhaid mai arno ef yr oedd y bai na fuasai wedi cymeryd meddiant o'r orsedd yn gynt, gan fod pawb mor selog dros ei adferiad.

## IV.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Crefydd, a Rhyddid Crefyddol.

Adeg derfysglyd a chwyldroadol ar yr eglwys fu y cyfnod hwn. Yr oedd Calfin, fel y dangoswyd o'r blaen, wedi taflu dylanwad mawr i Buritaniaeth Prydain, a hyny yn benaf trwy offerynoliaeth ei ddysgybl Ysgotaidd nodedig, y diwygiwr Knox. Ar esgyniad James I. i orsedd Lloegr, coleddai y Puritaniaid obeithion cryf am nawdd odditan orthrwm yr eglwys Esgobol, am ei fod ef mor selog o'u plaid. Ond ni fu James yn hir cyn newid ei farn a'i ymddygiadau, a dyfod yn fwy selog fyth o blaid yr Esgobyddion. Yr oedd mor wancus am gael awdurdod hollol i'w law ei hun, a gwelai bod Esgobyddiaeth yn fwy cydnaws ag unbenaeth, a bod Presbyteriaeth yn fwy tebygol a chefnogol i Weriniaeth; felly daeth yr enw yn gasbeth yn ei olwg. Er hyn

safai yn selog o blaid yr athrawiaeth Genevaidd cyhyd ag y parhaodd yr enwog Abbot yn archesgob Canterbury, yr hwn oedd o syniadau Calfinaidd, ac yn bleidiol i ryddid. Wedi hyny coleddodd James yr athrawiaeth Arminaidd, a daeth yn fwy ffyrnig fyth yn erbyn y Presbyteriaid; a bu farw yn elyn i'r ffydd a broffesodd yn ei febyd. Aeth Charles I. yn mlaen yn yr un cyfeiriad a'i dad, i geisio darostwng holl grefydd y wlad dan iau Esgobyddiaeth, gan dybied fod y ffurf hono yn fwy ffafriol i'r penadur gwladol. Ei brif offeryn i gario allan ei gynlluniau oedd Laud, esgob Llundain, ac wedi hyny archesgob Canterbury, yr hwn a ymdrechodd i geisio gwisgo yr athrawiaeth Arminaidd mewn gwisg o ddefodau Pabaidd; a'r hwn wedi hyny a ddienyddiwyd gan y senedd am fradychu rhyddid a chrefydd y wlad.

Yn ystod y chwyldroadau a godasant o amrafaelion gwladol ac eglwysig Charles a'r senedd, a than amddiffyniaeth Cromwell, cododd amryw sectau crefyddol eu penau yn y wlad. Y Puritaniaid, neu y Presbyteriaid, oedd y lluosocaf, y rhai a gynwysent y rhan fwyaf o'r clerigwyr sefydledig yn amser y Weriniaeth.* Yr oedd yr Annibynwyr hefyd yn blaid luosog, yr hon yr oedd Cromwell ei hun yn ben arni. Yr oedd athrawiaeth yr Annibynwyr yn gyffelyb i eiddo y Presbyteriaid, ond eu bod yn gwahaniaethu yn eu ffurf eglwysig. Cawsant yr enw oddiwrth eu bod yn dal fod pob eglwys yn annibynol, neu yn meddu awdurdod i lywodraethu ei hachosion ei hun, heb unrhyw ymyriad oddiallan. Yn mysg y sectau llai pwysig oedd y Crynwyr, dan arweiniad eu sylfaenydd, George Fox; yr Ail-fedyddwyr; y Deistiaid, y rhai a geisient seilio eu crefydd ar natur a rheswm, dan arweiniad Sydney, Neville, Martin, a Harrington; yr Antinomiaid, neu Uwch-Galfiniaid, y rhai a godasant o fysg y Presbyteriaid; a'r Rhydd-feddylwyr, o ba rai yr oedd yr enwogion Hales a Chillingworth.

Nid oedd egwyddor rhyddid crefyddol yn cael ei deall yn y wlad hon hyd adeg fythgofiadwy y Weriniaeth. Cromwell ydoedd ei hesboniwr a'i sylfaenydd. Caniatäai ef i bob sect grefyddol broffesu a chyhoeddi eu syniadau yn ol eu hewyllys. Mae yn wir y gwaherddid y gwasanaeth Pabaidd, yn gystal a'r arferiad agored o'r ffurf-wasanaeth Esgobol; ond gwaherddid y cyntaf oddiar dybied fod gweini y *mass* yn eilunaddoliaeth, a'r olaf yn fwy oddiar seiliau gwleidyddol na chrefyddol. Ystyrid athrawiaeth Socinus† hefyd yn gabledd, a dyoddefodd Fry a Biddle, ei chefnogwyr, erledigaeth o'r herwydd; cafodd y cyntaf golli ei le yn y senedd, a'r olaf ei garcharu. Gyda'r eithriadau hyn, nid aflonyddid ar neb yn achos eu crefydd; ac y mae genym dystiolaeth gelynion yn gystal a

*Vaughan. †Laelius Socinus a'i nai, Faustus Socinus, brodorion o Tuscany, yn yr 16eg ganrif.

chyfeillion, yn dangos i grefydd yn y cyfamser enill dylanwad pwysig yn y wlad. Ar ddiwedd y rhyfeloedd cartrefol yr oedd y prif-ysgolion wedi syrthio i gyflwr truenus; llawer o'r colegau yn annghyfanedd: a rhai wedi eu troi yn llety milwyr, ac yn ystorfeydd i gadw nwyddau rhyfel. Yr oedd pump o golegau Rhydychain heb un efrydydd o'u mewn. Ond, yn ol tystiolaeth Clarendon, yr oeddent mewn cyflwr hollol wahanol yn amser yr adferiad: "yn ildio cynhauaf toreithiog o ddaioni, a chynydd anarferol yn ngwahanol gangenau gwybodaeth; a llawer oeddent wedi eu gosod i mewn yn ddrygionus, yn ymroddi i ddysgu, ac arfer bywyd rhinweddol."

Seiliai Cromwell ei syniadau rhyddfrydig ar ei gariad at wirionedd. Pan gymerwyd George Fox i fyny am ei syniadau a'i ymdrechion crefyddol, ysgrifenodd lythyr at Cromwell o'i garchar, yn dymuno cael talu ymweliad ag ef. Caniataodd yr amddiffynwr; ac ar ol ymgomio am dro, dywedodd Cromwell, "Tyred eto i fy nhŷ, oblegyd pe byddai i ti a minau dreulio awr o bob dydd gyda'n gilydd, delem yn agosach y naill i'r llall." Nid yn ei wlad ei hun yn unig ychwaith yr ymdrechai Cromwell dros ryddid; ond mynai seilio ei gytundebau tramor yr un fath, ar y telerau o ganiatau rhyddid cydwybod i ddeiliaid yr amrywiol wledydd. Pan geisiai Spain wneyd cytundeb â Lloegr, gofynai Cromwell, fel amod, nid yn unig i byrth masnach â'r India Orllewin a Deheubarth America gael eu taflu yn agored i faner Lloegr, ond hefyd fod i sefydliad gorthrymus ac uffernol y chwil-lys gael ei ddifodi, a rhyddid i bob dyn i ddarllen y Bibl, ac addoli Duw fel y gwelai yn dda. Cafodd gynorthwywr rhagorol hefyd yn ei ysgrifenydd, yr anfarwol Milton, yr hwn a fynai gario yr egwyddor yn mhellach na Cromwell ei hun, a thori y cysylltiad rhwng yr eglwys a'r wladwriaeth. Dywedai wrth Cromwell, "Pe gadawech yr eglwys iddi ei hun, ac felly difeichio eich hunan a'r swyddogion gwladol yn gyffredin oddiwrth achos sydd yn ffurfio haner eu hanhawsderau, ac yn gwbl annghydweddol â'u swyddau priodol; a pheidio caniatau i awdurdodau annghydnaws yr eglwys a'r wladwriaeth i barhau eu hystrywiau i anafu a dymchwel y naill y llall, na rhoddi unrhyw lyffethair ar gydwybod, yr hyn sydd o angenrheidrwydd yn wenwyn yr eglwys, ac yn glefyd gwddf i wirionedd; felly dymchwelech y cyfnewidwyr arian, a gwerthwyr, nid colomenod, ond y Golomen ei hun: ysbryd santaidd Duw wyf yn feddwl."

Llenorion a Llenyddiaeth. Nid oes gan lenyddiaeth unrhyw waith duwinyddol mawr yn perthyn i'r cyfnod hwn i ymffrostio ynddo; eto nid oedd yn amddifad o lenorion. Yr oedd Joseph Hall, esgob Exeter a Norwich wedi hyny, yn un o dduwinyddion mwyaf dysgedig, ac yn un o bregethwyr mwyaf talentog ei oes; ac yr oedd

hefyd yn fardd o gryn fri. Ysgrifenodd lawer o lyfrau, yn mysg pa rai y mae ei "*Contemplations*," a'i "*Art of Divine Meditation*," efallai y mwyaf adnabyddus. Bu Milton ac yntau yn ysgrifenu yn erbyn eu gilydd ar faterion eglwysig. Yr oedd John Hales a William Chillingworth hefyd yn ysgrifenwyr galluog, yn enwedig yr olaf, ar bynciau dadleuol crefydd. Ond y mwyaf o dduwinyddion Seisnig y ddwyfed ganrif ar bymtheg oedd yr enwog Jeremy Taylor, yr hwn a aned yn 1613, ac a fu farw yn Down a Connor, yn 1667. Ei brif weithiau yw ei bregethau, ei "*Golden Grove*," "*Holy Living*," "*Holy Dying*," &c.; ac y mae ynddynt lawer o syniadau, ysbryd, a thalent annghydmarol. "Spenser ein hysgrifeniadau rhyddieithiol ydyw, ac y mae ei ryddiaith weithiau mor awenyddol a mydr Spenser." Dylesid nodi ei "*Theologia Eclectica*" hefyd fel un o'i brif weithiau, yr hwn y gellid ei roddi yn ochr "*Areopagitica*" Milton, a gyhoeddwyd ychydig o'i flaen. Yn y naill gwna Taylor dros ryddid cydwybod yr hyn a wna Milton yn y llall dros ryddid y wasg; a bernir nad oes eu gwell ar y ddau bwnc pwysig wedi ymddangos hyd heddyw. Mae enwau Thomas Fuller, Barrow, Henry More, a Cudworth, fel awdwyr o fri uwch na'r cyffredin yn y cyfnod hwn. Yr oedd Francis Bacon hefyd yn un o brif lenorion ac athronwyr Lloegr yn y chwarter cyntaf o'r ddwyfed ganrif ar bymtheg, a chyhoeddodd lawer o lyfrau. Perthyna hefyd i'r amser hyn Hobbes, philosophydd Malmsbury; Harrington, awdwr yr "*Oceana;*" Syr Thomas Browne, awdwr enwog y "*Religio Medici;*" a Clarendon, awdwr yr "*History of the Rebellion.*"

Yn flaenaf ac yn benaf yn mysg beirdd y cyfnod hwn, a phob cyfnod arall, y mae enw yr anfarwol John Milton, awdwr y "*Paradise Lost*," a lluaws o weithiau mydryddol a rhyddieithol eraill. Ganwyd ef yn Llundain yn 1608, a bu farw yn ddall yn 1674, yn 66 oed. Mae ei weithiau rhyddieithol yn parhau mewn bri hyd y dydd hwn; ond yr oedd ei farddoniaeth yn gyfryw na welodd y byd erioed o'i bath, a chluda ei enw i oesoedd diweddaf y ddaear. Yr enwau blaenaf eraill fel beirdd y cyfnod dan sylw ydynt, Waller, Cowley, a Denham. Yr oedd y tri yn feirdd o enwogrwydd. Gelwir yr olaf yn un o dadau barddoniaeth Seisnig; ei brif gyfansoddiad yw "*Cooper's Hill.*" Mae enw William Harvey o Kent yn deilwng o nodiad, yr hwn a gafodd allan, yn nheyrnasiad James I., gylchrediad y gwaed. Cyn hyn tybid fod y gwaed yn aros yn llonydd yn y corph. Dywedir fod y rhagfarn mor fawr yn erbyn ei ddarganfyddiad, fel na dderbyniwyd ei athrawiaeth gan yr un meddyg yn Ewrop oedd dros ddeugain oed, ac iddo golli llawer o'i gwsmeriaid yn Llundain oblegyd y gwaradwydd a dynodd arno ei hun wrth gyhoeddi y darganfyddiad pwysig.

"Mae yn deilwng o nodiad," meddai Knight, "fod Milton,

Taylor, Browne, Cudworth, More, a Cowley, yr ysgrifenwyr enwocaf yn y cyfnod o'r adferiad i'r chwyldroad (gyda'r eithriad o Dryden a Barrow) oll wedi eu geni cyn diwedd teyrnasiad James I., neu o fewn yr adeg y gallwn ei galw yn ganolddydd ein llenyddiaeth genedlaethol. Nid ymadawodd goleuni yr amser auraidd hwnw yn hollol cyhyd ag y bu yr un o honynt byw. Nis gallasai byw tymhor plentynrwydd neu ieuenctyd yn amser Shakspear a Bacon, tymhor addfedrwydd oedran yn amser y gwrthryfel mawr, lai na dysgyblu galluoedd uchel, a'u dyrchafu i'w nerth mwyaf." Gyda y flwyddyn gyntaf o'r Senedd Hir y mae cyfnod y newyddiaduron yn dechreu. Y newyddiadur hynaf a gafwyd oedd un pedwar plyg, yn cynwys ychydig o ddail, ac yn dwyn yr enw, "Dygwyddiadau Dyddiol; neu symudiadau dyddiol y ddau Dŷ, yn y senedd fawr a dedwydd hon, o'r 3ydd o Dachwedd, 1640, hyd y 3ydd o Dachwedd, 1641." Ymddangosodd dros gant o newyddiaduron gwahanol rhwng hyny a marwolaeth y brenin, a thros bedwar ugain eraill rhwng hyny a'r adferiad. Yn y rhyfel Ysgotaidd yn 1650, dygai byddinoedd Charles a Cromwell argraffydd gyda hwy, i gyhoeddi y dygwyddiadau. Mae yn debyg mai oddiwrth hyn y priodolwyd dygiad newyddiaduron i Ysgotland i Oliver Cromwell. Heblaw y newyddiaduron, cyhoeddid nifer dirfawr o draethodau, yn y rhai y dadleuid pynciau crefyddol a gwladol, a'r rhai a ddarllenid yn awchus gan filoedd. Bernir fod deng mil ar ugain o'r traethodau hyn wedi eu cyhoeddi yn yr ugain mlynedd a ganlynodd gyfarfyddiad cyntaf y Senedd Hir. Y prif lyfrau Cymreig, heblaw yr ysgrythyrau, a gyhoeddwyd yn y cyfnod hwn oeddent, "*Canwyll y Cymry*," gan Ficer Prichard, Llanymddyfri (1646); "*Y Tri Aderyn*," "*Cyfarwyddyd y Cymro*," ac eraill, gan Morgan Llwyd o Wynedd; amryw lyfrau bychain gan Vavasor Powell; a chyfreithiau gan Rowland Vaughan o Feirionydd.

Yr oedd Charles I. yn gefnogwr mawr i lenyddiaeth gyffredinol, ac i'r celfyddydau breninol, a chodwyd cerddoriaeth, arluniaeth, cerfiadaeth, ac adeiladaeth i fwy o fri nag o'r blaen, yn y cyfnod dan sylw. Yr athrylith penaf mewn adeiladu oedd Inigo Jones, yr hwn a aned yn Llundain, yn 1572. Hwn a ystyrir yn dad adeiladaeth glasurol y wlad hon; taflodd am dymhor holl adeiladwyr Ewrop i'r cysgod, ac y mae amryw esiamplau o'i athrylith yn aros yn y brif-ddinas hyd y dydd hwn. "Mabwysiadodd Lloegr Holbein a Vandyke; benthyciodd Rubens; cynyrchodd Inigo Jones. Tynodd Vitruvius i fyny ei ramadeg; dangosodd Palladio yr ymarferiad iddo; amlygodd Rhufain chwareufwrdd teilwng o'i glod iddo, ac yr oedd y brenin Charles yn barod i'w gefnogi, ei gyflogi, a gwobrwyo ei dalentau. Dyna hanes Inigo Jones fel athrylith."*

*Walpole.

Masnach a dyfeisiau.

Cynyddodd masnach, a gwellhaodd cyflwr y wlad, yn nechreuad teyrnasiad Charles I., ond dygodd y rhyfeloedd gwmwl du dros y cwbl eilwaith. Yn nyddiau y Weriniaeth cododd drachefn i gyflwr gwell nag erioed. Un achos pwysig o'r gwelliant hwn oedd diflaniad gorfaeliaeth (*monopoly*) yn nghwymp y brenin, a rhyddid i bawb i fasnachu mewn unrhyw nwyddau fel eu gilydd. Cynelid y llywodraeth trwy drethi misol, cyllid (*excise*), a thollau (*customs*); ac yr oedd y rhai hyn yn cynyddu yn ol cynydd masnach yn y wlad.

Dan James I. yr ymgymerodd Hugh Middleton, o Lundain, â gwneyd yr afon newydd o Ware i Islington, yr hon oedd yn agos deugain milldir o hyd, a dau cant a phymtheg o bynt i'w chroesi. Daeth cerbydau yr amser hwn hefyd i arferiad cyffredin, ac yn amser Charles, dechreuodd *hackney coaches* sefyll ar heolydd Llundain. Dechreuwyd hefyd drwyddedu tafarndai, gyru llythyrau trwy y post, ac arfer esgidiau tebyg i'r rhai presenol. Yn amser y Weriniaeth y sefydlwyd banciau arian. Cyn hyny, cedwid arian yn y Bathdy, yn Nhŵr Llundain; ond wedi toriad allan y rhyfel, cyflogwyd y *goldsmiths* gan y masnachwyr i'w cadw; a hyn oedd dechreuad y banciau.

---

## PENOD VIII.

### O ADFERIAD CHARLES II. HYD Y CHWYLDROAD, 1660—1689.

### CHARLES II.—1660—1685.

WELE y freniniaeth eto, ar ol ugain mlynedd o gyfwng nodedig, yn nghanol llon-floeddiadau y genedl, wedi ei hadferu yn mherson Charles II., mab y diweddar frenin, Charles I. Yr oedd Charles yn awr yn ddeg ar ugain oed, ac wedi ffurfio cymeriad tra annghyfaddas i lywodraethu. Er ei fod yn meddu ar berson golygus, tymher siriol, a chymhwysderau naturiol da, yr oedd ei holl fryd ar segurdod, oferedd, a phleserau llygredig. Yr oedd yn casâu gwaith a llafur corph a meddwl mor fawr, fel y buasai cystal ganddo golli ei goron ag ymgymeryd ag unrhyw orchwyl caled. Arweiniai fywyd anniwair ac aflan; nid oedd ganddo ffydd yn niweirdeb benyw, nac mewn unrhyw rinwedd mewn dyn. Ni thyciai clod na dirmyg arno, ac ni theimlai rwymedigaeth na diolchgarwch. Yr oedd ei wybodaeth wleidyddol yn destun dirmyg i bob ysgrifwas. Mor bell ag yr oedd a fynai â chrefydd, gogwyddai at Babyddiaeth yn fwy na dim arall, oddiar yr ystyriaeth, efallai, fod hono yn fwy manteisiol i'r ffurf-lywodraeth a garai ef. Er nad

esgynodd brenin erioed i'w orsedd gyda gwell teimlad oddiwrth ei ddeiliaid yn gyffredin, nid yw ei gymeriad yn argoeli yn dda.

Ni chollodd Charles amser i wobrwyo y prif offerynau yn ei adferiad. Gwnaed Monk yn Dduc Albemarle; Montague yn Iarll Sandwich; Annesley yn Iarll Anglesea; Denzil Hollis yn Arglwydd Hollis; ac Ashley Cooper yn Arglwydd Ashley. Gwnaed Iarll Southampton yn drysorydd; Manchester yn arglwydd ystafellydd; Say yn arglwydd y gyfrin-sel; Morrice, cyfaill Monk, gyda Syr Edward Nicholas, yn ysgrifenwyr y llywodraeth; Hyde yn Iarll Clarendon, ac yn arglwydd-ganghellydd; Ormond yn dduc ac yn *steward;* Colepepper yn feistr y rholau; a gwnaed y Presbyteriaid Calamy a Baxter yn gaplaniaid i'r brenin. Gwelir i Charles roddi gweinyddiad y llywodraeth yn nwylaw dynion galluog, a'r rhai hyny yn perthyn i'r gwahanol bleidiau crefyddol.

Rhoddodd y brenin awdurdod seneddol i'r gymanfa oedd eisoes wedi ymgasglu, ac ymgymerodd hono ar unwaith â threfnu gorchwylion y deyrnas. Penodwyd y swm dirfawr o ddeuddeg can mil o bunau (£1,200,000) y flwyddyn i'r brenin, dan amodau penodol, a threfnwyd y llwybr i'w codi. Dadgorphorwyd y fyddin, ond cadwyd oddeutu pum mil dan yr enw *guards*, a dyma ddechreuad y fyddin sefydlog bresenol.

Dygwyd act o ddyogeliad i wrthwynebwyr diweddar y freniniaeth o flaen y senedd, a phasiwyd hi; ond tynwyd enwau amryw o'r prif offerynau yn nghondemniad Charles I. allan, a dangoswyd llymder creulon at amryw o honynt. Taflwyd Milton i garchar, ysbeiliwyd ei eiddo, a llosgwyd ei lyfrau; ond cafodd arbediad bywyd trwy eiriolaeth ei gyfeillion. Rhoddwyd barn marwolaeth ar chwech o farnwyr Charles I.; Harrison, Carew, Scot, Scrope, Jones, a Clement, a dienyddiwyd hwy, yn nghyda Cook a Hacker, wrth *Charing Cross;* a dau eraill,—Axtell a Hugh Peters—yn Tyburn. Dangosodd y rhai hyn y gwroldeb mwyaf yn eu marwolaeth, er dyoddef creulonderau rhy erchyll i'w desgrifio; ac ni ddangosasant un arwydd o edifeirwch am y weithred y dyoddefent o'i herwydd. Cymerodd hyn le yn Hydref, 1660. Yn Mehefin, 1661, dygwyd Syr Henry Vane i sefyll ei brawf, a chondemniwyd yntau i farwolaeth. Gwrthodwyd y cyfle iddo amddiffyn ei hun ar yr arteithglwyd. Cyn rhoddi ei ben ar y plocyn dywedodd, "Achos drwg yw yr un nad all ddyoddef geiriau dyn wrth farw." Alltudiwyd Lambert dros weddill ei oes faith i ynys Guernsey. Yn 1662, dygwyd tri eraill, Barkstead, Okey, a Corbet, drosodd o Holland i'w dienyddio. Yr oedd y *royalists* yn ofidus yn awr am fod angau wedi symud amryw o'u prif elynion o'u cyrhaedd, a phenderfynasant ddial ar eu cyrph yn eu beddau. Codwyd cyrph Cromwell, Bradshaw, ac Ireton, o'r bedd; llusgwyd hwy yn ddirmygus i Tyburn, a gosod-

wyd hwy i hongian wrth grogbren dros ddiwrnod cyfan; yna torwyd eu penau, a gosodwyd hwy ar ben porth Whitehall, a thaflwyd eu cyrph i bwll a gloddiwyd i'r pwrpas. Symudwyd amryw gyrph eraill i Fonachlog Westminster, ac yn eu mysg mam Cromwell, Pym, May yr hanesydd, Blake, Twiss, a Marshall.

Dygwyd o flaen y senedd achos gwerthiad tiroedd y goron, a thiroedd eglwysig, yn gystal ag etifeddiaethau amryw freninwyr oeddynt wedi eu gwerthu trwy awdurdod y llywodraeth ddiweddar. Methwyd a rhoddi boddlonrwydd cyffredinol i'r breninwyr yn y drafodaeth hon, a dechreuodd teimlad drwg fagu yn erbyn y brenin a'i ganghellydd Clarendon. Yr oedd y bywioliaethau eglwysig hefyd gan mwyaf yn awr yn nwylaw y Presbyteriaid; a chan eu bod wedi rhoddi cynorthwy mor bwysig yn adferiad y brenin, nid doeth na dyogel oedd eu terfysgu. Felly gwnaed ymdrech i geisio tynu llwybr canol rhwng Presbyteriaeth ac Esgobyddiaeth. Bu Baxter ac eraill, ar gais Charles, yn tynu ysgrif allan i'r perwyl. Yr oedd darpariadau yr ysgrif hon mor rhyddfrydig, fel y derbyniodd Reynolds, yr Annghydffurfiwr, esgobaeth a gynygiwyd iddo; a bu Calamy agos a gwneyd yr un peth. Rhoddodd y brenin ei gydsyniad i'r cynllun; ond pan ddygwyd ef gan y barnwr Hale o flaen y senedd, gwrthodwyd ef gan fwyafrif o 28 mewn Tŷ o 340. Ac er mawr syndod y Presbyteriaid, gweinidogion y goron oedd ei wrthwynebwyr penaf.

Yn mhen ychydig wythnosau, sef diwedd y flwyddyn 1660, torwyd y senedd gymanfaol, fel y gelwid hi, i fyny, a barnwyd yn well galw senedd newydd, yn yr hon y dysgwylid cael ychydig fwy o'r elfen freniniaethol. Cymerodd dygwyddiadau pwysig le yn mysg y teulu breninol. Bu Duc Gloucester, brawd ieuangaf y brenin, farw o'r frech wen, yn 20 mlwydd oed. Daeth ei chwaer, tywysoges Orange, drosodd, a bu hithau farw o'r un clefyd. Priododd Henrietta, chwaer arall, â Duc Orleans, brawd Louis XIV., brenin Ffrainc; a phriododd James, Duc York, brawd arall i Charles, yn ddirgelaidd ag Anne Hyde, merch y canghellydd Clarendon.

Dechreuodd y flwyddyn 1661 gyda gwrthryfel Venner y *Wine-cooper* yn Llundain, yn cael ei ganlyn gan ryw driugain o benboethiaid crefyddol fel ei hunan. Mil-flwyddiaid oeddent; cerddent o ystryd i ystryd trwy y ddinas, yn arfog a diofn, gan gyhoeddi Iesu Grist yn frenin, a dyweyd yr ymddangosai yn y fan; a dysgwylient y buasai yr Arglwydd yn gwneyd â hwy fel â llu Gedeon. Gorchfygasant y milwyr fwy nag unwaith; ond o'r diwedd cylchynwyd hwy, lladdwyd amryw o honynt, a chrogwyd y lleill.

Coronwyd y brenin yn Ebrill, a chyfarfyddodd y senedd newydd yn Mai. Yr oedd mwyafrif mawr y Tŷ hwn yn freninwyr, ac yn offerynau cymhwys i gario allan ewyllys Clarendon. Ni ddychwel-

wyd ond oddeutu triugain o aelodau Presbyteraidd o gwbl. Dangosodd y blaid alluocaf ei hysbryd yn fuan trwy bleidleisio rhwymedigaeth yr holl aelodau i dderbyn y sacrament yn ol defodau Eglwys Loegr, a thyngedu cyngrair y cyfamod a'r ysgrif oedd yn cyfansoddi Lloegr yn weriniaeth, i gael eu llosgi trwy ddwylaw y crogwr cyffredin. Mynai y Cyffredin ddwyn ychwaneg o wrthwynebwyr Charles I. i sefyll eu prawf; ond gwrthododd y Tŷ uchaf a'r brenin. Dychwelwyd yr esgobion i'w lle yn Nhŷ yr Arglwyddi, rhoddwyd llywodraeth y fyddin yn llaw y brenin, a phenderfynwyd ei fod yn annghyfreithlon i godi yn erbyn awdurdod y brenin a'i weinidogion dan unrhyw amgylchiadau. Gwaharddwyd yr arferiad o ddeisebu y brenin a'r senedd; nid oedd dros ddeg o bersonau i gyflwyno unrhyw ddeiseb, na thros ugain i'w llawnodi, heb ganiatad ustus, neu fwyafrif uchel-reithwyr. Cynygiwyd adferu llysoedd gormesol y *Star Chamber* a'r *High Commission;* ond er cynddrwg yr oedd y senedd wedi myned, nid oedd yn ddigon drwg i ganiatau y cynygiad hwn.

Yn y cyfamser cedwid cynadledd gymysg o Esgobion a Phresbyteriaid yn nhŷ esgob Llundain, yr hon a elwir Cynadledd Savoy, er diwygio Llyfr y Gweddiau Cyffredin. Ar ol ymresymu yn hir, a phob plaid yn dal yn dŷn dros ei hoff byneiau, torodd y gynadledd i fyny, gan adael y pleidiau yn mhellach oddiwrth eu gilydd yn y diwedd nag oeddent ar y dechreu. Ond gan mai dydd yr Eglwyswyr ydoedd yn awr, penderfynasant fynu eu ffordd, yn ddibris o syniadau gwahanol y Presbyteriaid, a chodi yr Eglwys Esgobol i'w hen awdurdod flaenorol. Pasiwyd y *Corporation Act*, yr hon oedd yn gofyn ymwrthodiad â'r cyfamod, a chyfranogiad o'r sacrament yn ol defod Eglwys Loegr, yn gystal ag ymrwymiad i beidio codi arfau yn erbyn y brenin, fel cymhwysder i lenwi unrhyw swydd wladol. Edrychid ar Ymneillduaeth yn awr yn Sism, ac yn ddarostyngedig i gospedigaeth wladol, a daeth yn drosedd i fyned i le Ymneillduol o addoliad.

Mai 19, 1662, ar ol ei phasio trwy y senedd, derbyniodd Act nodedig Unffurfiaeth gydsyniad y brenin, yr hon a rwymai yr holl offeiriaid Puritanaidd i roddi eu bywioliaethau eglwysig i fyny, neu dderbyn yr Act, cyn dydd gwyl Bartholomew. Cynwysai yr Act fod i'r holl offeiriaid arwyddo eu cydsyniad â'r llyfr gweddiau diwygiedig, a chymeryd eu hordeinio gan ddwylaw esgob, os nad oeddent wedi derbyn hyny. Yn ofer yr apeliai y gweinidogion hyn at addewid y brenin, nac am estyniad amser i ystyried y pwnc; yr oedd dylanwad Clarendon a'r esgobion yn rhy gryf i feddwl gwamal ac ansefydlog Charles. Pan ddaeth dydd tywyll St. Bartholomew (Awst 24, 1662), dydd oedd eisoes wedi ei hynodi gan greulonder bedwar ugain a deg o flynyddoedd yn

ol, yn y galanasdra ar Brotestaniaid Paris, gadawodd tua dwy fil o'r gweinidogion mwyaf dysgedig, duwiol, a llafurus, eu bywioliaethau o barch i gydwybod a gwirionedd, gan oddef y colledion a'r erledigaethau trymaf. Ni welwyd y fath esiampl o ormesiaeth eglwysig o'r blaen. Trowyd llawer allan o'u swyddi dan Henry VIII., Elisabeth, a'r Senedd Hir, ar adeg chwyldroadau a therfysgoedd; ond yn awr yr oedd yn adeg heddychlon, a'r rhai a drowyd allan wedi bod yn brif offerynau i sefydlu heddwch, ac i adferu y brenin. Yn mhob achos blaenorol o'r fath, gofelid am gynaliaeth y rhai a droid allan; ond yma, nid yn unig gadawyd hwy heb unrhyw ddarpariaeth ar eu cyfer, ond ysbeiliwyd hwy o'u cyflog ddyledus. "Penodwyd ar ddydd St. Bartholomew," meddai Burnet, "er mwyn amddifadu y rhai na chydymffurfiai o flwyddyn o gyflog, am fod y degwm yn ddyledus ar ddydd Gwyl Mihangel."

Priododd Charles, oddiar gymhelliadau isel, yn Mai, 1662, â Catharine, *infanta* Portugal, yr hon oedd Babyddes, a derbyniodd gyda hi waddol o dri chant a haner o filoedd o bunau (£350,000), yn nghydag amddiffynfa Tangier, a Bombay yn yr India. Oferddyn anfucheddol oedd Charles yn ei gysylltiad â benywod. Cadwai lawer o ordderchadon, a gorfododd ei wraig i oddef yr odineb-wraig benaf a feddai i fod yn arglwyddes ei ystafell-wely. Yn fuan wedi priodi, gwerthodd y brenin ddinas Dunkirk i frenin Ffrainc, yr hyn a barodd deimlad anfoddog iawn yn y wlad hon, a gwnaed Clarendon yn wrthddrych y dygasedd mwyaf, am y credid mai efe fu yn brif offeryn i wneyd hyny.

Ar adferiad Charles, cododd Ysgotland eto i ffurf teyrnas annibynol, a galwyd senedd yn nghyd; ond buan y cafodd ei hamddifadu o'i hiawnderau gwladol, ac o'i rhyddid crefyddol. Yn 1661, pasiodd y "Senedd Feddw," fel y gelwid hi, y *Recissory Act*, yn dyddimu yr holl weithrediadau seneddol er y flwyddyn 1633. Mathrwyd hawliau y Presbyteriaid, a sefydlwyd Esgobyddiaeth yn y wlad. Dygwyd Argyle, arweinydd y Cyfamodwyr, i'w brawf; a thrwy fradychiad Monk, condemniwyd ef i farwolaeth greulon. Gwnaed amryw gyfnewidiadau pwysig yr amser hwn hefyd yn Iwerddon.

Cymerodd Charles y fantais ar y deisebau a anfonid ato yn ei adgofio o'i hysbysiad o Breda, i geisio gan y senedd roddi y gallu gweinyddol i'w law ef, fel y gallai ei weini gyda boddlonrwydd mwy cyffredinol. Bernir mai ei fwriad yn hyn oedd noddi y Pabyddion; a drwgdybid ef ei hun o fod yn gogwyddo at y grefydd hono, ac am hyny gwrthodwyd ei gais yn benderfynol. Mwy na hyny, dirdynodd y ddau Dŷ gyhoeddiad oddiwrtho yn gorchymyn i'r holl offeiriaid Pabaidd adael y deyrnas dan boen marwolaeth, a rhoi y gyfraith mewn grym yn erbyn y Pabyddion ar y naill law, ac yn

erbyn y gwahanol sectau annghydffurfiol ar y llaw arall. Ac nid oedd hyn ychwaith yn ddigon; cymerwyd y fantais ar derfysg dibwys a dorodd allan yn swydd York a Westmoreland yn Hydref, 1663, yr hwn y dywedid fod diwygwyr â llaw ynddo, i basio yr act greulon (Mai 16, 1664), a elwir y "*Conventicle Act.*" Gwaharddai hon i fwy na phump o bersonau, heblaw aelodau y teulu, i ymgynull i gadw unrhyw addoliad ond a fyddai yn ol y llyfr gweddiau cyffredin. Ac yr oedd pob troseddwr a fyddai dros 16eg oed i oddef dirwy o bum punt, neu dri mis o garchar, am y trosedd cyntaf; deg punt, neu chwech mis, am yr ail; cant punt neu alltudiad dros saith mlynedd am y trydydd. Ac yr oedd gan un ynad heddwch awdurdod i weinyddu y gospedigaeth heb gyfryngiad rheithwyr. Llanwyd y carcharau yn fuan o Annghydffurfwyr, yn wŷr llen a lleyg, a dyoddefent greulondeb dirfawr oddiar law eu gelynion. Galwyd bil tair blynyddol 1641 yn ol, am fod ynddo amryw bethau oedd yn atalfa annymunol ar awdurdod y brenin. Yr oedd Charles erbyn hyn yn ddigon digywilydd i ddyweyd, nas gallai oddef y senedd i ymgynull ar y fath amodau.

Blwyddyn hir gofiadwy yn Lloegr oedd 1665. Yn ei dechreu, torodd rhyfel pwysig allan rhwng Lloegr ac Unol Daleithiau y Dutch, a phleidleisiodd y senedd dros ddwy filiwn o bunau i ddwyn y rhyfel yn mlaen. Arweinydd llynges Lloegr oedd Duc York, ac arweinydd llynges y Dutch oedd Opdam. Ymladdwyd brwydr forwrol ofnadwy yn Mehefin ar gyffiniau Suffolk, pryd y lladdwyd dros saith mil o'r Dutch, yn cynwys Opdam, a thri llyngesydd arall, a dinystriwyd deunaw o'u llongau. Ni chollodd Lloegr ond un llong, ac ychydig ganoedd o wŷr, ond fod yn eu mysg ddau lyngesydd. Ond er fod hon y fuddugoliaeth forwrol fwyaf a enillodd Lloegr hyd yn hyn, nid oedd calon yn y wlad yn awr i lawenychu o'i phlegyd. Yr oedd Llundain wedi ei tharo â phla dychrynllyd, a'i thrigolion yn cael eu medi i lawr ganddo wrth y miloedd. Yr oedd y pla wedi gwneyd ei ymddangosiad yn Llundain er y gauaf blaenorol; ond tua diwedd Mai (1656), torodd allan yn nghymydogaeth St. Giles, gyda ffyrnigrwydd brawychus. Dechreuodd yn mysg y dosbarth iselaf, ac yn mysg y rhai mwyaf anystyriol o honynt; ond buan yr ymledodd i gylchoedd uwch, ac y tarawodd y cyfoethog fel y tlawd, a'r crefyddol fel y digrefydd. Ffodd lluaws o'r dinaswyr; ond rhwystrwyd hwynt gan yr ardaloedd cymydogaethol gydag arfau a phig-ffyrch, rhag iddynt ddwyn y pla i'w mysg. Yr oedd y braw, yr arswyd, a'r gwaeddi trwy yr holl ddinas yn annesgrifiadwy, ac ymollyngodd miloedd i yfed a meddwi er boddi eu dychrynfeydd. Cauid y tai yr ymddangosai y pla ynddynt i fyny, nodid y drysau â llun croes mewn coch, ac uwch ben y groes ysgrifenid, "Arglwydd, trugarha wrthym." Elai y cart heibio i

gasglu y meirw, a thywelltid hwy heb arch nac amdo i byllau a gloddid i'r perwyl. Y nifer mwyaf a fu farw mewn wythnos oedd wyth mil ac agos tri chant; yn ystod y chwe mis bu dros gan mil farw yn Llundain yn unig. Erbyn diwedd y flwyddyn, yr oedd wedi peidio, a'r trigolion yn dychwelyd, ac yn ymaflyd eilwaith yn eu galwedigaethau.

Yn mysg eraill, ffodd llawer o offeiriaid o'r ddinas, gan adael y bobl i ymdaro drostynt eu hunain i fyw neu i farw. Pan welodd yr Annghydffurfwyr hyn, daethant yn mlaen gyda gwroldeb ac ymwadiad digyffelyb i bwlpudau yr encilwyr, a safasant rhwng y byw a'r meirw, i gyhoeddi ffordd iachawdwriaeth; ac ymwelent â'r trueiniaid yn eu llochesau annghyfanedd i weini iddynt pan yn ngafaelion dirdynol y pla. Ond pan gyfarfyddodd y senedd yn Rhydychain (Hydref, 1665), i'r lle yr ydoedd wedi cilio rhag y pla, yn lle canmol ymddygiadau Cristionogol y pregethwyr hyn, pasiodd gyfraith mwy llym eto yn eu herbyn, sef *Act y Pum Milldir*. Gofynai yr act hon i'r Annghydffurfwyr dyngu na wnaent, dan unrhyw amgylchiadau, gymeryd arfau yn erbyn y brenin, na chynyg unrhyw gyfnewidiad yn llywodraeth yr eglwys na'r wlad. Ac nid oedd y neb a wrthodai gymeryd y llw hwn i ddyfod o fewn pum milldir i unrhyw dref gorphoriaethol, neu i unrhyw fan y buont yn pregethu; ac ni oddefid iddynt gyflawni swyddi athrawon neu ysgolfeistri—yr unig foddion bywioliaeth, bron, oedd wedi ei adael iddynt. "Ni ddangoswyd dim cyffelyb i'r erledigaeth greulon a diachos hon gan y galluoedd diweddar," meddai Hallam, "hyd y nod yn merw a chynddaredd rhyfel cartrefol."

Hynodwyd y flwyddyn ganlynol eto (1666) gan frwydr forwrol, a chan ddifrod dychrynllyd ar y brif-ddinas—nid ar fywydau gymaint y tro hwn ag ar feddianau. Ymunodd Louis XIV. o Ffrainc â'r Dutch i ymladd yn erbyn Lloegr. Arweinid llynges Lloegr gan y Tywysog Rupert a Duc Albemarle (Monk). Ymladdwyd brwydr waedlyd am bedwar diwrnod cyfan, a throdd yr oruchafiaeth o blaid y Dutch. Ond dialwyd arnynt eilwaith gan y Saeson ar gyffiniau Holland, trwy losgi dwy o'u llongau rhyfel, a saith ugain o'u llongau masnachol, yn nghyda thref gyfoethog Brandaris.

Ar yr ail o Fedi, 1666, torodd tân mawr Llundain allan, yn Pudding Lane, ger llaw Pont Llundain, ar y fan y mae y gof-golofn bresenol wedi ei chodi; tân na fu ei fath yn Ewrop er llosgiad Rhufain yn nyddiau Nero. Gan fod awel gref yn chwythu o'r dwyrain ar y pryd, y tai wedi eu gwneyd o ddefnyddiau llosgadwy, a'r ystrydoedd mor gulion, ymledodd yn gyflym a dirwystr am bedwar diwrnod. Yr oedd yr olygfa yn arswydlawn. Yr oedd y fflam ddychrynllyd yn dyrchafu yn un golofn, dros filldir o dryfesur, ac yn gwneyd y nos mor oleu a dydd am ddeng milldir o gwmpas.

Yn ei chanol clywid trwst tai, eglwysi, a chlochdai yn cwympo, ac yn ysgwyd y cwbl fel daeargryn. Yn ngoleuni y tân gwelid y bobl yn ffoi yn ddychrynedig i bob cyfeiriad, gyda beichiau o'r ychydig eiddo allent ddwyn. Ataliwyd ef o'r diwedd trwy chwythu tai i fyny â phylor i rwystro ei ymlediad; ond nid cyn iddo losgi y cwbl yn ulw o'r Tŵr i'r *Temple*, ac o'r afon i gyffiniau Smithfield—tua dwy ran o dair o'r ddinas. Ni chollwyd ond chwech neu saith o fywydau; ond dinystrwyd tair mil ar ddeg o dai, pedwar ugain a naw o eglwysi; a chyfrifid y golled yn fwy na saith miliwn a chwarter o bunau. Taflwyd dau can mil o'r trigolion yn ddiymgeledd i lechu mewn bythod ar hyd faesydd Islington a'r gymydogaeth. Y fath oruchwyliaeth ddyeithr ar y ddinas oedd y pla a'r tân, a'r cyfan o fewn corph blwyddyn o amser! Daeth un daioni o hyn, beth bynag; adeiladwyd tai yr ail waith o well defnyddiau, a gwnaed yr ystrydoedd yn fwy llydan ac agored. Y prif adeiladydd oedd Syr Christopher Wren, brodor o swydd Wilts, adeiladydd eglwys bresenol St. Paul, yr hon a gostiodd dros filiwn o bunau, a'r hon y buwyd bymtheg mlynedd ar ugain yn ei hadeiladu. Wren hefyd adeiladodd gof-golofn y tân, yn nghydag amryw o eglwysi presenol Llundain.

Yr oedd y rhyfel â'r Dutch yn para, a chymerodd y gelyn y fantais ar gythrwfl y genedl yn nhoriad allan y tân, i ymwthio i fyny i'r Thames. Daethant mor bell a Chatham, a rhoisant rai o'r llongau rhyfel goreu ar dân. Dyma y pryd y "clywid twrf magnelau tramor gan ddinaswyr Llundain am y waith gyntaf a'r waith olaf." Yn Awst, gwnaed heddwch rhwng Lloegr, Holland, a Ffrainc, ond ar delerau heb fod yn anrhydeddus—telerau tra gwahanol i eiddo Cromwell, enw yr hwn oedd yn awr yn fynych ar wefusau y trigolion.

Yr oedd cwymp Clarendon erbyn hyn yn prysuro. Enciliodd ei boblogrwydd yn raddol er gwerthiad Dunkirk; yr oedd ynddo lawer o feiau a diffygion yn achos cyfiawn o hyn, a chyhuddid ef o lawer o bethau nad oedd yn haeddu. Yr oedd ei rinweddau a'i feiau wedi ei wneyd yn wrthddrych dygasedd agos pob dosbarth. Digiodd y *Cavaliers* wrtho am na fuasai yn mynu mwy o'u hetifeddiaethau yn ol iddynt. Yr oedd yn ormod o Esgobaethwr, ac yn rhy ormesol i'r Annghydffurfwyr; yn ormod o Brotestant i'r Pabyddion, ac yn rhy lym ei geryddon i lys llygredig ei feistr. Yr oedd yn drachwantus am arian, yn rhy bleidiol i hawlfreintiau y goron i foddio y rhyddfrydwyr; ac yr oedd ei ysbryd uchel a thraarglwyddaidd wedi gwneyd y ddau Dŷ yn elynion iddo. Ac er fod Charles yn fwy dyledus iddo ef nag i neb arall, gwelai fod ynddo ormod o barch i grefydd a rhyddid ei wlad i ymwerthu yn offeryn i'w law ef i'w dymchwelyd; felly rhoddodd ffordd i elyniaeth ei

wrthwynebwyr. Gwnaed achos yn ei erbyn, dan arweiniad Duc Buckingham ac Arglwydd Digby. Awgrymodd y brenin am iddo roddi ei swydd i fyny, er atal y gweithrediadau; ond gwrthododd Clarendon. Yn fuan gyrodd y brenin genad i gymeryd y sel fawr oddiarno, a ffodd y canghellydd drosodd i Ffrainc. Gadawodd bapyr o amddiffyniad iddo ei hun ar ei ol, ond gorchymynodd y senedd ei losgi trwy ddwylaw y crogwr cyffredin. Mynai y senedd hefyd ei gondemnio o fradwriaeth, ond trwy ymdrechion Duc York (ei fab yn nghyfraith) a'r esgobion, gadawid ef ar ddedryd alltudiaeth yn unig. Treuliodd weddill ei oes yn Montpelier, lle y gorphenodd ei lyfr ar "Hanes y Gwrthryfel." Anfonodd at y brenin droion, i atolygu arno yn daer am gael treulio ei ddyddiau olaf, a rhoi ei weddillion i orphwys, yn ei wlad enedigol; ond gwrthodwyd hyny iddo. Y cyfryw yw anngharedigrwydd dyn. Wedi i Clarendon wneyd cymaint i ddychwelyd Charles o dir ei alltudiaeth, a rhoddi gorsedd iddo yn ei wlad ei hun, wele y Charles hwnw yn awr yn gwrthod cymaint a bedd i'w gymwynaswr, i gadw ei weddillion! Gorphenodd ei ddyddiau yn Rouen yn 1674.

Un o'r adegau mwyaf gwaradwyddus ar lywodraeth Lloegr yn ei holl hanes ydoedd o gwymp Clarendon yn 1667, hyd ddechreuad gweinyddiaeth Danby yn 1673, sef cyfnod gweinyddiaeth annghlodus y *Cabal*. Yr oedd y gair hwn eisoes mewn arferiad yn gyfystyr a *cabinet*, neu gyfrin-gynghor; ond trwy ddygwyddiad hynod gwnelid y gair i fyny yn awr gan lythyrenau dechreuol y pum gweinidog a'i cyfansoddai—Clifford, Arlington, Buckingham, Ashley, a Lauderdale. Felly galwyd y gweinidogion hyn yn arbenig ar yr enw *cabal*, a dygasant y gair i waradwydd bythol gyda'u henwau. Yr oedd y ddau flaenaf yn Babyddion; y cyntaf yn hynod am ei ormes trahausfalch, yr ail am ei wendid a'i annghymhwysder, a'r tri eraill am eu balchder a'u hafreolaeth. Yr oeddent oll yn ddigon diegwyddor, ac yn barod i ymwerthu yn offerynau i'r brenin i sefydlu ei awdurdod yn annibynol ar y senedd. Ond er hyn yr oedd rhai o fesurau cyntaf y *Cabal* yn ganmoladwy; yn enwedig y Cyngrair Triphlyg rhwng Lloegr, Holland, a Sweden, i wrthsefyll amcanion Louis o Ffrainc yn erbyn gweriniaeth y Dutch. Ond yr oedd bywyd anfad a llygredig y brenin yn ei gadw mewn angen parhaus am arian, yr hyn oedd yn achos o lawer o'i ddrygau; dyma fu yn achos gwerthiad Dunkirk; yr ymosodiad ysbeilgar, ond aflwyddianus, ar lynges Smyrna, perthynol i Holland; cauad gwaradwyddus y drysorgell i fyny, nes dystrywio arianwyr a masnachwyr y deyrnas. Ac yn awr, tra yr oedd y cyngrair triphlyg a nodwyd ar droed, yr oedd Charles yn brysur yn gwneyd cyngrair dirgelaidd â Louis am gynorthwy o'r wlad hono i fyw yn annibynol ar ei senedd. Gelwid hwn yn gytundeb Dover (Mai,

1670). Cynwysai fod y brenin, yr hwn oedd, fel James ei frawd, yn fwy tueddol at Babyddiaeth na Phrotestaniaeth, i broffesu y grefydd hono; ei fod i gynorthwyo Ffrainc yn erbyn Holland a Spain, am yr hyn yr oedd Louis i roddi dau can mil o bunau y flwyddyn i Charles, ac i'w gynorthwyo â milwyr mewn achos o wrthryfel. Cadwyd y penran perthynol i grefydd oddiwrth bawb oddigerth Clifford ac Arlington, y rhai oeddent Babyddion; ond nid oedd brys ar Charles am ei gyflawni, am ei fod yn hysbys o ysbryd Protestanaidd ei ddeiliaid.

Yr oedd Buckingham yn awr ar y blaen mewn awdurdod; dyn diegwyddor, dirinwedd, a hollol ddiymddiried a bradychus i'w gyfeillion goreu, a daeth ei enw yn atgas gan bob dyn. Er hyny yr oedd yn ffafriol i, a chynygiodd fesur er caniatau mwy o oddefgarwch gyda phethau crefyddol. Cymerwyd y pwnc i fyny gan yr arglwydd-geidwad, a'r prif ynad Hale, yn nghydag amryw esgobion, a throsglwyddwyd y cynygiad i'r Annghydffurfwyr trwy ddwylaw Baxter, Bates, a Morton. Yr oedd y telerau cynygiedig yn dra rhesymol; ond yr oedd gormod o ysbryd 1662 yn Nhŷ y Cyffredin; gwrthodwyd y cynygiad trwy fwyafrif mawr, ac ail basiwyd y "*Conventicle Act*," yr hon oedd yn gwahardd cyfarfodydd Ymneillduol, gyda llymdra mwy nag o'r blaen. Yr oedd y brenin yn ffafriol i oddefiad, er mwyn mantais y Pabyddion; ond cafodd yntau ei siomi, a chanlynodd erledigaethau a chreulonderau mawrion.

Parhäai Charles i arwain bywyd segur, ofer, ac aflan; dyrchafai ei ordderchadon i ditlau ac awdurdod, ac ychwanegai at eu nifer. Pan gynygiwyd codi treth ar y rhai a fynychent y chwareudai, gwrthwynebai gwŷr y llys, gan ddadleu fod y chwareuwyr "yn weision i'r brenin, ac yn gyfran o'i bleserau." Carai Syr John Coventry wybod "pa un ai yn mysg y chwareuwyr gwrywaidd neu fenywaidd yr oedd pleserau y brenin yn gorwedd." Rhoddodd y sylw dramgwydd i'r llys; ymosodwyd ar Coventry gan filwyr, wrth fyned adref yn nhywyllwch y nos, a holltwyd ei ffroenau yn agored â chyllell, yr hyn a barodd gryn derfysg yn Nhŷ y Cyffredin. Gwnaed ymosodiad cyffelyb, ond mwy creulon fyth, ar Duc Ormond, yr hwn oedd wedi colli ei boblogrwydd yn y llys, ac wedi enyn dygasedd Buckingham, a gordderchadon y brenin yn arbenig. Gwyliodd y milwriad Blood ac eraill ef yn myned adref o ginio yn y ddinas, ac o'r braidd y diangodd a'i fywyd ganddo. Credai llawer fod Buckingham wrth wraidd yr ymosodiad, a chyhuddwyd ef o hyny gan Arglwydd Ossory, mab Ormond, yn y llys, yn ngwydd y brenin ei hun. "Yr wyf yn gwybod," ebai, "eich bod chwi wrth wraidd y cynygiad diweddar a wnaed i lofruddio fy nhad; ac os daw ef i'w ddiwedd trwy ffordd annheg, byddaf yn gwybod pwy fydd â'r llaw flaenaf yn hyny. Chwychwi fydd y llofrudd; a pha

le bynag y cyfarfyddaf â chwi, byddaf yn sicr o'ch saethu, hyd y nod pe byddech yn sefyll y tu cefn i gadair y brenin. Yr wyf yn rhoddi rhybudd prydlawn i chwi." Gwnaeth Blood gynygiad eilwaith i ladrata y goron a thlysau eraill, o ystafell y tlysau yn y Tŵr; a'r peth rhyfedd yw, i'r brenin nid yn unig roddi pardwn iddo, ond ei anrhegu ag etifeddiaeth yn werth pum cant o bunau yn y flwyddyn, a cheisio maddeuant iddo gan Ormond hefyd. Yr esboniad mwyaf tebygol ar hyn yw, fod rhai agos i'r brenin yn gyfranog ag ef yn yr ymosodiadau hyn.

Yr oedd Duc York erbyn hyn wedi proffesu ei hunan yn Babydd; bu farw ei wraig, merch Clarendon, yn yr un gredo, yn 1971, gan adael dwy ferch yn fyw ar ei hol—Mary ac Anne, y rhai a ddaethant yn olynol i orsedd Lloegr. Mawrth, 1672, cyhoeddodd Ffrainc a Lloegr ryfel diachos yn erbyn Unol Daleithiau y Dutch. Cymerodd brwydr gyndyn le rhwng llyngesoedd Lloegr a Holland ar gyffiniau Suffolk; ac er yr hawliai y blaenaf y fuddugoliaeth, nid oedd ei henill yn yr ymgyrch ond dibwys. Collwyd Iarll Sandwich a'r rhan fwyaf o'r dwylaw yn y Royal James. Yn y cyfamser, arweiniodd Louis XIV. fyddin o gan mil o wŷr dros gyffiniau Holland, ac aeth rhagddo dan oresgyn talaeth ar ol talaeth, ac ymddangosai tynged y wlad yn amheus. Ac i wneyd yr achos yn waeth, yr oedd pleidiau gwrthwynebol yn mysg y bobl, a llofruddiwyd De Witt, yr hwn oedd yn awr yn dal yr awdurdod flaenaf. Yr oedd dinas Amsterdam wedi dychrynu, ac yn barod i anfon yr agoriadau i'r gorchfygwr. Ond yr oedd llanc hwyrdrwm yn trigo yn mysg camlasau llydain deheubarth Holland, wedi ei dynghedu i atal rhwysg y gormeswr, i glwyfo balchder Louis, ac i chwareu rhan bwysig yn ei wlad ei hun ac yn Mhrydain Fawr ar ol hyn. William o Nassau, tywysog Orange ydoedd, yr hwn oedd yn 21ain oed, yn wanaidd o gorph, a dibrofiad fel rhyfelwr a gwleidiadwr, ond un na wyddai am ddychryn nac anobaith. Nai, fab chwaer, ydoedd i Charles II. Taflodd hwn ei hun wrth ben ei wlad a Phrotestaniaeth, i wrthsefyll ymosodiad annghyfiawn Louis o Ffrainc, a'i ewythr o Loegr. Gwrthododd delerau gwaradwyddus Louis, calonogodd y taleithiau i wrthsefyll yn ddiysgog, cododd lif-ddorau y camlasau, a chafodd y dwfr fel diluw yru byddinoedd y Ffrancod yn eu hol. Cynorthwyodd yr elfenau ef hefyd, trwy i'r gwynt a'r môr gadw llynges Lloegr draw oddiwrth y cyffiniau. Pan gynghorai Buckingham y tywysog ieuanc i ymwrthod ag achos y taleithiau, dywedodd, "Y mae un ffordd sicr all fy nghadw rhag gweled dinystr fy ngwlad; byddaf farw yn y ffos ddiweddaf." Ond dan arweiniad y gwron hwn, daeth agwedd pethau yn ei wlad yn fuan i sefyllfa mwy gobeithiol.

Galwyd senedd Lloegr yn nghyd eto yn nechreu 1673, ac wedi

pleidleisio dros filiwn o bunau at y rhyfel, cynygiodd y brenin am gael pasio bil o oddefiad eto mewn pethau crefyddol, a dywedodd ei fod yn benderfynol i'w gael. Ond er holl ymdrechion ei bleidwyr, collwyd ef trwy fwyafrif o 50; ac wedi dadl ystormllyd, penderfynodd y Cyffredin, "nas gellid galw cyfreithiau cospedigaethol mewn pethau eglwysig yn ol ond trwy weithred seneddol." O'r diwedd ildiodd y brenin; ac nid yn unig hyny, ond cydsyniodd â bil arall er atal cynydd Pabyddiaeth, yr hwn a elwid y *Test Act*, (y proflw). Gofynai hon fod i bob dyn oedd yn dal swydd dan y goron nid yn unig dyngu ffyddlondeb i'r brenin, ond hefyd dderbyn y sacrament yn ol defod Eglwys Loegr, a llaw-arwyddo hysbysiad yn erbyn traws-sylweddiad. Addawyd rhyddhad i'r annghydffurfwyr Protestanaidd oddiwrth y weithred, ond arosodd i ddiraddio deddf-lyfr y wlad yn eu herbyn hwythau hefyd hyd flynyddoedd diweddar. Rhwygodd bil y proflw y weinyddiaeth; rhoddodd Clifford ei swydd o brif drysorydd i fyny, a Duc York ei swydd o brif lyngesydd; symudwyd Shaftesbury (Ashley) o fod yn ganghellydd, a throdd yn brif arweinydd y gwrthwynebwyr. Felly torwyd i fyny weinyddiaeth anenwog y *cabal*. Cymerwyd lle Clifford gan Syr Thomas Osborne, a adnabyddir yn well wrth yr enw Iarll Danby, yr hwn a ddaeth yn fuan yn brif weinidog. Parhaodd gweinyddiaeth Danby hyd 1678; yr oedd yn elyn i Eglwys Rhufain, ac nid oedd yn ffafriol i gyfrinach Charles a Louis, yr hyn a'i cymeradwyai yn benaf yn marn y wlad hon.

Parhaodd y rhyfel â Holland hyd ddechreu 1674, pryd y gwnaed cytundeb heddwch ar delerau manteisiol i Loegr. Dangosodd y wlad hon wrthwynebrwydd cryf i briodas Duc York â Maria D'Este, chwaer Duc Modena, teulu selog dros Babyddiaeth. Nid oedd Charles a'i senedd yn cydweled ond yn anfynych, ac ymdrechai brenin Ffrainc bob amser i'w cadw mewn ymrafael, am mai hyny oedd fwyaf ffafriol i'r grefydd Babaidd. Gwnaed cytundeb rhwng y ddau benadur, yn cynwys fod i Louis dalu swm mawr o flwydd-dâl i Charles am gadw y senedd heb ymgyfarfod. Ond yr oedd holl drafodaeth Charles a Louis yn cyffroi anfoddlonrwydd a drwgdybiaeth y deyrnas. Mynai llawer, oddiar ofn Pabyddiaeth, dori hawl y goron oddiwrth Duc York, gan nodi Duc Monmouth, mab ordderch Charles, fel olynydd mwy cymhwys; ond edrychai y gwleidiadwyr goreu ar William, tywysog Orange, yr hwn a safai yn nesaf at ferched Duc York, o ran ei hawl, fel yr olynydd mwyaf cymeradwy a dyogel. Ac un o weithredoedd mwyaf canmoladwy Danby oedd perswadio Charles i wneyd cytundeb priodas rhwng William a Mary, merch hynaf James ei frawd. Ond digiodd Louis wrth y briodas hon, yr hon a gymerodd le yn Tachwedd, 1677, fel yr ataliodd ei flwydd-dâl oddiwrth Charles; ac yn ganlyniad i hyny

galwodd Charles yntau ei senedd yn nghyd. Yr oedd Charles yn awr yn barod i gyhoeddi rhyfel yn erbyn Ffrainc, a galwai am gynorthwy arianol gan y senedd i hyny. Yr oedd y senedd yn ffafriol i hyny ar y cyntaf, ond ofnent y buasai Charles yn defnyddio y cynorthwy i ymladd yn erbyn rhyddid ei wlad ei hun; felly petrusent. Yr oedd Louis hefyd yn awr yn brysur gyda chyffroi y senedd yn erbyn y brenin, a'i genadwr, Barillon, yn gwasgar arian blwydd-dâl Charles yn wobrau yn eu mysg. Yr oedd Louis a phlaid y wlad yn y senedd yn gyffelyb mewn un peth, sef mewn anymddiried hollol yn Charles. Pe gallasai y senedd ymddiried y buasai yn defnyddio y cynorthwy i ymladd â Ffrainc, buasai yn ei ganiatau yn rhwydd; a phe gallasai Louis, o'r tu arall, gredu y buasai yn ei ddefnyddio yn erbyn ei bobl ei hun, cawsai lonydd ganddo yntau i fyned yn mlaen. Taflwyd y brenin i gyfyngder; ac arweiniwyd ei wrthwynebwyr hefyd i ddyryswch gan Louis, yn eu pryder dros ddyogelwch eu gwlad. Wedi llawer o flinderau, gwnaed cytundeb heddwch yn Nimeguen yn 1678, ar delerau anrhydeddus i Holland; a chododd Tywysog Orange i fri mawr.

Prin yr oedd y cyffro hwn wedi tawelu pan ddychrynwyd y wlad eilwaith, hydref yr un flwyddyn (1678) gan gynhwrf y Fradwriaeth Babaidd. Yr oedd teimlad y wlad yn erbyn Pabyddiaeth wedi bod ar gynydd mawr yn ddiweddar, ac felly cafodd yr ystori anwir hon y derbyniad parotaf gan y bobl. Awdwr y twyll ydoedd un Titus Oates, yr hwn oedd wedi bod yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig, ond wedi ei dori allan oblegyd bywyd anfucheddol. Bu wedi hyny yn proffesu Pabyddiaeth, ac mewn colegau Jesuitaidd ar y Cyfandir; ond yr oedd ei ymddygiadau mor warthus, fel y trowyd ef allan oddiyno eilwaith. Daeth drosodd i Loegr, a dywedai fod Pabyddion Lloegr, Ffrainc, a Spain, wedi ymgyfamodi i lofruddio Charles, ac adsefydlu Pabyddiaeth yn Mhrydain. Yr oeddent unwaith wedi rhoi Llundain ar dân, ac yr oeddynt yn awr yn barod i losgi llongau ar y Thames. Yr oedd y brenin i gael ei frathu, ei wenwyno, neu ei saethu â bwledi arian; yr holl Brotestaniaid i gael eu llofruddio trwy godiad disymwth, Duc York i gael ei godi i'r orsedd os ymunai yn y fradwriaeth, neu ei ladd os gwrthodai. Ni roddai y brenin goel i'r pethau hyn, ond i'r lluaws "yr oedd pob peth a ddywedai yn efengyl." Ar dystiolaeth Oates, cymerwyd Coleman, ysgrifenydd Duc York, i fyny, a chafwyd papyrau yn ei feddiant oeddent yn ffafrio y dybiaeth yn meddwl cynhyrfus y wlad. Ac, i gadarnhau y dybiaeth yn fwy fyth, cafwyd corph Godfrey, yr ynad y bu Oates o'i flaen yn rhoddi ei dystiolaeth, yn y ffos un boreu wedi ei lofruddio; ac er na chaed goleuni ar yr amgylchiad hyd y dydd hwn, yr oedd yn naturiol dan yr amgylchiadau i briodoli y weithred i'r Pabyddion. Ymgynddeiriogodd yr holl deyrnas gan

ddygasedd ac ofn. Rhoddwyd y gyfraith yn ei holl lymder mewn grym yn erbyn y Pabyddion. Cymerid personau i fyny, a chwilid eu celloedd am bapyrau. Yn fuan yr oedd dwy fil o bersonau amheus, yn cynwys pump o bendefigion, wedi eu taflu i garcharau Llundain, a'r ddinas yn ymddangos fel pe buasai dan warchae. Penodwyd pwyllgor gan y senedd i wneyd ymchwiliad i'r pwnc, a phasiwyd bil er annghymwyso Pabyddion i eistedd yn un o'r ddau Dŷ. Yr oedd Oates yn parhau i wneyd datguddiedigaethau newyddion, a daeth un arall o gyffelyb gymeriad, o'r enw Bedloe, yn mlaen i gadarnhau ei dystiolaethau.

Buont o'r eofndra i gyhuddo y frenines ei hun o gydsynio i lofruddio ei gwr; ond er fod Charles yn wr digon anffyddlon, ymddygodd yn anrhydeddus ar yr amgylchiad hwn, a dywedodd, "Y maent hwy (y Cyffredin) yn meddwl fy mod am wraig newydd, ond er hyny nis gallaf edrych ar gamwri yn cael ei wneyd ar fenyw onest." Gelwid Oates yn awr yn waredwr ei wlad; rhoddwyd llety iddo yn Whitehall, gyda blwydd-dâl o ddeuddeg cant o bunau y flwyddyn; a rhoddwyd Stayley, arianydd Pabaidd; Coleman, ac amryw o Jesuitiaid, i farwolaeth.

Yr oedd drwg wedi bod yn darllaw am flynyddoedd yn Nhŷ y Cyffredin yn erbyn Iarll Danby; gwelai llygad craff Louis o Ffrainc adeg gyfleus i hyny, a chyflogodd Montague, cenadwr Lloegr yn Paris, i gyflawni ei ddinystr. Daeth Montague drosodd, a dangosodd lythyrau cyfrinachol Danby ato ef. Yn un o'r llythyrau hyn yr oedd Charles wedi cynyg amodau heddwch i Louis am swm mawr o arian, heb wybod, ac yn groes i syniad ei senedd; a dywedai mai wrth awgrym Montague y gwnaeth hyny. Bu Danby yn hir yn gwrthod ysgrifenu y llythyr hwn; ond ildiodd o'r diwedd trwy i Charles roddi ar ei waelod, yn ei law-ysgrifen ei hun, "Ysgrifenwyd y llythyr hwn trwy fy ngorchymyn i, C. R."* Ond nid edrychid ar hyn yn esgusodiad i Danby, am yr ystyrid ef ei hun yn gyfrifol fel gweinidog y goron. Dygwyd amryw gyhuddiadau eraill hefyd yn mlaen yn erbyn Danby, ac ymddangosai ei gwymp yn anocheladwy. Yr oedd Louis yn ormod o gadno i Charles, ac yn chwareu dau wyneb yn barhaus, i geisio gyru y brenin a'i bobl yn erbyn eu gilydd. Ond er mor llygredig, nid oedd y Cyffredin mor barod a'u brenin i werthu eu Protestaniaeth. Er atal y gweithrediadau yn erbyn Danby yn benaf, penderfynodd Charles dori ei senedd i fyny (Ionawr, 1679), yr hon oedd wedi parhau dros 17eg o flynyddoedd, ac wedi cyflawni ei ewyllys mor dda ar y cyfan, fel y galwai Shaftesbury hi "yn wraig y brenin, a'i thoriad i fyny yn ysgariad."

Wedi bod wrthi yn brysur am fisoedd yn ymlid, ac yn cospi gyda'r

*C. R.—Charles Rex, sef Charles Frenin.

creulondeb mwyaf am y fradwriaeth Babaidd a ddatguddiwyd gan Oates, daeth etholiad senedd newydd yn bwnc i gyffroi yr holl deyrnas. Gwnaeth y brenin ei oreu i sicrhau aelodau o'i blaid ei hun; ac yr oedd plaid y wlad yn llawn mor ymdrechgar o'r tu arall. Yr oedd cyffro y fradwriaeth yn fanteisiol iawn i'r olaf, a chafodd fwyafrif yn yr etholiad. Gwelai y brenin fod ystorm yn dynesu; ac i geisio ei lleddfu, gyrodd ei frawd, Duc York, tuedd Babyddol yr hwn oedd wedi ei wneyd yn dra anmhoblogaidd, allan o'r deyrnas. Cyfarfu y senedd yn Mawrth (1679); mynai y senedd gael hwn yn llefarydd, a mynai Charles y llall. Bu dadl boeth rhyngddynt, yr hon a derfynwyd trwy apwyntio trydydd. Oddiar hyn daeth yn arferiad i'r Tŷ i ddewis llefarydd, ond fod gan y goron awdurdod i'w wrthod.

Cymerodd y senedd hon eto achos Danby i fyny; a phan welodd Charles fod ei bryd ar ei ddyfetha, cymerodd ei swydd oddiarno, ond rhoddodd faddeuant iddo am ei drosedd. Ond tybiai y senedd fod y fath ymddygiad yn annghyfreithlon, a thaflwyd Danby i'r Tŵr.

Wedi colli Danby, adffurfiodd Charles ei gynghor dan gyfarwyddyd Syr W. Temple. Yr oedd i gynwys 30 yn lle 50 o nifer, a'u haner i gael eu dewis o uchel swyddogion y llywodraeth, a'r haner arall o bendefigion cyfoethog y wlad. A chan yr ystyrid fod cyfoeth yn elfen poblogrwydd, yr oedd yn rhaid fod y cynghorwyr yma yn nghyd yn werth tri chan mil o bunau y flwyddyn, er mantoli eiddo y Cyffredin, y rhai a gyfrifid yn werth pedwar can mil. Yn mysg y cynghorwyr hyn, yr oedd Arglwydd Russell, Iarll Essex, ac amryw eraill o'r blaid boblogaidd. Gwnaed Iarll Shaftesbury yn llywydd; a phasiwyd bil er gwrthod hawl Duc York i'r orsedd. Trwy ddylanwad Shaftesbury yn benaf, pasiwyd hefyd act nodedig *Habeas Corpus* (Corphwys) mewn ffurf mwy effeithiol nag y bu erioed o'r blaen, "er sicrhau yn well ryddid y deiliaid, ac ataliad alltudiad carcharorion dros y môr." Gwelai Charles nad oedd symudiadau y senedd yn ateb ei fwriadau ef, a gohiriodd hi heb ganiatad ei gynghor.

Yn y cyfamser yr oedd Ysgotland yn cael ei llethu gan erledigaeth a chreulonder. Trodd Middleton dri chant a haner o weinidogion allan o'u heglwysi am na chydnabyddent awdurdod yr esgobion, a rhoddwyd eu lleoedd i haid o guradiaid annghymhwys. Ond ni fynai y bobl wrando arnynt; gadewid yr eglwysi yn wag, a thyrent i anedd-dai y gweinidogion blaenorol; a chan y byddai y tai yn rhy fychain, yn gyffredin cedwid y cyfarfodydd yn yr awyr agored. I roddi pen ar hyn, gorchymynwyd i'r gweinidogion gwrthodedig encilio, a pheidio dyfod o fewn ugain milldir i'w hen gartrefleoedd, ac i'r bobl i beidio cyfranu at eu cynaliaeth. Dylynwyd Middleton gan Lauderdale, yr hwn oedd yn fwy creulon fyth, a ffurfiwyd Cynghor Eglwysig i roddi amryw benderfyniadau creulon mewn

grym. Heblaw hyn, anfonwyd byddinoedd o filwyr dan Turner, Dalziel, a Drummond, i gospi y bobl am adael yr eglwysi, a chyffroisant y parthau gorllewinol o'r wlad i wrthryfel. Ymosodwyd ar yr archesgob Sharp pan yn dychwelyd o un o'r cynghorau; penderfynasant fod Rhagluniaeth wedi taflu yr arch-erlidiwr i'w dwylaw, a llofruddiasant ef â'u cleddyfau yn y fan. Yr oedd y gwrthryfelwyr yn awr yn chwyddo, a sefyllfa pethau yn bur fygythiol, ac anfonwyd Duc Monmouth yno i'w darostwng. Arweiniodd y duc ddeng mil o wŷr allan o Edinburgh, ac yn Mehefin, 1679, yr ymladdwyd brwydr *Bothwell Bridge;* lladdwyd pedwar cant o'r gwrthryfelwyr, rhoddodd deuddeg cant eu hunain i fyny, a ffodd y lleill. Enillodd ymddygiad caredig Monmouth barch iddo oddiwrth ei elynion, a phan ddychwelodd y duc i'r llys, dadleuodd o'u plaid hwythau. Ond cafodd Lauderdale ei ffordd o'r diwedd, a gollyngwyd y gwaedlyd Claverhouse yn rhydd i anrheithio y wlad, ac i gyflawni ysgelerderau wrth ei ewyllys.

Digon cyffrous ac ansefydlog y parhäai pethau yn Lloegr hefyd. Yr oedd York, brawd y brenin, a Monmouth, mab y brenin, yn elynion i'w gilydd—y blaid Babyddol dros y blaenaf, a'r blaid boblogaidd dros yr olaf; a gorfyddai Charles, er ceisio cadw y ddwyblaid yn ddiddig, eu gwahanu, a'u gyru yn awr ac eilwaith allan o'r deyrnas. Casbeth y brenin oedd galw y senedd yn nghyd, a chynorthwyai brenin Ffrainc ef i beidio. Ond yr oedd cri y wlad yn uchel am dani, er mwyn pasio bil y Gwrthodiad. "Ni ddygwyd dadleuon gwleidyddol yn mlaen erioed o'r blaen gyda'r fath ryddid. Ni fu cymdeithasau politicaidd yn bodoli o'r blaen gyda'r fath drefnusrwydd a dylanwad. Yr oedd pwnc y Gwrthodiad wedi cymeryd meddiant o feddwl y wlad; ac yr oedd pob gwasg a phwlpud yn cymeryd rhan yn yr ymgyrch. Ar y naill law, dadleuid nas gallasai cyfansoddiad a chrefydd y llywodraeth fod yn ddyogel dan frenin Pabaidd, ac ar y llaw arall, fod hawl James i wisgo y goron, yn ei dro, yn tarddu o Dduw, ac nas gallesid ei dyddimu, hyd y nod trwy gydsyniad yr holl wladwriaeth. Yr oedd pob sir, pob tref, a phob teulu mewn cyffro. Ysgydwai y chwareudai gan dwrf pleidiau gwrthwynebol. Dygid y pab Ioan i'r esgynlawr gan y Protestaniaid selog. Tywalltai beirdd cyflogedig eu clodforedd ar ben y brenin a'r duc. Gwarchaeid yr orsedd gan ddeisebau oddiwrth yr anfoddogion, yn galw am senedd. Anfonai y breninwyr gyfarchiadau i fyny, yn datgan dygasedd eithaf at y rhai a ryfygent gyfarwyddo y penadur. Ymgasglai dinaswyr Llundain wrth y degau o filoedd i losgi digrif-lun y Pab. Gosodid meirch-filwyr wrth *Temple Bar*, a magnelau o amgylch Whitehall. Y pryd hwn y clywyd gyntaf y ddau lysenw, y rhai a roddwyd ar y cyntaf mewn dirmyg, ond a gymerwyd i fyny yn fuan gydag ymffrost, y rhai a arferir yn

feunyddiol hyd y dydd hwn, sydd wedi ymledu mor eang a'r genedl Seisnig, ac a fyddant byw cyhyd a llenyddiaeth Seisnig—*Whig* a *Thori*. Mae yn beth hynod fod y llysenwau hyn, y naill o darddiad Ysgotaidd, a'r llall o darddiad Gwyddelig. Rhoddwyd yr enw Whigiaid i Bresbyteriaid selog Ysgotland, ac wedi hyny i wleidiadwyr Seisnig a wrthwynebent y llys, ac a bleidient yr Annghydffurfwyr Protestanaidd. Yr oedd corsydd Iwerddon, ar yr un pryd, yn nawddle i Babyddion wedi colli nawdd y gyfraith; gelwid y rhai hyny yn Doriaid. Rhoddwyd yr enw Toriaid felly i Saeson a wrthodent gytuno i gau allan dywysog Pabaidd rhag esgyn i'r orsedd."*

Yn nechreu 1680 dychwelodd Duc York i'r llys, ac ymddangosodd ei ddylanwad yn fuan. Yr oedd y son wedi myned allan fod Charles wedi priodi yn ddirgel â'r Gymraes, Lucy Walters, mam Monmouth; ond yn awr rhoddodd allan ddau gyhoeddiad nad oedd wedi priodi â neb ond â'r frenines. Cymerodd Shaftesbury gam beiddgar yn erbyn Duc York; cyhuddodd ef ger bron uchel-reithwyr yn Westminster o wrthgilio oddiwrth gymundeb eglwys ei wlad at Babyddiaeth; ond disodlwyd ef yn ei amcan gan y barnwyr trwy ryddhau y rheithwyr. Yr oedd Charles eto mewn penbleth; yr oedd Louis wedi cau ei bwrs oddiwrtho, ac yr oedd yn rhaid galw senedd yn nghyd i geisio cynorthwy; felly gorfododd James i fyned ymaith i Ysgotland. Cyfarfu y senedd yn Hydref, 1680, a daeth y Cyffredin â bil y Gwrthodiad yn mlaen, a phasiwyd ef yn ddidrafferth. Dygwyd y bil gan Russell i Dŷ yr Arglwyddi; cefnogwyd ef gan Shaftesbury ac Essex, ond gwrthwynebwyd ef yn nerthol a llwyddianus gan Halifax, a thaflwyd ef allan trwy fwyafrif mawr. Yn Ionawr, 1681, torwyd y senedd i fyny eilwaith, a chondemniwyd Arglwydd Stafford, yr olaf a syrthiodd oblegyd y fradwriaeth Babaidd. Protestiodd ei ddiniweidrwydd hyd y foment olaf, ac atebwyd ei gyffes oddiar yr esgynlawr gan floedd yr edrychwyr—"Yr ydym yn eich credu, fy arglwydd. Duw a'ch bendithio, fy arglwydd."

Yr oedd y cyffro y fath yn awr fel yr ofnai y brenin ddinaswyr Llundain, a phenderfynodd alw senedd yn nghyd (Mawrth, 1681) yn Rhydychain, gan ddysgwyl mwy o gyfnerth a dyogelwch yno. Ac i geisio boddloni y Whigiaid, cynygiodd fod i Duc York gael ei alltudio, dros ystod ei fywyd, bum cant o filldiroedd o'r deyrnas; ac os disgynai hawl y goron iddo, nad oedd i gael ond titl brenin yn unig, a'r Tywysoges Orange i fod yn rhaglaw. Yr oedd y brenin yn foddlon i bob peth ond Bil y Gwrthodiad; ond yr oedd y Cyffredin yn benderfynol i wrthod pob peth ond y bil hwnw. A thorodd y brenin y senedd i fyny yn ddisymwth, er eu rhwystro i fyned â'r

*Macauley, vol. i., 266, 267.

mesur yn mlaen. Cynyddodd y blaid Doriaidd mewn nerth, ac yr oeddent yn brysur yn ceisio cyfleusderau i ddial ar y Whigiaid. Taflwyd Shaftesbury i'r Tŵr, a phenderfynwyd dwyn ei achos i brawf am deyrnfradwriaeth; ond llwyddwyd i gael Whigiaid y brifddinas yn uchel-reithwyr ar ei achos, a thaflasant y cyhuddiad o'r neilldu o ddiffyg profion. I ddial ar Lundain, cymerwyd ei breinlen (*charter*) oddiarni, dan yr esgus ei bod wedi ei fforffedu trwy gamymddygiad. Ac er mwyn dwyn y bwrdeisdrefi dan ddylanwad uniongyrchol y brenin yn yr etholiadau, cymerwyd eu breinleni hwythau oddiarnynt, y naill ar ol y llall. Derbyniasant eraill yn eu lle oedd yn sicrhau goruchafiaeth y Toriaid.

Yr oedd yn naturiol i agwedd fel hon ar bethau gynyrchu gwrthryfel a bradwriaethau. Tybiodd Shaftesbury am gyffroi y bobl i godi yn erbyn y gormes, ac yr oedd Monmouth, Russell, Grey, ac eraill, yn bresenol pan wnaed cyfeiriad at hyny. Anfonwyd at Bresbyteriaid Ysgotland hefyd, y rhai oeddent yn dyoddef creulonderau na wybu Lloegr erioed am eu bath. Ond tra yr oedd blaenoriaid y dosbarth hwn yn cynllunio gwrthryfel cyffredinol yn erbyn y llywodraeth, yr oedd rhai o'u cymdeithion yn dyfeisio ffordd fyrach i gael gwared o'r gormeswyr, ac amddiffyn crefydd Brotestanaidd a rhyddid y deyrnas, sef trwy lofruddio y brenin a'i frawd gerllaw *Rye House*, ar eu ffordd i Newmarket. Trefnwyd y modd, y lle, a'r amser; ond nid oedd y bwriad hwn yn hysbys ond i ychydig, a gofalwyd ei gadw oddiwrth Russell a Monmouth. Hwn a adnabyddir wrth yr enw *Rye House Plot*.* Datguddiwyd ef i'r llywodraeth gan Keeling, un o'r cynllunwyr, a chymerwyd amryw bersonau i fyny. Yr oedd Shaftesbury eisoes wedi ffoi i'r Cyfandir, lle y treuliodd weddill byr ei oes. Diangodd Monmouth ac Armstrong, ond cymerwyd Russell, Grey, Essex, Sidney, ac eraill i fyny, a thaflwyd hwy i'r Tŵr. Ni fwriedid cyhuddo y personau hyn o fwriadu yn erbyn bywyd y brenin, ond gobeithiai Charles gael gwared o'r fath wrthwynebwyr i allu unbenaethol trwy eu cyhuddo o ymgais i godi gwrthryfel. Profwyd a dienyddiwyd rhai personau llai pwysig, er mwyn palmantu y ffordd at rai uwch. Dygwyd achos Russell yn mlaen; ac er iddo ef wneyd amddiffyniad galluog a chlir, teimlai o'r dechreu fod ei dynged wedi ei selio. Yn wir, yr oedd wedi dyweyd yn hir cyn hyn, nas gallesid sefydlu llywodraeth unbenaethol yn Lloegr heb iddi ymrwyfo trwy ei waed ef. Cynygiodd ei dad oedranus, Iarll Bedford, gan mil o bunau am arbediad ei fywyd. Ar gais ei wraig a'i berthynasau, ymostyngodd Russell ei hun i ofyn pardwn Charles; a bu ei wraig enwog yn erfyn gyda

* Bradwriaeth y Twba Blawd (*Meal-tub Plot*) oedd un arall a ddyfeisiwyd ychydig cyn hyn, a elwid felly oblegyd mai mewn twba blawd y cafwyd papyrau cysylltiedig â hi. Dyhiryn digymeriad o'r enw Dangerfield oedd a'r llaw flaenaf yn hwn.

dagrau; ond ni thyciai dim gyda'r brenin anystyriol a dialgar. Protestiodd â'i anadl olaf na wyddai ddim am fradwriaeth yn erbyn y brenin na'r llywodraeth. Bu farw (Gorphenaf, 1683) gyda ffydd a diysgogrwydd Cristion.

Dychwelodd Monmouth, ac ymdaflodd wrth draed ei dad, a chafodd faddeuant; ond troseddodd yn fuan eilwaith, ac ymadawodd o'r wlad. Cafwyd Essex yn farw yn y Tŵr, wedi gwneyd diwedd, fel y bernid, ar ei einioes ei hun. Y nesaf a ddygwyd i'w brawf oedd yr enwog Algernon Sidney. Casglwyd nifer o'i elynion yn dystion i'w erbyn, rhoddwyd yr anenwog Jeffreys yn farnwr ar ei achos, a chauwyd cyfiawnder, heb son am drugaredd, allan o'r llys. "Ni oddefodd ffurfiau a defodau cyfraith erioed fwy o gam-driniaeth drygionus na phan oedd Jeffreys yn offeiriad, a Sidney yn aberth." Nid yn fynych y gwelwyd y fath waed ag eiddo Russell a Sidney yn cael ei dywallt. "Ymddengys fod y fath ddyoddefiadau yn angenrheidiol ar brydiau, er cadw yn fyw y casineb etifeddol priodol at ormes mewn cenedl rydd."* Y flwyddyn ganlynol (1684) gweinyddwyd cospedigaeth gyffelyb ar Hampden, Holloway, ac eraill; a chliriodd Charles o'i ffordd y prif ddynion oedd yn rhwystr iddo gael gallu hollol ar y deyrnas i'w law.

Dau brif gynghorwr y brenin yn awr oedd York a Halifax, y rhai oeddent yn elynion i'w gilydd, a'r naill yn ceisio disodlu y llall, a Louis o Ffrainc yn ceisio disodlu y ddau; a rhwng dylanwad y tri, cadwyd Charles mewn ansefydlogrwydd parhaus. Addawai bob peth i bawb, ond ni chyflawnai ddim i neb. Safai gyda Ffrainc heddyw; torai y cysylltiad â hi yfory. Ni wynebai senedd mwy yn awr; galwai senedd yn nghyd heb oedi yn y man. Sicrhäai i York y troai Halifax o'i swydd, ac i Halifax y gyrai York i Ysgotland. Dangosai y dygasedd mwyaf at Monmouth yn y cyhoedd, a'r serch mwyaf yn ddirgelaidd.† Ond tra yr oedd y brenin yn addaw hyn a'r llall, a phleidiau gwrthwynebol yn dysgwyl yn bryderus wrth ei symudiadau, tarawyd ef â ffit o *apoplexy*, a bu farw yn mhen ychydig o ddyddiau, Chwefror 6, 1685, yn 55ain mlwydd oed. Gwrthododd gymeryd y sacrament gan yr esgob, ond anfonodd y duc, ei frawd, i gyrchu offeiriad Pabaidd. Cliriwyd yr ystafell, er mwyn cadw y peth yn ddirgel; cyffesodd ei bechodau, proffesodd ei hun yn Babydd, a derbyniodd y sacrament yn nghyda maddeuant. Cyflwynodd ei ordderchadon i ofal ei frawd, a dywedodd, "Peidiwch gadael i Nelly (Gwyn) druan newynu." Yr ydym eisoes wedi rhoddi braslun o'i nodweddiad, ac nid oes dim i'w ychwanegu ond fod ei deyrnasiad yn ysmotyn du, ac yn gyfnod gwaradwyddus yn hanes ein gwlad.

* Dr. Vaughan. † Macaulay.

## II. JAMES II., 1685—1688.

BRAWD ydoedd James, Duc York, i Charles II., a mab Charles I. Ganwyd ef yn Llundain, Hydref 15, 1633. Priododd y tro cyntaf ag Anne Hyde, merch Clarendon, o ba un y cafodd ddwy ferch, Mary ac Anne. Ei ail wraig oedd Mary D'Este, chwaer Duc Modena, o ba un y cafodd fab o'r enw James, ac amryw ferched, y rhai a fuont feirw yn ieuainc. Cafodd nifer mawr o blant annghyfreithlon hefyd.

Galwodd James y cyfrin-gynghor yn nghyd ar ddydd marwolaeth y brenin; gwnaeth araeth o duedd heddychlon ger eu bron, ac addawodd wneyd ei oreu i ddal y llywodraeth i fyny, yn eglwysig a gwladol, yn ol cyfraith y wlad; ac na fuasai ar y naill law yn ildio dim o hawlfreintiau cyfiawn y goron, nac ar y llaw arall yn gormesu dim ar feddianau neb o'r deiliaid. Cyhoeddwyd ei araeth, a derbyniwyd hi gan y genedl gyda phob arwyddion o lawenydd. Addawai yn dda ar ei esgyniad, a chan fod gan y bobl gryn hyder yn ei air, dysgwylient y buasai pethau yn gwella dan ei deyrnasiad; ond buan y cawsant eu siomi. Y Sabbath cyntaf ar ol claddu y brenin diweddar, aeth James mewn rhwysg breninol i'r gwasanaeth Pabaidd; dygai Powis, y Pabydd, gleddyf y llywodraeth o'i flaen, ac aeth i mewn i'r offeren. Dro arall, pan ddygai Norfolk y cleddyf o'i flaen, safodd yr iarll wrth y drws, a gwrthododd fyned i mewn. "Aethai eich tad yn mhellach," ebai y brenin. "Nid aethai tad eich mawrhydi mor bell," ebai Norfolk. Cyn pen mis yr oedd y Pabyddion yn heidio at y llys gydag eofndra na welwyd o'r blaen yn Lloegr, er amser y diwygiad, a theimlai llawer yn bryderus am y canlyniad. Parodd ei waith yn gorchymyn i'r cyllidau gael eu codi fel arfer, cyn galw y senedd yn nghyd, hefyd i'r bobl amheu ei fwriadau rhyddfrydig am y dyfodol. Gweithred arall o'i eiddo a ddangosai yr un ysbryd, er ei bod ynddi ei hun yn ddymunol, ydoedd rhyddhad y carcharorion Annghydffurfiol. Gwnaed hon er mwyn y Pabyddion, a hwy yn benaf dderbyniodd ei ffrwyth.

Penderfynodd James gadw gweinidogion ei frawd, ac annghofio eu gwrthwynebiad iddo ef. Gwnaeth Halifax yn llywydd y cynghor, Rochester yn arglwydd-drysorydd, ei frawd Clarendon yn arglwydd y gyfrin-sel, Sunderland a Middleton yn ysgrifenyddion, a Godolphin yn ystafellydd y frenines. Godolphin, Rochester, a Sunderland yn unig oedd yn meddu ymddiried y brenin. Yr oedd cynghor dirgel arall ar faterion Pabaidd nad oedd neb o'r gweinidogion, oddigerth Sunderland, yn gwybod dim am dano. Daliodd James gyfrinach gyffelyb i'w frawd â llys Ffrainc, a daliai brenin Ffrainc i ddwyn yn mlaen y cyffelyb ystrywiau. Anfonodd Louis ugain mil o bunau i James i'w gynorthwyo ar adeg ei esgyniad,—fel

gwobr yn ddiau am beidio ymyryd ag amgylchiadau y Cyfandir. Ac anfonodd swm mwy fyth yn fuan er cynorthwyo i yru gweinidogion James yn erbyn eu meistr, ac yn erbyn eu gilydd.

Oates oedd un o'r rhai cyntaf gafodd deimlo dialedd James. Condemniwyd ef o anudoniaeth, a dedfrydwyd ef i'r rhigod (*pillory*) ddwy waith, i gael ei fflangellu o Aldgate i Tyburn, ac i gael ei rigodi bum waith bob blwyddyn. Cyflawnwyd y ddedryd i'r llythyren. Dywedir iddo dderbyn cynifer a dau cant ar bymtheg o wialenodiau yr un diwrnod, a bod ei gorph briwedig yn ddychrynllyd i edrych arno. Ond daliodd trwy y driniaeth oll, a chafodd ryddhad a blwydd-dâl dan y teyrnasiad nesaf. Tynghedwyd Dangerfield hefyd i gyffelyb gospedigaeth; ond nid oedd ef yn feddianol ar gyfansoddiad cadarn Oates, a bu farw yn fuan o archollion y fflangell. Mynai y barnwr Jeffreys weinyddu cospedigaeth greulon ar Baxter hefyd, am y dywedid ei fod wedi rhoddi syniadau cyfeiliornus yn ei esboniad ar y Testament Newydd. Galwai ef yn "*rogue*" ac yn "*rascal*," a chyffelybai ef i Oates oedd y pryd hwnw yn y rhigod. Dirwywyd ef yn drwm, a thaflwyd ef i garchar nes talu y ddirwy.

Galwyd senedd yn nghyd yn Mai, pryd yr ail adroddodd James oddiar yr orsedd yr hyn a ddywedodd o'r blaen wrth y cynghor; ond ychwanegodd ymadroddion cryfion wrth y Cyffredin, y rhai oedd yn awgrym eglur o'i ysbryd gormesol. Er hyny, derbyniwyd ei araeth gyda'r llon-gyfarchiadau arferol, a phleidleisiwyd yn unfrydol iddo yr un swm o gyllidau ag a dderbyniai y brenin blaenorol.

Yr oedd Ysgotland eisoes yn dechreu aflonyddu yn y rhagolwg ar lywodraeth y brenin Pabaidd hwn, a llawer yn barod i godi i'w gwrthsefyll. Yr oedd Argyle, prif flaenor y Presbyteriaid, wedi ffoi i'r Cyfandir yn niwedd y teyrnasiad o'r blaen. Gyrwyd am dano adref yn awr, a threfnwyd fod Monmouth, yr hwn oedd hefyd ar y Cyfandir, i godi byddin o wrthwynebwyr yn Lloegr. Glaniodd Argyle, gyda Hume, Cochrane, Rumbold, ac Ayloffe, yn Ysgotland yn nechreu Mai, 1685, a dechreuasant gasglu eu cyfeillion yn nghyd. Ond ni chawsant y bobl mor barod i godi ag y dysgwylient. Heblaw hyny, yr oedd annghydwelediad yn mysg y blaenoriaid, a phenderfynwyd rhanu eu byddin fechan. Aeth Argyle yn ei flaen tua Glasgow, cyfarfu â byddin wrthwynebol ar ei ffordd; a chan fod ei fyddin ei hun yn myned lai-lai, gwelwyd nad oedd gobaith am lwyddiant, ac ymwasgarwyd. Daliwyd Argyle mewn dillad gwladddyn yn mhen ychydig ddyddiau. Dienyddiwyd ef yn Edinburgh dan gawod o waradwydd ei elynion, heb un prawf, eithr yn ol y ddedryd annghyfiawn oedd wedi ei phasio arno flynyddoedd cyn hyny.

Glaniodd Monmouth yn Lloegr dechreu Mehefin, a chyhoeddodd

ei fod yn codi dros iawnderau y grefydd Brotestanaidd, ac yn erbyn gormes James, Duc York. Caffai dderbyniad croesawgar yn mhob man, a dylifai lluaws o bobl at ei faner; ond nid oedd neb o'r pendefigion wedi ymuno â'i achos, yr hyn a wnelai ei ragolygon yn bur anobeithiol. Pan ddeallodd dynged Argyle, digalonodd, a bu ar fedr gollwng ei fyddin, a ffoi. Yr oedd yn awr yn Bridgewater, a byddin y brenin, dan Feversham, yn agosâu. Cynygiodd y duc ymosodiad nosawl ar Feversham, ar forfa Sedgemore. Ond gorchfygwyd ef, ar ol ymladdfa ffyrnig. Diangodd ef a rhai o'i brif swyddogion, wedi gadael dros fil o'i wŷr yn lladdedig ar y morfa, a thri chant o fyddin y brenin. "Felly y dybenodd y frwydr ddiweddaf, teilwng o'r enw brwydr, ymladdwyd ar ddaear Seisnig." Daliwyd Grey yr ail ddydd ar ol y frwydr, a Monmouth y dydd canlynol mewn ffos yn Hampshire, mewn gwisg bugail, gydag ychydig bŷs yn ei logell, y rhai yr oedd wedi eu casglu ar gae cyfagos i dori arteithiau newyn. Dymunodd y duc am gael ymweliad â'i ewythr y brenin, am fod ganddo bethau o bwys i'w hysbysu. Caniatawyd ei ddymuniad iddo; ond cafwyd mai y peth pwysicaf oedd ganddo ydoedd ymbil am ei fywyd. Ymgreiniai wrth ei draed mewn dagrau, rhoddai y bai ar eraill, ac addawai bob peth, os arbedid ei fywyd. Darostyngodd ei hun yn ngolwg ei gyfeillion a'i wlad trwy ei annewrder yn wynebu ei dynged. Ond buasai cystal iddo beidio; yr oedd bellach yn llaw James, un na faddeuodd i neb erioed.* Taflwyd ef i'r Tŵr yn ddiobaith, a gostegodd ei anobaith ystorm ei deimladau. Gorphenaf 15fed, dygwyd ef i'r arteithglwyd i gael tori ei ben. Dywedodd uwch ben y plocyn ei fod "yn marw yn Brotestant o Eglwys Loegr."

Yna dywedodd wrth Ketch, y dienyddwr, "Dyma chwe gini i ti, a phaid a fy narnio i fel y gwnaethost â fy Arglwydd Russell. Clywais i ti ei daro ef dair neu bedair gwaith. Cei ychwaneg gan fy ngwas os gwnai dy waith yn dda." Ond gwnaeth y rhybudd hwn y dyn yn fwy cynhyrfus. Pan osododd y duc ei ben ar y plocyn, tarawodd y dienyddwr ergyd lled chwith; cododd y truan ei ben gwaedlyd, ac edrychodd yn ddirmygus arno. Gostyngodd y pen eilwaith, a tharawodd Ketch unwaith ac eilwaith drachefn, a'r corph yn para i ysgogi. Yna taflodd y fwyall i lawr gyda llw, a dywedodd, "Nis gallaf; mae fy ysbryd yn pallu." "Cymer y fwyall i fyny, y dyn," meddai y sirydd. "Teflwch ef dros ben y rheil," gwaeddai yr edrychwyr yn ffyrnig. Gwnaeth ddau gynyg eilwaith; a gorfuwyd gwahanu y pen oddiwrth y corph gyda chyllell yn y diwedd. Felly y bu farw Duc Monmouth yn 36 mlwydd oed.

*Yr oedd Ayloffe yn deall James yn well. Pan ddygwyd ef ger ei fron cyn ei ddienyddio, ar fedr tynu rhyw beth oddiwrtho, dywedodd y brenin, "Oni wyddoch fod ar fy llaw i roddi eich bywyd i chwi?" "Gwn," ebe Ayloffe, "ei fod ar eich llaw; ond nid yw ar eich calon." (*"It's in your power, but not your nature."*)

Canlynwyd y rhyfel yma gan y creulonderau mwyaf at y gwrthryfelwyr a'u cefnogwyr. Cymerodd Feversham a'i îs-swyddogion, ac yn enwedig y milwriad Kirke, yr awrdurdod i'w dwylaw, condemniasant y trueiniaid heb brawf nac arall, a cyflawnasant ysgelerderau na chlywyd am eu bath o fewn cylch hanesiaeth Seisnig. Dywedir eu bod mor ynfyd a gosod y cerddorion i chwareu pan fyddai traed y rhai a grogid yn ysgwyd dan arteithiau angeuol y crogbren, gan ddywedyd eu bod yn rhoddi cerddoriaeth i'w dawns. Adroddir am un ferch ieuanc aeth at Feversham i ymbil am fywyd ei brawd; caniataodd ei chais ar yr amod fod iddi dreulio y noswaith gydag ef fel y gallai foddhau ei drachwant. Yn hytrach nac edrych ar ei brawd yn dyoddef, ufuddhaodd y ferch. Ond wrth fyned allan oddiwrtho bore dranoeth, yr olygfa gyntaf a gafodd oedd ei brawd yn hongian yn farw wrth y crogbren. Cafodd y fath ddylanwad arni nes i'w synwyrau ddyrysu yn y fan.*

Ond er cynddrwg ydoedd creulonderau y bleiddiaid rheibus hyn, nid oeddent yn werth eu coffa yn ymyl eiddo y barnwr Jeffreys, yr hwn a roddodd y fath warthnod ar y fainc farnol, ac a ymbleserai i gigyddio trueiniaid diniwaid o'r trwch, a hyny yn enw cyfraith a chyfiawnder. Cymerodd ef, a phedwar o is-farnwyr eraill, daith trwy y parthau gorllewinol, er mwyn cospi cefnogwyr y gwrthryfel. Galwai James y daith yn "Rhyfelgyrch Jeffreys." Dechreuodd ar ei orchwyl yn Winchester (Awst, 1685); a'r cyntaf a ddygwyd ger ei fron ydoedd achos Mrs. Lisle, gweddw un o arglwyddi Cromwell, am roddi noddfa i ddau a ffoisant o frwydr Sedgemore. Ac er na chafwyd prawf ei bod hi yn gwybod mai bradwyr oeddent, na hwythau eto wedi eu profi yn fradwyr, mynodd Jeffreys ei chondemnio, a dedfrydwyd hi i gael ei llosgi yn fyw. Gwnaed ymdrechion caled i arbed ei bywyd, ond yr unig drugaredd a gafwyd iddi oedd, newid ei dedryd i gael tori ei phen yn lle ei llosgi. Gweddiai ar yr arteithglwyd dros y brenin nad allai faddeu gweithred o ddyngarwch. Yn swydd Dorset, rhoddwyd agos pedwar ugain i farwolaeth; tri ar ddeg yn swydd Devon; a deuddeg ugain ond un yn y man lleiaf, yn swydd Somerset. Alltudiwyd miloedd o'u gwlad; gwerthid hwynt yn gaethion i'r India Orllewinol am o ddeg i bymtheg punt yr un, a rhenid yr arian rhwng cyfeillion goreu y brenin. Dirdynwyd miloedd o bunau i bwrpas cyffelyb oddiwrth eraill, trwy fygwth dyfod ag achos yn eu herbyn, neu oddiar esgusodion o'r mwyaf distadl. Gosodid penau a darnau eraill o gyrph y lladdedigion ar y croesffyrdd, y pyrth, o flaen yr eglwysi, ac yn mhob man amlwg, nes heintio yr awyrgylch gan yr arogl, a dychrynu y teithiwr, pa le bynag y tröai ei wyneb. Yr oedd y brenin yn hysbys o'r cwbl oedd yn myned yn mlaen; diolchodd i

*Amheua rhai gywirdeb yr hanesyn.

Jeffreys am ei wasanaeth, a gwobrwyodd ef trwy ei wneyd yn arglwydd ganghellydd.

Rhoddodd methiant y gwrthryfel hyfdra ychwanegol yn James, a phenderfynodd gymeryd camrau beiddgar i sefydlu ei awdurdod. Y prif bethau oedd yn ei flino yn awr oedd y "*Test Act*," yr hon oedd yn cadw y Pabyddion allan o wasanaeth y llywodraeth, a'r "*Habeas Corpus Act*," yr hon oedd yn dyogelu cymaint o ryddid i'r deiliaid; a rhoddodd ei fryd ar eu dyddimu. Wedi methu cael gan Halifax blygu i fod yn offeryn iddo, trodd ef allan o'i gynghor, ac felly gwnaeth y gweinidog galluocaf a feddai yn wrthwynebydd. Galwodd senedd yn nghyd yn Tachwedd, a rhoddodd ar ddeall iddynt ei fod yn groes i'r "*Test Act*," yn benderfynol i gadw Pabyddion yn ei wasanaeth. Ond cafodd y senedd yn fwy gwrthnysig nag y dysgwyliodd. Arweinydd y gwrthwynebwyr oedd Halifax, a darostyngwyd Jeffreys, prif ddyn y llys, er cymaint ei falchder, i'r llwch. Ar yr unfed dydd ar ddeg, gohiriodd James y senedd mewn tymher ddrwg, ac ni chyfarfyddodd mwy i gyflawni unrhyw orchwylion. Bu y senedd-dai yn annghyfanedd a dystaw hyd nes y dadseiniodd y muriau ddiorseddiad y brenin gan y gymanfa. Priodol y galwyd y gohiriad hwn "yn ddiwedd yr act gyntaf yn *drama* y chwyldroad Seisnig."

Daliai James i lynu wrth ei frawd Pabaidd, Louis o Ffrainc, ac i dderbyn cynorthwy oddiwrtho, a pharai hyn i'w ddeiliaid Protestanaidd, yn gystal a Phrotestaniaid y Cyfandir, edrych arno gyda llygad mwy amheus fyth. Yr amser hwn y galwodd Louis gyfraith oddefol Nantes yn ol, pryd y dyoddefodd y Protestaniaid yno erledigaeth deilwng o'r oesoedd mwyaf paganaidd, ac y gorfodwyd triugain mil o honynt yn Nismes yn unig, mewn tridiau, i ymadael â'u crefydd. Cafodd y newydd hwn eto ddylanwad ar ysbryd Protestanaidd Lloegr, a chyffrodd ddygasedd mwy at ymdrechion James a'r Jesuitiaid i ddychwelyd pawb o'u cwmpas yn Babyddion. Yr oedd y weinyddiaeth bellach, mewn gwirionedd, yn nwylaw y Pabyddion; sef y brenin, Sunderland, y tad Petre, a'r arglwyddi Pabaidd, Bellasis, Powis, Arundel, a Dover. Ail-ffurfiwyd y corphoriaethau, a gwthiwyd Pabyddion i mewn i bob swydd o anrhydedd ac awdurdod. Trowyd pedair mil o filwyr Protestanaidd allan o fyddin y brenin, cymerwyd eu gwisgoedd oddiarnynt, a gollyngwyd hwy yn noeth a newynog i grwydro dros y wlad. Gwnaed pethau cyffelyb yn Ysgotland ac Iwerddon hefyd. Ond yr oedd hyn yn ormod hyd y nod i'r Toriaid a'r Uchel-Eglwyswyr, a chododd y pwlpud ei lais yn groch yn ei erbyn.

Cymerodd y brenin hyn yn achlysur i wneyd ymosodiad beiddgar i ddymchwelyd yr Eglwys. Anfonodd orchymyn i gau genau y pwlpud; ond nid oedd Sancroft, archesgob Canterbury, yn barod i

gydsynio. Anfonodd eilwaith at Compton, esgob Llundain, i geisio ganddo atal Dr. Sharp, periglor St. Giles, am bregethu yn erbyn y grefydd Babaidd; ond gwrthododd Compton, heb roddi cyfle i'r doctor i ateb drosto ei hun. Dygwyd achos yr esgob o flaen y cynghor Eglwysig newydd, a throwyd ef o'i swydd. Dadleuodd Rochester, brawd yn nghyfraith y brenin, o blaid yr esgob; ac am hyny, taflwyd yntau allan o'r cynghor Eglwysig; galwyd Clarendon ei frawd hefyd adref o Iwerddon, a rhoddwyd yr awdurdod yno i Tyrconnel. Gwelwyd erbyn hyn nad oedd rhwymau cyfeillgarwch na pherthynas yn abl cadw Protestant mewn unrhyw swydd o awdurdod, a bod James yn benderfynol i sefydlu llywodraeth Babaidd. Pan ddygwyd cyfraith yn erbyn Syr Edward Hales gan ei was, er codi dirwy o bum cant o bunau am ddal swyddogaeth yn y fyddin heb dderbyn y sacrament, dadleuai Hales fod ganddo awdurdod y brenin i'w dal, a phenderfynodd un ar ddeg o'r barnwyr o'i blaid. Dywedodd y prif farnwr Herbert "fod breninoedd Lloegr yn benaduriaid; mai cyfreithiau y brenin oedd cyfreithiau Lloegr; ac am hyny fod gan y brenin hawl i alw cyfreithiau cospawl yn ol ar achlysuron penodol."

Yr oedd gan y brenin fyddin sefydlog yn awr o bymtheg mil o wŷr yn gorwedd ar *Hounslow Heath;* a pharodd i Johnson, offeiriad o'r Eglwys Sefydledig, a chaplan i'r diweddar Arglwydd Russell, gael ei ddirwyo, ei rigodi deirgwaith, a'i chwipio o Newgate i Tyburn, am ysgrifenu cyfarchiad i'r milwyr i'w hadgofio o'u rhyddid a'u hiawnderau.

Yn nechreu 1687, cyhoeddodd y brenin ryddid cydwybod mewn pethau crefyddol. Yr oedd yr hysbysiad hwn, er ei fod ynddo ei hun yn beth tra dymunol, yn tarddu o'i ysbryd gormesol. Ei amcan ydoedd, nid yn unig rhyddhau y Pabyddion oddiwrth y *Test Act*, ond hefyd enill yr Ymneillduwyr o'i blaid yn erbyn yr Eglwyswyr. Ond er fod y cynygiad yn demtasiwn gref i'r Ymneillduwyr, gwelent ganlyniadau peryglus y fath honiad o awdurdod gan y brenin, a gwrthododd Baxter, Howe, a'r prif weinidogion, roddi eu henwau wrth ysgrif i gydnabod y brenin am y goddefiad.

Tybiai James erbyn hyn fod y fantol wedi troi o'i du, ac y gallasai feiddio unrhyw gynygiad. Dechreuodd sefydlu mynachdai ac ysgolion Pabaidd yn Llundain, a phenderfynodd roddi ei law ar ffynonell y dyfroedd yn Oxford a Cambridge. Enwai ef Babyddion i fod yn benau ac yn feistriaid y gwahanol golegau, a thaflai y "*fellows*" allan oblegyd gwrthwynebu. Ond safasant yn ei erbyn yn wrol, a chawsant gefnogaeth calonog yr holl wlad. Yr oedd eisoes wedi gwneyd ei oreu i droi Anne ei ferch at y grefydd Babaidd, ac amddifadu Mary, yr hon oedd wedi priodi Tywysog Orange, o'i hawl i'r orsedd; a pharhäai yn anesmwyth rhag i'w hysbryd

Protestanaidd ddymchwelyd eto ei holl lafurwaith. Beth bynag, tua diwedd y flwyddyn hon, rhyddhawyd ei feddwl o bob pryder, gan yr hysbysiad o feichiogiad y frenines. Priodolai James y fendith hon i lwyddiant ei ymweliad diweddar ef â Ffynon Santaidd Treffynon, ac i weddiau y frenines a'i mham at greirgell Loretto. Ond disgynodd ysbryd annghrediniaeth ar holl Brotestaniaid y wlad, a thybient mai dyfais oedd y cwbl er mwyn sicrhau olyniad Pabaidd i'r orsedd.

Blwyddyn bwysig yn Lloegr ydoedd 1688. Yn Ebrill ail gyhoeddwyd yr hysbysiad o ryddid cydwybod, gyda'r ychwanegiad fod i'r offeiriaid ei ddarllen yn yr eglwysi, a bod yr esgobion i'w daenu trwy eu hesgobaethau i'r pwrpas. Safodd mwyafrif clerigwyr Llundain yn ei erbyn, a chyfarfu cynadledd o brif bregethwyr yr oes yn nhŷ yr archesgob, yn Lambeth; Tillotson, Stillingfleet, Patrick, Tennyson, Grove, Sherlock, a'r diweddar weinidog Clarendon, yn nghyda'r esgobion roddasant eu henwau wrth y ddeiseb. Penderfynwyd anfon deiseb o esgusawd at y brenin am beidio darllen y fath gyhoeddiad annghyfreithlon yn Nhŷ yr Arglwydd. Arwyddwyd hi gan Sancroft yr archesgob, a'r chwech esgob a ganlyn:—Lloyd o Lanelwy, Ken o Bath a Wells, Turner o Ely, Lake o Chichester, White o Peterborough, a Trelawney o Bristol. Gan fod y llys wedi ei wahardd i'r archesgob, dygodd y chwech eraill hi yn eu dwylaw i'r brenin y noswaith hono (Mai 18). Enynodd ei darlleniad ddigofaint James; a dechreuodd ddifrio yr esgobion. Yr oedd eu hymddygiad yn wrthryfelgar, yr oedd yn dysgwyl gwell oddiwrthynt, a buasent yn clywed oddiwrtho yn ei gylch eilwaith. "Mae Duw," meddai, "wedi rhoddi y gallu gweinyddol i mi, a mynaf ei gadw. Mae saith mil o wŷr eto yn perthyn i Eglwys Loegr hefyd, y rhai na phlygasant eu gliniau i Baal." Gollyngodd hwy ymaith gyda bygythion. Pan ddaeth y dydd penodedig (Sabbath, 20fed) ni ddarllenwyd y cyhoeddiad ond mewn saith o eglwysi Llundain; ac allan o ddeng mil o glerigwyr yn y deyrnas, ni ddarllenwyd ef gan fwy na dau cant. Canmolodd Baxter yr esgobion o'i bwlpud, am eu gwrthsafiad gwrol; ond gyrwyd y brenin o'i hwyl, a thaflwyd y saith esgob i'r Tŵr.

Yr oedd teimlad y wlad wedi cyffroi yn fawr o blaid yr esgobion carcharedig, ac ymwelwyd â hwy gan amryw Annghydffurfwyr enwog. Daeth eu prawf yn mlaen yn Westminster y mis canlynol; tybiai y brenin yn sicr y troisai yr achos yn eu herbyn, ac yr oedd barnwyr a rheithwyr wedi eu dewis er cyrhaedd yr amcan hwnw. O'r pedwar barnwr a eisteddai ar yr achos yr oedd un (Allibone) yn Babydd; dau (Wright a Holloway) yn offerynau y llys; ond yr oedd y llall (Powell) yn ddyn o gymeriad uchel. Yr oedd yn agos triugain o ieirll ac arglwyddi yn bresenol ar yr achos cyffrous.

Wedi hir ddadleu o bob tu, cymerodd dau o'r barnwyr, Powell a Holloway, blaid yr esgobion, a dywedasant nad oeddent yn ystyried yr esgobion yn euog o un trosedd. Ymneillduodd y rheithwyr, a buont yn gloedig trwy y nos, oblegyd ystyfnigrwydd un Arnold, darllawydd y brenin.* Boreu dranoeth, beth bynag, dygasant y ddedryd o "Dieuog." Dadseiniodd muriau Westminster gan y llon-floeddiadau; rhedodd fel tân gwyllt trwy y ddinas o gŵr i gŵr; atebwyd y floedd gan y milwyr yn Hounslow. Yr oedd y brenin ar y pryd ar giniaw gyda Feversham. "Beth yw y bloeddio yna?" gofynai. "Dim ond fod yr esgobion wedi eu rhyddhau," oedd yr ateb. "Ai dim ydych yn galw hyny!" ebai y brenin. Diswyddwyd Powell a Holloway am ddangos y fath annibyniaeth meddwl.

Yr oedd y frenines, erbyn hyn, wedi rhoddi genedigaeth i dywysog, yr hwn a alwyd wedi hyny James y "*Pretender*" (ymhonwr); ond, ryw fodd, ychydig a gredai y ffaith. Gwyddai y Protestaniaid fod y Jesuitiaid yn ddigon drygionus a chyfrwys i ddyfeisio unrhyw ystryw, a bod eu crefydd yn gefnogaeth i bethau o'r fath. Yr oedd gwaith y Pabyddion hefyd yn prophwydo gyda'r fath sicrwydd mai mab fyddai y plentyn, a'r manteision ddylifai i'w crefydd drwyddo, wedi bod yn llawer o achos i'r amheuaeth yn ei gylch. Cynyrchodd genedigaeth y tywysog ddau ddylanwad cyffredinol; gwnaeth i amryw oedd yn ymhongian rhwng y ddwy grefydd broffesu eu hunain yn Babyddion, a gwnaeth i'r Pabyddion oll edrych yn mlaen yn fwy gobeithiol a chalonog. Cyffrodd ofn y Protestaniaid, o'r tu arall, a gwnaeth hwy yn fwy ymroddgar a phenderfynol i geisio ymwared o le arall. Os oedd tywysog wedi ei eni, gwyddent y cawsai ei fagu yn nghanol Pabyddion a Jesuitiaid, a dychrynent rhag y meddwl o gael Stuart wedi ei godi yn y fath ysgol yn frenin arnynt. Yr oedd amryw o flaenoriaid y Protestaniaid yn y wlad hon eisoes mewn cymundeb â William, tywysog Orange, a rhai wedi bod yn ei gymhell i ddyfod drosodd. Ymddangosai hwn yn awr fel unig lwybr gwaredigaeth. Ysgrifenwyd cymhelliad ffurfiol i'r tywysog, i geisio ganddo ddyfod a byddin i'w ganlyn, ac y buasai pedwar ar bymtheg o bob ugain o drigolion Prydain yn ymuno ag ef. Arwyddwyd yr ysgrif gan Ieirll Danby, Devonshire, Shrewsbury, Arglwydd Lumley, Compton esgob Llundain, y llyngesydd Russell, a H. Sidney; a dygwyd hi drosodd i Holland gan Herbert.

Yr oedd William yn disgyn o deulu breninol Lloegr, yn nai ac yn fab yn nghyfraith i James, a'i wraig yn etifedd nesaf y goron, ar

*Pan wrthodai Arnold ddadleu y pwnc, na ildio i farn ei gydreithwyr, dywedodd Awstin, boneddwr cyfoethog o'r wlad, "Os ydych yn penderfynu cymeryd y ffordd yna, edrychwch arnaf fi. Myfi yw y mwyaf a'r cryfaf o'r deuddeg; a chyn yr ildiaf fod y fath ddeiseb a hon yn *libel*, arosaf yma nes byddaf mor fain a phibell dybaco."

ol ei thad, ond gadael o'r neilldu y tywysog ieuanc oedd yn awr wedi ei eni. Nid oedd erioed wedi dangos tuedd ymyrgar ag amgylchiadau Lloegr, eto nis gallasai lai na theimlo dyddordeb yn ei hanes a'i symudiadau. Efe oedd amddiffynwr yr achos Protestanaidd ar y Cyfandir, ac i'w gysgod ef y ffoai y rhai a erlidid allan o'r deyrnas hon. Trwy y rhai hyny daeth yn fwy cyfarwydd â helyntion y wlad, ac yn gyfeillgar ag amryw o'i henwogion; a choleddid y meddwl uchaf am dano gan ei gyfeillion Seisnig. Yr oedd William yn ddyn hynotaf ei oes, ac yn un o ddynion hynotaf pob oes. Ymddengys iddo gyrhaedd addfedrwydd oedran heb brofi dyddiau ieuenctyd. "Ni welodd y byd," meddai Macauley, "y fath esiampl o wladweinydd rhagaddfed er dyddiau Octavius. Yn ddwy ar bymtheg oed yr oedd yn llys-genadwr medrus; yn ddeunaw, eisteddai yn mysg tadau y weriniaeth mor ddifrifol, mor gall, ac mor ddoeth a'r hynaf o honynt. Yn un ar ugain, ar ddiwrnod du ac ofnadwy, gosodwyd ef wrth ben y weinyddiaeth. Yn dair ar ugain yr oedd ei glod trwy holl Ewrop fel milwr ac fel gwleidiadwr."

Dyma y gwr a gymhellid drosodd gan y blaid boblogaidd i gymeryd yr awdurdod uchaf yn Lloegr. Yr oedd Rhagluniaeth eisoes wedi palmantu ei ffordd. Yr oedd newydd ddwyn Cyngrair Augsburg oddiamgylch, yn yr hwn y llwyddodd i gael gan brif benaduriaid y Cyfandir, ac yn eu mysg y pab ei hun, i ymuno i amddiffyn eu hunain yn erbyn trachwant Louis o Ffrainc. Ac yn rhagluniaethol iawn, cymerodd James dramgwydd diachos oddiwrth Louis, yr hyn a gadwodd yr olaf rhag dyfod allan yn erbyn y tywysog. Dechreuodd William wneyd darpariadau i ddyfod drosodd, a chyhoeddodd yr amcan oedd ganddo mewn golwg i holl drigolion Lloegr ac Ysgotland; sef, ceisio senedd rydd, dyogelwch yr eglwys, rhyddid cydwybod gyda phethau crefydd, ac ymholi yn nghylch genedigaeth Tywysog Cymru. Ysgrifenodd hefyd at ei gyngreiriaid ar y Cyfandir, a chafodd eu cydsyniad.

Yr oedd William yn barod i adael yr Hague am Loegr yn niwedd Medi (1688), ond ataliwyd ef gan wynt croes am fis cyfan. Ar y cyntaf o Dachwedd, gadawodd lanau Holland gyda 60 o longau rhyfel a 700 o glud-longau, yn dwyn byddin o bymtheg mil a phum cant o wŷr, dan lywyddiaeth y llyngesydd Herbert. Cynwysai ei fyddin, heblaw Dutch, amryw o alltudedigion Seisnig a Ffrengig, ac amryw o bendefigion y wlad hon. Tiriasant yn Torbay, yn swydd Devon, ar y 5ed, heb un gwrthwynebiad oddiwrth y llynges Seisnig, dan Arglwydd Dartmouth.

Yr oedd James erbyn hyn wedi dychrynu, ac yn prysur alw yn ol ei fesurau gormesol y naill ar ol y llall. Dyddimodd y cynghor eglwysig, adferodd hawlfreintiau y corphoriaethau, cynygiodd faddeuant i'r holl droseddwyr, ac addawai luaws o bethau eraill.

Ond deallai pawb nad oedd hyn ond ffrwyth y cyfyngder yr oedd ynddo; ac felly ni chai nemawr o effaith ar y bobl. Yr oedd William yn awr wedi cyrhaedd Exeter, lle bu yr anffodus Monmouth a'i fyddin ychydig cyn hyny, ac wedi cael derbyniad croesawgar. Am rai dyddiau, ni ddaeth nemawr o'r pendefigion drosodd ato, ac ofnodd unwaith eu bod wedi ei fradychu. Ond yn fuan dechreuasant ddylifo yn gyflym. Cymerodd Cornbury, Danby, Devonshire, Lumley, Delamere, ac eraill, arfau i fyny o'i blaid; ac ymdaenodd y cyffelyb ysbryd fel tòn dros y wlad. Talodd James ymweliad â'i fyddin yn Salisbury, yr hon oedd dan lywyddiaeth Arglwydd Churchill, a Duc Grafton; ond mor gynted ag y trodd ei gefn, cadwyd cynghor milwrol, ac aeth Churchill, Grafton, a swyddogion eraill drosodd at William. Pan ddychwelodd y brenin i Lundain, y newydd cyntaf a glywodd oedd, fod Anne ei ferch, a'i gwr, George o Denmark, a Duc Ormond, wedi ffoi at William. Torodd i wylo, a dywedodd, "Duw a'm cynorthwyo! mae hyd y nod fy mhlant yn fy ngadael!" Yr oedd bellach mewn penbleth, a llifeiriant amgylchiadau yn rhuthro yn anorchfygol yn ei erbyn. Meddyliai alw senedd yn nghyd, ac ysgrifenwyd gwys-lythyrau i'r pwrpas; meddyliai ffoi drosodd i Ffrainc; a gosododd Halifax, Nottingham, a Godolphin, i geisio telerau gan William. Ond cafodd ofn oruchafiaeth yn ei feddwl, a phenderfynodd ffoi. Anfonodd y frenines a'i mhab ymaith mewn cwch, Rhagfyr 10fed, ar eu ffordd i Paris; ac yr oedd yntau a Hales i'w canlyn dranoeth. Yn anffodus, gan fod y brenin a'i gyfaill wedi ymddyeithrio o ran eu gwisgoedd, cymerwyd hwy i fyny fel Jesuitiaid gan bysgodwyr yn Feversham. Pan ddeallwyd mai y brenin ydoedd, anfonodd y cynghor filwyr i'w ddychwelyd i Lundain. Parodd y dygwyddiad hwn flinder mawr yn y teyrnasiad nesaf. Yr oedd William yn dynesu at Lundain, a gorchymynodd symud y brenin i Ham; ond ar ei ddewisiad ei hun cafodd fyned i Rochester. Nid oedd y wyliadwriaeth arno yno ond esgeulus, fel y gallai ffoi, os dewisai. Ac ar y 23ain o Ragfyr, ffodd ef a dau neu dri o gyfeillion mewn cwch pysgota, a glaniasant yn Ffrainc ar ddydd Nadolig. Cafodd dderbyniad croesawgar yn Paris gan ei briod a chan Louis. Bu yn pwyso am flynyddoedd ar garedigrwydd brenin Ffrainc; bu farw yn St. Germain, Medi 6, 1701, a chladdwyd ef mewn monachdy Pabaidd yn Paris.

Ar yr un diwrnod (Rhagfyr 18) ag y gadawodd James y brifddinas, daeth William i mewn iddi o gyfeiriad arall. Dranoeth ymwelwyd ag ef gan dyrfa o ynadon y ddinas, esgobion, offeiriaid, gweinidogion, ac eraill, i'w gyfarch fel gwaredwr y genedl. Galwodd y bendefigaeth yn nghyd, ceisiodd ganddynt gymeryd cyflwr y deyrnas i ystyriaeth, a dwyn iddo ef ffrwyth eu hymgynghoriad.

Yn y cyfamser galwodd gynadledd arall o'r holl bersonau a fuont mewn unrhyw senedd dan Charles II., yn nghyda henuriaid y ddinas. Penderfynodd y ddwy gynadledd geisio ganddo ef gymeryd gweinyddiad y llywodraeth i'w law hyd nes y penderfynid achos y goron, a galwyd cymanfa i gyfarfod ar y 22ain o Ionawr. Wedi wythnos o eisteddiad, daeth y gymanfa hono i'r penderfyniad canlynol:—"Fod James II. wedi gwneyd ymgais i ddymchwelyd cyfansoddiad y deyrnas, trwy dori y cyfamod gwreiddiol rhwng y brenin a'r bobl, ei fod, trwy gynghor y Jesuitiaid a dynion drygionus eraill, wedi troseddu y cyfreithiau sylfaenol, a'i fod wedi ymadael â'r deyrnas, ac wedi ymwrthod â'r llywodraeth, ac am hyny fod yr orsedd yn wag." Dranoeth pasiwyd y penderfyniad canlynol:—"Ei fod wedi ei gael allan, trwy brofiad, yn annghyson â dyogelwch a mantais y deyrnas Brotestanaidd hon iddi gael eu llywodraethu gan dywysog Pabaidd." Anfonwyd y ddau benderfyniad i'r arglwyddi; pasiwyd yr olaf ganddynt yn ddiwrthddadl; ond parodd y cyntaf ddadleuon hirfaith. Yr oedd yn eu mysg amryw bleidiau o olygiadau gwahanol. Mynai rhai anfon am James yn ol, ar yr amod fod iddo ymrwymo i lywodraethu yn ol cyfansoddiad y wlad. Mynai eraill iddo gael cadw y titl brenin, ac enwi rhaglaw i gymeryd y gweinyddiad. Eraill a haerent ei fod wedi ymwrthod â'r orsedd, a bod yr olyniad yn disgyn i'w ferch hynaf Mary. A mynai dosbarth arall gyhoeddi fod yr orsedd yn wag, a dewis penadur newydd. Tra yr oedd y dadleuon hyn yn myned yn mlaen, gyrodd William am Danby, Halifax, Shrewsbury, ac eraill o'r arweinwyr, a dywedodd wrthynt nad oedd ganddo ef hawl nac ewyllys i gyfarwyddo y gymanfa; ond os buasent hwy yn penderfynu ar raglawiaeth, na fuasai ef yn ymgymeryd â hi. Ac os buasent yn codi y dywysoges, ei briod, i'r orsedd, er fod ganddo y parch mwyaf iddi, nad oedd ef yn foddlon i gymeryd ei gylymu wrth linynau ei ffedog hi; ac os oedd ef i fod yn frenin, fod rhaid iddo fod dros ei fywyd; ond ei fod yn barnu yn rhesymol i'r olyniad fyned i'r dywysoges Anne, o flaen ei hiliogaeth ef o unrhyw briodas arall. Wedi cael yr hysbysiad gwrol hwn oddiwrth y tywysog, penderfynwyd gwneyd William a Mary yn frenin a brenines Lloegr, eu bod i gyd-deyrnasu, ond fod gweinyddiad yr awdurdod yn llaw y gwr. Yr oedd Mary yn berffaith foddlon, a buasai yn fwy boddlon fyth i'r priod oedd yn ei charu mor fawr gael yr holl anrhydedd iddo ei hun. Chwefror 13, ymgynullodd y ddau Dŷ i Balas Whitehall; eisteddai William a Mary ar yr orsedd; darllenodd y clerc gyhoeddiad iawnderau ger eu bron, a chyflwynodd Halifax y goron iddynt yn enw y llywodraeth. Atebodd William eu bod yn ei derbyn yn ddiolchgar, a'u bod yn bwriadu amddiffyn cyfreithiau, rhyddid, a chrefydd y wlad. Y cyfryw ydoedd Chwyldroad 1668,

yr hwn a elwir yn "GLORIOUS REVOLUTION;" a thrwy yr hwn y dygwyd i ymarferiad eilwaith yr hen ryddid ac iawnderau, "y rhai y ceisiodd teulu Plantagenet yn ofer eu dymchwelyd, y rhai y goddefwyd i'r Tudoriaid yn fynych eu mathru, a'r rhai yr aberthodd y Stuartiaid eu gorsedd i'w dinystrio."

## III.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Crefydd. Y TAIR ffurf gyffredin ar y llywodraeth wladol oedd, yr unbenaethol, y gyfansoddiadol, a'r werinol. Trwy hanesiaeth ein gwlad, cawn y rhai hyn, mewn graddau mwy neu lai cynhyrfus, yn ymryson am yr oruchafiaeth. Yr oedd rhyw beth hefyd yn yr athrawiaeth neu y gredo eglwysig yn cyfateb i'r ffurf-lywodraeth wladol. Yr oedd credo yr Eglwys Babaidd yn fwy cydweddol â llywodraeth unbenaethol; credo Eglwys Loegr Brotestanaidd yn fwy cydweddol â llywodraeth gyfansoddiadol; a chredo yr Annghydffurfwyr neu yr Ymneillduwyr yn fwy cydweddol â gweriniaeth. Ac fel y byddai y naill neu y llall o'r ffurfiau hyn yn enill yn y wladwriaeth, byddai y gredo grefyddol fwyaf gydnaws â'r ffurf hono yn enill gyda hi. Ni chododd yr elfen werinol mor uchel erioed o'r blaen ag y cododd yn yr 17eg canrif. Ac fel ffrwyth hyny, dyma gyfnod mawr Annghydffurfiaeth ac Ymneillduaeth grefyddol ein gwlad.

Rhoddwyd atalfa nerthol ar yr elfen Annibynol ar adferiad Charles II., yn 1660. Taflwyd y Presbyteriaid a'r Annibynwyr o'r neilldu, ac adferwyd yr awdurdod esgobol, a'r hen ffurf-lywodraeth eglwysig. Gosodwyd eglwys Genevaidd Ysgotland, yn gystal a'r eglwys yn Iwerddon, dan lywodraeth yr esgobion, a phasiwyd deddf nodedig unffurfiaeth yn Lloegr, yr hon a barodd i dros ddwy fil o weinidogion yr eglwys adael ei chymundeb er mwyn gwirionedd a chydwybod. Ceir digon o esboniad ar nodwedd yr act hono yn y ffaith fod Baxter, Owen, Howe, Bates, Henry, Clarkson, a Calamy, yn mysg y rhai a droisant allan. O hyn hyd amser William a Mary, profodd yr Annghydffurfwyr amseroedd enbyd, trwy offerynoliaeth yr actau y cyfeiriwyd atynt yn barod, y *Corporation Act*, y *Conventicle Act*, a'r *Five Mile Act*. Taflwyd John Bunyan i garchar am ddeuddeng mlynedd, (1660—1672), am ei fod "yn ddrygionus a chythreulig yn gwrthod myned i'r eglwys, a'i fod yn cynorthwyo i gynal llawer o gyfarfodydd annghyfreithlon, a thrwy hyny yn peri terfysg a blinder i lawer o ddeiliaid teyrngarol." Carcharwyd Baxter bum waith mewn pymtheg mlynedd am droseddu y "*Conventicle Act.*" Ac am yr un trosedd y taflwyd Jenkins i garchar Newgate, lle y bu farw dan greulonder y triniaethau a gafodd. Nid oedd dim i'w ddysgwyl ond llygredigaeth a gorthrymder oddiwrth eglwys oedd yn cael ei rheoli gan Charles a'i

lys gorthrymus a llygredig. "Yr oedd holl enaid yr eglwys," ebai Macauley, "yn y gwaith o lethu y Puritaniaid, a dysgu ei disgyblion i roddi yr eiddo Cesar i Cesar. Yr oedd dynion nad oedd yn prisio dim am fyw yn ol ei gorchymynion, yn foddlon i ymladd hyd eu penliniau mewn gwaed o blaid ei hadeiladau a'i defodau. Mae yn ffaith anwadadwy a thra addysgiadol, mai pan oedd awdurdod wladol yr eglwys yn ei fan uchaf, oedd y blynyddoedd ag yr oedd rhinwedd cenedlaethol yn ei fan isaf."

Arferid ffiangell erledigaethus y llywodraeth mor drwm yn Nghymru ag mewn un parth; ond er hyny yr oedd ymdrechion yr Annghydffurfwyr Cymreig, trwy y pwlpud a'r wasg, yn dra chanmoladwy. "Yr oedd y pregethwyr a'r bobl yn taflu eu hunain yn agored i flinderau diddiwedd wrth gynal cyfarfodydd i bregethu a gwrando gair Duw. Ond pe na wnaethent hyny, buasai y genedl yn suddo i dywyllwch paganaidd, oblegyd yr oedd yr offeiriaid yn gyffredin yn hynod o annghymhwys, neu yn bechadurus o esgeulus. Yn mhob un o'r esgobaethau Cymreig, ceid o ddeugain i driugain o eglwysi heb un bregeth ar y Sabbath, a hyny ar hirddydd haf, pan oedd y tywydd yn hyfryd, a'r heolydd yn sychion. Ni wnai yr offeiriaid y gwaith eu hunain, ac ni oddefent i'r Annghydffurfwyr ei wneyd, heb eu bod wrth hyny yn peryglu eu bywyd. Ond er yr holl beryglon daliai y pregethwyr i deithio gwyllt fynyddau y Dywysogaeth i gyflenwi diffygion eu cynulleidfaoedd gwasgaredig. Ymgasglai y cynulleidfaoedd hyn yn nghyd yn achlysurol, ond mewn ofn a dychryn; ganol nos, fynychaf, neu mewn coedwigoedd, neu ogofeydd, neu yn nghilfachau y mynyddoedd. * * * O ddeg argraffiad o'r ysgrythyrau, peth tra theilwng o sylw, a gyhoeddwyd yn yr iaith Gymraeg o 1641 hyd 1690—pump o'r holl Fibl, a phump o'r Testament Newydd ar wahan, dim ond un argraffiad unplyg, yn cynwys tua mil o gopiau, ar gyfer pwlpudau yr eglwysi plwyfol, a gyhoeddwyd gan Eglwyswyr. Yr oedd y genedl yn ddyledus i Annghydffurfwyr am y naw eraill, y rhai a gynwysent oddeutu deng mil ar ugain o gopiau o'r Bibl, a chynifer a hyny, os nid deng mil yn ychwaneg, o'r Testament Newydd. Yr oedd y cyflenwad hwn yn llawer rhy fach i angen y bobl; ond yr oedd yn ddeg cymaint o leiaf ag a gawsant yn y can mlynedd a basiodd rhwng y Diwygiad a chodiad Annghydffurfiaeth."*

Llywodraeth a Chyfreithiau. Edrychir ar adeg teyrnasiad Charles II. yn un o'r cyfnodau pwysicaf yn hanes cyfansoddiad llywodraethol y wlad, ac y mae rhai yn ei ddynodi fel "adeg y cyfreithiau da a'r llywodraethiad drwg." Nid cymeriad y brenin gymaint sydd yn rhoddi y fath bwys ar ei deyrnasiad, ond cyflwr y wlad ar adeg ei esgyniad. Yr oedd chwyldroadau y deugain mlynedd blaenorol wedi

* Rees's Nonconformity in Wales, 218, 219, 224.

bod y fath, a'r wlad wedi bod am flynyddoedd dan lywodraeth werinol, fel, ar esgyniad Charles, ac adferiad y freniniaeth, y daeth egwyddorion sylfaenol y cyfansoddiad unwaith eto i'r bwrdd, a chafwyd mantais i fantoli yn fwy teg hawliau y goron, yr Arglwyddi, a'r Cyffredin. Mae yn wir i Charles, yn gystal a'i frawd ar ei ol, wneyd amryw gynygion i ddymchwelyd y cyfansoddiad, a mynu gallu hollol i'w law; ond nid oedd ei ymgais ond ofer. Yr oedd gallu mantolog y senedd a'r wlad yn rhy drwm iddo. Yn mysg y cyfreithiau da a basiwyd yn amser Charles, y goreu oedd act yr "*Habeas Corpus*," yr hon a soniwyd am dani o'r blaen. Galwyd amryw gyfreithiau gormesol yn ol, yr hyn a effeithiai gyfnewidiadau cyfansoddiadol pwysig. Rhoddwyd mwy o ryddid i'r wasg hefyd, a buan y daeth ei llais yn gyfnerth i egwyddorion rhyddid. Dyma yr amser y dyddimwyd tâl i aelodau Tŷ y Cyffredin; y tâl arferol ydoedd pedwar swllt y dydd i aelod dros sir, a dau swllt i aelod dros fwrdeisdref. "Ymddengys yn hynod, ar ol y penodau diweddaf, er ei fod yn eithaf gwir, i hawliau sylfaenol deiliad gael mwy o chwareu teg, ac i'r goron ymgadw yn well o fewn terfynau ei hawlfreintiau hithau, yn ystod y teyrnasiad hwn, nag mewn unrhyw gyfnod blaenorol o amser cyfartal. Diolch i egnioedd gwladgarol Selden ac Eliot, Pym a Hampden, sefydlwyd terfynau awdurdod y goron mor dda, fel na feiddiodd unrhyw weinidog gynyg ymosodiad amlwg a chyffredinol arnynt byth. Parodd cynulliad mynych y senedd, a'i barn uchel am ei hawlfreintiau, brofi yn ddyogelwch iddi rhag trethiad annghyfreithlon. Ni chyhuddwyd llywodraeth Charles o hyn—y brenin cyntaf yn Lloegr, efallai, ag y bu ei deyrnasiad yn gwbl rydd o'r fath gyhuddiad."*

Llenyddiaeth. Ychydig sydd genym i'w ddyweyd ar lenyddiaeth y cyfnod hwn. Yr ydym eisoes, yn y benod o'r blaen, wedi coffa enwau amryw awdwyr a gyhoeddasant weithiau o fri yn y cyfnod dan sylw. Y bardd goreu, yn nesaf at Milton, oedd John Dryden; ac yr oedd hefyd yn un o ysgrifenwyr rhyddieithol goreu ei oes. Mae enwau Butler hefyd, awdwr yr "Hudibras," Sedley, Duc Buckingham (Villiers), Iarll Rochester (Wilmot), Otway, Lee, ac eraill, fel beirdd o fri mwy neu lai yn perthyn i'r amser hwn. Ysgrifenodd Clarendon "Hanes y Gwrthryfel;" ond ni chyhoeddwyd ef hyd ddechreu y ganrif ddylynol. Yr ydym eisoes wedi coffa enw Hobbes, hanesydd arall, ac ysgrifenydd galluog, ond o duedd anffyddol. Yn 1678 y cyhoeddodd Cudworth ei "*Intellectual System of the Universe*," i wrthwynebu syniadau Hobbes. Yn mysg awdwyr duwinyddol y cyfnod, mae enw Dr. Henry More, Richard Baxter, a Dr. Leighton, archesgob Glasgow, yn enwog. Ond prif athrylith duwinyddol y cyfnod oedd Dr Isaac Barrow, yr hwn y mae ei bregethau yn

*Hallam's Constitutional History, vol. iii. 1, 2.

dal mewn cymaint o fri hyd y dydd hwn: ac fel gwyddonydd (*mathematician*) cyfrifid ef yn ail i Newton ei hun. Yr oedd John Bunyan, Isaac Walton, a Syr W. Temple, yn perthyn i ddosbarth o lenorion îs; er fod "Taith Pererin" y blaenaf yn un o'r llyfrau mwyaf poblogaidd a gyhoeddwyd erioed mewn unrhyw iaith.* Ar ol adferiad Charles y cafodd y *Royal Society*—cymdeithas er gwneyd ymchwiliadau mewn athroniaeth naturiol—ei breintlythyrau, er ei bod wedi dechreu yn amser y Weriniaeth. Yn mysg eu haelodau cyntaf yr oedd Dr. Ward, Dr Wallis, Syr William Petty, ac Arglwydd Brounker. Brounker oedd y llywydd cyntaf, a daliodd y swydd am bymtheg mlynedd. Ni chawn fod unrhyw lyfrau o bwys wedi gwneyd eu hymddangosiad yn Nghymru yn y cyfnod hwn, heblaw y rhai a nodwyd o'r blaen. Cyhoeddwyd amryw argraffiadau o'r ysgrythyrau, a mân draethodau, a chyfieithiadau o lyfrau eraill. Yn mysg prif gefnogwyr llenyddiaeth, a phrif gyhoeddwyr llyfrau Cymreig yr amser hwn, y mae enwau Stephen Hughes o Sir Gaerfyrddin, a Thomas Gouge, M.A., o Lundain, yn glodfawr. Mae yn anhawdd dyweyd faint oedd dyled Cymru i lafur ac ymroddiad diflino y ddau wr enwog hyn. Nid oedd yr un argraff-wasg yn Nghymru, ac yr oedd yr annghyfleusdra i argraffu llyfrau Cymreig gan Saeson yn Llundain yn anfantais bwysig. Eto trwy lafur a thraul anferth o eiddo y dynion hyn, yn nghyda chefnogwyr eraill iddynt, gwasgarwyd miloedd o lyfrau Cymreig buddiol yn mysg y genedl.

Masnach a Llafur. Mae un drem ar daflen y trethi a godid yn y Cyllid-dy dros ystod y cyfnod dan sylw, yn ddigon i brofi cynydd graddol y wlad mewn masnach a chyfoeth. Swm y cyllid yn 1661 ydoedd £421,582. Erbyn 1687 yr oedd wedi codi i £884,955. Yr oedd y dadforion (*imports*) i'r deyrnas yn 1663 yn £4,016,019; a'r allforion (*exports*) yn £2,022,812. Yn mhen chwe blynedd (1669), yr oedd y dadforion yn £4,196,139, a'r allforion yn £2,063,274. Cyfrifid golud yr holl deyrnas yn y flwyddyn 1660, yn ddwy filiwn ar bymtheg o bunau; yn 1630, yn wyth ar ugain; yn 1660, yn un ar bymtheg a deugain; ac yn 1688, yn bedwar ugain ac wyth o filiynau. Prawf y rhifnodau hyn gynydd cyflym y wlad, er gwaethaf pob cam-lywodraeth a chwyldroadau. Yr oedd nifer y tai yn Llundain wedi dyblu yn y deugain mlynedd diweddaf; ac yr oedd ei phoblogaeth yn niwedd y ganrif tua haner miliwn. Yr ail dref yn Lloegr oedd Bristol, yn cynwys poblogaeth o tua naw mil ar ugain, a hon oedd prif farchnadle nwyddau America ac India Orllewinol. Norwich, prif eisteddle y llaw-weithfeydd, oedd y nesaf. Nid oedd Manchester, Leeds, Sheffield, a Birmingham, ond trefi bychain y pryd hwn, er eu bod eisoes yn dechreu ymenwogi yn

*Pictorial England.

y nwyddau a'r fasnach y maent yn blaenori ynddynt heddyw. Yn 1700 yr adeiladwyd y llongborth (*dock*) cyntaf yn Liverpool. Prif weithfeydd haiarn y wlad oedd yn Fforest Dean; y prif weithiau mwn alcan (*tin*) yn Cornwall; a'r gweithiau glo mwyaf yn Newcastle, y rhai oedd wedi cynyddu yn bedwar cymaint yn ystod y deugain mlynedd diweddaf. Pan alwodd brenin Ffrainc ddeddf Nantes yn ol, ffodd llawer o wehyddion sidan Protestanaidd drosodd i'r wlad hon, ac ymsefydlasant yn Spitalfields. Cafodd y *Navigation Act*, yr hon a basiwyd dan Charles II., (er nad oedd ond yr un mewn egwyddor ag a basiwyd gan y *Rump Parliament* yn 1651) effaith ragorol ar fasnach forwrol a thramor. Yn 1676 y dygwyd gwŷdd (*loom*) drosodd o Holland, yr hyn a ddygodd gyfnod newydd yn ngweithfaoedd brethynau y wlad hon. Yr oedd y fasnach hon eisoes y bwysicaf yn Lloegr, a phasiwyd cyfraith hynod yn 1666 er mwyn ei chefnogi. Yn ol y gyfraith hono, nid oedd un corph i gael ei gladdu mewn gwisg bedd o unrhyw ddefnydd ond gwlan, dan ddirwy o bum punt i gael eu talu i dlodion y plwyf. Yn 1670 y darganfyddwyd gweithfaoedd halen swydd Stafford, ac yn 1676 y dechreuwyd printio *calico* yn Llundain.

Ymborth. Nid oes dim newydd i'w gofnodi am ymborth cyffredin y wlad yn y cyfnod hwn, oddigerth dechreuad yr arferiad o yfed tê, yr hyn sydd wedi dyfod bellach yn gyfran mor bwysig o ymborth a mwyniant y Prydeiniwr. Yn 1660 cawn y senedd yn gosod treth ar gwrw a gwlybyroedd eraill, gan godi "am bob galwyn o goffi a wneir ac a werthir, 4c.; ac am bob galwyn o *chocolate*, *sherbet*, a thê, a wneir ac a werthir, 8c. i'w talu gan y gwneuthurwr." Dealler mai yn wlybwr, wedi ei barotoi yn barod, y gwerthid ef. Ceir yn nyddlyfr Pepys, am Medi 25ain, 1661—"Anfonais am gwpanaid o dê, diod Chineaidd, yr hon nad yfais erioed o'r blaen." Dau bwys a dwy wns oedd yr holl dê a ddadforiwyd i'r deyrnas yn 1664. Yn 1666 dygwyd dau bwys ar ugain drosodd gan yr *East India Company*, am yr hwn y talent haner can swllt y pwys. Yn 1678 dadforiwyd pedair mil saith cant a thri ar ddeg o bwysi; ond yr oedd hyny gymaint yn fwy na'r galw, fel na ddaeth dros bedwar can pwys drosodd yn y chwe' blynedd dylynol. Dywedir nad oedd y naill haner o'r dosbarth gweithiol yn cael cig ffres ond rhyw ddwywaith yr wythnos, ac nad oedd yr haner arall yn ei gael o gwbl. Gwnelid y bara cyffredin o wenith garw, rhyg, a cheirch. Y ddiod gyffredin ydoedd diod frâg; a chynyddodd meddwdod y wlad yn fawr yn ystod y ddwyfed ganrif ar bymtheg.

Cyflwr ac arferion y bobl. Dywedir fod pedair rhan o bump o'r bobl gyffredin yn dylyn galwedigaethau amaethyddol, ac mai y gyflog gyffredin oedd oddeutu pedwar swllt yr wythnos. Rhoddid ychydig yn ychwaneg i'r rhai a weithient mewn llaw-weith-

faoedd. Gosodid plant, yn feibion a merched, i weithio yn ieuanc; ac nid oedd cyfleusderau addysg ond prin iawn, a'r chwaeth ato ond isel. Ar gyfer y gyflog isel, yr oedd cynyrchion y wlad hon, mae yn wir, yn llawer rhatach nag ydynt yn awr; ond yr oedd nwyddau tramor yn llawer drutach. Yr oedd tlodi yn ffynu, a threth y tlodion o'r herwydd yn drwm. Agwedd digon garw a llygredig oedd ar gymdeithas o'i chydmaru â'r hyn ydyw heddyw, er fod cyfnewidiadau graddol er gwell yn ngwisgoedd, tai, celfi, difyrwch, mwynderau, yn gystal ag yn ngwybodaeth a moesau y bobl.

Er fod cynydd cymdeithasol a moesol ein gwlad yn ymddangos ar brydiau yn annghanfyddadwy, eto ceir fod dylanwadau dirgel o'i mewn yn cyson weithio i berffeithrwydd uwch; ac y mae yn bleser edrych ar welliant a dyrchafiad graddol Prydain Fawr, o'i hiselder gwyllt a barbaraidd i'w gorsedd ddyrchafedig bresenol, i eistedd yn flaenaf yn mysg cenedloedd y ddaear. "Mae ei goruchafiaethau yn tarddu yn benaf o un ffynonell—Rhyddfrydigrwydd. Yn lle erlid dyeithriaid, cefnogai hwynt; yn lle eu taflu o'i mhynwes, rhoddai gysgod iddynt; yn lle eiddigeddu wrth eu rhagoriaeth, ceisiai ddysgu a gwella wrth eu hesiampl. Wrth ddylyn y llwybr hwn yn ddiysgog y daeth o'r diwedd i ragori ar ei mheistriaid, ac i gymeryd y lle blaenaf ei hun."*

---

## PENOD IX.

### O ESGYNIAD WILLIAM A MARY HYD DDIWEDD TEYRNASIAD ANNE, 1689—1714.

#### I.—WILLIAM III. A MARY II., 1689—1694.

MAB ydoedd William i Dywysog Orange, tywysogaeth fechan yn neheubarth Ffrainc, a nai i James II. Ganwyd ef Tachwedd 4, 1650. Mary ei briod ydoedd ferch i James II., yr hon a aned Ebrill 3, 1662. Cyhoeddwyd hwy yn frenin a brenines ar y 13eg o Chwefror, 1689, a choronwyd hwy gyda rhwysg mawr yn Ebrill. Gweinyddid ar yr achlysur olaf gan esgob Llundain, am fod Sancroft, yr archesgob, wedi gwrthod tyngu ffyddlondeb i awdurdod William. Cadarnhaodd y brenin holl swyddogion Protestanaidd y llywodraeth yn eu swyddi, a detholodd gyfrin-gynghor a swyddogion uchel eraill, yn cynwys Whigiaid a Thoriaid yn gymysg. Gwnaed Danby yn llywydd y cynghor; Halifax yn arglwydd y gyfrin-sel; Nottingham a Shrewsbury yn ysgrifenyddion y llywodraeth. Gwnaed Schomberg yn feistr y cyflegrau; codwyd Dr. Burnet i esgobaeth Salisbury, a gwnaed Bentinck, cyfaill mynwesol William, yn Iarll Portland.

* Wade's England's Greatness, 291.

Yr oedd William eisoes wedi troi y gymanfa yn senedd, a pheri i'r aelodau dyngu llw o ymlyniad wrth y goron. Ond gwrthododd archesgob Sancroft a saith o'i esgobion, yn nghydag amryw bendefigion eraill, gymeryd y llw, a chollasant eu lle yn Nhŷ yr Arglwyddi. Dylynwyd eu hesiampl gan fwy na phedwar cant o offeiriaid. Yn mysg yr esgobion hyn yr oedd pump o'r saith esgob a wrthodasant ddarllen y cyhoeddiad dan James II., prawf pa rai fu yn mysg achlysuron cyntaf y chwyldroad. Yr oeddent hwy wedi rhoi llaw o gymhorth yn y chwyldroad ar y dybiaeth ffol y buasai William, ar ol darostwng Pabyddiaeth, a gwellhau camdrefn y llywodraeth, yn adferu ei dad yn nghyfraith i'r orsedd, ac yn encilio yn dawel i'w wlad ei hun. Codasant blaid nerthol, a pharasant flinder ac anhawsderau lawer i William. Gelwid hwy yn *Non-jurors* (Annhyngwyr), a theimlent yn bleidiol i James, ac i'w egwyddor ormesol ef o lywodraethu. Ond yr oedd gan William lygad craff, a meddwl galluog a phenderfynol, ac yr oedd corph y bobl o'i blaid.

Daeth pwnc y cyllidau yn fater pwysig o flaen y senedd. Ar gais y brenin, dyddimwyd treth wrthwynebus yr aelwyd, yr hon oedd yn gwasgu yn drwm ar y tlodion. Caniatawyd chwe chan mil o bunau i Holland am ei gwasanaeth; a phan ddaeth y newydd fod James wedi glanio yn Iwerddon, pasiwyd arian at fyddin a llynges. I wobrwyo yr Ymneillduwyr am eu hymddygiad clodfawr yn y cyfwng diweddar, pasiwyd Act y Goddefiad (*Toleration*) yn eu rhyddhau o amryw gospedigaethau a benodwyd dan y breninoedd blaenorol; a chafodd y Pabyddion lawer o fantais yn ei chysgod. Galwyd yn ol hefyd ddedryd Russell, Sidney, Cornish, Johnson, a Mrs. Lisle.

Un o amcanion blaenaf a phenaf William yn ei ymyriad ag achos Lloegr oedd, cael y wlad hon i mewn i'r cyngrair diweddar a wnaed ar y Cyfandir i wrthsefyll ymosodiadau gormesol brenin Ffrainc. A chan fod Louis yn awr yn cynorthwyo James i wneyd ymosodiad ar Loegr, dangosodd y Cyffredin eu parodrwydd i wneyd rhyfel â Ffrainc, os barnai William yn briodol. Yr oedd hyn yn ateb dymuniad William i'r dim, a chyhoeddodd rhyfel yn ddioedi.

Yn Ysgotland, fel yn Lloegr, yr oedd plaid gref yn ffafriol i achos James, er fod y mwyafrif o ddigon o blaid William. Ymgyfarfu y gymanfa yn Edinburgh, yn mis Mawrth, a newidiodd ei hun yn senedd. Pasiwyd yno fod James wedi fforffedu y goron, a bod yr orsedd yn wag. Cyhoeddwyd William a Mary yn frenin a brenines Ysgotland yn gystal a Lloegr, ac anfonwyd cenadau i weinyddu llw y coroniad iddo. Ond cymerodd pleidwyr James at arfau, dan arweiniad Graham o Claverhouse, yn awr Iarll Dundee, hen erlidiwr creulon y Cyfamodwyr, a Duc Gordon, y Pabydd selog. Casgl-

odd Dundee fyddin o *Highlanders*, ac ymosododd gyda chynddaredd ar fyddin Seisnig dan Mackay. Medodd hwy i lawr fel glaswellt, ac enillodd fuddugoliaeth hollol. Ond lladdwyd Dundee yn yr ymgyrch, ac wedi hyny ffodd ei wŷr ymaith. Rhoddodd Duc Gordon gastell Edinburgh i fyny, a diffoddodd pob gobaith am lwyddiant achos James yn Ysgotland. "Yn fuan ar ol hyn dyddimwyd Esgobyddiaeth, ac adsefydlwyd Presbyteriaeth; ac felly terfynwyd yr ymgyrch rhwng y goron a'r bobl gyda golwg ar grefydd yn Ysgotland."

Yr oedd James erbyn hyn wedi penderfynu gwneyd ymdrech i fynu ei goron yn ol, ac wedi glanio gyda byddin o Ffrancod yn Iwerddon, lle yr oedd y gallu gweinyddol yn nwylaw y Pabyddion. Anfonwyd Hamilton drosodd gan William i gymhell y Gwyddelod i gymeryd ei achos ef i fyny; ond trodd Hamilton yn fradychwr, a pherswadiodd Tyrconnel a'r bobl i lynu wrth achos James. Derbyniwyd James yn llawen gan y Pabyddion yn Dublin; ymgasglodd y senedd Wyddelig yno, cydnabyddwyd hawl James, a gwrthdystiwyd yn erbyn William o Orange; yna aeth James ymaith yn galonog i ymuno â'i fyddin. Yr unig drefi a safasant yn ei erbyn oedd Londonderry ac Eniskillen, y rhai a enillasant enw rhagorol am eu gwroldeb. Gwarchaeodd James ar Londonderry, a dysgwyliai iddi syrthio yn fuan i'w law. Ond cafodd weled misoedd o warchae yn myned heibio, ac un ar ddeg o gynygion i gymeryd y dref yn troi allan yn aflwyddianus. Gadawodd James ei fyddin dan ofal y creulon Rosen, Ffrancwr, ac aeth i Dublin i gyfarfod y senedd. Wedi ei gynddeiriogi gan gyndynrwydd y trigolion, casglodd Rosen yr holl Brotestaniaid, yn wŷr, gwragedd, a phlant, am ddeng milldir ar ugain o gwmpas, y rhai a rifent tua phedair mil, a chauodd hwynt rhwng y fyddin a muriau y dref i newynu i farwolaeth, os na roddai y trigolion y dref i fyny. Ond er tosted y brofedigaeth, yr oedd y Protestaniaid o fewn yn ddiysgog. Cadwyd y trueiniaid hyn dan y muriau, heb damaid na llymaid am dridiau, nes oedd eu lleisiau yn annyoddefol, a lluaws o honynt yn trengu o newyn. Erbyn hyn yr oedd y gwarchodwyr o fewn wedi codi crogbrenau uchel i grogi y carcharorion oeddent hwythau wedi gymeryd. O'r diwedd, er mwyn cadw y carcharorion o fewn, yn fwy nag o dosturi at y miloedd oedd yn newynu y tu allan, ildiodd Rosen i'w gollwng ymaith. Felly dychwelodd y rhai oedd yn abl i'w cartrefleoedd, a chawsant eu tai oll wedi eu hysbeilio gan y milwyr.

Yr oedd cyflwr y dref erbyn hyn yn druenus, a'r ymborth wedi darfod. Nid oedd ond ychydig allai fforddio prynu ci wedi tewychu ei hun ar gelaneddau y meirw a adewid yma a thraw heb eu claddu; ac nid oedd ymborth gwell wedi ei adael na chwn, cathod, llygod, gwêr, a'r cyffelyb; ac yr oedd hyd y nod y pethau hyn wedi eu difa

yn llwyr, pan welid y milwriad Kirke yn dyfod â llongau i fyny ar yr afon i'w gwaredu. Torodd Kirke trwy y porthfar oedd y gwarchaewyr wedi ei osod ar yr afon; a dygodd lestri llawnion o ymborth i mewn i'r gwroniaid newynog, gyda hwyr y dydd bythgofiadwy, Gorphenaf 31. "Hawdd deall gyda pha fath ddagrau y dywedid gras uwchben swper y noswaith hono." Ychydig oriau yn ol buasai dyn yn falch i roddi swllt neu ddau am safnaid o grafion oddiwrth esgyrn y ceffylau trengedig; ond yn awr gallasai gael pwys o gig eidion da am geiniog a dimai. Ar yr un noswaith ag y daeth Kirke â gwaredigaeth i'r dref, cododd y gelynion y gwarchae, wedi parhau cant a phump o ddyddiau, ac aethant ymaith. Yr oeddent wedi colli o wyth i naw mil o wŷr, a'r gwarchodwyr yn y dref agos haner y nifer. Mae hen furiau Londonderry, olion y gwarchae hynotaf yn hanes yr Ynysoedd Prydeinig, a chof-golofnau o waredwyr y dref, yn aros yn goffadwriaeth fendigedig gan y trigolion hyd y dydd hwn. Enillodd trigolion Enniskillen y dydd hefyd ar y Pabyddion, dialasant yn drwm ar gefnogwyr James, a chynaliasant enwau William a Mary yn erbyn pob gwrthwynebiad.

Gwelai William y pwys o ddarostwng Iwerddon, ac anfonodd Duc Schomberg (Dutch) gyda byddin drosodd i'r pwrpas. Yn y cyfamser galwodd ei senedd yn nghyd. Prif bwnc y senedd hono ydoedd pasio Bil Iawnderau (*Bill of Rights*). Dyddimai y bil hwn awdurdod y brenin i basio cyfreithiau a chodi arian heb gydsyniad y senedd. Cynwysai hefyd nad oedd un Pabydd, na brenin neu frenines wedi priodi â Phabydd, i gael esgyn i orsedd y wlad, yn nghydag amryw bethau eraill ffafriol i ryddid y deiliaid. Wedi pasio y bil hwn, wrth weled fod Louis yn porthi James ag adgyfnerthion, gohiriodd William y senedd, a phenderfynodd fyned i Iwerddon i arwain y rhyfelgyrch yn ei berson ei hun. Gadawodd ofal pethau yn y wlad hon i'r frenines, a glaniodd yn Carrickfergus, Mehefin 14, 1690. Dywedai "nad oedd wedi dyfod yno i adael y glaswellt i dyfu dan ei wadnau." Casglodd ei alluoedd yn nghyd, ac arweiniodd fyddin o 36,000 yn erbyn James. Enciliodd James o'i flaen, ac ymsefydlodd mewn sefyllfa fanteisiol yn agos i Drogheda, ar lan yr afon Boyne; a dywedid fod ei fyddin yntau yn 33,000. Erbyn y dydd olaf o Fehefin yr oedd James a William wyneb yn wyneb o bob tu i'r afon. Penderfynodd William wneyd ymosodiad dioed; ac yr oedd y byddinoedd yn prysur barotoi i'r ymgyrch. Tra yr oedd William yn ysbio sefyllfa y gelyn, y tir, a'r afon, daeth pelen ddisymwth o fagnel dirgel, a chyffyrddodd â phen ei ysgwydd ddeheu; rhwygodd ei wisg, a llyfodd y cnawd ymaith, nes peri i ddwy neu dair wns o waed golli. Wrth weled William yn plygu ei ben, a'i gyfeillion yn ymgasglu o'i gwmpas, credwyd iddo gael ei ladd. Taenwyd y chwedl ar unwaith, a chododd bloedd o orfoledd

trwy holl wersyll James. Atebwyd y floedd hono gyda chanu clychau, saethu magnelau, a llosgi bonffaglau yn Dublin a Paris. Ond tra yr oeddent hwy yn gorfoleddu, yr oedd William yn marchogaeth trwy ei fyddinoedd i'w trefnu a'u hysbrydoli.

Rhanodd ei fyddin yn dair adran; gosododd yr adran ddeheu dan arweiniad mab Schomberg; y canol dan Schomberg ei hun; a chymerodd lywyddiad yr aswy ei hunan. Boreu dranoeth, y dydd cyntaf o Orphenaf, wele y frwydr yn dechreu. Croesodd milwyr William yr afon mewn tri man; a chyn pen awr yr oedd yr afon a'i glan yn goch gan waed. Safai James ar fryn o'r tu cefn i edrych yn unig. Syrthiodd y cadfridog galluog Schomberg; a chyn pen mynyd saethwyd Walker, amddiffynwr dewr Londonderry, yn farw. Cafodd William anhawsdra i groesi yr afon, a bu ei farch yn nofio dano. Ond yr oedd yn fuan o flaen ei wŷr, yn nanedd y frwydr, gan ddwyn ei gleddyf yn ei law aswy, oblegyd yr archoll a gafodd y dydd o'r blaen. Tarawodd un belen gap ei lawddryll; cymerodd un arall sawdl ei esgid ymaith; eto nid oedd bosibl ei berswadio i gilio o'r perygl, a throdd ei wroldeb dynged y diwrnod. Daliai y meirchfilwyr dan Hamilton, yr hwn a fradychodd achos William, i ymladd yn ddewr a ffyrnig, nes oedd eu brenin (James) wedi ffoi, a'u blaenor (Hamilton) yn garcharor clwyfedig gan William. Dygwyd Hamilton ger bron William yn ddioed; a bu yr amgylchiad yn achlysur i roddi esboniad tarawiadol ar gymeriad y brenin. "A ydyw y gorchwyl hwn drosodd," gofynai, "neu a ymladd eich meirch ychwaneg?" "Ar fy anrhydedd, syr, yr wyf yn credu y gwnant," ebe Hamilton. "Anrhydedd!" ebe William; "eich anrhydedd *chwi!*" A dyna yr holl ddial a ddangosodd tuag at un oedd wedi ymddwyn mor fradwrus. Wedi hyny gyrodd ei feddyg ei hun i drin ei glwyfau.

Enillwyd brwydr y dydd hwn i'w chofio byth gyda theimladau tra gwahanol gan Brotestaniaid a Phabyddion Iwerddon. Ffodd James i Dublin, ac oddiyno i Ffrainc; ac enciliodd ei fyddin, wedi colli tua phymtheg cant o wŷr. Nid oedd colled William ond oddeutu y drydedd ran. Dranoeth rhoddodd Drogheda ei hun i fyny i William; ac aeth oddiyno i Dublin, lle y cafodd dderbyniad croesawgar gan y Protestaniaid. Cyhoeddodd bardwn i'r holl bobl gyffredin a ymladdasant yn ei erbyn, ar yr amod fod iddynt roddi eu harfau i fyny. Erbyn hyn yr oedd Churchill (yn awr Iarll Marlborough) wedi dyfod â byddin o Saeson drosodd, ac wedi sicrhau Cork a Kinsale i William. Cymerwyd y prif drefi eraill, a dychwelodd William i Loegr, yn nghanol y llon-gyfarchiadau mwyaf calonog, wedi cwblhau darostyngiad Iwerddon. Yr oedd llynges Ffrainc dan Tourville wedi cael mantais mewn ymgyrch forwrol ar Iarll Torrington, a gwnaeth ddifrod ar dref ddiamddiffyn

Teignmouth. Ond taflodd buddugoliaethau William yn Iwerddon yr anffawd hwnw i'r cysgod. Adfywiodd y gwrthryfel yn Iwerddon eilwaith, a therfynwyd ef gan y cadfridog Ginkell yn 1691, trwy gytundeb adnabyddus Limerick.

Yr oedd y teimlad mor gryf yn erbyn Ffrainc yn awr, fel y pleidleisiodd y senedd bedair miliwn o bunau at y fyddin a'r llynges—"y swm mwyaf a geisiodd un o freninoedd Lloegr gan y bobl erioed." Dangoswyd pob parodrwydd i gefnogi y cyngrair Ewropaidd yn erbyn trais a gormes Louis, ac aeth William drosodd i Holland i arwain y byddinoedd cyngreiriol; ond dychwelodd heb i unrhyw frwydr o bwys gymeryd lle. Yn ystod ei absenoldeb bu y *Non-jurors*, neu y Jacobiaid,* fel y gelwid pleidwyr James, yn brysur yn cyffroi yn ei erbyn, ac yn dyfeisio o blaid James. Cyn iddo ddychwelyd yr oedd yr esgobion a wrthodasant gymeryd y llw wedi eu diswyddo, a gwŷr cymhwysach wedi cymeryd eu lle. Gwnaed Tillotson yn archesgob Canterbury; ac yn mysg yr esgobion newydd cawn enwau Cumberland, Patrick, Stillingfleet, Fowler, a Beveridge. Nis gallesid dysgwyl i hyn dawelu y gwrthwynebwyr; parhaent i beri blinder, yn enwedig i'r frenines; ond nid oedd modd iddynt gyffroi William i'w herlid. "Mae y Dodwell yna," meddai William am un o'r *Non-jurors* mwyaf anhywaith, "am i mi ei daflu i garchar, ond siomaf ef."

Yn nechreu 1692 cymerodd dygwyddiad gofidus le yn Ysgotland, yr hwn a elwir trychineb Glencoe, a gadawodd warthnod ar lywodraeth William, er nad oedd gan y brenin law uniongyrchol yn y peth. Yr oedd amryw o lwythau anhywaith yr ucheldiroedd yn parhau yn bleidiol i James, ac yn fygythiol i heddwch y wlad. Yr oedd William yn awyddus i'w darostwng trwy ffordd deg, ac ymgymerodd Arglwydd Breadalbane—dyn hollol ddiegwyddor—â'r gorchwyl. Cafodd ddeuddeg mil o bunau o arian i'w gwasgaru rhyngddynt i'r pwrpas; ond y mae yn amheus a ddefnyddiwyd yr arian i ddyben o'r fath. O'r diwedd rhoddwyd cyhoeddiad allan yn cynyg pardwn i'r holl wrthryfelwyr a dyngai ffyddlondeb i William cyn neu ar y dydd olaf o 1691; ond yr ystyrid pawb a wrthodai yn fradwyr yn erbyn y llywodraeth. Erbyn yr amser gosodedig yr oedd y llwythau wedi dyfod oll, o un i un, i dyngu y llw ymostyngol, oddigerth y Macdonalds o Glencoe. Ond ar yr awr ddiweddaf, cyrhaeddodd Mac Ian, penaeth y llwyth hwnw, Fort William, ac ymddangosodd ger bron y milwriad Hill i gymeryd y llw. Yn anffodus, nid oedd hwnw yn ynad, ac felly nid oedd ganddo awdurdod i dderbyn y llw; ac nid oedd yr un ychwaith yn nes na Inverary. Erbyn cyrhaedd yno, wedi ei rwystro rai dyddiau gan ystorm eira, yr oedd yn 6fed o Ionawr. Petrusodd y sirydd cyn derbyn y llw; ond o'r diwedd

*Oddiwrth Jacobus, y gair Lladin am James.

ildiodd i erfyniau a dagrau Mac Ian, ac anfonwyd copi o hono i'r awdurdodau yn Edinburgh.

Yr oedd hen elyniaeth rhwng Mac Ian ac Arglwydd Breadalbane (un o'r Campbelliaid), ac yr oedd yn falch o'r cyfryw achlysur: a thrwy gydsyniad yr Ysgrifenydd Dalrymple, yr hwn oedd wedi ei wneyd yn Feistr Stair, penderfynwyd gwrthod y llw oblegyd ei ddiweddarwch. Hysbyswyd i William fod y Macdonalds, y gwaethaf o'r llwythau, wedi gwrthod ymostwng, heb amlygu dim o hanes ei ymostyngiad diweddar. Felly arweiniwyd y brenin i roi ei enw wrth ysgrif yn cynwys geiriau fel hyn: "Am Mac Ian o Glencoe, a'r llwyth hwnw, byddai yn briodol, er mwyn cyfiawnder a'r cyhoedd, i ddiwreiddio yr haid hono o ladron." Nid oedd William wrth hyn yn meddwl nac yn gwybod dim am y cynllun erchyll a bradwrus oedd ar droed gan Breadalbane a Dalrymple.

Yn niwedd mis Ionawr aeth Cadben Campbell, gyda byddin fechan o wŷr, i fyny i'r glyn. Cymerent arnynt mai talu ymweliad cyfeillgar oeddent ar achlysur priodas mab Mac Ian. Cawsant dderbyniad croesawgar, a gwleddwyd hwy yn null garw a chyffredin yr ardal am bythefnos. Ymddangosai pob peth yn dawel a heddychlon. Ond yn nyfnder y nos, boreu y 13eg o Chwefror, rhuthrodd Campbell a'i wŷr ar y trigolion diamddiffyn pan yn eu cwsg. Rhwystrodd yr eira Hamilton a'r milwyr eraill i gyrhaedd mewn pryd, onide bwriedid dinystrio y trigolion bob dyn. Beth bynag, llofruddiwyd deunaw ar ugain allan o ddau cant o drigolion. Saethwyd Mac Ian wrth godi o'i wely, a chamdriniwyd ei wraig fel y bu farw dranoeth. Ffodd y lleill, yn nghyda'r gwragedd a'r plant, yn noethion trwy yr eira i gilfachau y creigiau a'r mynyddoedd, a bernir i gymaint eilwaith syrthio trwy newyn ac oerfel. Dygodd y milwyr eu hanifeiliaid ymaith, a llosgasant eu tai â thân. "Wedi i'r milwyr encilio, ymlusgodd y Macdonalds allan o ogofeydd Glencoe, anturiasant i'r lle y safai o'r blaen eu bythynod, casglasant y darnau llosgedig o'r cyrph o fysg yr adfeilion mygedig, a chyflawnasant ryw fath o ddefodau claddedigaeth arnynt. Dywed traddodiad i fardd y llwyth eistedd ar glogwyn uwchben lle y trychineb, a thywallt galarnad faith i'w frodyr llofruddedig, a'i gartref annghyfanedd."* Beïir William yn benaf am beidio gweinyddu cospedigaeth briodol ar ddyfeiswyr a chyflawnwyr y gyflafan hon.

Yr oedd y Jacobiaid yn brysur yn chwythu teimlad drwg yn erbyn William, a James yn eu porthi o Ffrainc trwy lythyrau a chenadau cyson. Cafwyd fod amryw o bendefigion y wlad mewn gohebiaeth fradwrus â James, ac yn eu mysg Marlborough a Russell. Ysgrifenodd y Dywysoges Anne hefyd at ei thad i ofyn

* Macauley, vol. vi., 219.

ei bardwn. Yr oedd William yn Holland yn arwain y cyngreiriaid yn erbyn goresgyniadau Louis o Ffrainc. Yr oedd y Ffrancod hefyd yn prysur gasglu byddin o bymtheg neu ugain mil o wŷr i James i ddyfod drosodd i Loegr yn absenoldeb y brenin. Rhoddodd Mary orchymyn i daflu Marlborough i'r Tŵr; ysgrifenodd hysbysiad serchog yn dangos ei hymddiried yn Russell a'r llynges dano, yr hwn a gafodd effaith ragorol. Arweiniodd Russell 99 o longau allan i gyfarfod â'r llyngesydd Ffrengig (Tourville) gyda 63 o longau. Yn Mai, 1692, yr ymladdwyd brwydr La Hogue, pryd yr enillodd Russell fuddugoliaeth hollol ar y Ffrancod, ac y dinystriodd un ar ugain o'u llongau rhyfel. Felly diffoddwyd gobeithion James eto; enciliodd eilwaith i Paris, gan ddyweyd "fod y nefoedd yn ymladd yn ei erbyn." Cymerodd lluaws o frwydrau gwaedlyd le hefyd rhwng William a Louis ar y Cyfandir, heb ddwyn unrhyw fanteision pwysig i'r naill na'r llall. Cynlluniwyd bradwriaeth Jacobaidd yn erbyn bywyd William yn Flanders, a chyffesodd Grandval, un o'r offerynau, fod bys gan James yn yr achos.

Yr oedd William yn awr yn ol a blaen rhwng Lloegr a Holland, a llonaid ei ddwylaw o'r materion pwysicaf ganddo yn y naill wlad a'r llall. Hyd yn hyn nid oedd y brenin wedi dangos nemawr o wahaniaeth ffafr rhwng Whigiaid a Thoriaid; ond daeth dan orfod i wneyd hyny bellach. Trwy gyfarwyddyd Sunderland penderfynodd droi amryw o'r Toriaid o'r neilldu, a rhoi mwy o awdurdod yn llaw y Whigiaid. Felly daeth Somers, Wharton, Russell, Montague, a Shrewsbury, yn brif swyddogion y goron. Yr oedd traul y rhyfel mor fawr, ac yn galw am drethi mor drymion, fel ag i wneyd y mater yn un peryglus i heddwch William a'i senedd. Gwrthododd y brenin hefyd, oblegyd rhesymau penodol, roddi ei enw wrth *fil* senedd tair blynyddol, ar ol iddo basio trwy y ddau Dŷ. Y flwyddyn ganlynol (1694) barnodd yn well gwneyd, a phasiwyd y bil. Cytunwyd hefyd ar dreth dirol o bedwar swllt y bunt, a chodwyd y swm o bedair miliwn a haner o bunau at dreuliadau y deyrnas. Codwyd swm mawr o arian hefyd i'w benthyca i'r llywodraeth ar delerau penodol, gyda llog bychan; a'r ysgogiad hwn, dan lywodraeth fedrus Montague, oedd cychwyniad y *Bank of England.*

Yn Tachwedd, 1694, bu farw yr enwog archesgob Tillotson, yr hyn a dynodd ddagrau o lygaid Mary, ac a barodd i William, er mor gynil ar ei feddwl ydoedd, ddyweyd, "Collais y cyfaill goreu a gefais erioed, a'r dyn goreu a adnabum erioed." Codwyd Tenison i archesgobaeth Canterbury yn ei le. Yn mhen pump wythnos wedi colli Tillotson, cafodd William ergyd agosach, a cholled fwy. Yr oedd pryder a gofal Mary yn fawr. Byddai ei gwr yn treulio llawer o'i amser yn mheryglon rhyfel a bradwriaethau yn Holland, a gofal y deyrnas ar y fath adeg arni hi; ei thad yn alltud yn

Ffrainc; a'i chwaer wedi tramgwyddo wrthi. Nid rhyfedd fod ei nerth yn rhoddi ffordd dan y fath faich. Cymerwyd hi yn glaf o'r frech wen, yr hon oedd yn ffynu yn y brif-ddinas ar y pryd; ac er galar dwys i'r holl deyrnas, bu farw yn mhen wythnos, Rhagfyr 28ain, 1694, yn ei 33ain mlwydd oed. Eisteddai William ddydd a nos wrth erchwyn ei gwely. Rhedai y dagrau yn hidl dros y wyneb gwelw nad oedd goruchafiaeth na siomedigaeth un amser yn abl ei ysgogi. Yr oedd amryw esgobion yn bresenol. Galwodd William ar Burnet y naill ochr, rhoddodd y ffordd i'w deimladau, a dywedodd, "Nid oes obaith. Myfi oedd y dyn dedwyddaf ar y ddaear; ond yn awr, myfi yw y truenusaf. Nid oedd un bai ynddi, dim un; adwaenech chwi hi yn dda; ond nis gallasech chwi, na neb arall, wybod ei daioni." Yr oedd ei chlod am ei rhinweddau a'i duwioldeb yn gyffredinol; er i un o'r Jacobiaid penboeth bregethu ar ei mharwolaeth oddiwrth yr adnod hono—"Edrychwch am y wraig felldigedig hono, a chleddwch hi; canys merch brenin yw hi." Claddwyd hi yn nghapel Henry VII., yn monachlog Westminster. Yn ol awgrym a dymuniad Mary, ar ddychweliad lluaws o glwyfedigion o frwydr fuddugoliaethus La Hogue, trowyd y palas yn Greenwich yn fath o ysbyty i'r cyfryw. Mae miloedd wedi talu ymweliad ag adeilad ardderchog *Greenwich Hospital*, heb feddwl mai colofn goffadwriaethol ydyw o rinweddau y frenines enwog Mary II., o gariad a hiraeth ei gwr, ac o fuddugoliaeth La Hogue.

## II.—WILLIAM III. (EI HUN), 1695—1702.

YR oedd y dywysoges yn amddifad o ragoriaethau uchel ei chwaer, Mary, ac yn cymeryd ei rheoli yn hollol gan Arglwydd ac Arglwyddes Marlborough. Maddeuodd Mary iddi cyn marw, a chymerodd Sunderland y fantais ar drallod William yn yr amgylchiad i'w chymodi ag yntau. Rhoddodd y brenin balas St. James iddi i fyw, ac anrhegodd hi â'r rhan fwyaf o emau ei chwaer.

Cafwyd cryn orchest i godi ysbryd William ar ol claddu ei briod. Ond yn haf y flwyddyn ganlynol cawn ef yn ymysgwyd ac yn myned allan fel cynt. Aeth drosodd eto i Holland; a chyn dychwelyd enillodd fuddugoliaeth filwrol benaf ei oes. Gwarchaeodd ar Namur, ac yn mhen saith wythnos, cymerodd hi yn wyneb byddin o gan mil o Ffrancod. Taenodd y newydd lawenydd dros holl Brydain, a rhoddwyd y derbyniad mwyaf croesawgar i'r gorchfygwr ar ei ddychweliad i Loegr.

Un o'r pethau cyntaf a wnaeth William ar ol dychwelyd, oedd tori y senedd i fyny, a galw un newydd. Un o'r prif fesurau a basiwyd gan y senedd hon oedd bil yn rheoleiddio prawf am fradwriaeth, yr hwn a gynwysai fwy o chwareu teg i'r cyhuddedig.

Yr oedd arian bathol y deyrnas y pryd hwn mewn sefyllfa hynod o lygredig, yn llawn cymysgedd, ac wedi eu darnio. Felly penderfynwyd dwyn arian bathol newyddion allan dan lywyddiaeth Montague, canghellydd y drysorgell, yn cael ei gynorthwyo gan Syr Isaac Newton, meistr y bathdy, a John Locke.

Yn 1696, cafwyd allan fradwriaeth eto yn erbyn bywyd William, yr hyn a barodd gyffro eiddigus yn y senedd ac yn y wlad. Yr oedd y cydfradwyr yn lluosog, ac yn eu mysg amryw o fri a dylanwad. Rhoddwyd rhai o honynt i farwolaeth, diangodd eraill, a phardynwyd y lleill. Yn ganlyniad i hyn, ymunodd y genedl yn fath o gymanfa, er cydnabod awdurdod freninol William, ac ymrwymo i ddial ar ei elynion, os delai y brenin i ddiwedd anamserol trwy gynlluniau bradwrus. Pasiwyd hyn eilwaith fel gweithred seneddol. Cyn gadael Lloegr am Holland y flwyddyn hon, cododd Somers i'r bendefigaeth, gwnaeth Russell yn Iarll Orford, a Sunderland yn arglwydd ystafellydd.

Yn y flwyddyn hon y gwnaed cytundeb heddwch Ryswick, trwy yr hwn y terfynwyd y rhyfel â Ffrainc. Yr oedd yr heddwch hwn yn un anrhydeddus o du William, ac yn beth dymunol yn Lloegr a Ffrainc, gan fod y drysorgell yn y ddwy wlad wedi ei gwaghau. Yr oedd Louis i roddi i fyny ei holl gaffaeliadau diweddar oddigerth Strasburg, ac i gydnabod William yn frenin Lloegr. Yr oedd traul y rhyfel mor fawr o du Lloegr, a'r ddyled eisoes wedi cyrhaedd tua dwy filiwn ar bymtheg, fel y prysurodd y senedd ar unwaith i leihau y fyddin. Pleidleisiwyd swm anrhydeddus—saith can mil o bunau—i William at ei dreuliadau, ond nid oedd i gael mwy na saith mil o filwyr at ei wasanaeth; ac yr oedd yn rhaid i'r rhai hyny fod yn frodorion Prydeinig. Cyffrodd hyn anfoddlonrwydd William yn fawr, am y credai nad oedd yr heddwch ond o fyr barhad. Bu y brenin yn dadleu yn daer am gael cadw ei *Dutch Guard*, y rhai yr oedd mor ymlynol wrthynt, a'r rhai fu o gymaint gwasanaeth iddo. Ond daliai y Cyffredin yn gyndyn a diysgog; yn gymaint felly, fel y penderfynodd William unwaith adael Lloegr yn gyfangwbl, a dychwelyd i Holland. Yr oedd William a'i *Guard*, yn wir, yn haeddu ymddygiad mwy caredig. Yr oedd yn eu mysg ddewrion Protestaniaid Ewrop; dynion oedd wedi colli y cwbl a feddent ond eu cleddyfau, ac wedi ymladd a dyoddef cymaint i enill buddugoliaethau i ni. Yr oedd ganddynt hawl i'r caredigrwydd mwyaf oddiar ein dwylaw.

Yr oedd y Dywysoges Anne wedi cael amryw blant, ond yr oedd wedi eu claddu oll ond un, William, Duc Gloucester. Yn 1700, bu hwn farw hefyd, pan yn 11eg oed. Dygodd hyn bwnc yr olyniad eto ger bron; a phasiwyd act yn cyfyngu etifeddiaeth coron Lloegr, ar ol Anne, i'r dywysoges Sophia o Hanover, (ŵyres

i James I.) a'i hetifeddion Protestanaidd. Cynwysai yr act hefyd, nad oedd neb estroniaid i ddal swyddi gwladol na milwrol; nad oedd y genedl dan orfod i fyned i ryfel er amddiffyn unrhyw diriogaethau ond a berthynent i goron Lloegr; fod y penadur i ddal cymundeb ag Eglwys Loegr; nad oedd i fyned allan o'r wlad heb ganiatad y senedd; ac nad oedd neb a fyddai yn dal swydd, neu yn derbyn blwydd-dâl dan y goron, yn gymhwys i eistedd yn y senedd. Yr oedd yn amlwg fod rhai o'r pethau hyn yn gyfeiriedig at William; eto yr oedd profiad diweddar wedi dangos yr angen am danynt, a phrofwyd eilwaith eu defnyddioldeb.

Ymwelodd William â'r Cyfandir drachefn. Trodd Louis yn anffyddlon i delerau y cytundeb. Rhagododd William lawer arno gyda chynygion eraill er cadw mantoliad galluoedd Ewrop, ond nid oedd ymddiried iddo. Pan fu James II. farw, Medi, 1701, cydnabyddodd Louis ei fab, James yr ymhonwr, fel brenin Lloegr. Terfynodd hyn yr heddwch rhwng y ddwy wlad. Galwodd William ei genadwr adref o Paris, a gyrodd genadwr Ffrainc adref o Lundain. Dangosodd y wlad hon deimlad cyffredinol o ddygasedd at Louis, a phenderfynasant sefyll hyd farw dros hawliau William. Dychwelodd William, ac mewn araeth nerthol, o gyfansoddiad Somers, dangosodd William i'r senedd berygl Lloegr ac Ewrop, a galwodd arnynt i sefyll yn wrol a diysgog. Yr oedd y bobl yn barod; pleidleisiwyd byddin o bedwar ugain a deg o filoedd i fod at ei wasanaeth; a phasiwyd bil arall yn rhwymo y bobl i sefyll o blaid William yn erbyn mab James. Ni welwyd y bobl mor unfrydol, na'r brenin mor boblogaidd, er pan esgynodd i'r orsedd. Ond ni chafodd ef fyw nemawr i fwynhau yr anrhydedd a'r poblogrwydd hwn. Syrthiodd y ceffyl dano ar ei ffordd i Hampton Court tua diwedd mis Chwefror, 1702; torodd asgwrn ei ysgwydd, a bu farw o'r herwydd yn Kensington, Mawrth 8fed, yn 52ain mlwydd oed. Cafwyd cudyn o wallt ei briod ragorol wedi ei rwymo am ei fraich aswy, yr hyn a ddangosai barhad ei serch at y wraig ddigyffelyb hono.

Dyn main a gwanaidd o gorph oedd William, ac yn cael ei boeni yn wastad gan ddiffyg anadl; ac yr oedd yn destun syndod i bawb ei fod yn abl dal dan gymaint o lafur a chaledi rhyfeloedd. "Un nodwedd hynod perthynol i'r dyn hwn, yr hwn oedd yn gyffredin mor drymaidd a thawedog, oedd fod perygl yn actio arno fel gwin, yn agor ei galon, yn rhyddhau ei dafod, ac yn rhyddhau ei ymddygiad oddiwrth bob llyffethair." Meddai deimladau crefyddol dyfnion; ac er fod llawer yn dyweyd mai ei fantais ei hun, a darostyngiad gallu Louis o Ffrainc oedd ei unig amcan, gosododd y wlad hon dan rwymedigaeth tragywyddol iddo. "William III. oedd y brenin cyntaf yn y wlad hon a esboniodd *broblem* breniniaeth

gyfansoddiadol yn wirioneddol; ac oddiar ei esboniad ef o honi, mae dyledswyddau breninoedd yn hawdd a naturiol. O'i flaen ef yr oedd y cwbl yn ddyrys ac ansicr, a'r cyfansoddiad heb ei ddeall, am na ddarostyngwyd ef erioed yn briodol i ymarferiad. Os oedd weithiau yn tramgwyddo, dylid cofio fod yr hyn oedd i benaduriaid dylynol yn llwybr llydan agored, y pryd hwnw yn ffordd dywell a disathr iddo ef, ac yn angenrheidiol profi pob cam o honi. Rhaid i'n hedmygiad o alluoedd ac athrylith y tywysog enwog hwn mewn helyntion llywodraethol godi i'r pwynt eithaf, os edrychwn ar anhawsderau diddiwedd ei sefyllfa. Penllywydd yn Holland ar ffurf-lywodraeth werinol—brenin yn Lloegr ac Ysgotland, gyda chyfansoddiadau na chawsant erioed eu hegluro yn briodol—llywodraethwr y Dutch, y Saeson, yr Ysgotiaid, a'r Gwyddelod, a phob un o'r rhai hyn yn meddu manteision, eiddigedd, a gelyniaeth gwahanol—dan orfod i ymddiried mewn gweinidogion nad oedd ymddiried iddynt—ac ar yr un pryd yn arwain rhyfel didor yn erbyn gallu penaf Ewrop; ac yn gwneyd hyn oll gyda chorph gwanaidd ac afiach. Wrth ystyried y pethau hyn oll, rhaid i ni gyffesu ein bod yn ymgolli mewn syndod wrth y canlyniad, ac yn teimlo yn barod i roi y lle blaenaf o ddigon i William III. yn mysg pawb a wisgasant goron Lloegr erioed."* "Am awdurdod y gyfraith, am ddyogelwch meddianau, am heddwch ein hystrydoedd, am ddedwyddwch ein cartrefleoedd, mae ein diolchgarwch yn ddyledus, dan yr Hwn sydd yn codi ac yn darostwng cenedloedd wrth ei ewyllys, i'r Senedd Hir, i'r Senedd Gymanfaol, ac i William o Orange."†

## III.—ANNE, 1702—1714.

AIL ferch James II. ydoedd Anne, yr hon a aned yn mhalas St. James, Chwefror, 1665; felly yr oedd ar ei hesgyniad i'r orsedd yn 37ain mlwydd oed. Dywedwyd yn barod ei bod yn briod a'r tywysog George o Denmark, a'i bod wedi claddu ei phlant oll yn ieuainc. Yr oedd marwolaeth William wedi cynyrchu llawenydd yn llysoedd Ffrainc a Rhufain, ond gadawodd gwmwl tywyll uwchben yr achos Protestanaidd dros holl Ewrop. Croesawid esgyniad Anne gyda phob arwyddion o lawenydd gan y gwahanol bleidiau; eto yr oedd pryder mawr yn Lloegr ac ar y Cyfandir am y llwybr a gymerai. Yr oedd yn Brotestant selog, yn ymlynol iawn wrth yr Eglwys, ac heb fawr cydymdeimlad â'r Annghydffurfwyr. Er ei bod yn ddynes rinweddol, ac yn wraig dda, yr oedd yn amddifad o gymhwysderau i lywodraethu. Felly rhoddai ei hun yn gymaint dan hyfforddiad Arglwydd ac Arglwyddes Marlborough a phe na buasai ond plentyn pymtheg oed. Whig selog oedd yr

*Knight, vol. iv., 139. †Macauley, vol. iii., 413.

arglwyddes, ond Toriad oedd Anne o'r dechreuad. Y prif bethau yr oedd y Whigiaid a'r Toriaid yn gwahaniaethu ynddynt yn awr ydoedd hyn:—Mynai y Whigiaid nas gallasai Pabydd fod yn frenin; fod y brenin yn ddarostyngedig i'r gyfraith; ac y gallai y senedd ddiorseddu y brenin, a dewis un arall. Daliai y Toriaid hwythau fod breninoedd yn derbyn eu hawdurdod gan Dduw, ac nid gan ddynion; fod ewyllys y brenin uwchlaw cyfraith; ac nas gallesid yn gyfreithlon ddiorseddu brenin.

Diflanodd pryder y Protestaniaid, a chefnogwyr y cyngrair mawr Ewropaidd, pan gyhoeddodd Anne ei bod yn benderfynol i ddylyn camrau ei rhagflaenor. Rhoddwyd y prif swyddi i'r Toriaid, ond symudodd y llywodraeth yn mlaen mewn cyfeiriad Whigaidd. Gwnaed Marlborough, yr hwn na phrisiai lawer pa un ai Whig ai Tori fyddai, yn llywydd y galluoedd, a Godolphin yn arglwydd drysorydd. Gwnaed George o Denmark yn brif-lyngesydd, a Syr George Rooke yn is-lyngesydd. Anfonwyd Marlborough drosodd i Holland i adnewyddu telerau yr undeb. Cyhoeddwyd rhyfel â Ffrainc, a phleidleisiwyd saith can mil o bunau y flwyddyn i Anne dros ei bywyd, ac addawodd hithau ddychwelyd can mil y flwyddyn o honynt at achosion cyhoedd.

Mae rhan fawr o'r teyrnasiad hwn wedi ei gymeryd i fyny gan ryfeloedd ar y Cyfandir, yn benaf dan arweiniad Marlborough, yn y rhai yr enillodd Lloegr lawer o glod, faint bynag enillodd o wir fantais. Rhoddwyd llywyddiaeth byddinoedd cyngreiriol Lloegr, Holland, a Germany, i Marlborough; a phrofodd ei hun yn fuan yn wr cymhwys i'r ymddiried. Ni chafodd Ffrainc wrthwynebydd mwy cyndyn i'w wynebu oddiar amser brwydrau Cressy (dan Edward III. a'r Tywysog Du), ac Agincourt (dan Henry V.). Bu yn offeryn yn llaw Rhagluniaeth i ddarostwng gormes a balchder Louis, ac i ddyrysu ei amcanion drygionus. Nid aeth blwyddyn drosodd cyn fod clod Marlborough wedi ymdaenu dros holl Ewrop. Ar ei ddychweliad i Loegr gwnaed ef yn dduc, a sicrhaodd y llywodraeth bum mil o bunau y flwyddyn iddo. Yn 1703, cymerodd ddinas Bonn, a threfi Huy a Limburg. Yn Tachwedd y flwyddyn hon y chwythodd ystorm ddychrynllyd o wynt ar yr ynys hon. Suddodd luaws o longau; gwnaeth werth miliwn o bunau o golledion yn Llundain, trwy daflu tai ac eglwysi i lawr. Lladdwyd esgob Kidder a'i wraig yn eu gwely, yn y palas yn Wells, trwy syrthiad y simneiau arnynt.

Yn 1704, arweiniodd Marlborough ei fyddinoedd dros y Rhine, y Maine, y Neckar, a'r Danube, gan ysgubo y Ffrancod o'i flaen. Ymunodd y Tywysog Eugene o Savoy â'i fyddinoedd, a chanlynodd brwydr nodedig Blenheim (yn Germany). Rhifai y fyddin gyngreiriol ddeuddeg mil a deugain, a byddinoedd gwrthwynebol Ffrainc

a Bavaria, dan lywyddiaeth y maeslywydd Tallard, un fil ar bymtheg a deugain. Yr oedd, nid yn unig tynged ymerodraeth Germany, ond tynged Ewrop mewn rhyw ystyr, yn troi ar y frwydr hon. Enillodd Marlborough fuddugoliaeth hollol. Lladdwyd, clwyfwyd, a chymerwyd yn garcharorion, ddeugain mil o'r Ffrancod, ac yr oedd Tallard ei hun yn mysg y carcharorion. Yr oedd colled y cyngreiriaid yn bedair mil a phum cant wedi eu lladd, a saith mil a phum cant wedi eu clwyfo. Yr oedd yn ergyd mor drwm i Ffrainc, fel yr ofnai pawb ddwyn y newydd i'r brenin. Pan ddychwelodd Marlborough i Loegr anrhegwyd ef â maenor Woodstock, a gorchymynodd y frenines adeiladu palas arno ar draul y goron, i'w alw yn *Blenheim House;* "ac yno y mae yn goffadwriaeth o fuddugoliaeth y rhyfelwr, o ddiolchgarwch y genedl, ac o ddiffyg chwaeth yr adeiladydd."

Ychydig ddyddiau cyn bod Marlborough wedi enill Blenheim, yr oedd Rooke wedi cymeryd Gibraltar oddiar yr Ysbaeniaid. Aeth allan â phum mil o wŷr, ar fedr gwneyd ymosodiad ar Barcelona, er cael gan y bobl i gydnabod yr Archdduc Charles yn frenin. Ond pan welwyd fod y gallu yn rhy wan at yr amcan hwnw, penderfynwyd gwneyd ymosodiad ar Gibraltar; cymerwyd yr amddiffynfa bwysig, ac y mae yn meddiant Lloegr hyd y dydd hwn.

Ni wnaeth Marlborough ond ychydig y flwyddyn ganlynol; ond cymerwyd Barcelona yn Spain, gan Iarll Peterborough; ac ymostyngodd holl Catalonia a Valencia i Charles. Yn 1706, enillodd Marlborough fuddugoliaeth bwysig ar y Ffrancod dan y maes-lywydd Villeroy yn Ramillies. Collodd y Ffrancod dair mil ar ddeg o wŷr, a'r cyngreiriaid ddwy fil. Syrthiodd amryw leoedd eraill i ddwylaw y gorchfygwyr, a daeth Louis i gymaint cyfyngder fel y cynygiodd amodau heddwch; ond yr oedd ei amodau y fath fel y gwrthodwyd hwy ar unwaith yn Llundain, yn yr Hague, ac yn Vienna.

Yn y flwyddyn hon (1706), y dygwyd ger bron y senedd brif fesur y teyrnasiad hwn, sef uniad Lloegr ac Ysgotland dan yr un senedd. Bu hyn yn hir yn mryd William; cyfeiriodd ato ar ei wely marw; a chymeradwyodd Anne ef yn ei haraeth gyntaf i'r senedd. Bellach daeth sefyllfa pethau yn Ysgotland yn gyfryw, fel yr oedd yn rhaid cymeryd y mater i ystyriaeth o ddifrif. Pasiodd y senedd Ysgotaidd fesur a elwid yn Act Dyogelwch; rhoddai yr act hono yr hawl o enwi olynydd i'r gymanfa; a chynwysai nad oedd yr olynydd a enwid i fod yn olynydd i goron Lloegr, ond ar delerau penodol. Enwyd dirprwywyr o'r ddwy wlad i gymeryd amodau yr uniad i ystyriaeth. Methodd y dirprwywyr â chytuno, a galwyd eu hawdurdodiad yn ol. Yr oedd gwrthwynebiad cryf i'r symudiad yn y ddwy deyrnas. Pleidiai y Whigiaid ef yn benderfynol; gwrthwynebid ef gan y Jacobiaid am ei fod yn an-

fanteisiol i achos y *Pretender;* a gwrthwynebai y Toriaid ef am yr ychwanegai nerth y Whigiaid. Daeth y gwrthwynebiad i'r llywodraeth mor fawr a bygythiol, fel y gorfu i Loegr ddwyn milwyr tua'r cyffiniau. Penodwyd dirprwywyr newydd, ac yn nwylaw y rhai hyn daeth yr achos i agwedd mwy gobeithiol. Pasiodd y ddirprwyaeth y telerau i'w gosod ger bron y senedd. Yr oedd olyniad y goron i gael ei sefydlu ar y dywysoges Sophia a'i hetifeddion; y Deyrnas Gyfunol i gael ei llywodraethu gan un senedd; un ar bymtheg o bendefigion Ysgotaidd i gael eistedd yn Nhŷ yr Arglwyddi, a phump a deugain o aelodau i eistedd yn Nhŷ y Cyffredin i gynnrychioli y bobl, felly yn cyfansoddi y ddeuddegfed rhan o'r ddeddfwriaeth, er nad oedd Ysgotland yn talu ond y ddeugeinfed rhan o'r dreth dirol (*land tax*). Yr oedd haner miliwn o bunau i gael eu talu i Ysgotland gyferbyn a'r ddyled wladol; a thalwyd symiau mawrion eraill i sicrhau cefnogaeth y rhai a wrthwynebent y mesur. Yr oedd Ysgotland i gael cadw ei heglwys Bresbyteraidd ei hun, yn nghydag amryw drefniadau gwladol, a llysoedd barn perthynol iddi ei hunan. Dangoswyd gwrthwynebiad cyndyn i'r cynygiad yn seneddau y ddwy wlad. Ond pan ddaeth i brawf, cafwyd y mwyafrif yn ei ffafr. Derbyniodd y bil gydsyniad y frenines, Mawrth 6, 1707; eisteddodd y senedd Ysgotaidd am y waith olaf, Mawrth 25, a chymerodd yr undeb le Mai 1af. Trodd yr amgylchiad hwn, sef cyfansoddi Lloegr ac Ysgotland yn DEYRNAS GYFUNOL PRYDAIN FAWR, yn fwy o elw i'r wlad na holl fuddugoliaethau gwaedlyd Marlborough. "Yr wyf yn ystyried yr undeb," meddai Anne, wrth arwyddo ei chydsyniad, "yn bwnc o'r pwys mwyaf i olud, nerth, a dyogelwch yr holl ynys, ac ar yr un pryd yn orchwyl mor anhawdd i'w ddwyn oddiamgylch, fel y bu pob cynygiad a wnaed tuag at hyn, am fwy na chan mlynedd, yn aneffeithiol hyd yn awr. Felly nid wyf yn amheu na chofir ac na lefarir am dano mewn amser a ddaw, er anrhydedd i'r rhai hyny fuont yn offerynau i'w ddwyn i'r fath derfyniad dedwydd."

Yr oedd y rhyfeloedd yn parhau ar y Cyfandir; Louis yn wancus am helaethu ei derfynau, a'r cyngreiriaid bellach heb fod yn foddlon ar atal ei ormes, ond yn awyddus am ysglyfio Ffrainc ei hun oddiarno, i'w dosbarthu yn dameidiau rhyngddynt. Yr oedd Philip, ŵyr Louis, a'r Archdduc Charles, yn ymryson am orsedd Spain, a'r cyngreiriaid yn pleidio yr olaf, er mwyn cyfyngu dylanwad brenin Ffrainc, a mantoli galluoedd Ewrop. Yn 1707, gorchfygwyd y cyngreiriaid, dan arweiniad Galway a Das Minas, yn Almansa, yn Spain, ac enciliasant, gan adael pedair mil o laddedigion ar y maes. Y flwyddyn ganlynol enillodd Marlborough fuddugoliaeth nodedig Oudenarde ar y Ffrancod yn y Netherlands. Lladdwyd tair mil o'r Ffrancod, a chymerwyd saith mil yn garcharorion, tra nad oedd

colled y gorchfygwyr ond dwy fil. Yn fuan wedi hyn, syrthiodd Lisle, Ghent, a holl Flanders i ddwylaw y gorchfygwyr; ac yr oedd Syr John Leake a'r cadfridog Stanhope eisoes wedi cymeryd ynysoedd Sardinia a Minorca, yn Môr y Canoldir. Yn nechreu 1709, cynygiodd Louis eto am amodau heddwch; ond cymerodd y telerau a ofynai y cyngreiriaid fel sarhad arno. Felly ceisiodd gyffroi ysbryd ei ddeiliaid, oeddent eisoes wedi eu llethu gan orthrymder, tlodi, a newyn, i gymeryd arfau drachefn. Erbyn canol yr haf yr oedd byddinoedd mawrion allan eto. Syrthiodd Tournay, ar ol amddiffyniad dewr, i ddwylaw y cyngreiriaid. Parotodd Marlborough ac Eugene i warchae ar Mons, a daeth y maeslywydd Villars i'w gwrthwynebu. Yr oedd y galluoedd gelynol yn gyfartal, a phob un o'r byddinoedd yn rhifo pedwar ugain a deg o filoedd. Medi 11eg, yr ymladdwyd brwydr waedlyd Malplaquet. Arweinid y cyngreiriaid gan Marlborough, Eugene, a thywysog ieuanc Orange. Parhaodd y frwydr yn ffyrnig am bedair awr. Enillwyd y maes gan y cyngreiriaid, er fod eu colledion yn drymach nag eiddo eu gwrthwynebwyr. Collasant, mewn lladdedigion a chlwyfedigion, ugain mil, a'r Ffrancod bedair mil ar ddeg. Darostyngwyd Mons, a therfynodd hyn y rhyfelgyrch am y flwyddyn. Ceisiodd Louis eto yn daer am amodau heddwch, ond ni ddygwyd hyny oddiamgylch hyd gytundeb Utrecht yn 1713.

Tra yr oedd y brwydau hyn yn myned yn mlaen ar y Cyfandir, yr oedd ymryson pleidiau gwrthwynebol yn myned yn mlaen yn Lloegr, oddifewn ac oddiallan i'r senedd. Daliai y Whigiaid a'r Toriaid i ymladd am y flaenoriaeth, ac yr oedd y frenines, er gwaethaf dylanwad Duces Marlborough, yn fwy pleidiol i'r olaf. Yr oedd Marlborough erbyn hyn yn dechreu colli ei barch a'i ddylanwad, a'i wraig yn prysur gael ei gwthio o ffafr y frenines gan ei chyfnithder, Mrs. Masham, yr hon oedd yn selog dros y Toriaid. Trwy offerynoliaeth Mrs. Masham, ceisiai Harley a Bolingbroke ddisodli Marlborough a Godolphin, ac felly amddifadu y Whigiaid o'u blaenoriaid. Rhoddodd erlyniad Dr. Sacheverel esboniad pwysig ar achos ac egwyddorion y pleidiau. Er fod yr olyniad ynddo ei hun yn beth ffol, ac i'w feio, eto bu yn achlysur i ddangos a chadarnhau yr egwyddorion ar ba rai y mae y Chwyldroad i'w gyfiawnhau. Offeiriad Toriaidd dinod o Southwark oedd Sacheverel, o ysbryd cynenus a dallbleidiol, a mynai wneyd ei hun yn wron athrawiaeth yr Uchel Eglwyswyr. Traddododd bregeth ar y 5ed o Dachwedd o flaen Maer Llundain, yn yr hon y cymeradwyai mewn geiriau cryfion athrawiaeth ufudd-dod goddefol hollol; crochlefai fod yr eglwys mewn perygl, condemniai bob goddefiad mewn pethau crefyddol, a rhoddai y fflangell yn drwm ar yr esgobion mwyaf cymedrol. Cyhoeddwyd y bregeth ar gais yr arglwydd-

faer; canmolid hi gan y Toriaid, a gwerthwyd deugain mil o honi. Penderfynwyd, yn erbyn cynghor Somers, ddwyn cyhuddiad yn erbyn y pregethwr yn neuadd Westminster. Parhaodd y prawf am dair wythnos. Y prif arweinwyr dros y Cyffredin oedd Stanhope, Walpole, Jekyll, Lechmere, a King. Yr oedd gan y rhai hyn i'w brofi, nid yn unig fod gwrthwynebiad wedi ei ddangos yn y Chwyldroad diweddar, ond fod gwrthwynebiad i'r penadur a'r gyfraith ar brydiau yn gyfreithlon ac angenrheidiol. "Pwnc anhawdd i'w drin ar unrhyw amser, ac yn enwedig gan weinidogion y llywodraeth a chyfreithwyr y goron, yn mhresenoldeb eu penadur."

Mae gonestrwydd a gwroldeb y dadleuwyr hyn, pan gofir eu bod ger bron y frenines ei hun, yn haeddu y ganmoliaeth uchaf. "Am athrawiaeth goddefiad diamodol," meddai Stanhope, "ni raid dyweyd, debygid, ei bod yn annghyson â deddf rheswm, â deddf natur, ac ag arferiad pob oes a gwlad. Nid yw o bwys mawr ychwaith beth oedd barn rhai duwinyddion neillduol, neu yr athrawiaeth a bregethid yn gyffredin dan ambell deyrnasiad, gyda golwg ar hyn. Digon i ni yw gwybod beth oedd arferiad Eglwys Loegr pan gaffai ei gorthrymu. Ac yn wir, gellid apelio at holl eglwysi, pob llywodraeth, a phob cenedl yn y byd, pa fodd yr ymddygent pan orthrymid ar eu sefydliadau gwladol a chrefyddol. Credwyf y gallwn anturio dyweyd yn mhellach, nad oes yr un genedl na llywodraeth yn y byd heddyw, na chafodd ei sefydlu yn y dechreuad naill ai trwy wrthwynebiad neu gytundeb; ac y mae caniatau y diweddaf yn ddigon i'n pwrpas ni. Oblegyd pa le bynag y byddo cytundeb, rhaid fod hefyd hawl i amddiffyn iawnderau perthynol i'r cytundeb hwnw. Ofer dadleu cyfreithiau breiniol (*municipal laws*) gwlad mewn achos fel hwn. Ni wnaed y cyfreithiau hyny ond ar gyfer cwrs cyffredin pethau, ac nis gellir eu cymeryd fel wedi eu bwriadu i ddymchwelyd dyben pob cyfreithiau, yr hyn fyddai y canlyniad pe yr ymostyngai cenedl yn dawel dan droseddiad o'i holl iawnderau dwyfol a dynol." Cafwyd y doctor yn euog gan 69 yn erbyn 52, a dedfrydwyd ef i gael ei atal i bregethu am dair blynedd, a'i bregeth i'w llosgi gan y crogwr cyffredin. Ond ystyrid y ddedryd ysgafn fel buddugoliaeth gan ei blaid ef,—ac felly yr oedd; a dangosent lawenydd mawr ar yr achlysur. Bu yr achos hwn yn foddion i ddymchwelyd y weinyddiaeth, er i egwyddorion y Chwyldroad ar y cyfan enill mantais oddiwrtho.

Yr oedd achos Dr. Sacheverel a dyfeisiau Mrs. Masham wedi gwasanaethu achos y Toriaid yn dda. Deallwyd tymher y wlad, anturiodd y frenines dori ei senedd i fyny, a galw un newydd; a chafwyd cyfnewidiad llwyr yn y weinyddiaeth. Rhoddodd y Whigiaid (Somers, llywydd cynghor; Devonshire, yr arglwydd oruchwyliwr; Boyle, yr ysgrifenydd; a Cowper, y canghellydd) eu

swyddau i fyny; a rhoddwyd Rochester (ewythr y frenines), Duc Buckingham, St. John (Bolingbroke), a Harcourt, yn eu lle. Gwnaed Duc Ormond, yn lle Wharton, yn rhaglaw Iwerddon; ac ni chadwyd o'r Whigiaid mewn swyddi uchel ond Duciaid Somerset a Newcastle, a Marlborough am beth amser. "Fel hyn," meddai Keightley, "y syrthiodd y weinyddiaeth fwyaf gogoneddus, y fwyaf galluog, a gallwn ychwanegu efallai, y fwyaf rhinweddol a gwladgarol a welodd Lloegr er dyddiau Elisabeth. Syrthiodd trwy annghydfod ynddi ei hun, trwy gyhuddiad ffol yn erbyn offeiriad dirmygus; a thrwy gynllwynion y gwely-ystafell, lle yr oedd dynes eiddil wedi derbyn awdurdod gan y cyfansoddiad, yn cael ei llywodraethu gan un o'i llawforwynion, ac yn cael ei hud-ddenu a'i llithio gan un arall."

Cafwyd bellach senedd Doriaidd, gyda Bromley yn llefarydd. Taflwyd pob dirmyg, drygair, a thwyll ar enw Marlborough; eto, ar gais yr ymerawdwr, y cyngreiriaid, Godolphin, a'r Whigiaid, daliodd ei swydd fel llywydd y galluoedd. Aeth y duc allan i arwain rhyfelgyrch 1711; ond yr oedd y Toriaid wedi penderfynu ar heddwch ar unrhyw delerau; anfonwyd cenad i'r pwrpas i lys Ffrainc, a chafwyd Louis yn ddigon parod i dderbyn y cynyg, ond yn ddigon ffals i droi awydd Lloegr am dano i'w fantais ei hun. Pan ddychwelodd Marlborough i Loegr, cyhuddwyd ef o ysbeilio arian y cyhoedd, a throwyd ef allan o'i swydd; a chan fod mantoliad y gallu yn y Tŷ uchaf o blaid y Whigiaid, cododd y frenines ddeuddeg o'r newydd i'r bendefigaeth, ac yn eu mysg gwr Mrs. Masham, trwy ba rai y trowyd y fantol o blaid y Toriaid. Daeth y Tywysog Eugene drosodd i Loegr i ymbil yn erbyn diswyddiad Marlborough, a heddwch â Ffrainc; ond er iddo gael derbyniad croesawgar, ac i'r frenines ei anrhegu â chleddyf gorwych, ni wrandawyd ar ei gais. Cyfarfyddodd cynadledd heddwch yn Utrecht, ac wedi hir eistedd, arwyddwyd y cytundeb gan yr holl gyngreiriaid, oddigerth yr ymerawdwr (Ebrill, 1713). Yr oedd yr amodau yn llawer mwy ffafriol i Ffrainc na'r rhai a gynygiwyd gan Louis yn flaenorol. Cynwysai cytundeb Utrecht fod Louis i gydnabod hawl Anne i orsedd Lloegr, ac i alltudio y *Pretender* o'i diriogaethau; fod amddiffynfeydd Dunkirk i gael eu dymchwelyd; fod Nova Scotia, Hudson's Bay, Newfoundland, St. Christopher, Gibraltar, a Minorca, i gael eu rhoddi i Loegr, yn nghyda rhyddid i gyflenwi y trefedigaethau Ysbaenaidd yn America â Negroaid. Yr oedd Philip i gael ei gydnabod yn frenin Spain ac America, Sicily i fyned i Duc Savoy, a'r Netherland a'r tiriogaethau Italaidd i'r ymerawdwr. Galwai Arglwydd Chatham yr heddwch hwn yn "warthnod annileadwy yr oes ddiweddaf;" ac ychwanegai, "Pa bryd bynag y bernir yn briodol ddwyn heddwch dan ystyriaeth, ni wna *un heddwch Utrecht*

byth mwy anurddo hanes Lloegr." Trwy y cytundeb hwn gwnaed holl fuddugoliaethau Marlborough a'r cyngreiriaid ar y Cyfandir yn ofer, wedi cymaint o draul mewn bywydau ac arian. Yr oedd swm y trethi a godwyd yn ystod y teyrnasiad hwn yn driugain a dwy a haner o filiynau o bunau, a thriugain miliwn wedi eu codi trwy fenthyg. Ond colled anrhydedd oedd colled fwyaf Lloegr; bradychodd ei chyngreiriaid; a'r unig esgusawd sydd i'w roddi yw, i hyn gael ei wneyd gan Iarll Oxford (Harley), y gweinidog diegwyddor a Thoriaidd, ac nid gan y genedl.

Yr oedd iechyd Anne yn awr yn gwaelu, ac fel yr oedd yr arwyddion fod ei diwedd yn agosâu yn cynyddu, yr oedd pryder a chyffro y pleidiau gwahanol yn cynyddu yn nghylch yr olyniad. Dygodd un o'r pendefigion Ysgotaidd y cynygiad am dori undeb Lloegr ac Ysgotland ger bron, a bu agos iddo gael ei gario trwy bleidlais y senedd. Yr oedd gan y frenines yn awr ddwy gyfeilles yn ei ffafr, o olygiadau gwahanol, y foneddiges Masham a Duces Somerset, y naill yn Jacobiad selog, a'r llall yn ffafriol i'r Whigiaid; ac yr oedd dylanwad pob un yn ei thro yn llywio meddwl y frenines. Yr oedd y Whigiaid, Duces Somerset, rhai o'r Toriaid, a chorph mawr y bobl yn ddiau, dros sicrhau y goron yn nheulu Protestanaidd Hanover; ond yr oedd Masham a'i chyd Doriaid yn selog o blaid yr "Ymhonwr," haner brawd i Anne. Yr oedd Anne ei hun weithiau fel hyn, ac weithiau fel arall, ac heb lawer o flas ar bwnc yr olyniad o gwbl. Bu y Dywysoges Sophia farw, a syrthiodd yr hawl i'w mhab; ond yr oedd hwnw yn teimlo yn farw i'r anrhydedd hwn yn Lloegr, yr hyn a gynyddai flinder y Protestaniaid. Yr oedd y *Pretender* ar y llaw arall yn ddigon byw i'r peth, mewn gohebiaeth â'r Jacobiaid, ac yn parotoi i gasglu nerth i ddyfod drosodd. Nid oedd y wasg yn segur gyda'r cyffro hwn. Ysgrifenai Swift yn llym o blaid y Toriaid; a throwyd Steele, golygydd y *Tatler* a'r *Spectator*, allan o Dŷ y Cyffredin am gyhoeddi fod yr olyniad Protestanaidd mewn perygl.

Yr oedd teimlad drwg wedi magu rhwng Oxford a Bolingbroke, a thrwy ddylanwad y foneddiges Masham llwyddodd Bolingbroke i gael gan Anne ei ddiswyddo. Cymerodd hyn le dydd Mawrth, Gorphenaf 27, 1714; a bu yn amser prysur yn nghynghorfa y wladwriaeth o hyny hyd ddechreu yr wythnos ganlynol. Yr oedd Bolingbroke yn awr wedi esgyn i'r ris uchaf, a dechreuodd ffurfio gweinyddiaeth newydd gyda phob brys. Ond dydd Gwener, tra yr oedd ef wrth y gorchwyl, tarawyd Anne â ffit o *apoplexy*, ac felly "tarawyd cwpan awdurdod yn deilchion oddiwrth ei fin, cyn iddo gael ei brofi." Pan aeth y newydd allan am glefyd peryglus y frenines, daeth Somerset ac Argyll i mewn i'r cynghor, yr hwn oedd yn eistedd ar y pryd, heb un gwahoddiad. Dywedasant, gan fod y

frenines mewn perygl, y teimlent yn ddyledswydd arnynt ddyfod i gynorthwyo y cynghor. Diolchodd Shrewsbury iddynt. Wedi cryn ymddyddan, mynasant gael cynyg Shrewsbury yn arglwydd drysorydd. Tarawyd Bolingbroke a'i gefnogwyr yn fud. Anfonwyd dirprwywyr at wely marw Anne i ofyn ei chymeradwyaeth i Shrewsbury; dangosodd hithau ei chydsyniad, rhoddodd wialen yr awdurdod iddo, a cheisiodd ganddo ei defnyddio er daioni ei phobl. Felly, yn ffodus i ryddid y genedl, disgynodd yr awdurdod eto, ar y foment ddiweddaf, i ddwylaw y Whigiaid, a chymerodd cyfnewidiad le ag yr oedd manteision miliynau yn crogi wrtho. Bu y frenines farw, Awst 1af, yn ei 50fed mlwydd o'i hoedran, a'r drydedd ar ddeg o'i theyrnasiad; a chladdwyd hi yn monachdy Westminster. "Symudwyd Iarll Oxford dydd Mawrth," meddai Bolingbroke wrth ysgrifenu at Swift; "a bu y frenines farw y Sabbath. Y fath fyd yw hwn! ac fel y mae ffortun yn gwawdio dyn!"

Yr oedd llawer o bethau dymunol a chanmoladwy yn mherson a chymeriad Anne. Cyffredin ydoedd o ran galluoedd meddyliol, ac anmherffaith o ran addysg, a rhoddodd ei hun yn ormodol dan ddylanwad y gwragedd a gododd i'w ffafr. Ond canmolir hi yn fawr am ei serch, ei thynerwch, ei haelfrydedd, a'i duwioldeb, yn nghyda holl rinweddau cyffredin benyw mewn teulu a chymdeithas. Ni chollwyd gwaed am deyrnfradwriaeth yn ystod ei theyrnasiad; yr oedd yn selog dros Eglwys Loegr; ac yn hynod ymlynol wrth ei holl ddeiliaid. Ac er na osodir hi yn mysg y penaduriaid mwyaf, gosodir hi yn mysg y rhai goreu a eisteddasant ar orsedd Lloegr.

## IV.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Crefydd. Dygodd teyrnasiad William gyfnod newydd a pharhaus ar grefydd yn Mhrydain. Yn wir, gellir dyweyd mai dyma y pryd y cwblhawyd y diwygiad a gychwynwyd gan Henry VIII., gant a haner o flynyddoedd yn ol. Yn y cyfwng rhwng Henry a William, un ymrysonfa galed ydyw rhwng Protestaniaeth a Phabyddiaeth. Yn awr mae y naill yn cael y tir uchaf, dro arall y llall. Ac fel y byddai cefnogwyr y naill yn cael yr awdurdod i'w dwylaw, dygent eu mesurau i eithafoedd, nes cynyrchu gwrthweithrediad a chwyldroad. Dyma ydoedd dygwyddiadau pwysig 1649, 1660, a 1689. Yr oedd traws-arglwyddiaeth gormesol y penadur a'r gallu Pabyddol bob amser yn myned gyda'u gilydd, a gormes eglwysig a gwladol yn cydgodi ac yn cydsyrthio. Felly yr oedd y *Settlement* ar esgyniad William a Mary yn 1688 yn ddechreuad cyfnod newydd mewn ystyr wladol yn gystal a chrefyddol—cyfnod ag y mae ei oleuni gogoneddus yn parhau i fyned rhagddo fwyfwy hyd y dydd hwn. Mae yn beth hynod hefyd, er mor ddymunol oedd ffrwyth y chwyldroad, iddo brofi yn annghymeradwy i lawer, ac yn annys-

gwyliadwy i bawb, yr hyn a ddangosai mor eglur law Rhagluniaeth yn yr amgylchiad. Bu yr Eglwys yn mlaenllaw yn nygiad y chwyldroad oddiamgylch; ond pan welodd y canlyniad, safodd ar ei sawdl i wrthwynebu. Prin y gellir dyweyd i luaws y bobl gymeryd rhan yn y mesurau a fabwysiadwyd yn y diwedd. Yn wir, profodd mwyafrif Tŷ yr Arglwyddi yn erbyn diorseddiad James. Mor bell ag yr oedd a fynai y genedl â'r chwyldroad, gweithred Tŷ y Cyffredin yn unig ydoedd. A diau y buasai y Cyffredin wedi boddloni ar lai o gyfnewidiad, oni bai i Dywysog Orange roddi yr un cynllun a foddlonai ef gymeryd gyda'r fath benderfyniad ger eu bron. Felly gellir dyweyd ar ol y cwbl nad oedd y "Chwyldroad Gogoneddus," yn ei berthynas â'r genedl Seisnig, ond math o gam gorfodol dros y clogwyn ar ol myned yn rhy bell i ddychwelyd.*

Mor gynted ag y cafodd William yr awdurdod i'w law, pasiodd y *Toleration Act*, yr hon a dorodd lyffetheiriau yr Annghydffurfwyr, ac a roddodd fywyd newydd mewn Annghydffurfiaeth yn Nghymru a Lloegr. Bernir fod nifer Ymneillduwyr Cymru ar ddiwedd teyrnasiad Anne, yn cynwys Presbyteriaid, Annibynwyr, a Bedyddwyr, yn rhifo oddeutu haner can mil, neu yr wythfed rhan o'r trigolion.† Dywed Syr J. Dalrymple fod nifer y Cydymffurfwyr dan William III. yn 2,477,254; Annghydffurfwyr, 108,676; Pabyddion, 13,856. Rhoddodd William hefyd ryddhad i'r eglwys yn Ysgotland odditan iau ormesol Esgobyddiaeth. Ac ar ei esgyniad ef y dechreuodd yr ymraniad yn Eglwys Loegr ei hun, sydd wedi parhau hyd y dydd hwn, ac a adwaenir wrth Uchel Eglwyswyr, ac Eglwyswyr Cymedrol, neu Efengylaidd. Dechreuad yr Uchel Eglwyswyr hyn oedd y *Non-jurors*, y rhai a bleidient achos James, ac a ddalient hawl ddwyfol breninoedd. Dangosai y rhai hyn elyniaeth mawr at y blaid efengylaidd o'r clerigwyr, yr hon a flaenorid gan Tillotson a Burnet. Cafodd y Pabyddion fwy o ryddid dan William, hyd nes y pasiwyd yr Act ormesol yn eu herbyn yn 1700, yn eu cospi am gyflawni eu gwasanaeth crefyddol yn gyhoeddus. Yn nechreu y teyrnasiad hwn, yn benaf trwy offerynoliaeth Dr. Thomas Bray, y cychwynodd y gymdeithas er taenu gwybodaeth Gristionogol, a'r gymdeithas er lledaenu yr efengyl mewn gwledydd tramor. Ar esgyniad Anne ceisiwyd dyddimu Act y Goddefiad gyda Bil Cydymffurfiad Achlysurol; ond ni phasiwyd hwn hyd 1712. Wedi cael yr awdurdod i'w dwylaw, pasiodd y Toriaid fesur mwy gormesol fyth, a elwid y *Schism Act*. Cynwysai hwn nad oedd neb yn Mhrydain Fawr i gadw ysgol, neu weini swydd athraw, heb arwyddo cydymffurfiad ag erthyglau Eglwys Loegr, a derbyn trwydded gan yr esgob, dan berygl carchariad heb fechniaeth. Yr oedd hon i ddyfod mewn grym ar y

*Knight, vol. iv., 619. † Rees's Nonconformity in Wales.

dydd y bu Anne farw; ond gwnaeth y dygwyddiad hwnw y gyfraith yn ddirym. Yr oedd Anne yn selog dros yr eglwys, a throdd gyfran o gyllid y llywodraeth i gynorthwyo bywioliaethau gweiniaid, yr hyn sydd wedi para hyd yn awr, ac a elwir *Queen Anne's Bounty*.

Cyfansoddiad a chyfreithiau. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at y prif fesurau gwelliadol gyda golwg ar lywodraeth a chyfreithiau dan William ac Anne. Mae yn wir fod ffurf wreiddiol y cyfansoddiad yn parhau yr un cyn ac wedi y chwyldroad, ond rhoddwyd ysbryd arall yn y cyfansoddiad yn awr, a thrwy fesurau doeth a rhyddfrydig William cariwyd egwyddorion y cyfansoddiad allan yn fwy ffyddlon nag erioed. Cydnabyddai Whigiaid a Thoriaid nas gallesid gwneyd cyfraith, codi treth, na chadw milwyr, heb gydsyniad cynnrychiolwyr y genedl; nas gallasai y brenin o hono ei hun garcharu neb am gymaint a diwrnod; nas gallasai neb ddadleu gorchymyn y brenin fel esgus dros droseddu yn erbyn iawnderau y deiliaid tlotaf; cydnabyddent fod y rhai hyn yn gyfreithiau sylfaenol y deyrnas. Ac nid oedd angen cyfansoddiad newydd ar deyrnas oedd â'r rhai hyn yn gyfreithiau sylfaenol iddi. Taflodd William hawl ddwyfol breninoedd gyda'r gwynt, a dangosodd mewn senedd rydd ac annibynol fod awdurdod y goron yn dylifo o ewyllys y genedl. Penderfynwyd fod cyfreithiau sylfaenol y llywodraeth uwchlaw hawlfreintiau y goron. Y rheswm i Loegr fod mor fynych yn faes gwrthryfel, brwydrau, a gwaed, oedd fod y gwirionedd hwn heb gael ei gydnabod. Ac oblegyd fod y gwirionedd hwn wedi cymeryd meddiant o feddyliau y bobl, mae Lloegr, o'r dydd hwnw hyd heddyw, wedi ei chadw oddiwrth y dirgryniadau sydd wedi ysgwyd Ewrop hyd y gwraidd, ac wedi llifo ei dinasoedd a'i gwastadedd â gwaed y lladdedigion.

Prif gyfreithiau teyrnasiad William yw y rhai hyn: Bil Iawnderau, yr hwn oedd yn gosod allan yn eglur berthynas a rhwymedigaethau y brenin a'r bobl; Act Gwrthryfel, a basiwyd yn 1689, yr hon sydd yn dal y fyddin yn nghyd, ac yn darparu ar gyfer ei rheoleiddiad. Nid yw y cyfansoddiad yn caniatau i'r penadur gadw byddin sefydlog heb gydsyniad y senedd; ac nid yw y senedd, oddiar ddyddiau William III., yn rhoddi y cydsyniad hwn ond o flwyddyn i flwyddyn, yn ol y bil a nodwyd; a phe byddai y penadur yn gwrthod neu yn esgeuluso galw senedd yn nghyd am un flwyddyn, collai y fyddin ei bodolaeth cyfreithlon trwy hyny. Pasiwyd yn y teyrnasiad hwn hefyd fil senedd tair blynyddol; bil yn rheoleiddio prawf am fradwriaeth; a'r *Act of Settlement*, yn dyogelu yr olyniad i deulu Protestanaidd Hanover, at yr hon yr ychwanegwyd hefyd amryw ddarpariadau cyfansoddiadol o bwys. Yr ydym eisoes wedi nodi y prif gyfreithiau yn nheyrnasiad Anne.

Dyfeisiau arianol. Cyfnod pwysig ar drafodaeth arianol y deyrnas oedd teyrnasiad William III. O'r flwyddyn 1692 mae y ddyled wladol yn dyddio, er ei bod wedi dechreu ar raddfa fechan oddiar amser Henry VI. Cynyddodd mor fawr oblegyd y rhyfeloedd dan William ac Anne, fel yr oedd yn 1714 yn cyrhaedd y swm o un filiwn ar bymtheg ar ugain o bunau. Yn 1694 y sefydlwyd Banc Lloegr (*Bank of England*) trwy weithred seneddol. Un William Paterson oedd y prif offeryn yn ei ddyfeisiad, er iddo gael cymhorth Montague ac eraill i weithio ei ddyfais allan. Cyfansoddwyd ef yn gyffelyb i'r hyn ydyw yn bresenol, dan reolaeth llywydd, is-lywydd, a phedwar ar ugain o gyfarwyddwyr, a sefydlwyd y llog yn ol wyth punt y cant. Yn y teyrnasiad hwn hefyd y cododd y *Funded System*, sef yr arferiad o fenthyca arian i dalu traul y llywodraeth, a chodi trethi i dalu eu llog.

Enwogion a'u gweithiau. Y cadfridogion a'r llyngeswyr enwocaf yn y cyfnod hwn oedd Duc Marlborough, Arglwydd Peterborough, Syr Cloudesly Shovel, a Syr George Brooke. Yn mlaenaf yn mysg athronwyr a darganfyddwyr y cyfnod hwn, a phob cyfnod arall, mae enw Syr Isaac Newton, yr athronydd penaf a fagodd Prydain erioed, yr hwn a ddarganfyddodd ddeddf dysgyrchiant, a ddyfeisiodd yr ysbienddrych adlewyrchol, ac a ddarostyngodd seryddiaeth yn gyfundrefn. Ei brif waith oedd y *Principia*, a gyhoeddwyd ar draul y *Royal Society* yn 1687. Daliodd yn ddi-ildio yn ei lafur ar ol cael ei osod yn Feistr y Bathdy (*mint*), a bu farw yn 1727, yn bedwar ugain a phump oed. Dylynwyd Newton gyda gwyddoniaeth seryddol gan Dr. Bradley, a daeth seryddiaeth a mesuroniaeth yn hoff efrydiaeth yr oes. Cafodd y rhai hyn ddysgyblion enwog yn Napier, Halley, Flamsteed, Hooke, Harriott, a Briggs. Yr oedd amryw o'r rhai hyn yn broffeswyr yn ngholeg Gresham, a adeiladwyd gan farsiandwr cyfoethog yn Llundain, yr hwn, yn nghyda'r Gymdeithas Freninol, oedd yn gefnogaeth pwysig i wyddoniaeth naturiol. Gwaelodd llenyddiaeth, efallai, yn hytrach na gwella ar ol esgyniad William; eto nid yw y cyfnod yn amddifad o enwogion. "Lledodd traethawd enwog John Locke ar y Dealltwriaeth Dynol glod Lloegr mewn arddansoddiaeth, mor eang ag y gwnaeth darganfyddiadau Newton mewn athroniaeth naturiol; a hwn oedd y cynyg cyntaf i ddwyn gwyddoniaeth meddwl, o Hobbes ac ysgrifenwyr blaenorol, i ddim tebyg i gyfundrefn a phoblogrwydd." Awdwyr enwog eraill, ar destunau gwahanol, ydoedd Syr Dudley North, awdwr y *Discourses on Trade*, a Dr. Davenant. Dan y frenines Anne cawn y traethodwyr Addison, Steele, a Swift, yn ysgrifenwyr tra phoblogaidd. Yn Ebrill, 1707, ymddangosodd cyhoeddiad o'r enw *Tatler*, yr hwn yr oedd Steele â'r llaw flaenaf ynddo. Parhaodd i ymddangos dair gwaith yr wythnos am yn agos

i bedair blynedd. O ddau cant tri ugain ac un ar ddeg o erthyglau a gyhoeddwyd ynddo, priodolir dau cant i Steele, oddeutu haner cant i Addison, a'r gweddill i Swift. Yn y cyhoeddiad arall, a elwid y *Spectator*, Addison oedd â'r llaw flaenaf, a chyfrifid pedair rhan o bump o'r ysgrifau yn y saith cyfrol a gyhoeddwyd iddo ef a Steele. Mae *Gulliver's Travels*, o waith y ffraethbert Wyddel Swift, yn adnabyddus agos i bob dyn ieuanc. Dyn o ysbryd gormesol ac anwadal ydoedd, a bu farw yn wallgof.*

"Mae teyrnasiad Anne," meddai Dr. Ferguson, "yn ffurfio oes Fawreddog (*Augustan*) Lloegr, fel y mae teyrnasiad Louis XIV. yn cyfansoddi eiddo Ffrainc. Ymddangosodd cydser o ddynion dysglaer yn ffurfafen llenyddiaeth yn y ddwy wlad—dynion ag yr enillodd eu hathrylith a'u gweithiau glod anfarwol. Nid ydym yn son am eu hegwyddorion a'u nodweddion moesol, er i rai o honynt ychwanegu y rhagoriaethau moesol uchaf at eu galluoedd meddyliol. Yr ydym yn cyfeirio atynt yn unig fel dynion o athrylith, ac fel llenorion. Os gallai Ffrainc ymffrostio yn ei Descartes, gallai Lloegr ymffrostio yn ei Newton, yr hwn, yn uchder ei glod, a ymddangosai iddo ei hun fel plentyn ar lan cefnfor diderfyn ac anchwiliadwy, ac yn chwareu â charegen fechan daflodd y dòn at ei draed. Os ymffrostiai Ffrainc yn Fontaine, Moliere, Boileau, a Corneille, fel beirdd, yr oedd gan Loegr Pope a Swift, Congrave a Row. Os rhagorai Bossuet a Rapin mewn hanesiaeth, rhagorai Steele ac Addison mewn llenyddiaeth gyfnodol. Os cymerai archesgob Cambray a'r ddau Daciers y flaenoriaeth yn Ewrop fel beirniaid a chyfieithwyr, yr oedd Bolingbroke a Shaftesbury mewn athroniaeth yn ail i'r anfarwol Locke. Mae llenyddiaeth yn gwneyd ei rhan, a hono yn un bwysig, yn nyrchafiad cenedloedd. Hebddi mae cenedloedd yn sefyll, neu yn hytrach yn cilio yn ol i anwareiddiwch. Nid yw India a China heddyw nemawr, os dim, pellach yn mlaen nag oeddynt dair mil o flynyddoedd yn ol. Yn nghanol symudiadau meddwl a chynydd gwybodaeth, yn nghanol yr ymchwiliadau mwyaf llafurus a'r darganfyddiadau mwyaf dysglaer mewn gwledydd eraill, maent hwy wedi sefyll yn llonydd. Yn ofer yr edrychwn atynt hwy am un pelydryn o oleuni ar lwybr athroniaeth, ar brif-ffordd gwirionedd. Mae Lloegr, i'r gwrthwyneb, yn dra dyledus i lenyddiaeth. Mae wedi cyrhaedd ei dyrchafiad ymffrostgar yn benaf trwy nerth dirgel a bywydol llenyddiaeth. Tra yr oedd buddugoliaethau Marlborough yn beichio y genedl â dyled, ac yn dwyn trallod a galar i deuluoedd, yr oedd darganfyddiadau Newton yn profi yn gyfoeth ac yn fendith i'r byd. Mae rhyfelwyr yn hytrach wedi arafu camrau gwareiddiad a gwelliant cymdeithasol; ond y mae llenorion wedi rhoddi y prysuriad mwyaf

*Wade's England's Greatness.

i wybodaeth, a'r ysgogiad cryfaf i gymdeithas. Er na pherffeithia llenyddiaeth natur foesol dyn, gall brofi yn gynteddfa i'r cysegr mewnol yn yr hwn y preswylia y Duwdod, ac yn yr hwn y gall dyn ddal cymundeb â'r Ysbryd pur ac anweledig."*

Yn 1698 y defnyddiwyd nerth ager am y waith gyntaf gan un Savery, i godi dwfr o bwll; ond yr oedd y ddyfais eto yn anmherffaith a chostus. Dan deyrnasiad Anne daeth arian papyr i fwy o drafodaeth; rhoddwyd toll (*stamp*) ar y newyddion, a sefydlwyd llog arian yn ol pum punt y cant. Dyma y pryd y rhoddwyd yr enw *John Bull* ar bobl Lloegr, mewn gogan-gerdd ar y llywodraeth Ysbaenaidd, gan Dr. Arbuthnot.

---

## PENOD X.

### O Esgyniad George I. hyd Ddiwedd Teyrnasiad George II., 1714—1760.

#### I.—GEORGE I., 1714—1727 (TEULU BRUNSWICK).

Bu gofal ac ymroddiad y Whigiaid y fath yn nyddiau olaf teyrnasiad Anne, fel y sicrhawyd yr orsedd i olynwr Protestanaidd, yn mherson George, mab Sophia, ŵyres James I., er fod yn agos i driugain o deulu Stuart yn sefyll o'i flaen ef yn eu hawliau i'r goron. Ganwyd ef yn Hanover, Mai 28, 1660, felly yr oedd yn awr yn ei 55ain mlwydd o'i oedran. Yr oedd wedi priodi â Sophia Dorothy o Zell, ond yr oedd wedi ei thaflu i garchar ar y dybiaeth o anffyddlondeb, a chadwodd hi yn garcharor hyd ddydd ei mharwolaeth. Yr oedd yn ddyn o dymher dawel, ond yn ddiffygiol mewn dysg a gwybodaeth wleidyddol, ac yn estron i iaith, cyfansoddiad, ac arferion y wlad hon. Nis gallasai gymaint a darllen yr araeth freninol a ddarparesid gan ei weinidog ar agoriad y senedd. Felly yr oedd dan angenrheidrwydd i adael gweinyddiad y llywodraeth yn gwbl yn nwylaw ei weinidogion, ac yr oedd y rhai hyny, fel y gallesid dysgwyl, yn Whigiaid. Y prif swyddogion oeddent, Arglwydd Townshend, ysgrifenydd y llywodraeth, a'r prif weinidog; Stanhope, ysgrifenydd arall; Cowper, y canghellydd; Halifax, Wharton, Robert Walpole (arweinydd Tŷ y Cyffredin), a Marlborough yn faes-lywydd y fyddin.

Cyhoeddwyd George yn ddiwrthwynebiad yn Lloegr, Ysgotland, ac Iwerddon, a chydnabyddwyd ef gan frenin Ffrainc. Aeth chwech wythnos heibio oddiar farwolaeth Anne cyn i George gyrhaedd Lloegr; yn y cyfamser rhoddwyd rhaglawiaeth y deyrnas

*Dr. Ferguson's History of England, vol. iv., 77, 78.

yn nwylaw cynghor o brif swyddogion a phendefigion y wlad, yn ol mesur a basiwyd yn 1705. Yr oedd y Whigiaid, y rhai oeddent yn awr ag awdurdod hollol yn eu dwylaw, yn dybynu ar eu nerth eu hun, gyda chymhorth yr Annibynwyr, yr Ariandy, a'r prif fasnachwyr; tra yr oedd nerth y Toriaid yn gorwedd yn benaf yn y pendefigion, a thrigolion y prif ddinasoedd.

Cyfarfu y senedd newydd yn Mawrth, 1715; dewiswyd Spencer Compton yn llefarydd; ac un o'i gorchwylion cyntaf oedd dwyn cyhuddiadau yn erbyn gweinidogion diweddar Anne yn achos cytundeb heddwch Utrecht, a materion eraill. Dygodd Walpole gyhuddiad o deyrn-fradwriaeth yn erbyn Henry, Arglwydd Bolingbroke. Yna cododd Coningsby, a dywedodd, "Mae y cadeirydd parchus (Walpole) wedi cyhuddo y llaw, yr wyf finau yn cyhuddo y pen; cyhuddodd ef y gwas, yr wyf finau yn cyhuddo y meistr;" a chyhuddodd yntau Robert, Iarll Oxford a Mortimer. Dygwyd cyhuddiadau cyffelyb hefyd yn erbyn Duc Ormond, ac Arglwydd Strafford. Ffodd Bolingbroke ac Ormond i Ffrainc, a thaflwyd Oxford i'r Tŵr. Ymunodd Bolingbroke ac Ormond â llys James y *Pretender*, ac yn mhen dwy flynedd lawn rhyddhawyd Oxford o'i garchariad yn y Tŵr.

Yn mhen ychydig fisoedd yr oedd James yr Ymhonwr a'i gyfeillion, dan gyfarwyddyd Bolingbroke yn benaf, yn darparu ar gyfer dymchwelyd y llywodraeth newydd. Derbyniodd Iarll Mar o Ysgotland dramgwydd oddiwrth George, a throdd i bleidio achos James ei elyn. Casglodd fyddin o *Highlanders*, a chododd faner James III.; anfonwyd arfau, nwyddau, a swyddogion drosodd o Ffrainc at ei wasanaeth, ac yr oedd ganddo yn fuan ddeng mil o alluoedd yn ei ganlyn. Taenodd y newydd am farwolaeth Louis XIV. o Ffrainc y pryd hwn ddigalondid dros bleidwyr James, am fod Duc Orleans, rhaglaw Ffrainc yn ystod mebyd yr etifedd, yn gyfeillgar â theulu Brunswick; ond dysgwylient gymhorth pwysig o Loegr wedi i'r gwrthryfel gychwyn. Ymroddodd y llywodraeth yn egniol i ragflaenu cynlluniau bradwrus y Jacobiaid; ond er hyny cododd amryw, dan arweiniad pendefigion Ysgotaidd yn benaf, yn ngogledd Lloegr. Darostyngwyd hwy yn fuan yn Preston, a chymerwyd y blaenoriaid yn garcharorion.

Aeth Duc Argyle i Ysgotland yn erbyn Mar, ac ar yr un dydd ag y rhoddodd y gwrthryfelwyr eu hunain i fyny yn Preston, ymladdwyd brwydr Dunblaine rhwng Argyle a Mar, pryd y syrthiodd pum cant o bob tu. Hawliai y ddau y fuddugoliaeth; ond bernir mai o du Argyle y trodd. Dychwelodd Mar i Perth, ac yn fuan (Rhagfyr 22) glaniodd James gydag amryw o'i gyfeillion yn Peterhead, ac ymunodd â Mar ac eraill. Aeth yn ei flaen trwy Aberdeen, Dundee, ac i Scone, lle byddai breninoedd Ysgotland yn

yr hen amseroedd yn cael eu coroni. Penodwyd ar y 23ain o Ionawr (1716) i'w goroni yno. Ond gwasgai Argyle a'i fyddin yn mlaen, a gorfu iddo ef, yn nghydag Arglwyddi Mar, Melford, ac eraill, wneyd y goreu o'u hamser i ffoi drosodd i'r Cyfandir. Ymwasgarodd y fyddin wrthryfelgar, ac nid oedd gan y llywodraeth bellach ond cospi y blaenoriaid. Torwyd penau Arglwyddi Derwentwater (Sais), a Kenmure (Ysgotiad), ac ychydig eraill. Yr oedd Arglwydd Nithisdale hefyd i gael ei golli gyda hwy, ond trwy ddewrder ei fam, llwyddodd i ddianc y noswaith flaenorol, wedi ymwisgo mewn dillad benyw. Er i amryw fywydau gael eu colli, ni ddangoswyd creulondeb i'w gydmaru ag eiddo James II., ar ol gwrthryfel Duc Monmouth, yr hyn ddylai gael ei osod yn ffafr y llywodraeth Brotestanaidd. Fforffedwyd agos cant o etifeddiaethau yn y gwrthryfel hwn, yn cynwys gwerth dros filiwn a haner o bunau.

Yr oedd amser toriad y senedd i fyny, yn ol darpariadau y bil Tair-blynyddol, i fod yn 1717; ond ofnai y llywodraeth, yn sefyllfa gyffrous pethau ar y pryd, daflu etholiad cyffredinol ar y wlad. Felly dygwyd mesur o flaen y Tŷ uchaf gan Iarll Devonshire, dros senedd saith-blynyddol. Wedi dadleu poeth yn ei erbyn gan y Toriaid, pasiwyd ef gan yr Arglwyddi trwy 96 yn erbyn 61. Bu y frwydr yn boethach yn Nhŷ y Cyffredin; ond pasiodd yno hefyd trwy 264 yn erbyn 121. Trwy y bil hwn llwyddwyd i barhau bodolaeth y senedd bresenol. Cymeradwyai yr enwog Arglwydd Somers y mesur yn fawr, gan farnu y byddai yn gyfnerth o'r mwyaf i ryddid y wlad. Y prif ddadleuon ddefnyddid o'i blaid ydoedd, fod etholiad tair-blynyddol yn cadw y gwahanol bleidiau yn y wlad mewn cyffro a berw parhaus. Mae y dadleuon hyn, er hyny, wedi colli llawer o'u nerth yn ngwelliant y bil diwygiadol dan William IV. gyda golwg ar ddygiad etholiadau yn mlaen. Y mesur hwn yw y gyfraith hyd heddyw, ond fod arferiad wedi gwneyd y tymhor flwyddyn yn llai—er mai anaml y mae senedd yn para cyhyd.

Tua chanol y flwyddyn 1716 aeth y brenin drosodd i dalu ymweliad â'i diriogaethau Germanaidd. Cododd dadl rhyngddo â Sweden yn nghylch rhyw diriogaethau dibwys, yr hyn fu agos a thynu y wlad hon eilwaith i ryfel. Ond cyn dychwelyd gwnaed cyngrair heddwch rhwng Lloegr, Ffrainc, a Holland, yr hwn a alwyd yn Gyngrair Triphlyg. Tynodd hwn ddigofaint Spain, fel y gorfu i Loegr anfon llynges, dan Syr George Byng, i Fôr y Canoldir, i wrthwynebu ei chynlluniau. Yn Gorphenaf, 1718, gwnaed cytundeb arall rhwng Lloegr, Ffrainc, Awstria, a Holland, yr hwn a adnabyddir wrth yr enw y Cyngrair Pedwarplyg. Ei brif amcan ydoedd cymesuro cytundeb Utrecht fel ag i sicrhau mantoliad y galluoedd, a gosod heddwch Ewrop ar sylfaen barhaol.

Yr oedd Marlborough yn awr wedi colli ei holl ddylanwad, a

Sunderland, ei fab yn nghyfraith, yr hwn oedd yn awr yn dal y gyfrin-sel, ac yn ddyn cyfrwys, yn anfoddog tuag at ei gydswyddogion. Trwy offerynoliaeth gordderchadon y brenin, a dau neu dri o'i weision tramor, llwyddodd i enyn ymrafael yn mysg prif swyddogion y goron. Collodd Townshend ei le, rhoddodd Walpole ac eraill eu swyddi i fyny, a ffurfiwyd cynghor newydd, gyda Stanhope yn flaenor arno, a Sunderland a Joseph Addison yn ysgrifenyddion y llywodraeth. Dygodd y cyfnewidiad hwn yn y weinyddiaeth ryddid i Iarll Oxford, wedi bod yn garcharor yn y Tŵr am ddwy flynedd. Cododd teimlad drwg rhwng y brenin a'i fab, Tywysog Cymru, a therfynodd mewn ymrafael agored. Cymerwyd y tywysog i fyny unwaith; wedi hyny gwaharddwyd y palas iddo ef a'i wraig, ac ymunodd y mab â gwrthwynebwyr Germanaidd ei dad.

Yr oedd Stanhope yn ddyn o feddwl galluog, o syniadau eang, ac yn bleidiwr nerthol i ryddid crefyddol. Cynaliodd amryw gynadleddau gyda'r Annghydffurfwyr a'i gydswyddog Sunderland, yn yr achos. A chyda'r amcan o helaethu rhyddid yr Ymneillduwyr, dygodd fesur ger bron y senedd yn niwedd y flwyddyn 1718 er dyddimu Actau Sism a Chydymffurfiad Achlysurol. Barnwyd yn well gadael y *Test Act* hyd adeg mwy cyfleus. Er mwyn gwisgo y cynygiad yn y wedd fwyaf derbyniol, gelwid ef yn fesur er cadarnhau yr achos Protestanaidd. Dangosai Stanhope, mewn araeth nerthol, pa mor resymol a manteisiol fuasai i adferu Ymneillduwyr i'w hawlfreintiau naturiol fel dinasyddion Prydeinig, a'u symud odditan warthnod gorthrymus y cyfreithiau llymion a wnaed mewn amseroedd terfysglyd, a thrwy foddion annheg; a desgrifiai yn effeithiol yr heddwch, yr undeb, a'r cariad Cristionogol fuasai, neu ddylasai o leiaf, ganlyn symudiad y gwahaniaeth eiddigus hwn rhwng Eglwyswyr ac Ymneillduwyr. Gwrthwynebwyd y mesur, er hyny, yn egniol gan amryw o brif ddynion y senedd, a chan y ddau archesgob; ond cefnogwyd ef gan rai o'r esgobion, yn enwedig Kennet a Hoadly. Dywedai Esgob Hoadly, "Os caniateir yr esgus o hunan-amddiffyniad fel sail ddigonol dros basio cyfreithiau o'r natur hyn (cyfreithiau gorthrymus yr Eglwys) gellir cyfiawnhau yr erledigaethau yn erbyn y Protestaniaid gan y paganiaid, ac erledigaethau yn erbyn Protestaniaid gan y Pabyddion; yr wyf fi yn gobeithio na fydd Eglwys Loegr byth mewn angen am y fath ategion dirmygus. Nid trugaredd neu ffafr yw goddefiad, ond hawlfraint naturiol; a'r ffordd oreu i sicrhau dyogelwch yr eglwys yw trwy gydnabod hawliau cyfiawn ein cyd-Gristionogion a'n cyd-ddinasyddion." Ar ol dadleuon brwd, ac ychydig o fan gyfnewidiadau, pasiwyd y bil yn y ddau Dŷ.

Yn niwedd y flwyddyn 1719, dygwyd bil y bendefigaeth (*peerage bill*) ger bron y senedd yr ail waith, yr hwn oedd o ddyfeisiad Sun-

derland. Ei amcan ydoedd cyfyngu awdurdod y brenin i greu pendefigion newydd, ac ychwanegu anrhydedd a dylanwad y Tŷ uchaf. Cynwysai nad oedd Tŷ yr Arglwyddi i gael ei ychwanegu oddigerth rhyw haner dwsin yn fwy na'i rifedi ar y pryd hwnw, a bod yr Ysgotiaid i gael pump ar ugain o aelodau etifeddiaethol, yn lle un ar bymtheg o rai etholiadol. Pasiwyd y bil gyda mwyafrif mawr yn Nhŷ yr Arglwyddi, ond cafodd wrthwynebiad penderfynol yn y Tŷ isaf, oblegyd yr oedd yn cau y drws yn erbyn neb i gael ei godi o Dŷ y Cyffredin i'r bendefigaeth. Yr araeth rymusaf yn ei erbyn oedd eiddo Walpole. "Yn mysg y Rhufeiniaid," meddai, "yr oedd teml clod wedi ei gosod o'r tu cefn i deml rhinwedd, er dangos nad oedd modd dyfod i'r blaenaf ond trwy yr olaf; ond os pasia y bil hwn yn gyfraith, teflir ymaith un o'r cymhelliadau cryfaf i rinwedd, gan na fydd modd cyrhaedd anrhydedd, ond trwy amdo rhyw arglwydd hen a methedig, neu feddrod yr olaf o ryw deulu pendefigaidd." Penderfynodd araeth Walpole dynged y bil, a throwyd ef allan trwy fwyafrif o 269 yn erbyn 167. Ar ddiwedd yr eisteddiad seneddol hwn cymodwyd Tywysog Cymru â'i dad, ac adferwyd Walpole a Townshend eilwaith i'w swyddi. Cytunwyd ag amodau y Cyngrair pedwarplyg gan Spain, a sefydlwyd heddwch cyffredinol dros Ewrop.

Un o ddygwyddiadau yr adeg hon, y dylid ei goffa, ydoedd Dyfais Môr y De, neu, fel y gelwid hi yn gyffredin, "*South Sea Bubble.*" Ymgymerodd rhai personau, awyddus am ymgyfoethogi, â ffurfio cwmpeini o fasnachwyr i Fôr y De, i geisio nawdd y llywodraeth, a chael yr holl fasnach o'r Môr hwnw i'w dwylaw eu hunain, ac addawent dalu yn dda i'r llywodraeth am y fantais. Prif gynlluniwr y ddyfais oedd Syr John Blunt neu Blount, dyn hyf, cyfrwys, a medrus i osod ei ddyfais allan yn y lliw goreu. Gosododd y peth ger bron Stanhope, Sunderland, Aislabie, ac eraill o weinidogion y goron, a dygodd yr olaf (canghellydd y drysorgell) y mater o flaen Tŷ y Cyffredin. Addawai y cwmpeini, ond iddynt gael eu llwybr, dalu i fyny yr holl ddyled wladol, yn mhen ychydig flynyddoedd. Ymgymerent hefyd a throi yr holl flwydd-daloedd (*annuities*) anmhrynadwy cysylltiedig â'r ddyled hono i ffurf brynadwy. Cynygiodd y Banc bum miliwn a haner i'r llywodraeth am y fantais a geisiai y cwmpeini; ond rhoddodd y cwmpeini ddwy filiwn yn ychwaneg. Siaradai Walpole yn gryf o blaid y Banc, gan brophwydo, yn gywir hefyd, dynged y cwmpeini. Beth bynag, yr oedd y Tŷ wedi ei ddallu; pasiwyd y bil gyda mwyafrif mawr, a derbyniodd y sel freninol.

Gosodwyd y ddyfais allan ger bron y wlad yn y lliw mwyaf hudoliaethus; desgrifid Môr y De fel yn meddu cyfoeth a thrysorau anhysbyddadwy. Tarawodd y ddyfais fel swyn ar y teimlad cyffredinol o awydd ymgyfoethogi, nes yr ymdaenodd fel gorphwylledd

dros yr holl wlad. Gelwid am drysorfa o filiwn o bunau mewn cyfran-daliadau o gant-punt, ac addewid haner cant punt y cant o log yn fuan. Yn mhen ychydig ddiwrnodau yr oedd dros ddwy filiwn wedi eu tanysgrifio. Cododd y dwymyn i'r fath wres erbyn mis Awst (1720), fel y telid mil o bunau am *share* o gant punt. Yr oedd pawb o bob gradd, plaid, crefydd, ac amgylchiadau wedi eu llyncu i fyny gan y cyffelyb ysbryd. "Yr oedd Exchange-alley," meddai Smollett, "yn llawn o dyrfa ddyeithr, yn wleidiadwyr ac offeiriaid, Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, Whigiaid a Thoriaid, meddygon, cyfreithwyr, masnachwyr, ac hyd y nod tyrfaoedd o fenywod," oll yn ceisio cyfran o elw dychymygol y *South Sea Bubble.*

Nid hyn yn unig, ond cynyrchodd cyffro y ddyfais hon agos i gant o ddyfeisiau eraill o'r un natur i fodolaeth, a rhai o honynt o'r mwyaf ynfyd a gorphwyllog. Ffurfiwyd un cwmpeini, er engraifft, er dyogelu ceffylau ac anifeiliaid eraill; un arall i wneyd dwfr hallt yn groyw; un arall i wneyd olew o hadau; un i dynu arian o blwm; ac un i fasnachu mewn gwallt dynol. Cyhoeddodd un dyhiryn gynygiad "i ddwyn yn mlaen ymgymeriad tra manteisiol, ond heb neb i wybod beth ydoedd." Yr oedd pob tanysgrifiwr i dalu dau gini, wedi hyny i dderbyn cyfran o gant punt, gyda hysbysrwydd o'r drafodaeth. Anfonodd mil eu tanysgrifiadau i mewn yr un boreu; a chyn nos y diwrnod hwnw rhedodd y dyfeisydd cyfrwysgall ymaith â'r ysbail. Dechreuodd y "*bubbles*" hyn rwygo y naill ar ol y llall, a daeth eu twyll â'r genedl ati ei hun. Gwelwyd yn fuan fod Dyfais Môr y De ar sail ddrwg a thwyllodrus; ac o gymaint ag yr oedd yn fwy na'r holl ddyfeisiau eraill, yr oedd ei chwymp yn fwy dychrynllyd. Ceisiwyd gosod ategion i'w dal i fyny, ond i lawr y daeth, gan ddwyn dinystr miloedd gyda hi; a bu agos iddi lusgo y Banc a chwmpeini India y Dwyrain i ddinystr hefyd. Yr oedd y senedd wedi ei rhag-rybuddio am dynged y ddyfais, a cheisiodd yn awr gyfryngu. Penodwyd pwyllgor i wneyd ymchwiliad. Yr oedd amryw aelodau o'r ddau Dŷ yn gyfranog o euogrwydd a gwarth y drafodaeth. Rhoddodd Aislabie ei swydd o ganghellydd y drysorgell i fyny; trowyd ef allan o'r Tŷ, a thaflwyd ef i'r Tŵr. Tarawyd Stanhope â phoen dirdynol yn ei ben yn mhoethder ei ddadl o blaid y llywodraeth, a bu farw dranoeth. Bu yr ysgrifenydd Craggs hefyd a'i dad, y post-feistr cyffredinol, farw yn mhen ychydig ddiwrnodau. Atafaelwyd etifeddiaethau Blunt, a chyfarwyddwyr a swyddogion y cwmpeini, er cyfarfod â cholledion y dyoddefwyr. Felly o fewn ysbaid wyth mis gwelwyd codiad, cynydd, a chwymp y ddyfais ryfeddol hon oedd wedi cyffroi sylw a dysgwyliadau holl Ewrop. Yr oedd y ddyfais yn warthrudd i'r genedl, a gadawodd ddylanwad tra annymunol ar foesau y wlad. Er fod Walpole yn ei herbyn, gwnaeth fargen dda ar ei thraul; a

dywedir i Marlborough enill can mil o bunau trwyddi. Yn mysg anturiaethwyr yr amseroedd hyn, enillodd tywysog Cymru hefyd ddeugain mil o bunau fel cadeirydd Cwmni Copr Cymreig. Cawn engreifftiau diweddarach o anturiaethau digon ffol ac ynfyd, ond ni chawn y llywodraethwyr yn ymwerthu yn uniongyrchol i gyffroi yr ynfydrwydd, nac yn cymeryd rhan mewn trafodaethau mor ddirmygus ac anonest.

Yn y flwyddyn 1721 y dechreuwyd "gosod y frech," neu *inoculation*, yn y wlad hon. Yr oedd y foneddiges Wortley Montague wedi gwneyd prawf ar ei mhab cyn hyn, yn Nghaercystenyn. Gwnaed y prawf eilwaith ar ddau droseddwr condemniedig, trwy eu cydsyniad eu hunain, ac adferwyd hwy, a chawsant eu pardynu. Wedi hyny gosodwyd hi ar y teulu breninol a rhai o'r pendefigion.

Yn 1722, bu farw Sunderland, a chanlynwyd ef i'w fedd yn fuan gan ei dad yn nghyfraith, John, Duc Marlborough, yr hwn a fu unwaith yn un o'r dynion mwyaf ei glod yn Ewrop, ond oedd bellach er ys blynyddoedd wedi syrthio dan gwmwl. Yr oedd yn ei gymeriad rai nodweddion rhagorol, ond eu bod yn gysylltiedig â rhai o bethau gwaelaf y ddynoliaeth. Canmolai pawb ei ddyngarwch; ond trachwant anniwalladwy am gyfoeth fu yn brif foddion ei ddarostyngiad. "Dengys cymeriad Marlborough, fel eiddo y Bacon mwyaf, uniad talentau o'r radd uchaf gydag amryw rinweddau, a rhai o nodweddion iselaf ein natur." Y flwyddyn ganlynol (1723) bu farw yr enwog Iarll Cowper, yr hwn a fu ddwywaith yn ganghellydd; a'r adeiladydd enwog Wren, yn 91 mlwydd oed. Y flwyddyn nesaf eilwaith bu farw Harley, Iarll Oxford, a Dr. Sacheverel; felly syrthiodd prif ddynion y teyrnasiad blaenorol yn agos iawn i'w gilydd.

Yn niwedd 1722, cafwyd allan fradwriaeth oedd ar droed o blaid y *Pretender* eto, a chymerwyd y Jacobiaid selog Atterbury, ac Arglwyddi Orrery, North, Grey, ac amryw eraill i fyny o'r herwydd. Y cynllun oedd dwyn byddin dramor drosodd, ac enyn y rhai anfoddog yn y wlad hon i godi mewn gwrthryfel. Condemniwyd amryw; dienyddiwyd un Layer, cyfreithiwr; a diswyddwyd a gwaharddwyd y deyrnas i'r esgob. Aeth yntau drosodd i'r Cyfandir at yr Ymhonwr, a gwnaeth ei hun yn offeryn defnyddiol yn ei wasanaeth. Codwyd cri uchel gan yr Eglwyswyr yn erbyn carchariad a phrawf yr esgob gan y llys gwladol, ond mynodd y llywodraeth ddangos ei goruwch-awdurdod. "Hon, beth bynag," meddai Hallam, "yw y weithred olaf o natur orthrechol mewn unrhyw bwnc o bwys ellir roddi yn erbyn y ddeddfwriaeth Seisnig." Yn ei araeth o flaen y senedd, wrth gyfeirio at y bradwriaethau o blaid yr Ymhonwr, dywedodd y brenin, "Pe buaswn i oddiar fy esgyniad i'r orsedd wedi cynyg cyfnewid rhyw beth ar ein crefydd

sefydledig; pe buaswn, mewn un engraifft, wedi gormesu ar ryddid neu feddianau fy neiliaid, ni fuaswn yn synu cymaint wrth yr ymgais i ddyeithrio serchiadau fy mhobl, a'u tynu at fesurau sydd yn rhwym o brofi yn ddinystr iddynt eu hunain. Ond y mae y gobaith o berswadio pobl ryddion, sydd mewn cyflawn fwynhad o bob peth sydd yn anwyl a gwerthfawr ganddynt, i gyfnewid ryddid am gaethiwed, y grefydd Brotestanaidd am Babyddiaeth, ac i aberthu ar unwaith werth cymaint o waed a thrysorau ag sydd wedi eu treulio i amddiffyn ein sefydliad presenol, yn ymddangos yn ynfydrwydd nas gellir cyfrif am dano."

Nid oes unrhyw ddygwyddiadau eraill o bwys i'w cofnodi yn ngweddill y teyrnasiad hwn. Ar adeg alltudiad Atterbury, caniatawyd i Bolingbroke ddychwelyd i'w wlad, a meddianu ei ditlau a'i etifeddiaeth; ond ni lwyddodd i adenill unrhyw allu gwleidyddol. Yr oedd Walpole, ei hen gydymgeisydd, yn awr mewn awdurdod, ac yn dwyn y llywodraeth yn mlaen gyda medr a llwyddiant. Cyhuddwyd Thomas Parker, Iarll Macclesfield, y canghellydd, o gam-arfer ei awdurdod, a darnguddio meddianau gweddwon, amddifaid, a gwallgofiaid. Dedfrydwyd ef i dalu dirwy o ddeng mil ar ugain o bunau. Cododd cyffro bygythiol yn Iwerddon yn achos yr arian bathol, a bu agos i lythyrau Swift, dan ffug-enw, chwythu y gwreichion yn fflam. Torodd terfysg allan yn Glasgow hefyd, oblegyd treth o dair ceiniog y faril a osodasid ar gwrw darllawedig yn Ysgotland. Tawelodd Walpole yr amrafael yn y ddwy wlad trwy fesurau synwyrgall; ac ysgrifenai at Arglwydd Townshend yn niwedd 1724, "Yr wyf yn meddwl ein bod unwaith eto wedi tawelu Iwerddon ac Ysgotland, dim ond cymeryd gofal i'w cadw felly." Anfonwyd llynges allan dan y llyngesydd Hosier i warchae ar Porto Bello, perthynol i diriogaethau Spain yn America; ond lladdwyd ei wŷr gan afiechyd, a thorodd yntau ei galon. Yn y cyfamser gosododd Spain warchae ar Gibraltar, dan y cadfridog Torres, yr hwn a fygythiai yru yr hereticiaid i'r môr cyn pen chwech wythnos. Ond gorfu iddo godi y gwarchae ac encilio, ar ol pedwar mis o ymgais ofer.

Ar y 3ydd o Fehefin, 1727, gadawodd y brenin y wlad hon i fyned i ymweled â'i diriogaethau Germanaidd, yn ol ei arfer bob blwyddyn; ond tarawyd ef â'r parlys pan ar y ffordd i Osnabruck, a bu farw ar yr 11eg, yn yr 68ain mlwydd o'i oedran, ac yn y drydedd ar ddeg o'i deyrnasiad. Er nad enillodd George I. ddylanwad mawr yn y wlad, ni chafodd y bobl eu siomi ynddo; a bu ei deyrnasiad ar y cyfan yn fanteisiol.

## II.—GEORGE II., 1727—1760.

Cyrhaeddodd y newydd am farwolaeth George I. y wlad hon Mehefin 14, 1727, a chyhoeddwyd ei fab, George II., yn frenin Prydain Fawr yn ddioed. Yr oedd yn awr yn 44ain mlwydd oed, a'i gymeriad wedi ei sefydlu, ac yn adnabyddus. Dyn bychan o gorph ydoedd, ond o gyfansoddiad cadarn, ac o ysbryd dewr. Yr oedd o dymher mwy cyffrous na'i dad, ond o fywyd mwy cymedrol a rheolaidd; ac yr oedd yn meddu un fantais arbenig, gan ei fod yn abl siarad â'r bobl yn rhwydd yn eu hiaith eu hunain. Tynodd trachwant gordderchadon George I. ef i waradwydd; ond yr oedd George II. ei hun a'i drachwant am arian yn anniwalladwy. Yr oedd wedi priodi er y flwyddyn 1705 â Caroline o Anspach, benyw o synwyr a chymhwysderau rhagorol, ac, ar rai cyfrifon, yn fwy cymhwys i ddal y deyrnwialen na'i gwr. Yr oedd yntau yn hoff iawn o honi, er ei fod, yn ol arfer lygredig llysoedd Ewrop, yn cadw gordderchadon, sef yr Arglwyddes Yarmouth a Mrs. Howard, yr hon a wnaed wedi hyny yn Iarlles Suffolk. Ond ni oddefodd y brenin iddynt ymyryd dim yn achos y llywodraeth; ei frenines mewn gwirionedd ddaliai yr awdurdod, ac ymostyngai yntau yn ewyllysgar iddi.

Ni ddysgwyliai Walpole gael cadw ei le dan y brenin newydd, am nad oedd y teimlad goreu wedi bod rhyngddynt; ac yr oedd yn mryd George i godi Spencer Compton, llefarydd Tŷ y Cyffredin, yn brif weinidog; ond cafwyd nad oedd hwnw yn gymhwys i'r sefyllfa. Methodd a chyfansoddi araeth i'r brenin i'w darllen ar ei esgyniad heb help Walpole. Ac heblaw hyny, nid oedd Caroline yn foddlon colli gwasanaeth gwr mor alluog a Walpole, am yr hwn y dywedodd y brenin blaenorol wrthi, "ei fod yn gallu troi ceryg yn aur." A chan fod Walpole a Caroline o'r un feddwl, nid oedd perygl i'w ofni oddiwrth George; felly parhaodd y weinyddiaeth yr un; ac ar gynulliad y senedd newydd ymgymerodd Walpole ag ychwanegu £130,000 at draul y goron, yn gwneyd y cwbl dros wyth can mil o bunau; a sicrhau can mil o bunau y flwyddyn o waddol i'r frenines os byddai byw ar ol y brenin.

Er fod mwyafrif y Cyffredin o ddigon o blaid y weinyddiaeth Whigaidd dan Walpole, eto yr oedd amryw bleidiau yn y Tŷ, a gallu gwrthwynebol cryf. Yr oedd yno un blaid o Whigiaid anfoddog yn cael eu harwain gan William Pulteney—dyn o gymeriad a galluoedd uchel. Blaenorid dros gant o Doriaid gan Syr William Wyndham; ac oddeutu haner cant o Jacobiaid gan Shippen. Prif gefnogwyr Walpole oedd ei frawd, Horace Walpole, Hervey, Yonge, Pelham, a Winnington. Golygid cyhoeddiad o'r enw "*Craftsman*" gan Bolingbroke, yn cael ei gynorthwyo gan

Pulteney, yn yr hwn y gwnelid ymosodiadau nerthol ar y weinyddiaeth. Yr oedd galw mawr am arian y blynyddoedd cyntaf hyn, i gyfarfod â threuliadau y fyddin a'r llynges, i borthi gwanc gybyddlyd y brenin, ac i amryw bethau eraill a ystyrid yn rhy gynil i'w cyhoeddi; ac nid gorchwyl hawdd i'r prif weinidog oedd hwylio yn mlaen rhwng y galwadau hyn a grwgnachrwydd pigog ei wrthwynebwyr. Ni fuasai neb ond un yn meddu ei bwyll, ei ddoethineb, a'i hyblygrwydd ef yn abl gwneyd.

Yn 1729, daeth Frederick, Tywysog Cymru, ac etifedd y goron, drosodd i Loegr am y waith gyntaf, a derbyniwyd ef gyda llawenydd mawr. Ond trodd hyn yn fuan yn ofid i'w dad; oblegyd ymddygodd hwn yr un fath at ei dad ag y gwnaeth ei dad pan yn Dywysog Cymru at ei dad yntau. Gallasai George II. ddyweyd cystal ag Adonibezec, "Fel y gwnaethum i, felly y talwyd i minau." Bu llawer o dwrw y flwyddyn hon am roddi Gibraltar i fyny i'r Ysbaeniaid; ond daliodd Lloegr ei gafael yn ddiysgog yn y lle pwysig hwnw, a thawelwyd pob ymryson yn nghytundeb Seville, yr hwn a drodd allan yn dra manteisiol i fasnach yn gyffredinol. Y flwyddyn hon hefyd y cymerodd Tŷ y Cyffredin dramgwydd oddiwrth Mr. Raikes, argraffydd cyfrifol o Gaerloyw, oblegyd cyhoeddi adroddiad o'u gweithrediadau. Penderfynodd y Tŷ yn unfrydol "ei fod yn ddianrhydedd ar y Tŷ, ac yn drosedd ar ei hawlfraint, i neb ryfygu cyhoeddi hanes ei weithrediadau, neu ei ddadleuon, neu eiddo unrhyw bwyllgor o hono, mewn newyddiaduron argraffedig neu ysgrifenedig, ac y byddai i'r Tŷ gospi y cyfryw awduron, argraffwyr, neu gyhoeddwyr, gyda'r llymdra mwyaf." Pe buasai y penderfyniad hwn yn para mewn grym, fel y sylwa un hanesydd, y mae yn amheus a fuasai Tŷ y Cyffredin heddyw mewn bod, na'r un senedd i neb gyhoeddi ei gweithrediadau. Y flwyddyn ganlynol (1730), dygwyd y *Pension Bill* ger bron y Cyffredin, er annghymhwyso pawb oedd yn derbyn blwydd-dal gan y llywodraeth i eistedd yn y senedd. Pasiwyd ef trwy fwyafrif bychan yn y Tŷ isaf, ond taflodd y Tŷ arall ef allan. Y bil hwn barodd yr amrafael rhwng y ddau frawd yn nghyfraith enwog, Townshend a Walpole, ac a barodd i Townshend yn hytrach na gwrthwynebu y llywodraeth, i ymneillduo o fywyd cyhoeddus dros weddill ei oes.

Yn 1731 dygwyd mesur ger bron y senedd er dwyn achosion cyfreithiol yn mlaen yn iaith y bobl, yn lle yn Lladin. Gwrthwynebai y cyfreithwyr y mesur yn gyndyn, gan ddadleu mai yn Lladin oedd yr holl lyfrau a'r hen ysgrifau, ac y buasai y cyfnewidiad yn peri dyryswch, a mwy o anhwylusdod fyth gyda gweinyddiad cyfiawnder. Dywedai Arglwydd Raymond, os pasiai y bil, fod yn rhaid cyfieithu y gyfraith hefyd i'r iaith Gymraeg, gan nad oedd y Cymry yn deall Saesneg. Atebwyd ef, fod mor hawdd i'r

Cymry ddysgu Saesneg a dysgu Lladin. "Mae ein gweddiau," meddai Duc Argyle, "yn ein hiaith frodorol, er mwyn i ni allu eu deall; a phaham, am yr un rheswm, na chaem ein cyfreithiau hefyd, y rhai sydd yn dal y fath berthynas â'n bywydau ac â'n meddianau?" Pasiwyd y bil trwy fwyafrif mawr, a throwyd Pulteney allan o'r cynghor gan y brenin ei hun. Er fod llawer o achwyniadau yn erbyn trethi—yn enwedig treth yr halen—ac yn erbyn cynal byddin sefydlog, yr oedd y wlad yn awr yn mwynhau tawelwch, a'i mhasnach yn cynyddu yn gyflym. Yr oedd baner ddiwyd Lloegr i'w gweled yn mhob môr, a'i threfedigaethau yn prysur godi i nerth a dylanwad.

Yn 1733 y dygodd Walpole ei *Excise Scheme* enwog ger bron y senedd. Ei hamcan oedd tynu toll (*custom*) oddiar dybaco wrth ei ddadforio, ac yn lle y doll codi cyllid (*excise*) wrth ei werthu. Dygodd y ddyfais hon glod i enw Walpole, a mabwysiadwyd ei hegwyddor wedi hyny yn y *Bonded System;* ond cafodd wrthwynebrwydd cyndyn a pheryglus ar y pryd. Ar ddarlleniad cyntaf y bil, cafodd Walpole dros 60 o fwyafrif; ond wrth symud yn mlaen yr oedd cefnogwyr y mesur yn cilio, a llwyddodd y gwrthwynebwyr i godi teimlad cryf yn ei erbyn oddiallan. Llenwid cynteddau Tŷ y Cyffredin gan y bobl, y rhai a grochfloeddient yn ei erbyn, a gwelodd Walpole y buasai yn ddoethach galw y bil yn ol ar hyny o bryd. Dywedai fod ganddo ef amcan da yn ei ddygiad yn mlaen, ond ei fod yn gweled nas gallesid ei roddi mewn gweithrediad heb rym arfau, ag y buasai codi trethi trwy nerth y cleddyf yn derfyn ar ryddid Lloegr; ei fod ef am hyny yn gadael y bil i syrthio; ac os daliai ei gefnogwyr yn gyndyn dros ei ddwyn yn mlaen, y buasai ef yn gofyn cenad ei frenin i gael rhoddi ei swydd i fyny, am nad allai ef byth aros yn weinidog i weled codi trethi trwy waed. Gadawyd y bil i syrthio, a chynyrchodd y newydd orfoledd mawr, a llosgiad coelcerthi mewn amryw barthau o'r wlad. Llosgwyd delw o Walpole, a gwisgid arwyddair mewn llythyrenau breision, "Rhyddid, Meddianau, heb Gyllid." Ymunai prif ysgol Rhydychain â'r werin yn y cyffro llawen, gan losgi tybaco yn gymylau o fwg, a gwlawio cawodydd o felldithion Jacobaidd ar ben y prif weinidog. Ond yr oedd y frenines yn selog dros y mesur, ac am hyny yn cydymdeimlo â Walpole; a chollodd amryw o'r pendefigion mwyaf gwrthwynebol eu swyddi yn y llywodraeth mewn canlyniad. Pe buasai Walpole yn llwyddo i basio y mesur hwn, buasai Llundain, trwy hyny, yn cael ei wneyd yn borthladd rhydd, ac mewn canlyniad yn dyfod yn farchnadle i'r holl fyd.

Yr oedd gelynion Walpole, Wyndham, Pulteney, Bolingbroke, ac eraill, yn dal yn gyndyn i'w wrthwynebu, ac ar eu goreu yn ceisio dymchwelyd ei awdurdod. Gwnaethant ymosodiad aflwydd-

ianus ar y bil saith-blynyddol; ond yr oedd Walpole yn ddigon trech na hwy; ac er fod ei ddylanwad yn cilio yn raddol, nid oedd ei amser wedi dyfod eto. Aflonyddwyd ar heddwch Ewrop y pryd hwn ar farwolaeth brenin Poland, gan fod dau gydymgeisydd am y goron. Gwnaeth Walpole a Cardinal Fleury, gweinidog Ffrainc, eu goreu i gadw heddwch; ond torodd rhyfel allan rhwng Ffrainc a Spain, o un tu, yn erbyn ymerawdwr Germany o'r tu arall. Cadwodd Lloegr ei hun yn ddoeth allan o'r amrafael. Pan gyfarfu y senedd newydd yn 1736, dygwyd mesur ger bron er dyddimu y *Test Act*, yr hon oedd yn annghymhwyso Ymneillduwyr i ddal swydd dan y llywodraeth; ond taflwyd y bil allan gan y Cyffredin. Ceisiodd Walpole eilwaith basio bil er rhyddhau y Crynwyr oddiwrth amryw gyfreithiau gorthrymus, ond collwyd hwnw hefyd. Pasiwyd mesur er gosod ugain swllt y galwyn o dreth ar *gin*, yr hwn a ddygwyd yn mlaen gan Jekyll, er ceisio gwrthsefyll cynydd echryslon meddwdod yn y wlad. Yn nglyn â'r dreth drom hon ar y gwerthydd, yr oedd hefyd i dalu haner can punt am drwydded i'w werthu. Daeth y mesur hwn yn gyfraith, ond nid effeithiodd nemawr o ddiwygiad. Gwerthid ef yn ddirgelaidd yn mhob parth, gan ysgoi y gyfraith a'r doll; a chawn awgrym am eangder y drafodaeth annghyfreithlon yn y ffaith ddarfod i ddeuddeg mil gael eu cospi o'r herwydd mewn ysbaid dwy flynedd. Gweithred ganmoladwy a wnaed yn y senedd hon oedd dyddimiad y cyfreithiau yn erbyn dewiniaeth, y rhai oeddent wedi aros yn rhy hir i warthruddo deddf-lyfrau y genedl.

Yn haf y flwyddyn uchod y torodd terfysg allan yn Edinburgh. Pan oedd corph un Wilson, un yn masnachu mewn nwyddau rhedeg (*smuggler*) yn cael ei dynu i lawr oddiar y crogbren, wedi dyoddef am ysbeilio un o dreth-swyddogion y goron, dechreuodd y werin daflu ceryg at y milwyr oedd yn gwylio yr amgylchiad. Gorchymynodd Porteus, y cadben, i'r milwyr danio ar y bobl, a lladdwyd pump o honynt. Dygwyd achos Porteus i brawf, a chondemniwyd ef i farw. Ond anfonwyd pardwn iddo o Lundain. Cyffrodd hyn ysbryd dialgar yr Ysgotiaid; a'r nos cyn y dydd a benodasid iddo i ddyoddef, torwyd i mewn i'r carchar, llusgwyd ef allan i'r *Grass Market*, lle byddid yn arfer dienyddio, a chrogwyd ef ar bolyn lliwiedydd. Cynygiodd y llywodraeth wobrau mawrion am ddatguddio y troseddwyr, ond ni chafwyd yr un o honynt allan.

Yr oedd teimlad drwg iawn yn bodoli o'r dechreu rhwng Tywysog Cymru a'i rieni, ac yn 1737 torodd allan mewn ffrae agored. "O'r chwyldroad hyd ein dyddiau ni, y mae fel pe byddai yn un o egwyddorion y cyfansoddiad i etifedd y goron fod mewn gelyniaeth a'i meddianydd. Mae yr achos o hyn i'w gael, efallai, yn y natur ddynol, ac yn sefyllfa wleidyddol pleidiau, yn fwy nag mewn unrhyw wyrni penodol perthynol i deulu Brunswick. Yr achlysur cyffredin

yw awydd y tywysog am ychwaneg o arian at ei wasanaeth, gwrthwynebwyr y llywodraeth yn ei berswadio i gredu ei fod yn cael cam, ac yn addaw ei bleidio; a'r brenin yn dygwydd teimlo yn anfoddog i ganiatau hyny iddo."* Yr oedd Frederick wedi priodi yn ddiweddar â Thywysoges Saxe Gotha, ac yn tybied nad oedd yr £50,000 neu y £60,000 y flwyddyn oedd yn eu derbyn, yn ddigon iddo ef i ymgynal arnynt, a mynai Pulteney roddi can mil y flwyddyn iddo; ond ar ol llawer o ddadleu, collwyd y mesur, a daeth y rhwyg rhyngddo ef a'i dad yn anfeddyginiaethol. Bu y tywysog anufudd hwn farw o flaen ei dad, ac felly ni chaniataodd Rhagluniaeth iddo yr awdurdod y mawr chwenychodd am dani. Bu y frenines Caroline farw Tachwedd 20fed (1736), er mawr alar yr holl deyrnas. Gesyd rhai o'r haneswyr hi allan, yn ei gofal am y deyrnas, a'i chymhwysderau llywodraethol, yn nesaf at y frenines Elisabeth. Mae miliynau wedi mwynhau y rhodfeydd hyfryd gyda glan y Serpentine, yn Hyde Park, heb feddwl eu bod yn ddyledus i awgrym o eiddo y frenines Caroline am droad llinell o byllau afiach i'r llyn rhagorol hwnw. Gwrthodwyd i'w mhab anufudd gael ei gweled yn ei horiau olaf. Collodd Walpole ei brif gefnogydd yn symudiad y frenines; yr oedd llais y wasg a'r bobl hefyd yn ei erbyn ef a'i gyd-weinidogion, a gallu y cynghor yn prysur ddadfeilio.

Cadwodd Walpole ei le eto, er mawr flinder i'w elynion. Penderfynasant hwythau gyffroi y wlad i ryfel yn erbyn Spain; a chymerasant achlysur i hyny oddiwrth sarhad y dywedent fod masnachwyr Lloegr wedi dderbyn oddiwrth Ysbaeniaid yn India y Gorllewin. Dywedent fod rhai o honynt wedi myned i fwrdd un o longau Prydain, anmharchu y cadben (Jenkins), a thori ymaith ei glust; a cheisio ganddo ei ddwyn at ei frenin, a dyweyd wrtho pe buasai yntau yno y cawsai y cyffelyb driniaeth. Dygodd Jenkins ei glust adref wedi ei rhwymo yn ofalus mewn cotwm. Ond dywed rhai mai trwy oruchwyliaeth llai anrhydeddus y cafodd hi ymaith. Beth bynag am hyny, bu yr amgylchiad yn fanteisiol i'r anfoddogiaid yn y senedd, a chafodd ddylanwad rhyfeddol ar y wlad. "Nid oes angen cymhorth un gallu arall arnom i fynu cyfiawnder," meddai Pulteney; "cwyd enw Jenkins ddigon o wirfoddolion." Ymdrechodd Walpole yn hir i wrthwynebu rhyfel â Spain; ond gwelodd o'r diwedd fod yn rhaid iddo naill ai ildio, neu roddi ei swydd i fyny. Gallasai wneyd yr olaf yn anrhydeddus, ac er ei fantais; ond bu mor annoeth a dewis y blaenaf. Cyhoeddwyd rhyfel yn 1739, yr hyn a barodd lawenydd ynfyd i'r holl wlad.†

Aeth llynges allan i'r India, dan y llyngesydd Vernon, a chyda chwech o longau rhyfel cymerwyd a dinystriwyd Porto Bello. Yr

*Keightley. †"They may *ring* the bell now," ebai Walpole; "they will before long be *wringing* their hands."

oedd gallu llawer mwy wedi ei roddi yn ei law, i wneyd ymosodiad ar Carthagena, ond trodd yr hynt hono yn fethiant hollol. Anfonwyd Anson allan eilwaith i ymosod ar yr Ysbaeniaid yn Môr y Deheu. Yr oedd hon yn hynt nodedig. Collodd y rhan fwyaf o'i wŷr trwy ystormydd a chlefydau, a'i longau oll oddigerth un; ond nid cyn cospi y masnachwyr Ysbaenaidd ar lenydd Deheubarth America, cymeryd a llosgi tref Paita, a chymeryd ysbail mawr iawn. Croesodd y Môr Tawel gyda'i long unig (Centurion), aeth i Canton yn China, a daeth adref heibio *Cape of Good Hope*, wedi cylchynu y ddaear. Glaniodd yn y wlad hon yn Mehefin, 1744, wedi bod allan am agos pedair blynedd; ac efe oedd y Prydeiniwr cyntaf a gylchynodd y ddaear oddiar amser Drake.

Ni chyrhaeddodd y rhyfel yr amcan a broffesai ei bleidwyr, ac ni roddodd foddlonrwydd i'r wlad; ac fel y gallesid dysgwyl, taflwyd yr holl fai wrth ddrws Walpole, er ei fod ef yn hollol wrthwynebol iddo. A phan ymgynullodd senedd newydd yn 1742, yr oedd yn hono gymaint o wrthwynebwyr i'r weinyddiaeth, fel nad oedd ond gobaith gwan i'r prif weinidog gadw ei le yn hŵy. Gwnaed ef yn Iarll Orford, ac yn mhen dau ddiwrnod, ar gais ei gyfeillion a'i berthynasau, rhoddodd ei swydd i fyny; ond bu dda i'r llywodraeth gael ei gyfarwyddiadau ef wedi hyn. Bu farw yn 1745, yn y 69ain mlwydd o'i oedran. Felly y syrthiodd Syr Robert Walpole, un o brif weinidogion mwyaf llwyddianus a defnyddiol y wlad hon am ysbaid pum mlynedd ar ugain. Nid oedd ei gymeriad moesol yn uchel, na'i holl weithrediadau swyddogol yn gyfiawnadwy. Gwasgarodd filoedd o arian gydag etholiadau a mesurau; ond yr oedd cyfran helaeth o'r bai yn disgyn ar y cynllunwyr drygionus a'u cylchynent, y rhai a'i gorfodent i wneyd hyny er cadw pethau wrth eu gilydd. Whig trwyadl ydoedd; a daliai yn ddiysgog wrth egwyddorion y Chwyldroad. Er nad oedd, fel y sylwa Burke, yn athrylith o'r dosbarth blaenaf, yr oedd yn weinidog craff, synwyrol, a dyogel. Ei egwyddorion llywodraethol oeddynt meithriniad heddwch, amddiffyniad Protestaniaeth, a chynildeb mewn treuliadau cenedlaethol. Meddai ar farn alluog, hyawdledd grymus, tymher bwyllog, ac ysbryd anhawdd ei gyffroi. Nid ymddangosai byth mewn brys na dyrysweh. "Gwnelai bob peth gyda'r fath rwyddineb a thawelwch," meddai Arglwydd Harvey, "a phe na fuasai yn gwneyd dim." Ac er nad oedd yn gefnogwr mawr i lenyddiaeth, rhoddodd flwydd-dal i awdwr y "*Night Thoughts;*" ac wrth awgrym Pope, llwyddodd i gael sefyllfa gysurus yn Ffrainc i gyfaill i'r bardd.

Wedi enciliad Walpole, ymddiriedwyd ffurfiad gweinyddiaeth newydd i Pulteney, a chafwyd gweinyddiaeth Whigaidd eto, yn cynwys prif weinidogion Walpole, gyda Carteret, Sandys, ac eraill.

Ni chymerai Pulteney swydd ei hun; y cwbl a geisiai oedd cael ei godi i'r Tŷ uchaf, a chael eistedd yn y Cynghor. Cafodd ei ddymuniad; gwnaed ef yn Iarll Bath, ond collodd ei holl ddylanwad, daeth yn destun gwawd pob rhigymydd, a chafodd dalu yn ddrud am ei oruchafiaeth ar Walpole. Dau wr enwog oedd yn awr yn dechreu chwareu rhan bwysig yn y senedd oedd William Pitt, a Henry Fox. Mab i foneddwr o Cornwall oedd Pitt, wedi ei addysgu yn Eton a Rhydychain, wedi ymuno â'r fyddin, ac wedi cael ei ddyrchafu yn farch-lumanwr (*cornet*). Ymddangosodd yn y senedd gyntaf yn 1735, yn aelod dros Old Sarum, a chafodd Walpole wrthwynebydd cyndyn a galluog ynddo.* Yn mysg gwrthwynebwyr Pitt yr eisteddai Fox; nid oedd ef yn siaradwr mor hyawdl, ond yr oedd yn ymresymwr, ac yn ddadleuydd galluog.

Tynwyd Lloegr unwaith eto i ryfel ar y Cyfandir, er amddiffyn gorsedd a hawliau coron Hungary i Maria Theresa, yn erbyn ymosodiad annghyfiawn Frederick II. o Prwsia. Cyhoeddwyd rhyfel â Ffrainc eilwaith yn 1745, a gwnaed ef yn nodedig trwy orchfygiad Lloegr a'i chyngreiriaid yn Flanders, trwy annghymhwysder y llywyddion. Collodd y cyngreiriaid ddeng mil o wŷr, a chollodd y Ffrancod amryw filoedd; ond syrthiodd amryw drefi pwysig i'w dwylaw.

Yr oedd y *Pretender* eto yn fyw, a gobaith am goron Lloegr o hyd yn dihoeni yn ei fynwes, a pharodd flinder nid bychan i Loegr unwaith yn ychwaneg. Yr oedd bellach mewn gwth o oedran, ac wedi cyflwyno ei achos a'i hawliau i'w fab, Charles Edward, yr hwn a elwid yr Ymhonwr ieuanc (*Young Pretender*). Barnwyd fod yr adeg hon, pan oedd Lloegr mewn rhyfel â Ffrainc, ac yn aflwyddianus, yn un gyfleus i wneyd cynyg eto am y goron. Yr oedd cryn lawer o ysbryd Jacobaidd eto yn bodoli ar Ucheldiroedd Ysgotland, a chytunwyd i ddechreu yr ymosodiad yno. Felly daeth Charles, gydag ychydig nifer o gyfeillion, drosodd o Ffrainc (Gorphenaf, 1745); ymunodd amryw o fân arglwyddi a phenaethiaid yr ucheldir a'i achos, a chyhoeddwyd ei dad yn frenin yn Perth. Taflodd amryw drefi eraill eu pyrth yn agored iddo, a daeth i Holyrood House, yn Edinburgh, hen gartref ei dadau, yn ddiwrthwynebiad. Dygodd Syr J. Cope fyddin o dair mil o wŷr yn ei erbyn, ac ymbarotowyd i frwydr wrth Preston Pans (Medi), pryd y gorchfygwyd byddin y brenin mewn llai na deng mynyd. Ffodd y meirch-filwyr, lladdwyd y rhan fwyaf o'r traed-filwyr, a chymerwyd meddiant o'r holl ysbail. Nid oedd neb o'r pendefigion galluocaf wedi ymuno ag achos y *Pretender*, ac yr oedd y Presbyteriaid, un ac oll, yn ffyddlon i'r llywodraeth. Yr oedd y blaid Jacobaidd yn Lloegr

*Ceisiodd Walpole ar y cyntaf ei enill; wedi methu dywedai, "*I would be glad at any rate to muzzle that terrible young cornet.*"

hefyd yn dawel, ac nid oedd perygl mawr i wrthryfel Charles gerdded yn mhell. Beth bynag, arweiniodd ei fyddin, yn cynwys oddeutu pum mil o wŷr, dros y cyffiniau i Loegr, a gweithiodd ei ffordd yn ddirwystr yn mlaen i Manchester a Derby. Prysurai byddinoedd y brenin i'w gyfarfod o wahanol gyfeiriadau, a pherswadiwyd ef gan ei wŷr i droi yn ol tua mynydd-dir Ysgotland, yn hytrach na beiddio yn nes i'r brif-ddinas. Ymlidiwyd ef yn brysur; ac yn Ebrill, 1746, ymladdwyd brwydr yn Culloden, pryd y lladdwyd ac y gwasgarwyd ei holl wŷr, ac y ffodd yntau am ei fywyd. Bu yn rhedeg o ynys i ynys, ac o fynydd i fynydd, weithiau mewn gwisg bugail, bryd arall mewn gwisg teithiwr, ac unwaith mewn dillad benyw; a dyoddefodd y caledi mwyaf. Ni fradychwyd ef gan yr *Highlanders*, er iddynt gael digon o gyfleusdra, ac er fod y llywodraeth yn cynyg deng mil ar ugain o bunau am ei ben. O'r diwedd, cymerwyd ef i fwrdd llestr Ffrengig, a diangodd eilwaith i Ffrainc. Torwyd penau ei gefnogwyr, Ieirll Kilarmock a Balmerino, ac Arglwydd Lovat—yr olaf yn Lloegr a ddyoddefodd farwolaeth trwy dori eu penau. Felly y dybenodd gobeithion teulu alltudedig Stuart yn Lloegr, a daeth Jacobiaeth rhagllaw yn enw yn unig ar anniddigrwydd yn erbyn y llywodraeth.

O gwymp Walpole hyd 1744, Iarll Carteret, yn awr Arglwydd Granville, oedd y prif-weinidog; y pryd hwn ildiodd i ystrywiau ei gyd-ymgeiswyr, a ffurfiwyd gweinyddiaeth newydd o'r gwahanol bleidiau, dan arweiniad Duc Newcastle a'i frawd, Mr. Pelham. Yr oedd Pitt yn awr yn prysur godi i enwogrwydd; gwnaed ef ar y cyntaf yn is-drysorydd Iwerddon, ac wedi hyny yn dâl-feistr y galluoedd. Yr oedd y rhyfel yn parhau yn flin a chostfawr, er fod y wlad wedi cael hen ddigon arno; ac yr oedd y ddau lyngesydd, Anson a Hawke, yn fwy llwyddianus yn erbyn y Ffrancod ar y môr nag ydoedd Duc Cumberland (mab y brenin) fel llywydd y byddinoedd cyngreiriol ar y Cyfandir. Teimlai Lloegr mai ei gwŷr hi, fel arfer, oedd yn ymladd, ac mai ei harian hi oedd yn dwyn yr holl dreuliadau. Yn 1748, adferwyd heddwch Ewrop, trwy gytundeb Aix-La-Chapelle. Yr oedd y weinyddiaeth, Pitt yn arbenig, yn gystal a lluaws y wlad, yn awr mor frwd dros heddwch ag oeddent dros ryfel pan oedd Walpole mor wrthwynebol iddo, er nad oedd dim wedi ei enill trwy ryfel gwaedlyd a chostus am flynyddoedd. "Gallasai yr hen Walpole droi yn ei fedd, ac wedi rhoddi ochenaid am y gwaed a'r trysor gollwyd, wenu o dosturi neu o wawd, wrth edrych ar weithrediadau ei olynwyr. Yr oedd Pitt, erbyn hyn, yn proffesu parch i ludw Walpole, ac yn cymeryd achlysur mynych i ganmol doethineb y gweinidog mawr hwnw, a beio ei hun am ei wrthwynebu. Dywedai ei fod ef ei hun wedi dyfod i'r un farn ag

ef ar ol dyfod ddeng mlynedd yn hynach, ac wedi astudio achosion cyhoeddus yn fwy pwyllog."*

Yn 1750 profwyd dau ysgydwad daeargryn yn Llundain, ond ni wnaethant lawer o niwed. Beth bynag, parodd hyny i filwr gorphwyllog gyhoeddi y buasai trydedd daeargryn ar nos y pumed o Ebrill, ac y buasai dinas Llundain yn cael ei dinystrio ganddo. Dychrynwyd y trigolion yn fawr; nid aeth nemawr i'w gwelyau, ond heidient allan i'r afon, ac i'r maesydd a'r pentrefi cymydogaethol, i ddysgwyl y trychineb. Aeth Whitfield allan i Hyde Park ganol nos, a thraddododd bregeth ddifrifol i'r miloedd oedd yno, ar ddydd y farn, gan eu cymhell i heddychu yn ddioed â Christ y barnwr. Y flwyddyn ganlynol diwygiwyd y calaniadur, neu amser y flwyddyn. Yr oedd y cyfnewidiad hwn wedi ei wneyd ar y Cyfandir gan y pab, Gregory XIII., yn 1582, ond yr oedd teimlad Protestanaidd y wlad hon wedi bod yn rhy gryf hyd yma i dderbyn y gwelliant o'r fath ffynonell, a dechreuent eu blwyddyn ar y 25ain o Fawrth, ac yr oeddent un diwrnod ar ddeg ar ol yn eu cyfrifiad.† Penderfynwyd yn awr fod y flwyddyn i ddechreu ar y dydd cyntaf o Ionawr, a bod y dydd canlynol i'r 2il o Fedi, 1752, i gael ei alw y 14eg. Pasiwyd act y flwyddyn hon hefyd i ffurfio yr Amgueddfa Frydeinig (*British Museum*), pryd y prynwyd llyfrgell a holl gasgliadau Syr Hans Sloane. Bu farw Frederick, Tywysog Cymru, yn ei 45ain mlwydd o'i oedran; daeth ei fab, deuddeg oed (George III.), yn etifedd y goron, a threfnwyd rhaglawiaeth ar gyfer marwolaeth y brenin cyn iddo ef gyrhaedd ei oed.

Yr oedd yn amlwg fod rhyfel yn darllaw eto rhwng Ffrainc a Lloegr, yn achos eu tiriogaethau Americanaidd. Rhoddwyd Nova Scotia i Loegr yn nghytundeb Utrecht, ac yr oedd ei breinleni yn dangos meddiant o'r holl wlad, o'r Atlantic i'r Môr Tawel. Ond yr oedd y Ffrancod wedi sefydlu ar afon St. Lawrence, yn y gogledd, ac yn darparu i gysylltu eu sefydliadau oddiyno i geg y Mississippi yn y De, ac felly cau ffordd Lloegr at y llynau mawrion, a dyffrynoedd yr Ohio a'r Mississippi. Wedi methu cael y Ffrancod i delerau, cyhoeddwyd rhyfel, a phleidleisiwyd miliwn o bunau at y draul. Ac yma y cawn y Milwriad George Washington gyntaf, yn ddyn ieuanc dewr, yn gwrthsefyll y Ffrancod ar lan yr Ohio. Anfonwyd amryw fyddinoedd allan i wneyd ymosodiadau mewn gwahanol fanau, ond am beth amser troai y fantol yn ffafr Ffrainc.

Yn y cyfamser, anfonodd Ffrainc fyddin o bymtheg mil o wŷr i ddarostwng Ynys Minorca, yn Môr y Canoldir, yr hon oedd yn

*Knight's, vol. iv., 558.

†Yr oedd y gwahaniaeth yma wedi codi oddiwrth fod un dydd o ychwanegiad bob pedair blynedd—y 29ain o Chwefror—yn ormod. Rhagflaenir hyn trwy beidio rhoddi y dydd hwn i mewn yn y flwyddyn olaf yn mhob canrif.

meddiant Lloegr er dyddiau Anne. Anfonwyd y Llyngesydd Byng allan i'w gwrthsefyll gyda deg o longau rhyfel; ond oblegyd i hwnw, oddiar resymau penodol, wrthod gwneyd ymosodiad ar y gelyn, collwyd yr ynys, galwyd y llyngesydd adref, cadwyd llys milwrol ar ei achos, condemniwyd a saethwyd ef. Mae y dienyddiad yn ysmotyn du ar gymeriad ei farnwyr, a bernir iddynt ei gondemnio er cadw y weinyddiaeth rhag llid y genedl am eu hesgeulusdod yn amddiffyniad Minorca. Iawn yw dyweyd i Pitt wneyd ei oreu yn erbyn dedryd Byng.

Ar ol hyn, Tachwedd, 1756, gwnaed cyfnewidiad pwysig yn y weinyddiaeth. Rhoddwyd Pitt yn brif ysgrifenydd y llywodraeth, gyda Duc Devonshire yn brif weinidog, a Legge yn ganghellydd y drysorgell. Ond yr oedd Pitt ar delerau drwg â'r brenin, am ei fod wedi gwrthwynebu rhyfel, ac yn groes i fesurau er amddiffyn Hanover; a throwyd ef allan o'r weinyddiaeth yr ail waith yn ddiseremoni. Rhoddodd Legge a Granville eu swyddi i fyny o'r herwydd, a daeth Fox eilwaith yn flaenaf. Ond ni fynai y wlad golli gwasanaeth Pitt, ac adferwyd ef a'i gyd-swyddogion yn fuan i'w lle. Daeth Newcastle eto mewn enw yn brif weinidog, a Fox yn dâl-feistr y galluoedd. "Yr oedd pob gwrthwynebrwydd yn y senedd yn awr wedi diflanu, llywyddiaeth y rhyfel yn gwbl yn llaw Pitt, ac yma y dechreuodd gweinyddiaeth o'r mwyaf enwog yn ein holl hanes."

Diwygiodd Pitt yr holl beiriant rhyfel, cododd ddynion cymhwys i awdurdod, cariwyd y rhyfel yn mlaen yn egniol yn ngwahanol barthau y byd, a dechreuodd llanw llwyddiant droi o du Lloegr.* Yn India y Dwyrain enillodd y milwriad (wedi hyny Arglwydd) Clive dalaeth Arcot, cymerodd y cadfridog Ffrengig yn garcharor, adenillodd Calcutta oddiar Nabob o Bengal, a difeddianodd y Ffrancod o'u holl sefydliadau. Yn Affrica, cymerwyd Senegal a Goree oddiar y Ffrancod; a chospwyd hwy yn drwm ar hyd y glanau gan Boscawen a Hawke. Ymosodwyd ar America gan wahanol fyddinoedd, yn ol cynllun Pitt ei hun. Cymerwyd amryw fanau ar y llynoedd gan Amherst, a Niagara gan y Cadfridog Johnson. Yr oedd Cape Breton eisoes wedi ei gymeryd; ac yn ol y cynllun, yr oedd yr holl alluoedd i gyfarfod i wneyd ymosodiad ar Quebec. Ond methodd mwy nag un o honynt gyrhaedd. Hon oedd yr un o Cape Breton. Arweinid y llynges gan Saunders, a'r fyddin gan Wolfe, swyddog ieuanc o fri mawr. Cyrhaeddasant Quebec yn Mehefin, 1759. Mae Quebec yn gorwedd ar lechwedd craig neu fryn, yn cael ei chylchynu gan afon St. Lawrence a dwy

*Gwnaed llawer hynt yn erbyn Ffrainc y pryd hwn, yn y rhai yr oedd y draul yn llawer mwy na'r elw, a gelwid hwy yn briodol, "*Schemes to break windows with guineas.*"

ffrwd arall, ac y mae y rhai hyn, yn nghyda'r creigiau uchel sydd yn codi oddiar eu glanau, yn gwneyd y ffordd i'r ddinas yn annhramwyadwy o amryw gyfeiriadau. Heblaw hyn, yr oedd y cadfridog Ffrengig, Montcalm, gyda deng mil o wŷr wedi codi amddiffynfeydd cedyrn o'i hamgylch, fel yr oedd ei chymeryd yn ymddangos yn anobeithiol. Am ddau fis gwnaeth Wolfe amryw ymosodiadau aflwyddianus, collodd lawer o'i wŷr, dyoddefai yn drwm oddiwrth ymosodiadau llechwraidd yr Indiaid cylchynol, a theimlai o'r diwedd yn bur ddigalon. Pan yn y teimlad hwn, a'i fyddin wedi ei darostwng i haner ei nifer, penderfynodd ar gynygiad beiddgar. Noswaith y 12fed o Fedi, 1759, parodd gludo ei wŷr bob yn gychaid, a'u gosod i lawr wrth droed y graig uchel o'r tu cefn i'r ddinas, ac yr oeddent i ddringo hono yn nhywyllwch dudew y nos; anturiaeth mor wrol a pheryglus na fuasai neb ond dewrddyn anobeithiol yn meddwl am dani.

Beth bynag, erbyn y boreu yr oedd Wolfe â byddin o bum mil ar ben y graig, o'r tu cefn i'r gelyn. Prysurodd Montcalm, wedi ei ddychrynu gan yr olygfa annysgwyliadwy, gyda deng mil o wŷr, i'w gyfarfod. Yr oedd y frwydr yn ffyrnig, a'r ddau gadfridog dewr yn nanedd y tân. Saethwyd bwled trwy arddwrn Wolfe, ond ni wnaeth yr un sylw o honi, oddigerth troi ei napcyn poced am dano i atal y gwaed. Derbyniodd fwled arall yn fuan yn ei ymysgaroedd; ond er hyny daliai ei le o flaen ei wŷr yn hollol ddiystyr. Yr oedd y frwydr yn amheus; yn y man gwelid y gelyn yn dechreu ymollwng. Gyda hyn tarawyd Wolfe gan y drydedd fwled yn ei fynwes, a syrthiodd. Symudwyd ef o'r tu ol, a gwelwyd ei fod yn marw. Pan oedd ei lygaid wedi tywyllu, clywodd un o'r swyddogion yn gwaeddi, "Maent yn rhedeg! maent yn rhedeg!" "Pwy sydd yn rhedeg?" gofynai Wolfe. "Y gelyn, yn mhob cyfeiriad." "Diolch i Dduw," ebai y cadfridog ieuanc gyda'i anadl ddiweddaf; "felly yr wyf yn marw yn dawel." Lladdwyd Montcalm hefyd, a chymerwyd y swyddog nesaf ato yn garcharor. Syrthiodd Quebec i ddwylaw y Saeson, a Montreal y flwyddyn ddyfodol, o flaen y cadfridog Amherst, a chwblhawyd goruchafiaeth Canada.

Yr oedd George II. bellach yn hen, ac wedi gwario ei gyfoeth, ac enill llawer o glod yn ei ryfeloedd diweddaf. Hydref 25ain, 1760, yr oedd wedi codi o'i wely am 6 o'r gloch y boreu, fel arfer, a bwyta ei foreufwyd. Yn mhen oddeutu awr syrthiodd i lawr yn farw yn ei ystafell, trwy rwygiad un o lestri y galon, heb foment o boen na rhybudd, yn ei 77ain mlwydd o'i oedran. Gosodir ef i lawr yn mysg y dosbarth goreu o freninoedd Prydain. Nid oedd yn meddu ar alluoedd o'r radd flaenaf, eto yr oedd yn ddewr, yn deall egwyddorion y cyfansoddiad yn dda, ac ni chynygiodd erioed filwrio yn ei erbyn.

III.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Crefydd. YN y tawelwch a fwynhaodd y wlad hon dan deyrnasiad y ddau George cyntaf, syrthiodd i gyflwr moesol isel a llygredig. Yr un fath offeiriaid a phobl. Er fod llawer o'r offeiriaid yn enwog am eu dysgeidiaeth, a rhai am eu duwioldeb, yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn amddifad o fywyd crefydd, a'u cynulleidfaoedd yn efelychu eu difaterwch a'u hoferedd. Yr oedd yr Anghydffurfwyr dan gaethiwed cyfreithiau gormesol; ond gallasent wneuthur llawer mwy oni bai fod cwsg ysbrydol wedi eu meddianu. Yr oedd esiampl lygredig y dosbarth uchaf hefyd yn cael dylanwad niweidiol ar y lluaws. Beth allesid ddysgwyl oddiwrth y werin ond y meddwdod a'r anfoesoldeb gwarthus a gofnodir, pan oedd dynion uchaf y wlad, o'r llys breninol i waered, yn byw mewn anniweirdeb ac annghymedroldeb cyhoeddus? Yn nghanol yr agwedd hon ar bethau, ffynai ysbryd anffyddol i'r fath raddau, fel y dywedai Butler, yn rhagymadrodd ei "*Analogy*," a gyhoeddwyd yn 1736, fod llawer yn edrych ar Gristionogaeth yn fethiant, ac fel wedi ei thaflu o'r neilldu oddiar ffordd y byd i fwynhau ei drachwant a'i bleserau.

Dyma oedd sefyllfa y wlad pan dorodd y diwygiad grymus allan trwy Wesley a Whitfield yn Lloegr, a thrwy Harris a Rowlands yn Nghymru; ïe,

"Pan oedd tywyll nos trwy Frydain,
Heb un argoel codi gwawr;
A thrymgwsg oddiwrth yr Arglwydd
Wedi goruwch-guddio'r llawr,"

y torodd allan y diwygiad mwyaf nerthol yn holl hanes ein gwlad, ddygodd gyfnod newydd ar grefydd ynddi, ac a ymledodd nid yn unig dros Gymru a Lloegr, ond hefyd dros Ysgotland, Iwerddon, ac America.

Yr oedd yr enwogion hyn oll wedi cael eu dwyn i fyny, neu yn cael eu parotoi, i'r Eglwys Sefydledig. Derbyniodd Wesley a Whitfield eu haddysg yn Rhydychain; a buont oll yn hwyrfrydig i dori eu cysylltiad â'r eglwys hono. Un nodwedd hynod perthynol i'r diwygiad hwn ydoedd, i'r ysbryd ddisgyn ar wahanol bersonau mewn gwahanol barthau yr un amser, a dwyn effeithiau mor debyg am gryn dymhor, heb ddim gwybodaeth am eu gilydd. "Ganwyd Whitfield yr un flwyddyn a Howel Harris, sef 1714 (blwyddyn esgyniad George I.), Daniel Rowlands flwyddyn o'u blaen, a John Wesley ddeng mlynedd o flaen Rowlands. Cychwynodd y cyffro diwygiadol yn Lloegr a Chymru tua'r un amser; a hyny heb un ymgynghoriad o eiddo y diwygwyr â'u gilydd. Ni wyddai y diwygwyr Seisnig ddim am y diwygwyr Cymreig, na'r rhai Cymreig am y rhai Seisnig; ac ni wyddai y naill Gymro ddim am

y llall. Yr unig gyfrif ellir roddi am hyn yw, i'r un a'r unrhyw ysbryd ddisgyn arnynt oll; ac er iddynt gael y gwrthwynebiad cryfaf oddiwrth y clerigwyr, ac na chawsant y cynorthwy dyladwy oddiwrth yr Ymneillduwyr, yr oedd sel Duw wedi ei gau o fewn eu hesgyrn, ac nis gallent ymatal."*

Whitfield oedd y pregethwr enwocaf, ond Wesley oedd y trefniedydd mwyaf. Yr oedd Whitfield a'r diwygwyr Cymreig yn gyffelyb o ran eu golygiadau athrawiaethol; ond yr oedd Wesley yn gwahaniaethu ychydig, a bu hyn yn achos amrafael rhwng y ddau ddiwygiwr. Whitfield ddechreuodd bregethu allan yn yr awyr agored, i ugain mil o lowyr Kingswood, ger Bristol, yn y flwyddyn 1739; yr oedd Howel Harris wedi dechreu ar hyny yn Nghymru, mae yn wir, flwyddyn neu ddwy o'i flaen. Teithiodd y ddau ddiwygiwr Seisnig Frydain ac America; a gadawent eu llwybr yn oddaith losgedig y ffordd yr elent. Yr oedd gair yr Arglwydd yn disgyn dros eu gwefusau yn weinidogaeth bywyd i'r miloedd, a chynyrchai y cyffelyb effeithiau yn mysg pob cenedl, ac yn mhob gwlad. Fel engraifft o nerth gweinidogaeth Whitfield, edrydd y Stoicaidd Benjamin Franklin yr hanesyn a ganlyn, wedi bod yn ei wrando yn pregethu mewn odfa lle yr oedd casgliad i gael ei wneyd ar y diwedd:—"Yr oedd genyf yn fy mhoced," meddai, "ddyrnaid o geiniogau, tri neu bedwar o ddoleri arian, a phum *pistole* aur. Wrth ei fod yn myned yn mlaen dechreuais dyneru, a phenderfynais roddi y ceiniogau; parodd ymdoriad arall o hyawdledd i mi gywilyddio gwneyd hyny, a phenderfynu rhoddi y doleri arian; ond gorphenodd mor ardderchog fel y tywelltais fy mhoced iddo—aur, arian, a chwbl."

Yr oedd gan y diwygwyr Methodistaidd hyn gydweithwyr enwog yn Lloegr a Chymru. Yn Lloegr yr oedd Charles Wesley, a'r nodedig Arglwyddes Huntingdon. Yr oedd Griffith Jones, Llanddowror, hefyd yn rhagflaenydd enwog i'r diwygiad yn Nghymru, yn ei ymdrechion llwyddianus i ledaenu gwybodaeth o air Duw, a sefydlu ysgolion i'r genedl. Peth nodedig hefyd oedd i ddau brif emynwr Cristionogol Prydain gael eu geni i wasanaethu y diwygiad hwn, Isaac Watts a William Williams, Pantycelyn. Bu eu hemynau godidog a melus o ddefnydd pwysig i'r diwygiad; a byddant felly i Gristionogaeth tra parhao Saesneg a Chymraeg i gael eu harfer.

Llywodraeth. Ni chymerodd unrhyw gyfnewidiad o bwys le yn llywodraeth gyfansoddiadol y wlad yn y cyfnod dan sylw; eto cymerodd rhai cyfnewidiadau le, ac ychwanegwyd amryw gyfreithiau mwy neu lai pwysig, fel yr ydys eisoes wedi cyfeirio atynt. O'r blaen arferai y brenin eistedd ei hun yn llywydd ar ei

*Methodistiaeth Cymru, cyf. i., 61, 62.

Gynghor; ond nid oedd George I. yn ddigon o Sais i ddeall a siarad yr iaith, am hyny nid eisteddai yn y Cynghor o gwbl. Dylynwyd ei esiampl gan ei fab a'i olynwyr; ac y mae yr arferiad wedi parhau hyd y dydd hwn, fel pe byddai yn ddeddf berthynol i'r cyfansoddiad. Gwnaed act dros barhad y senedd dros saith mlynedd yn lle tair, a chafodd effaith ddymunol. Dan George II. gwnaed ychwanegiad mawr at nifer y troseddau a gospid â marwolaeth. Y pryd hwnw cospid y neb a ladratäai ddafad fel yr hwn a laddai ddyn, â marwolaeth. Gwnaed gwelliadau yn nghyfraith y tlodion, a rhoddwyd mwy o awdurdod i'r ynadon ar yr arolygwyr, ac awdurdod i blwyfi i godi gweithdai er cynorthwyo yn nghynaliad eu tlodion. Ychwanegwyd hefyd lawer o drethi newyddion. Swm cyllidau y deyrnas yn 1759 ydoedd £8,523,540; o'r rhai hyn dygai y tollau (*customs*) £1,985,376; yr *excise* a threth y brâg, £3,887,349; treth y tir, £1,737,608; treth stampiau, £263,207; ac oddiwrth bethau eraill, £650,000. Swm y ddyled wladol y pryd hwn oedd £90,000,000. Costiodd y pedair blynedd cyntaf o'r Rhyfel Saith Mlynedd, o 1756 hyd ddiwedd teyrnasiad George II., y swm anferthol i'r wlad hon o £111,000,000—mwy na digon i gynal holl sefydliad y llywodraeth y pryd hwnw, ar adeg heddwch, am gant a deg ar ugain o flynyddoedd.*

Llenorion. Nid yw y cyfnod hwn yn amddifad o enwogion yn y byd llenyddol. Nis gallwn yma ond coffa enwau y prif ddynion a berthynent i'r cyfnod dan sylw; daw enwau rhai o honynt yn fwy priodol i mewn yn y benod nesaf. Fel awdwyr duwinyddol a phregethwyr enwog yn yr Eglwys Sefydledig, cawn Dr. Butler, esgob Durham, awdwr galluog yr "*Analogy;*" a Hoadly, Potter, Herring, a Sherlock. Yn mlaenaf yn mysg y duwinyddion Ymneillduol, mae Lardner, Doddridge, Watts, a Leland. Gwnaed cryn gyffro mewn ymchwiliadau arddansoddol gan Mandeville, Berkeley, Hartley, a Hutcheson; mewn mesuroniaeth, gan Halley, Bradley, Maclaurin, Saunders, a'r ddau Simpson. Yn mysg yr haneswyr, cawn Guthrie, Ralph, Carte, Middleton, a Dr. Thomas Tanner; yn mysg y beirniaid, Bentley, Warburton, a Boyle; ac yn mysg y cerddorion, yr anfarwol Handel—genedigol o Germany, ond a breswyliai, ac a dderbyniai flwydd-dal yn Lloegr, yr hwn a fu farw 1759,—Arne, Boyce, a Greene. Yr arluniwr enwocaf, a'r hwn y mae Lloegr yn teimlo yn falch o hono, oedd yr athrylithgar Hogarth, yr hwn a fu farw yn 1764. Yn mlaenaf yn mysg y beirdd, a theilwng o'i osod yn yr un dosbarth a Chaucer, Spenser, Shakespeare, Milton, a Dryden, y mae Alexander Pope. Ystyrir ef yn athrylith nodedig, ac ar ei ben ei hun mewn un dosbarth o farddoniaeth. "Y fath diriogaeth eang a dysglaer fuasai

*Pictorial England, vol. iv., 685.

allan o'n barddoniaeth pe buasai Pope heb erioed gael ei eni!" Yn nesaf at Pope y saif James Thomson, awdwr y "*Seasons*"—"y darn barddoniaeth ddesgrifiadol oreu yn yr iaith." Saif enw Dr. Young, hefyd, awdwr y "*Night Thoughts*," yn uchel. Er mor ardderchog yw syniadau Young, mae yn dangos celfyddyd, anystwythder, a gorchest mynych yn y cyfansoddiad. "Os yw Young oll yn gelfyddyd gorchest," meddai un o'r beirniaid, "mae Thomson oll yn esgeulusdra a natur." Bu Thomson farw yn 1748, a Young yn 1765. Ar lechres y beirdd cawn yn ychwanegol enwau Ramsay, Savage, Parnell, Dyer, Blair, Collins, Shenstone, Akenside, a Gray. Fel Ffug-haneswyr cawn Richardson, Fielding, a Daniel Defoe, awdwr "Robinson Crusoe."*

Masnach a Llafur. Cymerodd gwelliant arbenig le yn masnach a llafur y wlad yn ystod y blynyddoedd heddwch a fwynhawyd. Dygid masnach bwysig yn mlaen rhwng y wlad hon a Portugal, Spain, Itali, Twrci, Germany, Holland, ac America. Ac yr oedd y fasnach dramor hon yn codi gwerth llafur cartrefol; yn codi gwerth tiroedd, yn dwyn gwell cyflogau, ac yn rhoddi gwell mantais i'r llafurwr i gynal ei hun a'i deulu. Anfonwyd wyth can mil o chwarteri o ŷd oddiyma i Portugal yn unig yn y flwyddyn 1733. Cefnogai y llywodraeth yr allforiad yn gystal a gwrteithiad y tiroedd. Ceir awgrym am y cynydd a gymerai le mewn amaethyddiaeth yn y ffaith na phasiwyd un act i gau tiroedd agored i mewn yn amser William; yn nheyrnasiad Anne pasiwyd actau i gau dau ddarn o dir i mewn; chwech ar ugain dan George I.; dau cant a chwech ar ugain dan George II. Ac heblaw cynydd amaethyddol, yr oedd gwelliadau pwysig, ac ychwanegiadau dirfawr yn cymeryd lle yn y gweithfeydd; nifer y gweithwyr yn amlhau, ffyrdd newydd yn cael eu hagoryd, a'r hen rai yn cael eu gwella. Yr oedd cyflwr ein trefedigaethau hefyd yn prysur wella, yn enwedig yn America, a lluaws o bobl o'r wlad hon, yn gystal a holl wledydd Ewrop, yn ymfudo yno. Ymfudodd 6208 o Ewrop i dalaeth Pennsylvania yn unig yn y flwyddyn 1729. O'r rhai hyn yr oedd 243 yn Ellmyniaid, 267 yn Saeson a Chymry, 34 yn Ysgotiaid, a'r 5655 eraill yn Wyddelod. Yr oedd tlodi Iwerddon anffodus y pryd hwnw fel yn awr yn gorfodi ei thrigolion wrth fesur mawr i fyned allan i chwilio am fywioliaeth.

Cyflwr y bobl. Fel yr awgrymwyd eisoes, dygodd gwelliant amgylchiadau ddylif o lygredigaeth gydag ef, yn enwedig mewn diota a meddwdod. Gosodid uwchben drysau y tafarndai, oedd yn awr yn lluosogi yn fawr, y cai y bobl "ddigon o wirod i'w meddwi am geiniog; a digon i'w gwneyd yn feddw dall am ddwy, a gwellt glân i orwedd" hyd nes y dychwelai eu synwyrau. Yr oedd

*Wade, Knight.

y cyflogau yn amrywio mewn gwahanol barthau; ond yn mhob man yn well nag y buont oll o'r blaen. Daliai pris y gwenith yn o gyson o ddeuddeg i bymtheg swllt ar ugain y chwarter; a phris y cig eidion a llo o ddwy i dair ceiniog y pwys. Mae ymborth cyffredin y bobl yn well dynodiad o'u hamgylchiadau, bob amser, na maint eu cyflogau. Yn amser Henry VIII., ac am lawer o flynyddoedd wedi hyny, yr oedd bara gwenith bron yn gwbl yn gyfyngedig i'r dosbarth uchaf, a'r bobl gyffredin yn byw ar fara haidd, ceirch, a rhyg. Ond tua diwedd y cyfnod presenol yr oedd mwy na haner y trigolion yn byw ar fara gwenith. Yn ol y cyfrifon a wnaed gan Mr. Charles Smith, yn fuan wedi esgyniad George III., yr oedd nifer bwytawyr bara gwenith yn Lloegr a Chymru yn 3,750,000; bwytawyr bara haidd yn 739,000; bara rhyg yn 880,000; a bara ceirch yn 623,000. Yn ol y cyfrif hwn, a chymeryd y boblogaeth yn chwe miliwn, yr oedd pump o bob wyth o'r trigolion yn byw ar fara gwenith.

Yr oedd gwisgoedd, yn enwedig y rhyw fenywaidd, yn gyffelyb mewn llawer o bethau i'r ffasiwn bresenol; tynid y gwallt yn ol oddiar y talcen, a gosodid ef yn gribyn uchel ar y copa; dirwesgid y canol yn fain, a lledid y godrau gyda chylchau eang. Addurnid y gynau â siderau (*flounces*), a'r rhai hyny o amrywiol liwiau cymysgedig. Yr hynodrwydd mwyaf yn ngwisgoedd y gwrywod oedd y perwig, a'r llewys mawr addurnedig.

Cynydd. Yn y gipolwg fer a roddir yma, gwelir fod y cyfansoddiad yn para i ymburo ac ymgodi yn raddol a chyson. "Wedi difa ei nerth yn rhyfeloedd meithion William ac Anne, adferodd y genedl ei grym eilwaith yn y deng mlynedd ar ugain o heddwch a ganlynodd. Ac yn y tymhor hwnw, yn enwedig dan lywodraeth alluog Walpole a Pitt, addfedodd yn raddol hadau ein mawredd masnachol. Hon, yn ddiau, oedd yr adeg fwyaf llwyddianus a brofodd Lloegr erioed."* Nid gorchest person, dosbarth, na phlaid yw cyfansoddiad y deyrnas hon, ond cyd-gynyrch yr holl gymundeb ydyw. Ni chafodd Lloegr yr un Solon na Lycurgus i sylfaenu a chodi adeilad ardderchog ei chyfreithiau a'i sefydliadau. Nid unrhyw ryfelwr unigol eangodd ei therfynau o amgylch y byd. Yn raddol y cymerodd y cwbl le. Tyfiant brodorol oes ar ol oes ydynt, ac nid trawsfudiad mewn addfedrwydd o leoedd eraill. A diamheu mai dirgelwch nerth a dyrchafiad y deyrnas hon uwchlaw holl deyrnasoedd y ddaear yw, fod egwyddorion Cristionogaeth wedi cael cymaint o le yn ei chyfansoddiad, a chymaint o warogaeth gan ei thrigolion.†

*Hallam. †Wade, Knight, Smollet.

# PENOD XI.

## TEYRNASIAD GEORGE III., 1760—1820.

### I.—RHAN GYNTAF, 1760—1784.

MAB ydoedd George III. i Frederick, Tywysog Cymru, ac ŵyr i George II. Ganwyd ef yn Llundain yn y flwyddyn 1738, felly yr oedd yn llawn ddwy ar ugain oed pan gymerodd le ei dadcu (taid) ar orsedd Prydain, Hydref, 1760. Yr oedd y wlad yn dawel, ei hamgylchiadau yn gysurus, ei chlod yn uwch nag y bu erioed o'r blaen, a chymeriad y brenin ieuanc mor ragorol, fel yr oedd yr amgylchiad yn destun llawenydd cyffredinol. Ychwanegodd y brenin at y teimlad boddhaol hwn yn fwy fyth yn ei araeth ar agoriad y senedd:—"Yr wyf wedi fy ngeni a fy addysgu yn y wlad hon," meddai, "ac yn ymffrostio yn yr enw Prydeiniwr; a bydd dedwyddwch arbenig fy mywyd bob amser yn gynwysedig mewn gofal am lesâd y bobl, y rhai yr edrychaf ar eu teyrngarwch a'u serch tuag ataf, fel dyogelwch penaf a mwyaf parhaus fy ngorsedd." Pleidleisiwyd £800,000 y flwyddyn at wasanaeth y brenin, a phedair miliwn ar bymtheg at draul y rhyfel. Yn ol gweithred y *settlement*, yr oedd y barnwyr i golli eu swyddi ar farwolaeth y penadur; ond ar gais y brenin, sicrhawyd annibyniaeth eu swydd dros ystod eu bywyd.

Cadwodd Pitt ei le fel prif ysgrifenydd yn y weinyddiaeth, ac efe oedd y prif weinidog mewn gwirionedd, er mai Newcastle ydoedd mewn enw. Gwnaed Arglwydd Bute, yr hwn oedd uchel yn ffafr y brenin, yn ysgrifenydd yn lle Arglwydd Holderness; a Dashwood, Tori arall, yn ganghellydd y drysorgell yn lle Legge. Amcenid yn raddol ffurfio gweinyddiaeth Doriaidd dan arweiniad Bute; ond yr oedd yn rhaid cael rhyw derfyniad ar y rhyfel yn gyntaf, am nas gallesid dwyn hono yn mlaen heb wasanaeth Pitt. Dygai Pitt y rhyfel yn mlaen yn egniol, ac enillai fanteision ar gyffiniau Ffrainc ac yn India. Cafodd allan fod Charles III., o Spain, yn ymgyngreirio yn ddirgel â Ffrainc yn erbyn Lloegr, a mynai gyhoeddi rhyfel yn ei erbyn yn ddioed. Gwrthododd y weinyddiaeth gydsynio, a dywedodd Pitt, "Galwyd fi i'r weinyddiaeth gan lais y bobl; iddynt hwy yr wyf yn ystyried fy hun bob amser yn gyfrifol; ac am hyny nis gallaf aros yn hŵy mewn sefyllfa fydd yn fy ngwneyd yn gyfrifol am fesurau na chaf awdurdod i'w rheoleiddio." Aeth Pitt â'r seliau i'w cyflwyno i'r brenin; derbyniodd yntau hwy, gan hysbysu ei fod yn cydweled â barn mwyafrif y cynghor, ond cynygiai iddo unrhyw wobr allai y goron roddi am ei wasanaeth. Effeithiodd tynerwch y brenin gymaint ar y gweinidog nes iddo

dori allan i wylo. Derbyniodd Pitt flwydd-dâl o dair mil o bunau, a chodwyd ei wraig i'r bendefigaeth dan y titl o Iarlles Chatham, Rhoddodd Arglwydd Temple, ei frawd yn nghyfraith, ei swydd i fyny gydag ef; a chafodd Bute ei amcan bellach o flaenori yn y llywodraeth. Ni welodd Lloegr erioed weinidog mwy galluog na mwy llwyddianus am y pum mlynedd y bu yr awdurdod yn ei law, ac nid aeth un gweinidog erioed allan o'i swydd yn fwy dwfn yn serchiadau y wlad.

Medi 8fed, 1761, cymerodd priodas George â'r dywysoges Charlotte Sophia o Mecklenburg Strelitz le, ac ar y 22ain y coroniad gyda rhwysg mawr. Yr oedd y ddau yn Brotestaniaid, ac yn meddu ar gymeriad rhagorach na'r un teulu breninol a eisteddodd ar orsedd Lloegr o'r blaen, a gwelwyd dylanwad eu cymeriad yn fuan ar y llys. Sicrhawyd y swm o gan mil o bunau y flwyddyn i'r frenines.

Nid aeth y flwyddyn hon (1761) heibio cyn esbonio cywirdeb golygiadau Pitt, a gorfod cyhoeddi rhyfel â Spain, er mor hwyrfrydig y teimlai Bute i hyny. Rhoddodd Newcastle ei swydd i fyny, a daeth Bute yn arweinydd y weinyddiaeth. Deallai y bobl nad oedd yn gymhwys i'w swydd uchel, a dangoswyd teimlad cryf yn ei erbyn. Hynododd un John Wilkes ei hun yn ei ymosodiad arno mewn cyhoeddiad o'r enw "*North Briton.*" Beth bynag, yr oedd yn rhaid iddo ymgymeryd â rhyfel bellach, ac anfonwyd galluoedd cryfion allan yn erbyn galluoedd cyngreiriol Ffrainc a Spain, i'r Cyfandir, ac i foroedd y Dwyrain a'r Gorllewin. Trodd yr anturiaethau yn llwyddianus, a syrthiodd amryw leoedd pwysig i ddwylaw Lloegr yn ngwahanol barthau y byd. Cymerwyd Havana, prif-ddinas Cuba, oddiar yr Ysbaeniaid, dinystriwyd deunaw o'u llongau, a daeth yr ysbail mwyaf a gafodd Lloegr erioed i'w dwylaw, sef eiddo yn cynwys gwerth dros dair miliwn o bunau. Gyrodd y buddugoliaethau hyn y werin yn benboeth am ddal y rhyfel yn mlaen; ond gan fod yr amcan oedd mewn golwg wedi ei gyrhaedd, penderfynodd y llywodraeth wrando ar yr amodau heddwch a gynygid gan Ffrainc, y rhai oeddent yn bur fanteisiol i Loegr. Chwefror 10fed, 1763, cadarnhawyd cytundeb heddwch yn Paris.

Yn ol y cytundeb hwn yr oedd Lloegr i gael ynysoedd Tobago, Dominica, St. Vincent, a Grenada, yn gystal a'r Floridas; Louisiana hyd y Mississippi, holl Canada, Nova Scotia, Cape Breton, a lleoedd eraill yn America. Yr oedd hefyd i gael Minorca, yn Ewrop, yn gyfnewid am Belleisle, yr hon a gymerodd oddiar y Ffrancod. Daeth i'w rhan hefyd amryw fanteision yn India y Dwyrain. Ni wnaeth Lloegr erioed gytundeb heddwch mwy manteisiol ac anrhydeddus, a dywedai Bute "na ddymunasai gael gwell beddargraff ar ei fedd na'r ffaith mai efe oedd cyfarwyddwr yr heddwch

hwn." Felly terfynwyd rhyfel ag a ychwanegodd driugain a phymtheg o filiynau o bunau at ddyled wladol Prydain Fawr.

Yn fuan wedi sefydlu heddwch, aeth y teimlad cyffredin yn erbyn Bute yn rhy gryf iddo i'w wrthsefyll. Yr oedd yn hynod o anmhoblogaidd, a chai y gair o fod mewn cymundeb anmhriodol â'r dywysoges waddolog. Felly, yn groes i ewyllys y brenin, rhoddodd Bute ei swydd i fyny, ac enciliodd o fywyd cyhoeddus. Ffurfiwyd gweinyddiaeth newydd gyda George Grenville yn ben arni, ac Arglwyddi Egremont a Halifax yn brif gydswyddogion. Ond dygodd Grenville flinder buan arno ei hun, ac ni pharhaodd ei weinyddiaeth ond dwy flynedd. Yr oedd y Wilkes y cyfeiriwyd ato yn barod yn aelod seneddol, ac yn ddyn o gryn dalentau; ond yn ddyn anfucheddol ac anfoddog. Yn y 45ain rhifyn o'i "*North Briton*," gwnaeth ymosodiad haerllug ar yr araeth freninol a draddodasid ar ohiriad y senedd, a chyhuddodd y brenin o ddyweyd anwiredd. Bu Grenville mor annoeth a gorchymyn i warant gyffredinol gael ei rhoddi yn erbyn yr awdwyr a'r argraffwyr, ac yn rhinwedd hono taflwyd Wilkes i garchar, a chymerwyd ei holl bapyrau i fyny. Hawliodd Wilkes wys *habeas corpus* yn llys dadleuon cyffredin, a chafodd hi; dedfrydodd y barnwyr ef i gael ei ryddhau, gan na wnaeth ddim i ddifreinio ei hun o'i ragorfraint fel aelod seneddol. Ond pan ymgyfarfu y senedd nesaf cyhuddwyd Wilkes gan Arglwydd Sandwich—gwr arall llawn mor anfucheddol—o fod yn awdwr "*An Essay on Woman*," yr hwn oedd wedi ei argraffu ganddo yn ddirgel, ac yn cynwys syniadau anmhriodol a chableddus. Taflwyd Wilkes allan o Dŷ y Cyffredin, a dedfrydwyd rhifyn 45ain o'r "*North Briton*" i gael ei losgi gan y crogwr cyffredin. Tybiai y bobl yn awr fod Wilkes yn cael cam, a dylifai y teimlad cyffredin o'i blaid. A phan losgwyd y *libel* yn yr *Exchange*, codwyd terfysg, llosgwyd coes-wisgoedd a phais, er cyfeirio at gysylltiad anmhriodol Bute a'r dywysoges waddolog, a rhwygid yr awyr gan floeddiadau, "Wilkes a rhyddid *for ever!*" Ychydig ddiwrnodau ar ol hyny dygodd rheithwyr penodol ddedryd o fil o bunau yn erbyn ysgrifenydd y llywodraeth am gymeryd papyrau Wilkes i fyny. Sylwodd y prif-ynad Pratt ar yr achlysur wrth gyfeirio at warantau cyffredinol—"Os gwna y barnwyr eraill, ac awdurdod uchaf y deyrnas hon, Tŷ yr Arglwyddi, benderfynu fod fy marn i yn gyfeiliornus, yr wyf yn foddlon ymostwng, fel y gweddai i mi, a chusanu y wialen; ond rhaid i mi ddyweyd y byddaf bob amser yn edrych arni fel gwialen geryddol ar bobl Prydain Fawr." Bu llawer trafodaeth bwysig yn nghylch Wilkes ar ol hyn; wedi bod am dro ar ffo yn Ffrainc dychwelodd i Lundain, daeth yn ymgeisydd am aelodiaeth seneddol, a thrwy fod y werin yn teimlo mor bleidiol iddo, etholwyd ef unwaith, a dwywaith, a theirgwaith, ond

gwrthodai Tŷ y Cyffredin ei dderbyniad. Beth bynag, daeth yn arglwydd-faer Llundain, er gwaethaf ei wrthwynebwyr, ac wedi hyny yn drysorydd y ddinas.

Yr oedd y weinyddiaeth yn awr wedi myned yn hynod o ansefydlog a chyfnewidiol; gwnaed dros bum cant o gyfnewidiadau ynddi rhwng Mai, 1761, a Chwefror, 1766. Yn 1765, pan symudwyd Grenville, ffurfiwyd gweinyddiaeth Whigaidd gan Duc Cumberland, gydag Ardalydd Rockingham yn ben arni; Grafton a Conway yn ysgrifenyddion y llywodraeth, ac Edmund Burke, y Gwyddel, yr hwn a ddaeth wedi hyn mor enwog, yn ysgrifenydd personol i'r prif weinidog. Ond cyn diwedd y flwyddyn bu Cumberland farw, ac nid oedd y weinyddiaeth yn boddio y brenin na'r bobl. Yn 1766, ar ol gwrthod unwaith ac eilwaith, ar gais y brenin, ymgymerodd Pitt â ffurfio gweinyddiaeth eto; rhoddwyd Duc Grafton yn ben arni, Charles Townshend yn ganghellydd y drysorgell, a Shelburne a Conway yn ysgrifenyddion. Cymerodd Pitt, oblegyd ei afiechyd,* y gyfrin-sel iddo ei hun, a chodwyd ef i'r bendefigaeth dan y titl o Iarll Chatham. Ond oblegyd na chai ei fesurau y gefnogaeth a ddysgwyliai oddiwrth ei gydswyddogion, rhoddodd ei ymddiried i fyny eilwaith yn 1768, ac nid ymgymerodd ag unrhyw swydd mwy. Yn 1770 rhoddodd Duc Grafton yntau ei le i fyny, a chymerodd Arglwydd North, mab hynaf Iarll Guildford, yr hwn a ganlynodd Townshend fel canghellydd y drysorgell, y swydd o brif weinidog; a pharhaodd ei weinyddiaeth anffodus am ddeuddeg mlynedd.

Gwnaed cyffro mawr yr amser hwn trwy lythyrau talentog yn erbyn y weinyddiaeth, a barhaodd i ymddangos am tua dwy flynedd (yn dechreu yn 1766) mewn cyhoeddiad o'r enw "*Public Advertiser*," dan y ffug-enw *Junius*. Yr oedd yn amlwg fod yr ysgrifenydd mewn meddiant o lawer o hysbysrwydd perthynol i symudiadau swyddogion y llywodraeth, ac ychwanegai at hyny lawer o bethau nad oedd wir. Priodolid hwy yn eu tro i gryn ugain neu ddeg ar ugain o brif ysgrifenwyr yr oes, ond cadwodd yr awdwr ei hun yn hollol guddiedig am haner can mlynedd. Y farn gyffredin yw, ac y mae Macaulay yn benderfynol ynddi,† mai Syr Phillip Francis, o'r Swyddfa Rhyfel, gwrthwynebydd Warren Hastings, oedd *Junius*.

Ond prif ddygwyddiad y dyddiau hyn oedd y rhyfel anffodus ac annaturiol rhwng Lloegr a'i thiriogaethau ei hun yn America. Sefydlwyd trefedigaeth Virginia dan deyrnasiad Elisabeth, Maryland gan Arglwydd Baltimore, Lloegr Newydd gan y Puritaniaid, yn amser Charles I.; y ddwy Garolina a Pennsylvania yn nyddiau Charles II. a James II., a Georgia dan deyrnasiad y Georgiaid.

*Barna Macaulay nad oedd Pitt yn ei iawn bwyll y pryd hwn, dan effeithiau ei afiechyd. † Gwel "Essay on Warren Hastings."

Yr oedd breinlen oddiwrth y goron gan bob un o'r trefedigaethau hyn, yn eu hawdurdodi i gynal cymanfaoedd i wneyd cyfreithiau, dewis swyddogion, a chodi trethi at ddybenion cartrefol. Anfonid eu llywodraethwyr o Brydain, a mwynhäai y fam-wlad orfaeliaeth eu masnach. Yr oeddynt yn awr yn codi i sefyllfa bwysig, eu masnach yn cynyddu, a'u poblogaeth, pan dorodd y gwrthryfel allan, yn dair miliwn o eneidiau.

Pan gynygiodd y wlad hon osod treth ar y trefedigaethau, yr hyn fu yn achos o'r rhyfel a'r ymraniad, ymddangosai y dadleuon o'r ddau tu, ar yr olwg gyntaf, yn rhesymol. Ar y naill du, yr oedd y trefedigaethau yn ddyledus i Loegr am eu sefydliad; yr oedd y ddau ryfel wedi costio iddi dros ddwy a deugain o filiynau o bunau, a thraul eu llywodraethiad oddiar esgyniad y teulu breninol presenol hyd 1788, yn ddeugain miliwn arall o bunau.* A chan fod y trefedigaethau wedi costio cymaint i'r fam-wlad, ac yn parhau i dderbyn ei nawdd, gallesid tybied mai iawn oedd iddynt hefyd gael gosod eu hysgwyddau dan gyfran o'i beichiau. O'r tu arall, dadleuai y trefedigwyr hwythau, gan nad oeddynt yn cael eu cynnrychioli yn senedd y wlad hon, ei fod yn annghyfreithlon i'r cyfryw senedd osod treth arnynt; a buasai gweinidog doeth yn dra gofalus cyn anturio ar y fath ymgymeriad. Pan gymhellid Walpole unwaith i hyny, atebiad y gwr llygad-graff hwnw ydoedd, "Chwi welwch fod Hen Loegr yn fy erbyn yn barod; a ydych yn meddwl fy mod am dynu Lloegr Newydd eto yn fy erbyn?"

Beth bynag, yr oedd yn rhaid i George III. yn awr gael swm bychan ar ffurf treth oddiwrth y trefedigaethau; a gwnaeth i Grenville, yn 1764, yn erbyn ei ewyllys, gynyg math o *stamp duty*. Pasiodd y cynygiad trwy y ddau Dŷ, er fod y rhai oedd yn deall teimlad America oreu yn gryf yn ei erbyn. Cododd gwrthwynebiad a chynhwrf cyffredinol y tu draw i'r môr. Cynaliwyd cynadleddau cyffredinol yn New York i ddeisebu yn erbyn y mesur; a phasiwyd penderfyniad i beidio defnyddio y *stamps*, na derbyn nwyddau i mewn o Loegr. Cynaliwyd cynadledd gyffelyb wedi hyny yn Philadelphia, pryd y tystiwyd yn erbyn gwaith Lloegr yn cadw byddin sefydlog, dan y maes-lywydd Gage, yn America, heb ganiatad y trefedigaethau. Er gwaethaf deisyfiadau Chatham a Burke i arfer moddion teg, a mesurau rhyddfrydig tuag at y trefedigwyr, parhaodd y brenin a'r weinyddiaeth i'w cyffroi trwy lymder a gormes. Galwyd y *stamp duty* yn ol gan Rockingham yn 1766, ond gyda chyhoeddiad o hawl Lloegr i drethu y trefedigaethau. Wedi hyny gosodwyd treth ar dê, papyr, gwydr, a lliwiau a anfonid allan o'r wlad hon yno, ond dyddimwyd hwynt oll eilwaith yn 1770, oddigerth treth y tê. Barnai y trethedig fod amcan drwg tuag atynt

*Wade's England's Greatness, 456, quoted from Lincoln's History of the Revenue.

yn nghadwraeth y dreth hono; ac ymosodasant ar un o longau yr *East India Company* yn mhorthladd Boston, a thaflasant y llwyth tê oedd ynddi i'r môr. Achosodd hyn fesurau llymach tuag atynt eto. Nid oedd bellach ond y gwaethaf i'w ddysgwyl; ac o'r diwedd, yn 1775, torodd y rhyfel allan, yr hon a barhaodd yn flin a gwaedlyd am lawer o flynyddoedd.

Yn Lexington, Massachusetts, y collwyd y gwaed cyntaf yn y rhyfel anffodus hwn. Clywodd y Cadfridog Gage yn Boston fod y taleithwyr wedi casglu ystorfeydd yn Concord, ac yn Ebrill, 1775, anfonodd adran o filwyr i'w hatafaelu. Ar eu ffordd, yn Lexington, tarawsant wrth gorph o gartreflu. Gorchymynwyd iddynt roddi eu harfau i lawr, ac ymwasgaru; ond yn lle hyny, ciliasant o'r tu cefn i'r tai a'r muriau, a thaniasant ar y milwyr. Aeth yr adran yn mlaen i Concord, a chyflawnodd yr amcan oedd mewn bwriad; ond yr oedd ergydion llechwraidd y taleithwyr yn eu blino yr holl ffordd; ac erbyn dychwelyd yr oeddynt wedi colli dros ddau cant o wŷr, pryd nad oedd colled y gwrthwynebwyr yn cyrhaedd cant.

Yn fuan ar ol hyn cymerodd yr Americaniaid fesurau mwy hyf a phenderfynol. Codwyd cartreflu nerthol, a gosodwyd George Washington yn llywydd cyffredinol y byddinoedd. Yr oedd y boneddwr enwog hwn wedi enill clod milwrol eisoes yn ngwasanaeth Lloegr, ond yr oedd yn awr wedi ymroddi i lafur amaethyddol ar ei etifeddiaeth ar lanau y Potomac. Er hyny, ymgymerodd â'i swyddogaeth bwysig a pheryglus yn ewyllysgar, gan wrthod unrhyw gyflog am ei wasanaeth, ac nid oedd neb ar holl gyfandir America mor gymhwys i'r gorchwyl. Nid oedd fawr o betrusder yn y wlad hon am oruchafiaeth hawdd a buan ar y gwrthryfelwyr, ac felly troisant glust fyddar at gynygion heddychlon a anfonwyd drosodd gan y gymanfa gyda Dr. Franklin a William Penn. Anfonwyd galluoedd drosodd dan arweiniad y Cadfridogion Howe, Burgoyne, a Clinton. Rhoddodd Gage ei le i Howe, a dychwelodd i Loegr. Yn Mehefin yr ymladdwyd y frwydr gyntaf, ar Bunker's Hill, y tu gogledd i Boston. Bu yn frwydr galed, ac am rai oriau yn amheus; ond o'r diwedd gyrwyd y trefedigwyr yn eu hol gyda cholled o bedwar cant a haner; ond yr oedd colled Lloegr yn un cant ar ddeg, ac yn mysg y rhai hyny bedwar ugain a naw o swyddogion. Gwnaed cynygiad y flwyddyn hon hefyd i oresgyn Canada, a chymerwyd rhai lleoedd ar y cyffiniau gan Montgomery ac Arnold, ond gwrthwynebwyd hwy yn egniol a llwyddianus gan y gwrol Carleton.

Parhaodd yr ymladd yn egniol o bob tu; dyoddefodd y trefedigaethau ddyrnodiau trymion, ond dalient yn ddiysgog at eu bwriad. Gorphenaf 4, 1776, y cyhoeddasant ysgrif nodedig eu Hanniбynіaeth, yr hon a wnaed gan Adams, Franklin, a Jefferson; a

chedwir y dydd hwn bob blwyddyn yn America yn ŵyl nodedig i adgoffa sefydliad annibyniaeth y wlad. Yn 1777 dechreuodd rhagolygon Lloegr dywyllu; daeth y newydd drosodd am gauedigaeth Burgoyne yn Saratoga, a'i ymroddiad ef a'i fyddin i fyny i ddwylaw y gelyn. Dylynwyd hono gan newydd arall, fod Ffrainc wedi cydnabod annibyniaeth America, wedi cytuno â'r trefedigaethau i wrthwynebu Lloegr, ac wedi gyru llynges gref, dan lywyddiaeth Iarll D'Estaing, i America. Taflwyd Lloegr i benbleth a dychryn. Anfonwyd dirprwywyr i America i gynyg telerau heddychlon; ond yr oedd yn awr yn rhy ddiweddar. Dwy flynedd yn ol dirmygwyd cynygion America gan Loegr, yn awr dirmygwyd cynygion Lloegr yn fwy fyth gan America; ac nid oedd dim a foddlonai y bobl hyny bellach ond tori pob cysylltiad â'r wlad hon.

Yr oedd Iarll Chatham bellach yn hen a methedig, yn llawn 70 mlwydd oed, ac wedi ei gadw oddiwrth achosion cyhoeddus am dro maith gan afiechyd; ond yr oedd ei ysbryd cyffrous yn berwi ynddo wrth weled ymddygiadau y weinyddiaeth at y trefedigaethau yn America. Ni fynai er dim i'r cysylltiad rhwng America a Lloegr gael ei dori; a phan glywodd fod yr ymraniad i gael ei gynyg yn y senedd, casglodd weddill ei nerth yn nghyd, ac ar y 7fed o Ebrill, wedi ymwisgo mewn melfed du, arweiniodd ei fab, William Pitt, a'i fab yn nghyfraith, Arglwydd Mahon, ef i'w hen eisteddle yn y Tŷ uchaf, i ddangos ei feddwl, ac i roddi y fflangell ar gefn y weinyddiaeth. "A wna y deyrnas fawr hon," ebai, "sydd wedi gorfucheddu holl anrheithiadau y Daniaid, goresgyniadau yr Ysgotiaid, a'r goncwest Normanaidd, ac a wrthsafodd oresgyniad bygythiol yr Armada Ysbaenaidd, syrthio ar ei hyd o flaen tŷ Bourbon? A gaiff pobl, oedd ddwy flynedd ar bymtheg yn ol yn ddychryn i'r byd, ymostwng yn awr mor isel fel ag i ddyweyd wrth ei hen elyn cyndyn, Cymer yr oll sydd genyf, dim ond i ti roddi heddwch i ni?" Ond pan gynygiodd Arglwydd Suffolk gyflogi yr Indiaid yn erbyn y trefedigaethau y cyffrowyd yr ymdoriad byth-gofiadwy o hyawdledd y seneddwr enwog:—

"Fy Arglwyddi," ebai, "nid oeddwn yn meddwl eich blino mwy, ond nis gallaf lethu fy nigllonedd; yr wyf yn teimlo pob syniad o ddyledswydd yn fy ysgogi. Gelwir arnom, fy Arglwyddi, fel aelodau o'r Tŷ hwn, fel dynion, ac fel Cristionogion, i brotestio yn erbyn i'r fath olygiadau gael sefyll yn ymyl yr orsedd, i lygru clustiau ei fawrhydi. 'Cymeryd gafael yn y moddion mae *Duw a natur wedi ei osod yn ein dwylaw!*' (geiriau Suffolk). Nis gwn pa syniad mae yr arglwydd yna yn ei goleddu am Dduw a natur, ond gwn fod y fath egwyddorion ysgeler yn warth i grefydd ac i ddynoliaeth. Beth! rhoi nawdd cysegredig Duw a natur i erchyllderau cyllellfingo yr Indiaid gwyllt a barbaraidd! Yr wyf yn galw ar y wir barchedig fainc—y rhes yna o weinidogion cysegredig yr efengyl, bugeiliaid duwiol yr eglwys—yr wyf yn eu tynghedu i gyduno i amddiffyn crefydd eu Duw. Yr

wyf yn apelio at ddoethineb a chyfraith y fainc ddysgedig hon, i ddyogelu a chynal cyfiawnder eu gwlad. Yr wyf yn galw ar anrhydedd eich arglwyddiaethau i barchu urddas eich hynafiaid, ac i gadw yr eiddoch eich hunain. Yr wyf yn galw ar ysbryd a dynoliaeth fy ngwlad i amddiffyn y cymeriad cenedlaethol. Yr wyf yn gweddio ar ysbryd (*genius*) y cyfansoddiad. Mae hendad anfarwol yr arglwydd anrhydeddus hwn (Suffolk) yn gwgu mewn digofaint oddiar y crogleni a addurnant y muriau hyn, wrth y fath waradwyddiad ar ei wlad! Yn ofer yr arweiniodd hwnw eich llyngesoedd buddugoliaethus yn erbyn Armada ymffrostgar Spain; yn ofer yr amddiffynodd ac y sefydlodd barch, rhyddid, a chrefydd—crefydd Brotestanaidd ei wlad—yn erbyn creulonderau gormesol Pabyddiaeth a'r chwil-lys, os gollyngir y rhai hyn sydd greulonderau mwy na Phabaidd, a gwaeth nag ymarferiadau y chwil-lys, yn rhydd i'n mysg, i ddinystrio ein sefydliadau, i rwygo ein cysylltiadau, ac i sugno gwaed gwŷr, gwragedd, a phlant! Ac yn erbyn pwy y cynygir gollwng yr anffyddiwr barbaraidd? Yn erbyn eich brodyr Protestanaidd; i anrheithio eu gwlad, i wneyd eu preswylfeydd yn annghyfanedd, a diwreiddio eu hiliogaeth a'u henw trwy alanas anwaraidd yr uffern-gŵn hyn. Arfogodd Spain ei hun â gwaedgŵn i ddifrodi brodorion truenus America; ond yr ydym ni yn myned i daflu esiampl annynol Spain a'i chreulonder i'r cysgod; yr ydym ni am fyned i droi yr uffern-gŵn gwyllt hyn yn erbyn ein brodyr a'n cydwladwyr yn America—o'r un iaith, cyfreithiau, rhyddid, a chrefydd a ninau, a'r rhai sydd wedi eu cylymu wrthym â phob cwlwm a ddylai santeiddio dynoliaeth. Fy Arglwyddi, mae yr achos dychrynllyd hwn, sydd mor bwysig i'n hanrhydedd, i'n cyfansoddiad, a'n crefydd, yn gofyn am yr ymchwiliad mwyaf difrifol ac effeithiol; ac yr wyf eto yn galw ar eich arglwyddiaethau, a galluoedd unol y llywodraeth, i'w chwilio yn drwyadl a phenderfynol, ac i argraffu arno warthnod annileadwy dygasedd y cyhoedd. Yr wyf yn hen ac egwan, fy Arglwyddi, ac yn anabl i ddyweyd ychwaneg; ond yr oedd fy nheimladau a fy nigllonedd yn rhy gryf i ddyweyd llai. Nis gallaswn gysgu heno yn fy ngwely, na gorphwys fy mhen ar fy ngobenydd, heb roddi ffordd i'r teimlad o ddygasedd tragywyddol sydd ynof tuag at y fath egwyddorion ysgeler."

Atebodd Duc Richmond yr araeth rymus hon, a gwnaeth Chatham ymdrech i godi i siarad ar ei ol, ond yn yr ymdrech cwympodd mewn llewyg; dygwyd ef i'w balas yn Kent, a bu farw Mai 11, 1778. Caniatawyd claddedigaeth gyhoeddus iddo, a rhoddwyd ei weddillion i orwedd yn monachdŷ Westminster.

Y flwyddyn ganlynol (1779) cyhoeddodd Spain eto ryfel yn erbyn Lloegr, a dylynwyd hono gan Holland, fel yr oedd bellach y pedwar gallu cryfaf yn erbyn Lloegr ei hun. Ymddangosodd llynges anferthol o alluoedd cyfunol Spain a Ffrainc gyferbyn a Plymouth; taflwyd yr holl ynys i ddychryn; aeth y llyngesydd Hardy gyda gallu llawer llai i'w cyfarfod; ond oblegyd annghytundeb rhwng swyddogion y llynges gyngreiriol, enciliasant heb wneyd un ymosodiad.

Yn 1780 ymunodd Spain a Ffrainc i warchae ar Gibraltar a Minorca. Anfonwyd Syr George Rodney allan i India y Gorllewin, ac yr oedd i gludo gyda llaw adran i gynorthwyo amddiffynwyr

Gibraltar. Daeth y llyngesydd Ysbaenaidd (Langara) i'w gyfarfod, ac ymladdwyd brwydr gyferbyn a Phenryn St. Vincent; cymerodd a dystrywiodd Rodney holl longaû y gelyn; trosglwyddodd gynorthwy i Gibraltar a Minorca, ac aeth yn ei flaen i'r India. Yno gwnaeth orchestion bythgofiadwy; enillodd iddo ei hun anrhydedd a bri, a chasglodd ysbail oedd yn werth miliynau o bunau. Parhaodd y gwarchae ar Gibraltar am dair blynedd. Collwyd Minorca, y porthladd goreu yn Môr y Canoldir, ond cadwyd Gibraltar yn erbyn gwarchae o'r mwyaf cyndyn trwy ddewrder y llywydd Elliot, yr hwn a wobrwywyd â dyrchafiad i'r bendefigaeth dan y titl Barwn Heathfield. Enillwyd buddugoliaethau pwysig yn America hefyd gan y Cadfridogion Seisnig (Clinton a Cornwalis); a buasai holl obeithion Washington wedi diffodd oni bai cynorthwy prydlawn y Ffrancod. O'r diwedd, yn Medi, 1783, gwastadhawyd yr amrafael rhwng yr amrywiol deyrnasoedd, cydnabyddwyd annibyniaeth America, ac arwyddwyd cytundeb heddwch. Cadwodd Lloegr safle mwy ffafriol nag y dysgwylid yn amodau y cytundeb, a phrofodd dadgysylltiad y trefedigaethau yn dra manteisiol iddi; y gofid ydoedd nad allesid dwyn hyny oddiamgylch heb aberthu cynifer o filoedd o fywydau. Yn fuan wedi hyn daeth Adams fel cenadwr yr Unol Daleithiau i Lundain, a derbyniwyd ef yn roesawgar gan George III. "Er mai myfi," ebe y brenin, "oedd yr olaf yn y deyrnas i gydsynio ag annibyniaeth America; ond yn awr, gan ei fod wedi ei ganiatau, myfi fydd yr olaf i gefnogi unrhyw droseddiad arno."

Un dygwyddiad o bwys gymerodd le yr amser hwn ydoedd cyffroad yr hen elyniaeth yn erbyn y Pabyddion trwy ymgais i basio mesurau yn eu ffafr. Ffurfiwyd math o Gymanfa Brotestanaidd, gyda phendefig penwan o'r enw Arglwydd George Gordon yn ben arni. Yn Mehefin, 1780, penderfynodd ddwyn deiseb i Dŷ y Cyffredin, a dylynwyd ef gan y fath dyrfa o werin anhywaith, a barodd derfysg mawr yn y ddinas. Rhoddwyd capeli Pabyddol ac Ymneillduol ar dân, ac ysbeiliwyd a llosgwyd llawer o dai. Taflwyd carchar Newgate yn agored, a gwnaed ymosodiad ar y Banc. Parhaodd y terfysg am ddiwrnodau; ac ar y pumed dydd, gorchymynodd y brenin i'r milwyr gael eu galw allan. Saethwyd dros dri chant yn farw yn yr ystrydoedd, neu buont feirw yn yr *hospital;* a llosgwyd a mygwyd llawer gan y tân. Dienyddiwyd un ar ugain o'r terfysgwyr, a diangodd Gordon, eu blaenor, ar y sail o wallgofrwydd.

Yn 1782 dechreuodd cyfres o gyfnewidiadau eto yn y weinyddiaeth. Rhoddodd North ei weinyddiaeth anffortunus i fyny, ar ol ei orfodi gan y brenin i'w dal yn llawer hŵy nag yr ewyllysiai, ac wedi gwahanu tair miliwn o bobl oddiwrth y goron, heb son am ychwan-

egiad o gan miliwn o bunau at y ddyled wladol. Ffurfiwyd gweinyddiaeth newydd o'r blaid wrthwynebol, gyda Rockingham eto yn brif weinidog (Mai), a Fox yn un o ysgrifenwyr y llywodraeth. Tra yr oedd Burke, yr hwn oedd yn awr yn y weinyddiaeth, a William Pitt, mab Iarll Chatham, yn brysur gyda mesurau diwygiadol, bu Rockingham farw, yr hyn a barodd gyfnewidiad arall. Yn awr gwnaed Iarll Shelburne yn brif weinidog, a William Pitt yn ganghellydd y drysorgell; a rhoddodd Fox, Cavendish, a Burke, eu swyddi i fyny. Yr oedd y weinyddiaeth bresenol yn cynwys cymysgedd rhyfedd o Whigiaid a Thoriaid, ac nid oedd yn boddio y brenin na'r bobl. Felly, wedi cael ei disodli gan y Cyffredin, rhoddodd ei hymddiried i fyny. Yr oedd y brenin yn elynol i Fox, ac ymdrechai i'w gadw allan o bob gweinyddiaeth. Ond nid oedd modd gwneyd hebddo; ac yn Ebrill, 1783, ffurfiwyd gweinyddiaeth newydd dan lywyddiaeth Duc Portland; Arglwydd North a Fox yn ysgrifenwyr y llywodraeth, Cavendish yn ganghellydd y drysorgell, a Burke yn dâl-feistr y galluoedd. Cyn diwedd y flwyddyn dygodd Fox ei *India Bill* nodedig yn mlaen, er trosglwyddo y gallu o ddwylaw Cwmpeini India y Dwyrain i ddwylaw y weinyddiaeth. Pasiodd yn Nhŷ y Cyffredin gyda mwyafrif mawr; ond er llawenydd y brenin, gwrthodwyd ef gan yr Arglwyddi. Cyn diwedd y flwyddyn, dymchwelwyd y weinyddiaeth hon eto. Bellach gwnaed Pitt yn brif weinidog, Thurlow yn arglwydd ganghellydd, Carmarthen a Sydney yn ysgrifenyddion y llywodraeth; a rhoddwyd swyddi eraill i Rutland, Richmond, Howe, a Temple. Torwyd y senedd i fyny, ac yn yr etholiad newydd collodd wyth ugain o'r hen aelodau gwrthwynebol, a flaenorid gan Fox, eu lle. Yn awr yr oedd Pitt wedi enill yr oruchafiaeth; dechreuodd ymgymeryd â mesurau i wella cyflwr y deyrnas, ac arweinid y blaid wrthwynebol gan Fox.

Profodd Lloegr golledion mawr ar y môr, mewn eiddo a bywydau, yn 1782. Pan oedd y llyngesydd Graves yn dwyn amryw longau a ysbeiliasid oddiar y gelyn yn yr India Orllewinol adref, collwyd amryw o honynt, yn nghyda dwy long ryfel o eiddo Lloegr, a thair mil o fywydau, mewn ystorm. Ychydig yn ddiweddarach yn yr un flwyddyn y collwyd y *Royal George*, llong ryfel yn cynwys cant o fagnelau, mewn tymhestl gerllaw Portsmouth. Yr oedd y llyngesydd Kempenfeldt, yn nghyda mil o wŷr a gwragedd, ar ei bwrdd ar y pryd.

Pwnc pwysig yn neddfwriaeth Lloegr y blynyddoedd hyn oedd llywodraethiad India. Yr oedd y tiriogaethau eang hyny er ys blynyddau lawer yn meddiant Lloegr, a'r Cwmpeini yn arfer y gorthrymder mwyaf ar y trigolion, ac yn casglu cyfoeth yn ddifesur. Gwnaed rhai mesurau newyddion gyda golwg ar ei llywodraethiad

yn 1773, pan ddarostyngwyd hi dan lywodraethwr cyffredinol, yr hwn oedd i fyw yn Calcutta. Y llywodraethwr cyntaf oedd Warren Hastings, dyn cyfarwydd ag India, wedi treulio ei amser yn ngwasanaeth y Cwmpeini, a pharhaodd yn ei swydd am ddeuddeg mlynedd. Mynai Burke, Fox, a Sheridan, dynu llywodraeth y wlad o ddwylaw y Cwmpeini; ond trodd y brenin a'r weinyddiaeth yn eu herbyn. Dygodd Pitt fesur yn mlaen ar yr achos, pan sefydlwyd y Bwrdd Llywodraethol; ond ni wnaeth hyn nemawr oddigerth symud y gormes o un llaw i law arall. Dygwyd cyhuddiad yn erbyn Hastings, gan Dŷ y Cyffredin, o gam-arfer ei awdurdod; parhaodd y prawf am flynyddoedd, ac o'r diwedd, yn 1795, cafodd ei ryddhau, er na phrofwyd ei ddiniweidrwydd. Anfonwyd Arglwydd Cornwalis allan fel y llywodraethwr cyffredinol, a'r maeslywydd newydd.

## II.—GEORGE III.—YR AIL RAN, 1789—1802.

DYGWYDDIAD mawr yn y flwyddyn 1789 ydoedd y Chwyldroad Ffrengig, yr hwn a roddodd ysgydwad i holl deyrnasoedd Ewrop, ac a ddygodd gyfnod newydd yn hanes y byd. Mae y Chwyldroad hwn yn un o'r dygwyddiadau mwyaf dychrynllyd a phwysig a gymerodd le yn hanes unrhyw genedl. Er fod gwell brenin yn eistedd ar orsedd y wlad y pryd hwnw—Louis XVI.—nag a fu er ys amryw oesoedd; eto yr oedd y bendefigaeth mor falch a gormesol, y trethi yn drymion, ac yn trymhau, a'r rhai hyny yn disgyn ar ysgwyddau y bobl yn unig, gan fod y pendefigion a'r clerigwyr yn rhydd; yr oedd llwyddiant y gwrthryfel Americanaidd o flaen eu llygaid, ac ysgrifau athronwyr anffyddol yn eu cyffroi. Ac o'r diwedd cyrhaeddodd pethau eu heithafnod, a thaflodd cenedl o gaethion hen lyffetheiriau oesol oddiam danynt, gan hyrddio eu hunain yn wallgof i ganol tryblith o derfysg a gwrthryfel. Torodd y Chwyldroad allan gyda nerth aruthrol, gan ysgubo cyfraith a chyfiawnder o'i flaen, a gosod holl Ewrop benben mewn rhyfel, yr hwn a barhaodd am oddeutu chwarter canrif, ac a derfynodd yn narostyngiad ucheldrem Ffrainc gan deyrnasoedd cyngreiriol Ewrop.

Ni pherthyn i ni yma roddi hanes y Chwyldroad Ffrengig; ond yn unig dyweyd i'r bobl godi dan arweiniad blaenoriaid heb fod o'r cymeriadau goreu, cymeryd y llywodraeth i'w dwylaw eu hunain, difodi y bendefigaeth, tori pen eu brenin diniwed, Louis XVI., a chyflawni creulonderau o'r mwyaf erchyll, mewn ysbryd na chlybuwyd erioed am y cyffelyb. Llusgwyd y frenines eilwaith i'r esgynlawr dyoddef, a thorwyd ei phen, diraddiwyd a gorthrymwyd eu plant hyd farwolaeth, a chadwyd y *guillotine** dan ffrydiau brwd

*Offeryn at dori penau, a ddyfeisiwyd gan Dr. Guillotin.

o waed gwŷr a gwragedd, am lawer o fisoedd. Yr oedd yr holl awdurdod yn nwylaw penboethiaid anffyddol, y rhai a ddirmygent yn gyffelyb ddynoliaeth a chrefydd, a phob sefydliadau daionus. Ail drefnwyd calaniadur y flwyddyn, dyddimwyd y Sabbath, yn nghyda phob addoliad dwyfol, a phenodwyd pob degfed dydd yn ei le yn ddydd o ddifyrwch a gwleddoedd. Ceisid perswadio y bobl i gredu fod marwolaeth yn gwsg tragywyddol, a sefydlu addoliad llygredig i Reswm. Nid oedd llywodraeth na dyogelwch i fywyd na meddianau yn y wlad; hyrddid miloedd o drueiniaid i'r marwolaethau creulonaf, heb sail nac achos,* a phriodol iawn y galwyd yr adeg hon yn Ffrainc, yn "Deyrnasiad Dychryn." Cafodd y Chwyldroad yma ddylanwad pwysig ar Loegr. Edrychai un dosbarth arno ar y cyntaf gyda boddhad a chymeradwyaeth, a chanfyddent ynddo ddymchweliad gormes, a gwawr rhyddid gwladol. O'r cyfryw yr oedd Fox, a chyhoeddodd ei syniadau cymeradwyol yn y senedd yn 1790. Yr oedd ei hen gyfaill Burke yn teimlo yn hollol wahanol, a chynyrchodd yr annghydwelediad ymraniad hollol ac am byth rhyngddynt. "Mae y Ffrancod," ebai Burke wrth ateb Fox, "wedi profi eu hunain yr adeiladwyr dinystr galluocaf a ymddangosodd hyd yma yn yr holl fyd; mewn un haf byr tynasant i lawr eu breniniaeth, eu heglwys, eu pendefigaeth, eu cyfraith, eu byddin, a'u cyllidau. Ein perygl presenol ni yw cael ein harwain o fawrygu i efelychu amryfusedd pobl nad yw eu llywodraeth ond terfysg, na'u crefydd ond anffyddiaeth." Ychwanegai fod "symudiadau y Ffrancod yn haeddu y dygasedd mwyaf, ac y buasai ef yn colli y dyferyn diweddaf o'i waed, yn cefnu ar ei gyfeillion goreu, ac yn ymuno â'i elynion mwyaf penderfynol, er gwrthwynebu dylanwad y fath ysbryd yn Lloegr." Ac er i Sheridan ei ddifrio, a Fox geisio ei dawelu, daliodd Burke yn ddiysgog, a chanlynodd ymraniad yn y blaid Whigaidd, trwy i amryw o honynt gymeryd ochr Burke yn erbyn pleidwyr y Chwyldroad.

Ysgrifenodd Burke yn fuan ei Fyfyrdodau ar y Chwyldroad Ffrengig, yr hyn a dynodd atebion aflwyddianus oddiwrth Dr. Priestley a Tom Paine. Beth bynag, cafodd llyfr yr olaf (*Rights of Man*) ledaeniad eang, ac nid yw ei ddylanwad llygredig wedi ei golli hyd y dydd hwn. Yr oedd berw y Chwyldroad Ffrengig yn effeithio yn ddwys y tu allan i'r senedd yn y wlad hon, yn gystal ag o'i mewn. Ffurfiwyd amryw glybiau diwygiadol yn Llundain, a gohebai y rhai hyny â'r Gymanfa Genedlaethol yn Paris. Ond yn nechreu 1793, ar ol dienyddio eu brenin, cyhoeddodd Gweriniaeth Ffrainc ryfel yn erbyn Lloegr, a darparodd fyddin fawr i'w goresgyn. Bwriodd penaduriaid Ewrop eu penau yn nghyd i

*Dywedir i dros bum mil gael tori eu penau, a'u llofruddio yn Paris yn unig.

wrthsefyll y Ffrancod; a phe buasai ychydig o fedr, doethineb, a chydweithrediad yn eu mysg, buasai y gorchwyl yn hawdd, a buasent yn arbed blynyddau blinion i holl deyrnasoedd y Cyfandir. Ond, yn anffodus, nid oedd hyny i'w cael. Er fod Pitt yn ddyn galluog, nid oedd yn meddu ar gymhwysderau ei dad i gynllunio a llywyddu rhyfeloedd. Trodd amryw o'i fesurau yn aflwyddianus, aeth y galluoedd cyngreiriol yn erbyn eu gilydd, ac enillai y Ffrancod fuddugoliaethau pwysig ar y Cyfandir; ond ar y moroedd, yn mhell ac yn agos, yr oedd Lloegr yn fwy llwyddianus, a'r Ffrancod yn colli. Enillodd Jervis, Grey, a Howe, fuddugoliaethau clodfawr ar y Ffrancod a'r Dutch, yn India y Gorllewin, a Phenrhyn Gobaith Da.

Yn mysg rhyfelwyr Ffrainc a Lloegr yn awr, cawn ddau filwr nodedig yn dechreu codi i sylw, sef y milwriad Wellesley, wedi hyny yr enwog Dduc Wellington, a Napoleon Buonaparte. Yn Holland yn gwrthwynebu y Ffrancod y ceir y cyntaf yn cychwyn ar ei fywyd o enwogrwydd milwrol; ac ar yr un amser cawn Buonaparte yn llywydd y magnelau yn Toulon yn gwrthwynebu Arglwydd Hood, pan yn 24ain oed. Ganwyd y ddau ryfelwr enwog yr un fl. (1769).

Blwyddyn flinderus yn Lloegr oedd 1797. Yr oedd amryw o fesurau y llywodraeth yn anmhoblogaidd, y rhyfel wedi trymhau y trethi, a'r bobl yn gwingo danynt. Anfonwyd Arglwydd Malmesbury drosodd i Ffrainc i geisio cytuno ar amodau heddwch; ond, yn anffodus, dychwelodd yn aflwyddianus. Ofnid goresgyniad yr ynys gan y Ffrancod, y rhai oeddent yn enill buddugoliaethau pwysig ar y Cyfandir. Parodd yr ofn hwn i'r bobl wneyd y fath alw am eu harian o'r Banc, fel y gorfu i'r llywodraeth atal y Banc i dalu i neb oddigerth mewn *bank notes;* a chanlynodd trafodaeth bwysig yn y wlad trwy arian papyr. Gwaeth na hyn ydoedd y gwrthryfel a dorodd allan y flwyddyn hon yn y llynges. Y cyntaf oedd yn Portsmouth, pan wrthododd y milwyr ufuddhau i'w swyddogion, gan gwyno yn benaf am fychandra eu cyflog, a llymdra eu dysgyblaeth. Cafwyd fod y cwyn yn gyfiawn; unionwyd y camwri, a thawelwyd yr amrafael. Ond gyda hyny daeth y newydd am wrthryfel mwy pwysig fyth yn llynges Môr y Gogledd, yn y Nore. Cymerodd hwnw agwedd mwy bygythiol dan arweiniad milwr gwrol o'r enw Richard Parker. Parodd hwn gyffro mawr yn y wlad hon. Ond rhoddodd y gwrthryfelwyr i fyny cyn i bethau fyned yn mhell; dienyddiwyd Parker ac ychydig eraill, codwyd cyflog y milwyr, a daeth pob peth i'w le.

"Yr oedd yn anffodus," meddai Wade, "i gyflafareddiad Malmesbury fethu. Pe penderfynasid ar heddwch, cawsai gwareiddiad Ewropaidd ei brysuro ugain mlynedd. Buasai pedwar can miliwn o bunau yn llai o ddyled ar Loegr; ni fuasai y gwrthryfel Gwyddelig,

gwrthryfel y llynges, nac ataliad y Banc, wedi cymeryd lle. Ni fuasai Colofn Nelson na Bwa Waterloo wedi eu codi; a buasai prif ddinasoedd y Cyfandir wedi ysgoi eu darostyngiad gan estroniaid. Ni fuasai Moscow wedi ei llosgi, na haner miliwn o filwyr wedi eu rhwygo a'u lladd gan lymdra gauaf Rwsiaidd."

Enillwyd dwy fuddugoliaeth forawl bwysig y flwyddyn hon; y naill gan y llyngesydd Jervis ar yr Ysbaeniaid, ger Cape St. Vincent. Codwyd y llyngesydd mewn canlyniad i'r bendefigaeth, dan y titl o Iarll St. Vincent, er y priodolid y goncwest i wroldeb Nelson, yr hwn hefyd a wnaed yn farchog. Mewn brwydr aflwyddianus arall yn Teneriffe, y flwyddyn ganlynol, y collodd Nelson ei fraich. Y fuddugoliaeth arall a enillwyd gan y llyngesydd Duncan, ar y Dutch, yn agos i Camperdown, ar draeth Holland, yn fuan wedi gwastadhau yr ymrafael yn mysg ei wŷr yn y Nore. Codwyd Duncan hefyd, ar ei ddychweliad adref, i'r bendefigaeth, dan y titl o Is-iarll Duncan o Camperdown. Yn Chwefror yr un flwyddyn y daeth pedair o longau Ffrengig i'r Bristol Channel, a glaniasant 1400 o wŷr yn Abergwaen, yn Sir Benfro. Prysurodd Arglwydd Cawdor gyda thair mil o wŷr i'w cyfarfod; ond rhoddodd y Ffrancod eu harfau i lawr, a'u hunain i fyny, ac ni ddeallwyd beth allai eu hamcan fod, oddigerth y tybient fod deiliaid Lloegr yn barod i godi mewn gwrthryfel.

Yn 1798 addfedodd aflonyddwch Iwerddon eto i wrthryfel. Yr oedd tlodi, annhrefn, a gorthrymder yn blino ysbryd y wlad anffodus hon trwy y blynyddoedd. Yr oedd hyn yn cael ei achosi, mewn rhan, gan sefyllfa y wlad ei hun, ac mewn rhan gan gamlywodraeth o du Lloegr. Yr oedd senedd Iwerddon, yn wahanol i eiddo Lloegr, i barhau dros ystod y teyrnasiad, a llywodraeth ei hachosion yn cael ei chyfyngu i ddwylaw ychydig o bersonau. Nid oedd ei senedd yn wir ond peth mewn enw, gan nad oedd gan yr aelodau awdurdod i gynyg unrhyw fesur heb iddo yn gyntaf gael ei gymeradwyo gan gynghor y llywodraeth yn Llundain. Yr oedd mân-derfysgoedd mynych yn tori allan, a phleidiau gwahanol o Brotestaniaid a Phabyddion yn ymffurfio yma a thraw, ac yn bygwth drwg. Wedi gweled America yn llwyddo i dori ei chysylltiad â Phrydain, a sefydlu ei hannibyniaeth, penderfynodd amryw o'r pleidiau hyn ymuno â'u gilydd, a chynllunio gweriniaeth yn ol esiampl Ffrainc, ac efelychu y Chwyldroad dychrynllyd hwnw. Yn ffodus, cafwyd gwybodaeth am y fradwriaeth, ychydig cyn fod yr amser penodedig i godi i fyny, a daliwyd amryw o'r blaenoriaid. Ond er colli eu blaenoriaid, cododd y bobl wrth y miloedd, a chyflawnwyd creulonderau annghydmarol. Daeth y Cadfridog Lake â byddin i'w darostwng; ond nid ymostyngasant hyd nes ymladd brwydrau gwaedlyd, dyoddef colledion dirfawr, a chyflawni creulonderau rhy erchyll i'w

hadrodd. Aeth Arglwydd Cornwalis drosodd yn olynydd Arglwydd Camden, fel arglwydd raglaw, a chyhoeddodd fod y gwrthryfel wedi darfod, yn nghyda maddeuant i'r holl wrthryfelwyr, oddigerth ychydig o'r blaenoriaid.

Ond yn Awst eilwaith glaniodd 1100 o Ffrancod, dan lywyddiaeth y Cadfridog Humbert, yn Killala (Iwerddon); ymunodd amryw o'r trigolion Pabyddol ag ef, ac aethant yn mlaen i ganol y wlad. Gorchfygodd Lake a Hutchinson yn Castlebar; ond yn mhen ychydig ddyddiau daeth Cornwalis â byddin o 20,000 yn ei erbyn yn Bullinamuck, a gorfodwyd ef a'i wŷr i roddi eu hunain i fyny fel carcharorion rhyfel. Felly terfynwyd y gwrthryfel yn Iwerddon, wedi colled o ddeng mil ar ugain o fywydau, a dinystr gwerth miliwn o bunau o feddianau.

Yn mhen dwy flynedd unwyd seneddau Iwerddon a Lloegr yn un; pasiwyd mesur i'r perwyl hwnw yn senedd Iwerddon yn Mawrth, derbyniodd y sel freninol Gorphenaf 2il, 1800, ac yr oedd i gymeryd lle Ionawr 1af, 1801. Ei brif wrthwynebwyr yn neddfwriaeth Lloegr oedd Holland, King, Thanet, Grey, a Sheridan. Cynwysai fod wyth ar ugain o arglwyddi tymhorol, wedi eu hethol dros eu bywyd gan bendefigion Iwerddon, a phedwar o arglwyddi ysbrydol, ar gylch, i eistedd yn Nhŷ yr Arglwyddi; a chant o aelodau i eistedd yn Nhŷ y Cyffredin; fod eglwysi Lloegr ac Iwerddon i gael eu huno yn un eglwys esgobol Brotestanaidd; fod holl ddeiliaid Prydain Fawr a'r Iwerddon i feddu yr un rhagorfreintiau gyda golwg ar fasnach a morwriaeth, a chyda golwg ar gytundebau a galluoedd tramor; a bod cyfreithiau a llysoedd y naill deyrnas a'r llall i barhau fel yr oeddent, ond yn ddarostyngedig i unrhyw welliadau a farnai y senedd gyfunol yn angenrheidiol. Felly yr unwyd y ddwy wlad, ac nid yw yn debyg y gwahenir hwy byth mwy.

Yn Mai, 1798, hwyliodd y Cadfridog Buonaparte allan o Toulon gyda byddin o ugain mil, a llynges nerthol, i fyned i ddarostwng yr Aipht, ac ar fedr goresgyn tiriogaethau Lloegr yn India y Dwyrain. Cymerodd ynys Malta ar ei ffordd, a glaniodd yn llwyddianus yn Alexandria yn Gorphenaf. Mor gynted ag y deallwyd yn Lloegr am yr hynt hon, anfonwyd Syr Horatio Nelson gyda phedair ar ddeg o longau rhyfel i weled a allai wneyd rhyw beth i'w rhagflaenu. Cafodd Nelson y gelyn yn môr Aboukir, wrth wddf yr afon Nile, gerllaw Alexandria. Arweinid y llynges Ffrengig gan y llyngesydd Brueys, ac er eu bod yn gryfach na'r Saeson, penderfynodd Nelson ar ymosodiad dioed. Dechreuodd y frwydr ar y 1af o Awst, a pharhaodd yn ddidor hyd ddau o'r gloch dranoeth, pan gafwyd nad oedd ond dwy o longau y Ffrancod wedi dianc, dwy wedi eu llosgi, a naw wedi eu cymeryd. Collasant dros bum mil o

wŷr, a'u llyngesydd yn eu mysg, pryd nad oedd lladdedigion a chlwyfedigion Lloegr yn cyrhaedd mil. Gwobrwywyd Nelson am ei wroldeb a'i lwyddiant digyffelyb â barwniaeth, gyda blwydd-dâl o ddwy fil o bunau. Anrhegodd brenin Naples ef hefyd â duciaeth Bronte, gydag etifeddiaeth yn Sicily. Dyrysodd hyn gynlluniau Buonaparte gyda golwg ar India. Beth bynag, darostyngodd yr Aipht, ac yn Mawrth, 1799, gosododd warchae ar Acre yn Syria. Cynorthwywyd y *pasha* i amddiffyn y ddinas hono gan Syr Sidney Smith, a gorfodwyd Buonaparte i godi y gwarchae. Rhoddodd hyn atalfa ar ei hynt, a dychwelodd ef ac ychydig o'i swyddogion gyda brys i Paris. Trwy gyfrwysdra beiddgar llwyddodd i ddymchwelyd y weriniaeth, a elwid y *Directory*, a gwnaeth ei hun yn Benconsul y llywodraeth. Cynygiodd amodau heddwch i Loegr yn ddioed, ond ni dderbyniwyd hwynt, am nad oedd Lloegr yn barod i gydnabod ei awdurdod.

Yr oedd Pitt wedi ymrwymo i geisio symud i ffwrdd anaddasrwydd Pabyddol, ond cafodd y brenin mor gyndyn o wrthwynebol fel y rhoddodd ei swydd i fyny yn 1801, a chanlynwyd ef gan Addington (wedi hyny Arglwydd Sidmouth), llefarydd Tŷ y Cyffredin. Cyfarfyddodd y llywodraeth ag anhawsderau mawrion trwy waith y galluoedd Gogleddol,—Rwsia, Sweden, Denmark, a Prwsia, y rhai oeddent mewn heddwch â Ffrainc—yn ymuno â'u gilydd i sefyll ar dir canolog, er mwyn rhwystro hawl ymchwiliad o du Ffrainc a Lloegr. A chan mai Lloegr oedd brenines y moroedd, yr oedd yn amlwg fod y cyngrair yn cael ei fwriadu yn ei herbyn hi. Wedi methu dyfod i delerau trwy foddion teg, penderfynwyd cymeryd llwybr garw. Anfonwyd llynges i'r Baltic dan lywyddiaeth Syr Hyde Parker, a Nelson yn ail mewn awdurdod. Ymladdwyd brwydr â'r Daniaid gyferbyn a Copenhagen, pryd yr enillodd Nelson ychwaneg o glod fyth. Dywed y gwron hwnw mai hon oedd y frwydr ffyrnicaf a welodd erioed. Cymerwyd a llosgwyd holl longau y gelyn, a gwnaed Nelson yn is-iarll (*viscount*). Torodd y fuddugoliaeth hon, yn nghyda llofruddiad yr ymerawdwr Paul, ac esgyniad Alexander, y cyngrair rhwng y galluoedd. Tua'r un amser, enillodd Syr Ralph Abercrombie fuddugoliaeth nodedig ar y Ffrancod yn Alexandria, er iddo ef ei hun dderbyn archoll farwol. Dylynwyd Abercrombie gan Hutchinson, a chyn diwedd y flwyddyn, yr oedd yr Aipht wedi ei hadenill oddiar y Ffrancod, ac wedi ei hadferu i'r Twrc.

Yr oedd Buonaparte yn awr, ar ol gorchfygu yr Awstriaid yn Itali a Germany, yn gwneyd darpariadau mawrion i ymosod ar Loegr, a Lloegr hithau yn darparu yn egniol i'w wrthsefyll. Heblaw galluoedd cyflogedig o rhwng tri a phedwar can mil, llanwyd y deyrnas o ryddfrydwyr, y rhai oeddent yn barod i golli

eu gwaed er amddiffyn eu rhyddid a'u gwlad. Ond yr oedd angen heddwch ar Buonaparte yn awr; a Mawrth 25ain, 1802, arwyddwyd cytundeb heddwch yn Amiens. Dychwelodd Lloegr yr oll a gymerodd, oddigerth Trinidad, a'r Sefydliadau Dutchaidd yn Ceylon. Daliodd Ffrainc y rhan fwyaf o'i chaffaeliadau ar y Cyfandir, ond yr oedd Malta (yr hon a gymerwyd gan Loegr yn 1800) i'w rhoddi yn ol i Farchogion St. John.

Dylasem ddyweyd i sel fawr Prydain gael ei rhoddi i fyny i'w dinystrio yn nechreu 1801, cyn cyfarfyddiad y senedd ymerodrol, ac i sel newydd gael ei rhoddi i'r canghellydd yn ei lle. Gwnaed baner newydd hefyd, a thair croes arni; croes St. George yn cynnrychioli Lloegr; croes St. Andrew, Ysgotland; a chroes St. Patrick, Iwerddon.* Dyrchafwyd hi yn Llundain, Edinburgh, a Dublin, yn nghanol twrf magnelau.

## III.—GEORGE III., RHAN Y DRYDEDD, 1802—1820.

NID oedd heddwch Amiens ond o fyr barhad; ac y mae yn amlwg mai amcan Napoleon wrth ei geisio ydoedd cael hamdden i wneyd darpariadau rhyfelgar. Galwyd cenadwr Lloegr adref o Paris, cyhoeddwyd rhyfel eto â Ffrainc, a gorchymynwyd cymeryd yr holl longau Ffrengig oedd yn mhorthladdoedd y deyrnas hon i fyny. Gorchymynodd Napoleon yntau gymeryd i fyny holl ddeiliaid Lloegr o fewn y tiriogaethau Ffrengig; a thaflwyd deng mil o Brydeiniaid i garchar, ac ni ryddhawyd llawer o honynt hyd 1814. Agorodd y brenin y senedd (Tachwedd, 1803), gydag araeth dra phoblogaidd oddiar yr orsedd. "Yr wyf yn ymuno â fy mhobl ddewr a dyngarol," meddai, "mewn un achos cyffredinol; a fy mhenderfyniad diysgog yw, os daw y cyfleusdra, i gyfranogi o'u hymdrechion a'u peryglon yn amddiffyniad ein cyfansoddiad, ein crefydd, ein cyfreithiau, a'n hannibyniaeth."

Yr oedd Syr Arthur Wellesley yn enwogi ei hun, ac yn dyrchafu ei enw yn awr trwy fuddugoliaethau nodedig ar benaethiaid brodorol India, y rhai oeddent wedi dychrynu wrth gynydd y gallu Prydeinig yno. Ond gan fod rhyfel peryglus â Ffrainc yn bygwth, yr oedd yn rhaid cael darpariadau priodol gartref, a chael gweinyddiaeth mwy galluog i lywio y llywodraeth. Felly rhoddodd Addington ei swydd i fyny, Mai, 1804, ac adferwyd Pitt i'w le fel prif weinidog. Yr un mis cyhoeddodd Buonaparte ei hun yn Ymerawdwr y Francod, dan y titl o Napoleon I., a gorchymynodd i'r pab ddyfod ar ei unswydd o Rufain i Paris i'w goroni.

Yr oedd yn amlwg fod gan Napoleon yn awr gynlluniau eang gyda golwg ar ddarostwng Lloegr; ac yr oedd Lloegr hithau yn

*Gelwir hi yn *Union Jack*. Morwyr dan deyrnasiad James I. roddodd yr enw *Jack* iddi, oblegyd i James ysgrifenu ei enw yn "Jacques" ar y faner genedlaethol.

effro ar ei gwyliadwriaeth, ac yn parotoi ar gyfer y gwaethaf. Rhoddwyd llynges nerthol dan lywyddiad Arglwydd Nelson yn Môr y Canoldir. Ffurfiwyd cyngrair rhwng y deyrnas hon ag Awstria, Rwsia, a Sweden, ac nid oedd yr un gallu pwysig wedi ei adael mewn undeb â Ffrainc, oddigerth Spain. Hydref 21, 1805, yr ymladdwyd brwydr Trafalgar (yn Spain) rhwng llynges Lloegr, dan Nelson, a llyngesoedd unol Ffrainc a Spain, dan lywyddiad Villeneuve a Gravina, ac yr enillodd Lloegr y fuddugoliaeth forwrol benaf yn ei holl hanes. Yr oedd galluoedd Lloegr yn cael eu harwain yn ddwy golofn, y naill gan Nelson yn y *Victory*, a'r llall gan Collingwood yn y *Royal Sovereign*. Cyfarchiad byth-gofiadwy Nelson i'w wŷr ydoedd, "*Mae Lloegr yn dysgwyl i bob dyn wneyd ei ddyledswydd!*" Ond, fel Wolfe o'i flaen, syrthiodd y gwron ar foment y fuddugoliaeth, a chymysgwyd y llawenydd â phrudd-der a galar. Er nad oedd gan Nelson ond 31 o longau yn erbyn 40 gan y gelyn, enillodd fuddugoliaeth lwyr; cymerodd 19 o longau, llosgodd un arall, a gwnaeth alanasdra dychrynllyd ar ei elynion. Derbyniodd fwled farwol ar fwrdd ei long, yn ei ysgwydd, a bu farw gan ddyweyd, "Diolch i Dduw, gwnaethum fy nyled-swydd." Felly dinystriwyd llynges Ffrainc, dyryswyd cynllun Napoleon, a gwaredwyd y deyrnas am dro oddiwrth ofn goresgyniad gan y Ffrancod.

Yn Ionawr, 1806, bu farw Pitt, yn y 47ain mlwydd o'i oedran, yn nghanol tlodi a dyledion, ar ol dal prif lywyddiaeth y deyrnas yn ei law am fwy nag ugain mlynedd. Claddwyd ef ar draul y wladwriaeth yn monachdy Westminster, a rhoddodd y senedd ddeugain mil o bunau tuag at dalu ei ddyledion. Ffurfiwyd gwein-yddiaeth Whigaidd newydd, yr hon a elwid "Yr holl dalentau,"* gydag Arglwydd Grenville yn brif weinidog, Fox yn ysgrifenydd tramor, ac Arglwydd Henry Petty (ardalydd presenol Lansdowne) yn ganghellydd y drysorgell. Cynygiodd Fox yn ddioed ar sefydlu heddwch; ond cafodd fod hyny yn anhawdd; ac er cymaint ydoedd dros heddwch, ni fynai aberthu gronyn o'r anrhydedd cenedlaethol er mwyn ei bwrcasu.

Y flwyddyn hon y gwobrwywyd ymdrechion Wilberforce, yn ngwaith y senedd yn pasio mesur i ddyddimu y gaethfasnach Brydeinig, i'r hwn achos yr oedd wedi cysegru ei holl fywyd. Cafodd gynorthwy pwysig oddiwrth Fox a Pitt; ond bu yr olaf farw cyn i'r bil ddyfod yn gyfraith, a chyhuddir ef o foddloni ar ddatgan erchylldra y fasnach trwy y blynyddoedd, heb daflu pwysau ei ddylanwad difesur tuag at ei dyddimu. Ond yr oedd calon Fox yn gymaint yn y mesur, fel y dywedai, pe nas gallasai ond cyrhaedd yr un amcan hwn yn ystod bywyd gwleidyddol o agos

*Gwatwareg arnynt oblegyd eu honiadau.

deugain mlynedd, y buasai yn cefnu ar ei waith gyda boddhad ymwybodol ddarfod iddo gyflawni ei ddyledswydd. Ar gynygiad Fox, yn senedd 1806, dedfrydwyd y fasnach annynol i'w thranc, fel masnach "wrthwynebol i egwyddorion cyfiawnder, dynoliaeth, a llywodraeth dda;" ac anfonodd y senedd gyda llaw gyfarchiad at y brenin yn dymuno arno wneyd ei oreu i gael gan deyrnasoedd eraill fabwysiadu yr unrhyw fesur. Cyn diwedd y flwyddyn, canlynwyd Pitt i'w fedd gan ei hen wrthwynebydd talentog, Fox; ac felly, ar adeg mor bwysig, collodd Lloegr ei dau brif wleidiadwr, a gadawyd hi fel llong heb gadben ar ganol môr terfysglyd. Bydd enw yr haelfrydig Charles James Fox mewn coffadwriaeth anfarwol am ei ymdrechion di-ildio o blaid rhyddid ei wlad, ac yn arbenig mewn cysylltiad ag enw Wilberforce yn nyddimiad y gaethfasnach, ac ag enw Erskine yn ngwelliant cyfraith enllib. Dymchwelwyd y weinyddiaeth yn fuan trwy fesur a ddygwyd yn mlaen er rhyddhau y Pabyddion, a gosodwyd Duc Portland yn ben i weinyddiaeth newydd, gyda Percival yn ganghellydd y drysorgell, Canning yn ysgrifenydd tramor, Arglwydd Eldon yn ganghellydd, Castlereagh yn ysgrifenydd rhyfel, a Hawkesbury yn ysgrifenydd cartrefol. Torwyd y senedd i fyny, a thrwy godi eu llef yn erbyn Pabyddiaeth, cafodd y weinyddiaeth fwyafrif dirfawr yn yr etholiad newydd.

Yr oedd Napoleon erbyn hyn wedi tori nerth Awstria yn mrwydr Austerlitz—y fuddugoliaeth fwyaf ysblenydd a enillodd erioed. Darostyngodd wedi hyny Prwsia a Rwsia trwy fuddugoliaethau nodedig Jena a Friedland, a chytunwyd ar delerau heddwch rhyngddynt yn Tilsit, Mehefin, 1807. Yn ol penderfyniadau Berlin, cyhoeddodd holl borthladdoedd Prydain yn gauedig, a gwaharddodd holl deyrnasoedd gorchfygedig y Cyfandir i wneyd unrhyw fasnach â'r porthladdoedd hyny. Dylynwyd ei esiampl gan Loegr trwy wneyd y cyffelyb gyhoeddiad yn erbyn porthladdoedd Ffrainc. Safai Napoleon yn awr fel gorchfygwr Ewrop, ac yn ben ar yr holl genedloedd. Nid oedd ond Lloegr bellach heb ei darostwng; ac er fod hono wedi profi ei hun yn feistres y moroedd, nid oedd ef eto yn anobeithio am ei darostyngiad. Yr oedd Lloegr hithau wedi rhoddi ei bryd ar ddarostwng balchder Napoleon; ac wedi saith mlynedd o frwydrau gwaedlyd, cafodd ei dymuniad.

Gan y dysgwylid y buasai Napoleon yn cymeryd meddiant buan o Denmark, penderfynwyd ei ragflaenu, ac anfonwyd ugain mil o wŷr i'r Baltic, dan Arglwydd Cathcart, i geisio gan y deyrnas hono roddi ei holl lynges i fyny i ddwylaw Lloegr, ac y buasid yn eu dychwelyd mor gynted ag yr adferid heddwch. Gwrthododd Denmark y cais, a phenderfynwyd tânbeleni Copenhagen. Ond yn mhen rhai dyddiau, ymostyngodd Denmark, a dygwyd ei llongau a'i hystorfeydd drosodd i'r wlad hon. Yr oedd hyn yn ymddygiad gorthrymus

yn ddiau; eto yr oedd sefyllfa y Cyfandir, ac ystrywiau Napoleon, yn rhyw esgusawd drosto. Yn 1808 diorseddodd Napoleon Ferdinand VII., o Spain, a rhoddodd ei orsedd i'w frawd ei hun, Joseph. Hyn oedd achos rhyfeloedd nodedig yr Orynys (*Peninsular Wars*).

Bendithiwyd Lloegr ag ail Marlborough erbyn yr amseroedd blinion a pheryglus hyn, yn mherson Wellesley, yr hwn a wnaed y pryd hwn yn Arglwydd Wellington. Nis gallwn yma ei ddylyn yn ei frwydrau ffyrnig a gwaedlyd â Napoleon a'i gadfridogion yn Spain a Portugal, a'i fuddugoliaethau clodfawr yn Talavera, Badajos, Salamanca, Vittoria, a Sebastian. Yr oedd cyn hyn wedi darostwng y Mahrattas yn India, tra yr oedd ei frawd, Ardalydd Wellesley, yn llywodraethwr cyffredinol y wlad; ac yn awr gyrodd y gormesdeyrn Napoleon a'i holl wŷr allan o diriogaethau Spain, cododd ei faner o fewn terfynau Ffrainc ei hun, a thrwy ei fuddugoliaethau sefydlodd annibyniaeth Ewropaidd.

Yr oedd George III. yn awr wedi cyrhaedd 70ain mlwydd oed, a chafodd claddedigaeth ei ferch, y dywysoges Amelia, yn 1810, y fath argraff ar ei feddwl, fel y dygodd ddyryswch ar ei synwyrau. Yn y flwyddyn ganlynol, wrth weled fod y dyryswch hwn yn para, gwnaed ei fab, Tywysog Cymru, yn rhaglaw i lywio achosion y deyrnas. Yn 1812 llofruddiwyd Mr. Percival, yr hwn oedd yn brif weinidog, trwy ergyd o lawddryll, yn nghyntedd Tŷ y Cyffredin, gan un Bellingham, yr hwn oedd dan yr argraff fod y llywodraeth wedi gwneyd cam â'i amgylchiadau. Gwnaed Hawkesbury, yn awr Arglwydd Liverpool, yn brif weinidog; ac yn ei weinyddiaeth ef y cawn enw Robert Peel, yr hwn a ddaeth wedi hyny i gymaint enwogrwydd, yn ysgrifenydd Iwerddon.

Y flwyddyn hon (1812) yr arweiniodd Napoleon oddeutu haner miliwn o wŷr i Rwsia, i fflangellu yr ymerawdwr, ac i ddymchwelyd ei ymerodraeth. Wedi myned trwy anhawsderau mawrion, cyrhaeddodd y brif-ddinas, Moscow, a chymerodd feddiant o honi. Ond rhoddodd y Rwsiaid y ddinas ar dân, ac amddifadwyd y Ffrancod o unrhyw loches yn ngerwinder gauaf gogleddol.* Yno y gorchuddiwyd y rhyfelwyr, y meirch, y gynau, a'r ystorfeydd gan drwch aruthrol o eira, a gadawyd ugeiniau, ïe, canoedd o filoedd yn gelaneddau rhewedig dros wyneb y wlad. Parodd y trychineb hwn i amryw o'i gyngreiriaid ei adael, ac o'r diwedd gyngreirio eto yn ei erbyn. Ond dychwelodd Napoleon i Ffrainc, casglodd fyddin

*Yr oedd llosgiad Moscow yn un o'r tânau mwyaf dychrynllyd ag sydd a hanes am dano. Yr oedd yn poethi cymaint ar fur y tŷ lle yr arosai Napoleon, yr hwn oedd dair milldir o bellder oddiwrth y ddinas, gymaint fel nas gallesid goddef y llaw arno. "Yr oedd fel ymddangosiad môr a'i donau yn dân," meddai yr ymerawdwr; "a'r wybren a'r cymylau oll yn fflam. Mynyddoedd o fflamiau cochion, fel tonau aruthrol y môr, yn ymdori allan, ac yn ymddyrchafu i'r wybren danllyd, ac eilwaith yn suddo i'r fflam odditanodd. Oh, yr oedd yr olygfa fwyaf ardderchog, fwyaf arddunol, a'r fwyaf arswydus a welodd y byd erioed!"

newydd, a daliodd yn mlaen i ymladd, ac i enill buddugoliaethau pwysig. Ond erbyn dechreu Ebrill, 1814, yr oedd ei holl obeithion wedi diflanu, a'r cyngreiriaid wedi cymeryd meddiant o Paris. Ar yr 11eg o'r mis hwnw gwnaeth gytundeb â'i wrthwynebwyr, yn mha un yr oedd i roddi yr ymerodraeth i fyny, ond i gadw y titl ymerawdwr, ac i fyned, ar ei ddymuniad i hun, i breswylio i Ynys Elba. Y pryd hwn adferwyd teulu Bourbon, a chodwyd Louis XVIII. i orsedd Ffrainc.*

Yn y cyfamser yr oedd *Congress* America wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn Lloegr (Mehefin, 1812), ac yn gwneyd darpariadau i oresgyn Canada. Achoswyd hyn yn benaf gan gydymdeimlad y llywydd, Madison, â Napoleon. Anfonwyd adran o fyddin Wellington dros yr Atlantic, a pharhaodd brwydrau gwaedlyd am fwy na blwyddyn. Cymerwyd Washington, llosgwyd ei phrif adeiladau a'i dociau, a gwnaed ymosodiadau aflwyddianus ar Baltimore a New Orleans. Ond yn Rhagfyr, 1814, cytunwyd ar amodau heddwch yn Ghent, a therfynwyd y rhyfel diachos ac annaturiol. Nis gall un rhyfel fod yn fwy dinystriol i America, nac yn fwy annaturiol o bob tu, na rhyfel rhwng yr Unol Daleithiau a Phrydain. "Prydain Fawr," meddai Jefferson (Americaniad), "yw y genedl all wneyd fwyaf o niwed i ni o bob cenedl ar y ddaear; a chyda hon o'n plaid, nid oes raid i ni ofni yr holl fyd. A hi gan hyny y dylem feithrin yn ofalus y cyfeillgarwch mwyaf ymlynol."

Tra yr oedd cyflafareddwyr y gwahanol deyrnasoedd wedi cyfarfod mewn cynadledd yn Vienna i ad-drefnu pethau ar ol chwyldroad y rhyfeloedd, daeth y newydd iddynt fod Napoleon eto wedi tori y cytundeb, wedi ymadael o Elba, ac wedi glanio yn Ffrainc, Mawrth, 1815. Nid oedd gan yr ymerawdwr nac arfau na gwarchodlu. Cafodd y derbyniad mwyaf croesawgar gan y Ffrancod; ac yn mhen deunaw diwrnod yr oedd wedi cyrhaedd Paris, ac wedi cymeryd meddiant o'r orsedd a'r awdurdod ymerodrol heb daro ergyd. Erbyn dechreu Mehefin yr oedd ganddo fyddin o 130,000 o wŷr grymus at ei wasanaeth. Yr oedd hyn wedi ail danio fflamiau rhyfel eto; a phrysurodd y cyngreiriaid i gasglu eu galluoedd i'w ddarostwng. Yn mhen ychydig ddiwrnodau yr oedd gan Blucher 100,000 o Prwsiaid, a Wellington, yr hwn oedd yn awr yn dduc, 75,000 o fyddin gymysgedig o Brydeiniaid, Germaniaid, a Belgiaid, wedi eu sefydlu ar gyffiniau Belgium. Penderfynodd Napoleon gynllunio ymosodiad ar Wellington a Blucher ar wahan, cyn y gallent ymuno, a chyn y delai Rwsia ac Awstria yn mlaen. Ar yr 16eg o Fehefin gyrwyd Blucher yn ei ol gyda lladdfa fawr i Wavre; ond methodd y gyfran arall o'i fyddin, dan y Cadfridog Ney, yn ei ymosodiad ar y Prydeiniaid yr un diwrnod yn Quatre Bras. Beth

*Mynai ei alw yn XVIII., er na fu yr un XVII.

bynag, enciliodd Wellington yn ei ol i Waterloo, er mwyn cadw y cymundeb i fyny â Blucher. Ac yn Waterloo yr oedd y frwydr fawr i gael ei hymladd; yno y cyfarfyddodd Wellington a Napoleon â'u gilydd am y waith gyntaf a'r olaf, ac yno yr enillwyd y fuddugoliaeth fythgofiadwy roddodd derfyniad ar ryfeloedd Ffrainc a Lloegr. Ymladdwyd brwydr Waterloo ar y 18fed o Fehefin, 1815, ac yr oedd wedi para y fwyaf ffyrnig a gwaedlyd am chwech awr, a Picton a Ponsonby wedi syrthio cyn i Blucher a'i wŷr gyrhaedd. Safai Wellington yn nanedd y tân i arwain a chalonogi ei wŷr; ac ar y foment bwysicaf clywid ef yn gwaeddi, "Deliwch ati, y 95ain! Ni chânt ein curo. Beth ddywedent am danom yn Lloegr?" Atebwyd ef gyda bonllef, "Peidiwch ofni, syr. Yr ydym yn gwybod ein dyledswydd." Penderfynodd dyfodiad y Prwsiaid dynged y diwrnod; ffodd y Ffrancod mewn dyryswch, gan adael eu harfau a'u hystorfeydd yn meddiant y cyngreiriaid, a phrysurodd Napoleon yn ei ol i Paris. Enillwyd buddugoliaeth hollol, ond yr oedd y dinystr ar fywydau yn ddychrynllyd. Collodd y gorchfygwyr eu hunain dros ugain mil o wŷr.

Mynai Napoleon gasglu byddin arall eto, ond gorfu iddo roddi ei awdurdod i fyny. Ceisiodd ddianc i America; ond pan gafodd ei lwybr yn gauedig, rhoddodd ei hun i fyny i Cadben Maitland, gan ymdaflu ar hynawsedd Lloegr. Cymerwyd ef ar fwrdd y Bellerophon; ond ni oddefwyd iddo sangu ar dir Lloegr. Ysgrifenodd y llythyr hwn at dywysog rhaglawiol Lloegr:—"Wedi fy nhaflu o flaen peryglon pleidiau sydd yn rhanu fy ngwlad, a gelyniaeth galluoedd mwyaf Ewrop, yr wyf wedi gorphen fy ngyrfa wleidyddol. Yr wyf yn dyfod, fel Themistocles, i geisio lletygarwch y Prydeiniaid. Yr wyf yn gosod fy hun dan nawdd eu cyfreithiau, yr hyn wyf yn ei hawlio oddiwrth eich uchelder breninol, fel y mwyaf galluog, y mwyaf diysgog, a'r mwyaf haelfrydig o'm gelynion." Nid atebwyd ei lythyr; ond tyngedwyd ef i dreulio gweddill ei oes ar ynys fechan St. Helena, lle y bu farw ar ol caethiwed o chwe blynedd, Mai, 1821. Terfynwyd cytundeb yn Paris rhwng Ffrainc a'r galluoedd cyngreiriol yn Tachwedd, 1815; a gwnaed cyngrair pellach rhwng Awstria, Rwsia, a Prwsia, yr hwn a elwid "Y Cyngrair Santaidd," yn yr hwn yr hysbysai y gwahanol alluoedd, mai eu penderfyniad diysgog ydoedd cymeryd eu cyfarwyddo rhagllaw gan egwyddorion yr efengyl yn ngweinyddiad eu llywodraethau eu hunain, yn gystal ag yn eu hymddygiadau at deyrnasoedd eraill.

Wedi i'r rhyfel beidio, a heddwch cyffredinol gael ei sefydlu yn Ewrop, dechreuodd y wlad hon ymdeimlo â'i beichiau. Yr oedd y rhyfel wedi gwneyd y trethi yn drymion; yr oedd agoriad holl borthladdoedd Ewrop wedi lleihau masnach Lloegr am dymhor; a

phasiwyd mesur yn y senedd hefyd yn gwahardd dwyn gwenith tramor i mewn tra fyddai y pris cartrefol dan £4 y chwarter. Gwnaeth hyn, yn nghyda chynhauaf drwg, y bobl yn anfoddog, a gosodent bob bai ar y llywodraeth. Cesglid y bobl yn nghyd yn y prif drefi wrth y degau a'r ugeiniau o filoedd, gan areithwyr politicaidd penboeth, a theflid pob drwg a melldith wrth ddrws y weinyddiaeth. Torodd terfysgoedd allan yn Birmingham a Manchester. Yn y lle olaf, pan oedd tua haner can mil o wŷr a gwragedd yn gymysg yn gwrando un o'r areithwyr hyn, ymosododd y milwyr yn ynfyd arnynt, lladdwyd pump neu chwech, a chlwyfwyd rhai canoedd. Syniad rhy gyffredin yn mysg y werin yw, fod eu gwasgfeuon yn cael eu hachosi gan y dosbarth uchaf, ac y gellir eu symud trwy fesurau seneddol, pryd, mewn gwirionedd, mae eu cysuron a'u hapusrwydd yn benaf, os nid yn gwbl, yn dybynu ar berthynas eu rhifedi hwy a'r galwad am eu llafur.*

Tachwedd, 1818, bu y frenines farw, yn 75ain mlwydd oed; ac yn Ionawr, 1820, y bu y brenin, George III., farw, yn ei 82ain mlwydd o'i oedran, a'i 60fed o'i deyrnasiad—y teyrnasiad hwyaf yn holl hanesiaeth Prydain. O fewn ychydig ddyddiau i farwolaeth y brenin, bu farw hefyd y mwyaf poblogaidd o'i feibion, Duc Kent, gan adael gweddw a baban wyth mis oed (Victoria, ein brenines bresenol) i alaru am eu colled. Yr oedd cymeriad rhagorol George III. wedi enill parch cyffredinol ei bobl. Y prif gwynion yn ei erbyn ydoedd y Rhyfel Americanaidd, a'i wrthwynebrwydd i ryddid y Pabyddion; ond dylid cofio nad oedd yn hyny ond yn cynnrychioli teimlad y mwyafrif mawr o'i ddeiliaid. Yr oedd ei lys yn burach na'r un a fu yn Lloegr o'i flaen, ac yr oedd ei gymeriad perthynasol, fel mab, fel brawd, fel gwr, a thad, yn ddiargyhoedd. Dywedid am dano "na wnelai ddrwg byth ond pan gamgymerai ef am ddaioni." Yr oedd yn anrhydeddus yn ei holl ymddygiadau, ac yn glodfawr am ei grefyddolrwydd. Ac er ei fod wedi ei gau i fyny oddiwrth y cyhoedd am naw mlynedd cyn ei farwolaeth, dangosai yr holl wlad alar mawr ar ei ol.

## IV.—GWLADWEINYDDION ENWOG TEYRNASIAD GEORGE III.

Efallai nad annghymeradwy gan y darllenydd fyddai i ni yma adgoffa enwau rhai o'r prif wladweinyddion a safent o amgylch George III., a'r rhai fu yn ymdrin â helyntion y wlad hon yn y cyfnod pwysig dan sylw; oblegyd, fel y dywed Arglwydd Brougham, "Nid yw yr ymchwiliad i helyntion dynion, manteision a hanes cenedloedd, gwerth cymhariaethol sefydliadau fel eu canfyddir yn eu gweithrediad, a theilyngdod gwahanol drefniadau gwladyddol fel eu profir wrth eu heffeithiau, ond tra anmherffaith, heb wybodaeth

*Keightley, vol. ii., 560.

drwyadl o'r personau fu yn gweinyddu y cyfryw drefniadau, ac yn llywyddu uwchben rheolaeth achosion cyhoeddus. Nid yw hanesiaeth ymerodraethau, yn wir, ond hanes dynion; ac nid hanes llywodraethwyr y bobl mewn enw yn unig, ond hanes yr holl brif ddynion fu yn taflu eu dylanwad ar dynged eu cyd-ddynion, pa un bynag a fydd olion y dylanwad hwnw yn aros wedi iddynt hwy gilio o'r ffordd, neu, fel y mae gyda meddyliau llai, eu gallu wedi ei gyfyngu i'w hoes eu hunain."*

CHATHAM oedd un o'r gwladweinyddion mwyaf llwyddianus, ac un o'r areithwyr penaf a fagodd y deyrnas; er, yn anffodus, nad yw wedi gadael nemawr ar ei ol i brofi hyny, ond tystiolaeth ei gydoeswyr. Prif nodweddion ei feddwl oedd diysgogrwydd bwriad, a phenderfyniad angerddol i gyrhaedd ei amcan. Meddai ar lygad eryr i ganfod ei lwybr trwy niwl a dyryswch, a digon o benderfyniad ac yni i'w gerdded faint bynag o rwystrau orweddai ar ei ffordd. Yr oedd yn byw uwchlaw llwybrau uchelgais hunanol, ac yn hollol ddibris o foddio personau a phleidiau; daliai ei lygad ar ddyledswydd uchaf dyn cyhoeddus, i ddwyn oddiamgylch lesiant cyffredin dynoliaeth. Ac ni oddefai i wg brenin na phendefigion, mwy nag awelon cymeradwyaeth y werin, i'w ŵyro yr un fodfedd oddiar ei lwybr. "Y cyfryw oedd y dyn ag yr oedd George III. yn ei ofni fwyaf, yn ei gasâu fwyaf, ac yr arferodd ei holl ddylanwad breninol tuag at ei ddiarfogi."

ARGLWYDD NORTH oedd hoff-ddyn y brenin; ac er nad oedd dim dymunol yn ei berson na'i arferion, safodd ar ben gweinyddiaeth Lloegr am lawer o flynyddoedd, ac yr oedd yn nodedig am ei natur dda, ei *wit*, ei synwyr naturiol da, craffder syniad, a thalent areithyddol. I'w ran ef y syrthiodd y llywyddiaeth ar adeg yr anhawsderau mwyaf, ac yn erbyn plaid wrthwynebol, dan arweiniad Burke a Fox, na chyfarfyddodd un gweinidog arall erioed â'i bath; a hyny pryd nad oedd ganddo neb, oddigerth un neu ddau, i'w gynorthwyo.

Fel cyfreithwyr a barnwyr o radd uchel, cawn enwau MANSFIELD, yr hwn a daflodd anrhydedd ar ei safle pwysig; a GRANT, un o'r barnwyr goreu a eisteddodd erioed ar y fainc; yr oedd hefyd yn un o ymresymwyr cadarnaf y senedd; y mwyaf hapus i'w wrando, a'r mwyaf anhawdd i'w ateb. Pan oedd Fox ei hun yn ei wrando unwaith ar feddwl codi i'w ganlyn ag atebiad, dywedodd (Fox) mewn cyffro annyddan wrth gyfaill yn ei ymyl, "A ydych chwi yn ei ystyried yn beth cysurus iawn i geisio ateb araeth fel HONA?" Ac fel y dywed Brougham, gellir dysgwyl yn hir cyn y cwyd y fath oleuni eto i ddysgleirio y Senedd neu y Fainc.

Yn rhes flaenaf y seneddwyr y saif BURKE, y gwleidiadwr a'r llenor galluog. Beth bynag am ei athrawiaeth a'i gymeriad

*"Statesmen of the time of George III.," by Lord Brougham.

cyhoeddus, cytuna y rhan fwyaf i roddi safle iddo yn mysg dynion rhyfeddaf unrhyw oes, nid yn unig fel seneddwr galluog, ond hefyd fel awdwr o'r radd flaenaf yn mhob math o gyfansoddiadau rhydd-ieithol. Dysgybl i Burke oedd Fox, a gwrthwynebydd cyndyn i weinyddiaeth North; yr oedd yn un o'r gwladweinyddion mwyaf, ac yn un o'r dadleuwyr penaf, os nid yr areithiwr goreu, a ymddangosodd ar esgynlawr achosion cyhoeddus mewn unrhyw oes. I amgyffred ei fawredd yr oedd yn rhaid ei wrando. Unwaith yr elai i mewn yn deg i'w bwnc, ac y dechreuai ymboethi ynddo, tywalltai y fath ffrwd chwilboeth o hyawdledd, mewn araeth hollol ddifyfyr, a amddifadai y gwrandawr o bob gallu i fyfyrio neu i amddiffyn ei hun, a chludai ei holl gyneddfau yn gaeth i ba le bynag y gwelai yr areithiwr yn dda. Yr araeth dlotaf a draddododd erioed oedd yr unig un y cymerodd drafferth i'w pharotoi. Yn eu mysg cawn PITT, mab Iarll Chatham, pan nad yw eto ond ieuanc, yn cystadlu â chewri gwleidyddol am safle uchel ei dad; ac yn dyfod i'r golwg ar unwaith, fel trwy ysbrydoliaeth, yn wleidyddwr addfed, ac yn areithiwr perffeithiedig. Cefnogwr ffyddlon i Fox ydoedd SHERIDAN (y chwareuwr), yr hwn, er ei holl ddiffygion a'i feiau, ac er nad oedd yn ddim gwleidiadwr, ydoedd *wit* ac athrylith penaf ei blaid, a gwnaeth i furiau Tŷ y Cyffredin ysgwyd droion gan ystormydd o chwerthin.

Pe buasai ERSKINE yn gwneyd ei ymddangosiad ar ryw adeg heblaw yn nyddiau y cewri a nodwyd eisoes, buasai ei enw yn fwy cyhoeddus. Yr oedd yn gweddu y frawdle yn well na'r senedd; meddai ar yr adnabyddiaeth fwyaf trwyadl o ddynion,—eu nwydau a'u teimladau. Gwyddai am bob llwybr i'r galon, a medrai daro ei fys ar bob llinyn iddi wrth ei ewyllys. Yr oedd yn fwy cyfarwydd â Shakspeare na neb o'i oes, ac yn gwybod y rhan fwyaf o Milton ar ei gof. Yr oedd PERCIVAL yn ddyn o alluoedd, o wroldeb, a dawn, fel areithiwr a dadleuydd; ond yn ddyn o feddwl cul, ac o ysbryd rhagfarnllyd mewn pethau gwladol a chrefyddol. GRENVILLE ydoedd un o gefnogwyr mwyaf profedig y blaid Whigaidd, ac un o'r dadleuwyr ffyddlonaf dros achos Iwerddon, a thros achos rhyddid crefyddol. Yr oedd achos Iwerddon yn fwy dyledus i'w brodor GRATTAN nag i'w gydymaith Grenville; ac nid oes un gwleidiadwr na gwladgarwr â'i enw yn uwch am wasanaeth cyhoeddus, a'i glod yn fwy difrychau, na Henry Grattan. Gosodir ef yn rhes flaenaf ei oes hefyd fel gwleidiadwr ac areithiwr, er mai yn oes Pitt, Fox, a Sheridan, yr oedd yn byw. Ni fu neb allai ddyweyd cymaint, a'i ddyweyd mor dda, mewn cyn lleied o eiriau. Yn ei araeth fythgofiadwy dros ryddid ei wlad, ac wrth gyfeirio at ddechreuad annibyniaeth Iwerddon yn 1782, a'i gwymp yn mhen ugain mlynedd, dywedai, gydag ysbryd

cyffrous a gorchfygol, "Eisteddais wrth ei gawell, dylynais ei elor-gerbyd." Yn mhlith y gwroniaid hyn cawn WILBERFORCE, cyfaill y negro caeth a gorthrymedig, athrylith yr hwn a gysegrwyd gan rinwedd a duwioldeb, ac hyawdledd goruchel yr hwn a wnaed yn fwy arddunol fyth gan y meddyliau a'r ysbryd a roddodd y marworyn tanllyd i gyffwrdd â gwefusau santaidd Esaiah. Ond gofod a balla i ni son am Canning, Windham, Dundas, Romilly, Eldon, Tooke, Castleragh, Liverpool, King, Horner, Ricardo, Curran, Elenborough, Wellesley, Holland, a Shelburne, y rhai oeddent oll yn ser o ddysgleirdeb mwy neu lai, ac yn gwneyd i fyny y gynulleidfa ardderchog hono o wleidiadwyr na welodd y byd erioed ei chyffelyb mewn unrhyw oes na gwlad. A phan gofiom mai cydoeswyr iddynt hwy oedd Washington a Franklin (yn America), a Napoleon, Carnot, Talleyrand, Mirabeau, a Lafayette (yn Ffrainc), gellir dyweyd yn ddibetrus mai "cewri oedd ar y ddaear yr amser hwnw."*

## V.—HANES CREFYDD.

YR oedd y diwygiad crefyddol trwy Whitfield a Wesley wedi cael ei deimlo yn ddwys, a'i ddylanwad wedi cerdded yn mhell ac agos; eto yr oedd wedi gadael corph yr Eglwys Sefydledig mewn cyflwr isel a marwaidd. Y prif offeryn i ysgwyd a deffroi hono o'i chwsg oedd y duwiol Charles Simeon o Cambridge. Ar y cyntaf yr oedd athrawiaeth ac ysbryd y gwr hwnw mor annerbyniol, fel y cauwyd drysau yr Eglwys yn ei erbyn, ac y dyoddefodd erledigaeth flin. Ond wedi hyny daeth yn bregethwr mor gymeradwy a phoblogaidd, fel nad oedd un adeilad yn ddigon mawr i'w gynulleidfa; a chaffai wahoddiad mynych i fyned i bregethu o flaen y Brifysgol. Cafodd ei ysbryd a'i weinidogaeth ddylanwad cyffredinol; a chawn yr Eglwys Brotestanaidd, yn Esgobol ac Ymneillduol, yn ymroddi nid yn unig i ledaenu yr efengyl yn y wlad hon, ond i drefnu gwahanol foddion hefyd i'w dwyn i wledydd tramor a phaganaidd. Daeth Cenadaeth Gristionogol yn bwnc cyffredinol.

Tua diwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg, a dechreu y ddeunawfed, cawn luaws o gymdeithasau daionus yn codi, y rhai ydynt erbyn hyn yn beirianau nerthol yn ngwasanaeth Cristionogaeth. Yn 1795 sefydlwyd Cymdeithas Genadol Llundain, unig amcan yr hon ydyw taenu gwybodaeth am Grist yn mysg y paganiaid, yn annibynol ar unrhyw ffurf neu enwad crefyddol. Yn 1778 ffurfiwyd Cymdeithas Genadol yr Eglwys, er anfon cenadau ac adeiladu eglwysi yn benaf yn Affrica ac yn y Dwyrain; Cymdeithas

*Gwel "Historical Sketches of Statesmen in the time of George III.," by Lord Brougham, in six volumes—llyfr gwerthfawr a dyddorol.

y Traethodau Crefyddol yn 1799; Cymdeithas y Biblau yn 1804; y Gymdeithas Wyddelig (*Hibernian*), er anfon Biblau ac athrawon, a sefydlu ysgolion yn Iwerddon, yn 1806; y Gymdeithas Genadol Iuddewig yn 1808; a chanlynwyd y rhai hyn â lluaws o gymdeithasau dyngarol a gwyddonol eraill. Dylasid coffa hefyd am yr Ysgol Sabbathol, yr hon a sefydlwyd trwy offerynoliaeth Robert Raikes o Gaerloyw, yr hon oedd fel seren foreu yn cyhoeddi fod y dydd yn dyfod, a'r hon a ddygodd gyfnod newydd ar addysg a chrefydd yn ein gwlad. Dylynwyd Raikes gan Bell, sefydlydd yr Ysgolion Cenedlaethol; a Bell eilwaith gan Lankaster, un arall o'r cyffelyb ysbryd, ar gynllun yr hwn wedi hyny y sefydlwyd Cymdeithas yr Ysgolion Prydeinig a Thramor.

## VI.—LLENYDDIAETH.

Cyfnod nid anenwog mewn llenyddiaeth oedd adeg teyrnasiad y trydydd George; addurnwyd ef â ser dysglaer yn ngwahanol gangenau gwybodaeth, yn gystal a chelfyddyd a gwleidiadaeth. Yr oedd y cydgyfarfyddiad o enwogion mewn gwahanol gylchoedd, yn yr un oes a gwlad, yn gyfryw na cheir mewn hanesiaeth ei gyffelyb. Bu y wlad hon yn hir yn derbyn ei goleuni arweiniol o wledydd eraill; ond yn raddol daeth i gymeryd y lle blaenaf ei hun. Dyrchafwyd hi mewn moesddysg, athroniaeth naturiol, ac arddansoddiaeth, gan Bacon, Newton, a Locke. Goleuwyd y deall dynol gan y goleuadau mawrion hyn; deffrowyd y galon a'r dychymyg gan Shakspeare a'i olynwyr barddonol; ac addysgwyd y wlad yn mhethau pwysicach crefydd a duwioldeb gan gyfres o dduwinyddion o'r dosbarth blaenaf; fel, erbyn yr haner cyntaf o deyrnasiad George III., yr oedd yr holl ffurfafen wedi ei thaenu a'i goleuo gan athrylith a llewyrch cyfunol y cydser gogoneddus.

Nis gellir ond rhoddi cipolwg ar lenyddiaeth y cyfnod, a chofnodi enwau y prif lenorion. Yn mysg yr haneswyr cawn enwau Hume, Smollet, Robertson, a Dr. Henry, y tri blaenaf o ba rai a safant yn nosbarth blaenaf haneswyr Lloegr; ac Edward Gibbon—yr hwn a eilw Carlyle "y bont ardderchog o'r hen fyd i'r newydd"—awdwr "Dadfeiliad a Chwymp yr Ymerodraeth Rufeinig." Yn mysg awdwyr duwinyddol ac ysgrifenwyr enwog ar byncia cysylltiedig â'r Bibl, mae Warburton, Conyers, Middleton, Horsley, a South; Dr. Paley awdwr yr "*Evidences;*" Thomas Scott, yr Esboniwr; Dr. Blair, awdwr y "*Chronological Tables;*" Dr. Lardner, awdwr y "*Credibility of the Gospel History;*" a Cruden, awdwr y "*Concordance.*" Saif enw Syr W. Jones ar ben rhes yr ysgolheigion, yr hwn oedd yn feistr ar saith ar ugain o ieithoedd; ac enwau Reid, Stewart, a Brown, mewn athroniaeth. Fel seryddwyr enwog cawn

Syr William Herschell a James Ferguson; fel ffug-haneswyr cawn Daniel Defoe, awdwr "*Robinson Crusoe;*" Goldsmith, awdwr "*Vicar of Wakefield;*" Dr. Johnson, awdwr "*Rasselas*," a chasglydd enwog y Geiriadur; a Syr Walter Scott, awdwr y "*Waverly Novels*," a brenin yr holl ffug-haneswyr. Fel beirdd, llewyrcha enwau Robert Burns, Thomas Gray, William Cowper, Kirke White, Shelley, a Byron. Yn mysg awduron rhyddieithol y cyfnod dylid nodi hefyd Adam Smith, awdwr y "*Wealth of Nations;* Syr William Blackstone, awdwr yr esboniad clodfawr ar Gyfreithiau Lloegr; Arglwyddi Chesterfield a Kaimes, Hawksworth, Sterne, Horne Tooke, a Horace Walpole.

Prif gerddorion y cyfnod oedd y doctoriaid Arnold ac Arne; a chydoesai â hwynt y cerddorion tramor clodfawr, Haydn, Beethoven, a Mozart. Y prif chwareuwyr (*actors*) oedd David Garrick a John Kemble; a'r prif baentwyr oedd William Hogarth, Thomas Gainsborough, Syr Joshua Reynolds, a Benjamin West. Dan y teyrnasiad hwn y dechreuodd y chwarterolion Seisnig, y cyntaf o ba rai ydoedd yr "*Edinburgh Review*," yr hwn sydd wedi dal hyd heddyw i hawlio y lle blaenaf yn llenyddiaeth gyfnodol y wlad. Sefydlwyd y cyhoeddiad hwn yn 1802, gan bedwar o gyfeillion ieuainc, Jeffrey, Brougham, Sydney Smith, a Francis Horner, yr ail o ba rai sydd yn fyw eto. Ceisiwyd ffurfio cyhoeddiad o'r un enw fwy na deugain mlynedd yn foreuach, mewn cysylltiad â pha un yr oedd enwau Adam Smith, awdwr y "*Wealth of Nations*," a Dr. Robertson, yr hanesydd; ond methodd yn fuan, oblegyd ei gyfyngu yn ormodol at lenyddiaeth Ysgotland. Dylynwyd yr "*Edinburgh*" cyn hir gan ei hen gydymgeisydd, y "*Quarterly Review*," yr hwn a gychwynwyd yn benaf gan Walter Scott, gyda chynorthwy Canning, Gifford, Croker, ac Ellis.

Yr oedd llenyddiaeth Gymreig hefyd yn ymgyfoethogi yn raddol, a lluaws o fân draethodau, rhai yn wreiddiol, a mwy yn gyfieithiadau, yn cael eu troi allan o'r wasg o flwyddyn i flwyddyn. Trodd Dafydd Jones o Gaio Salmau Watts i'r Cymraeg, a chyhoeddodd lawer o hymnau rhagorol ei hun. Yn 1770 dygodd Peter Williams ei Fibl Teuluaidd allan; a chyn pen ugain mlynedd yr oedd wedi gwerthu pedair mil ar ddeg o hono; cyhoeddodd hefyd ei Fynegair, yn nghydag amryw draethodau. Cyhoeddodd Williams, Pantycelyn, amryw o'i weithiau rhagorol; ac yn 1778 daeth Hanes y Bedyddwyr allan gan Joshua Thomas. Gwnaed amryw gynygion er sefydlu cyhoeddiadau cyfnodol Cymreig, yn yr "Eurgrawn," 1770; y "Cylchgrawn," 1793; y "Drysorfa Ysbrydol," gan Charles o'r Bala, 1799; a'r "Eurgrawn Wesleyaidd," 1809.

## VII.—LLYWODRAETH.

Er cystal brenin oedd George III., ac er na chafodd un brenin o'i flaen y fath gasgliad o wleidiadwyr galluog, yr oedd y llywodraeth eto yn dra diffygiol mewn llawer o bethau, ac yn mhell o gyrhaedd ei pherffeithrwydd presenol. Dychrynwyd y wlad hon gan doriad allan y rhyfel Ffrengig; a phasiwyd amryw gyfreithiau caled a gormesol, gyda'r bwriad, fel y dywedid, o atal trychineb cyffelyb. Yn 1795, er engraifft, pasiwyd cyfraith yn gwahardd cynal unrhyw fath o gyfarfod cyhoeddus, heb roddi pum diwrnod o rybudd trwy hysbysiad yn y newyddiaduron; ac er hyny, rhoddid awdurdod i'r ynadon i'w gwasgaru, neu gymeryd i fyny y neb a farnent hwy yn droseddwyr. Yn mhen pedair blynedd pasiwyd act arall, yn gwahardd unrhyw gynulliad yn yr awyr agored, i areithio neu ddadleu, heb drwydded oddiwrth yr ynadon. Ac os cadwai neb gyfarfod o'r fath yn ei dŷ, neu os benthyciai lyfrau i neb heb drwydded i hyny, yr oedd yn agored i gant punt y dydd o ddirwy. Yn wir, llywodraethid y wlad trwy ddychryn; yr oedd llygad drwg y weinyddiaeth ar bob dyn o ysbryd diwygiadol, ac nid oedd ei berson, ei ymadroddion, na'i lythyrau yn ddyogel ddydd na nos. Gwnaed amryw gynygion i lethu y wasg hefyd, a chospid y llyfrwerthwyr yn barhaus.

Yr oedd y gyfraith gospawl hefyd yn llym a barbaraidd dros ystod y rhan fwyaf o'r teyrnasiad. Yr oedd tori pren mewn perllan, ysbeilio person o werth pum swllt o eiddo, neu dŷ o werth swllt, yn nghyda lluaws o bethau cyffelyb, yn droseddau a gospid â marwolaeth. Dyoddefodd pedwar ugain a dau ar bymtheg y cyfryw gospedigaeth am dori i mewn i siopau yn 1785; ac ar un amgylchiad yr oedd ugain o'r troseddwyr hyn yn dyoddef gyda'u gilydd. Gweinyddid dedfryd marwolaeth am y cyfryw droseddau hyd yn oed ar blant dan ddeng mlwydd oed. Syr Samuel Romilly oedd un o'r rhai cyntaf a ymroddodd i liniaru llymder y cyfreithiau cospawl; ond araf iawn y llwyddwyd i ddwyn hyny oddiamgylch. Yn yr ugain mlynedd cyntaf o'r ganrif hon (a'r ugain olaf i George III.), nifer y rhai a gospid â marwolaeth ar gyfartaledd oedd pedwar ugain a phedwar y flwyddyn, tra nad oedd y nifer yn yr wyth mlynedd yn dybenu 1857 ond wyth y flwyddyn.

Dangoswyd yn barod i'r llywodraeth yn 1772, trwy farn Mansfield, basio fod pob caethwas a diriai yn Lloegr yn ddyn rhydd; ac yn 1807, trwy ymdrechion Wilberforce yn benaf, dyddimwyd y gaethfasnach yn Mhrydain, er na ddifodwyd hi yn y Trefedigaethau Prydeinig hyd 1834. Wedi hir ymdrech o du y llywodraeth i geisio rhwystro cyhoeddiad y dadleuon a'r areithiau seneddol, enillodd rhyddid y wasg yr oruchafiaeth o'r diwedd; ac yn 1770

cymerodd adroddiad rheolaidd a chyflawn o honynt le. Erbyn heddyw y mae y *Reporters' Gallery* wedi dyfod fel cangen bwysig a hanfodol o'r Cyfansoddiad, ac yn cael effaith ragorol fel atalfa ar yr aelodau, yn gystal ag fel moddion addysg politicaidd i'r werin.

Rhydd y ffigyrau canlynol gipolwg i ni ar gynydd y cyllidau, y trethoedd, a'r trigolion:—Cyllid y deyrnas yn 1761 ydoedd, £8,800,000; ac yn 1783, ar ddiwedd y rhyfel Americanaidd, £12,231,206. Cododd y trethi gymaint mewn canlyniad i'r rhyfel â Ffrainc, fel yr oedd y cyllid yn 1802 yn £35,415,096; ac erbyn diwedd y cyfnod dan sylw, 1820, yr oedd yn £54,282,958. Swm y ddyled wladol yn 1761 oedd, £114,294,987; yn 1873 yr oedd yn £231,843,631; yn 1802 yr oedd yn £537,653,008; ac yn 1820 yn £834,900,960. Cyfrifid trigolion Cymru a Lloegr, yn y flwyddyn 1780, yn 7,814,000; ac yn 1801, pan gymerwyd cyfrif y trigolion (*census*) gyntaf, yr oedd y boblogaeth yn 8,872,000. Yn 1821 yr oedd y nifer yn 11,978,875.

## VIII.—GWELLIADAU.

Mae y cyfnod hwn yn hynod am ei ddarganfyddiadau, ei ddyfeisiau, a'i welliadau pwysig mewn masnach a chelfyddyd. Yr oedd cynydd y gweithfaoedd a'r boblogaeth y fath, fel yr oedd yn rhaid wrth ddyfeisiau newyddion i gyfarfod â chynydd a dadblygiad masnach a chyfoeth y wlad. Ac i gyfarfod yr angen, wele gyfres o ddyfeisiau newyddion yn cymeryd lle, a hyny, gan mwyaf, trwy offerynoliaeth dynion dinod. Dygodd James Watt, yr Ysgotiad, gyfnod newydd trwy harneisio yr ager, a darostwng y gallu aruthrol hwn at wasanaeth dyn yn yr ager-beiriant. Breintebwyd ei ager-beiriant yn 1769. Dyfeisiodd James Hargraves, gwehydd tlawd o Blackburn, y *spinning jenny* (nyddiadur) yn 1767. Canlynwyd y ddyfais bwysig hon gan y *spinning frame*, dyfais arall o eiddo Arkwright, eilliwr o Preston, yn cael ei gynorthwyo gan *watchmaker* o'r enw John Kay; a chafodd freinteb yn 1769. Yr oedd y ddyfais hon wedi ei chael gan un John Wyatt flynyddoedd cyn hyn; ond yn awr y dygwyd hi i ymarferiad. Yn 1775 dyfeisiodd Samuel Crompton y *mule-jenny;** Dr. Cartwright y *power-loom* yn 1787, yr hon a ddygodd y cyffelyb welliant mewn gwau ag a ddygodd y dyfeisiau eraill mewn nyddu. Trwy y darganfyddiadau olynol hyn, yn nghyda chymhwysiad ager-beirianau Watt, dygwyd y llaw-weithfaoedd cotwm i berffeithrwydd anhygoel, a rhoisant gyffroad rhyfeddol i fasnach yn y wlad. Gwelir hyn yn nghynydd dadforiad cotwm; yn y fl. 1764 ni ddadforiwyd ond 4,000,000 o bwysi; ond erbyn 1820 yr oedd wedi cyrhaedd

*Gelwid hi yn *mule* am ei bod yn gymysgedd o'r ddwy ddyfais flaenorol.

153,000,000 o bwysi. Dylid dyweyd fod cyfran o glod y dyfeisiau hyn, fel pob dyfeisiau eraill, yn perthyn i lawer. Mae dechreuad gwirioneddol agos holl ddyfeisiau y byd yn anhysbys. Yn y cyffredin, "bydd y syniad ffodus cyntaf yn perthyn i un, y cymhwysiad ymarferol i arall o feddwl mwy galluog, a'r perffeithiad efallai i drydydd fyddo yn meddu ar fwy o arian i weithio y ddyfais allan."* Ac y mae hyn yn cael ei wirio i raddau yn mherffeithiad celfyddydol y llaw-weithfaoedd, yn nghyda chymhwysiad y gallu peirianol i'w gweithio.

Dyfais bwysig arall berthynol i'r teyrnasiad hwn ydoedd cymhwysiad gallu agerol at forwriaeth. Profwyd ef gyntaf gyda chynllun newydd o long yn swydd Dumfries, gan un Patrick Miller, yn 1788. Gwelwyd un wedi hyny yn gweithio ar gamlas Clyde; ond yr agerfad cyntaf o bwys ydoedd y *Comet*, o waith Fulton, ar yr afon Clyde, yr hwn a ddechreuodd gludo teithwyr yn 1811. Yn fuan croeswyd yr Atlantig gan ager-longau; ac erbyn heddyw y maent yn rhwygo y tonau a'r tymhestloedd ar holl foroedd y byd, ac arnynt—

"I gael eu hwylio'n union chwyrn,
Ryw fath o gyrn simneiau."

Nid y lleiaf dibwys o'r darganfyddiadau oedd eiddo Dr. Jenner, sef cael allan fod llifnodd penodol o biw y fuwch yn foddion i ragflaenu y frech wen. Cafodd hyn allan trwy sylwi nad oedd y rhai oedd yn godro y gwartheg byth yn cael y frech. Gwnaeth y seryddwr enwog Herschell ysbienddrych mawr, a darganfyddodd blaned newydd a alwyd yn Georgium Sidus (Seren George). Dyfeisiwyd nwy (*gas*) oddiwrth y glo, gan un Mr. Murdock o Gornwall, yr hwn a oleuodd ei dŷ â hi. Yr ystryd gyntaf a oleuwyd â nwy ydoedd Pall Mall yn Llundain, yn 1807. Yr oedd yr ystrydoedd o'r blaen yn cael eu goleuo ag olew; a chafwyd gwrthwynebiad cryf i ddwyn nwy yn lle olew, am y dywedid y buasai masnach pysgodwyr y môrfilod yn cael ei dinystrio. Beth bynag, erbyn 1815 yr oedd amryw o ystrydoedd wedi eu goleuo â nwy; a gwnaeth yr anturiaethwyr yn y ddyfais newydd hon "fwy er atal troseddau nag a wnaeth y llywodraeth er dyddiau Alfred."

Dygwyd gwelliadau pwysig eraill oddiamgylch mewn adeiladaeth, amaethyddiaeth, a gwahanol sefydliadau daionus. Yn ystod triugain mlynedd y teyrnasiad, cauwyd dros driugain miliwn o erwau o diroedd newydd i mewn; derbyniai y tir well triniaeth, a chynyrchai agos dwbl y ffrwyth. Cynyrch Lloegr mewn gwenith yn nechreu teyrnasiad George III. oedd 4,000,000 o chwarteri; y mae yn awr yn cyrhaedd dros 13,000,000. Gwnaed gwelliadau pwysig yn

*Wade's England's Greatness.

ngwneuthuriad llestri pridd yn fuan wedi esgyniad George, gan un Josiah Wedgewood, yn swydd Stafford. Taflodd eu cyfansoddiad, eu lliwiau, a'u harddwch, lestri y Cyfandir i'r cysgod; a chyfarfyddai teithwyr ar y Cyfandir â llestri Wedgewood yn mhob man, o Paris i Petersburg. Yr oedd y gweithfaoedd llestri hyn wedi cynyddu mor fawr, fel yr oedd erbyn y flwyddyn 1785 o bymtheg i ugain mil o ddynion yn gweithio yn y *Potteries*. Tua'r un amser dyfeisiodd un Mr. Carver, cerfiwr o Liverpool, y gelfyddyd o brintio ar lestri, yr hyn a ychwanegodd yn fawr at brydferthwch a dyddordeb y bwrdd-lestri. Ffurfiwyd y *Society of Arts* yn 1783, a chefnogodd yn fawr y lluaws gwelliadau oedd ar droed y pryd hwnw agos yn mhob cangen o fasnach a chelfyddyd.

---

## PENOD XII.

### O Esgyniad George IV. hyd y Flwyddyn 1863.

#### I.—GEORGE IV., 1820—1830.

Ar farwolaeth George III., Ionawr, 1820, daeth ei fab hynaf i'r orsedd, dan yr enw George IV.; a chan ei fod eisoes yn rhaglaw oblegyd afiechyd ei dad, ni chymerodd unrhyw gyfnewidiad o bwys le ar ei esgyniad. Yr oedd yn ddyn o berson hynod o lân a golygus, yn berchen ar gymhwysderau uchel, wedi derbyn addysg dda, yn cael ei ystyried "y gwr boneddig mwyaf perffeithiedig yn Ewrop;" a chyhoeddodd ei fwriad i gynal i fyny yn ddiball grefydd, cyfreithiau, a rhyddid y deyrnas. Yn mhen ychydig wythnosau wedi esgyniad y brenin, cafwyd allan fradwriaeth yn erbyn ei weinidogion, yr hon a adnabyddir wrth yr enw *Cato Street Conspiracy*. Yr oedd lluaws o ddynion creulon, dan arweiniad un Thistlewood, wedi cynllunio i lofruddio y gweinidogion mewn ciniaw swyddogol yn nhŷ Arglwydd Harrowby, a dymchwelyd y llywodraeth. Ond cafwyd gwybodaeth brydlawn o'r drwg; ac yn Mai dienyddiwyd Thistlewood a phedwar eraill o'r prif ddynion wrth garchar Newgate.

Un o ddygwyddiadau mwyaf poblogaidd y teyrnasiad oedd prawf y frenines. Yr oedd George wedi priodi er y flwyddyn 1795 â Caroline, merch Duc Brunswick; a chan ei bod, fel llawer o briodasau breninol, wedi ei ffurfio gan eraill, heb ddewisiad y priodfab ei hun, trodd y cysylltiad allan yn un o'r rhai mwyaf anffortunus. Gwnaed y briodas gan George III., er mwyn ceisio denu ei fab oddiwrth oferedd, a chael arian i dalu ei ddyledion. Yr oedd llawer o ragoriaethau yn mherson a thalentau y dywysoges;

ond yr oedd y fath wahaniaeth yn eu hysbrydoedd, eu syniadau, a'u diwylliad, fel yr oedd yn hawdd i bawb weled na fwriadodd Rhagluniaeth erioed i'r fath ddau gael eu cysylltu â'u gilydd yn wr a gwraig. Ni ddangosodd George fawr o serch erioed tuag at Caroline; ymddygai yn anweddaidd a chreulon tuag ati, ac mor gynted ag y ganed etifeddes (Charlotte) iddynt, ymadawsant yn hollol â'u gilydd.

Yr oeddent wedi byw ar wahan yn awr am tua thair blynedd ar ugain, a'r dywysoges wedi treulio y chwe blynedd diweddaf yn mysg ei hen gyfeillion ar y Cyfandir. Pan glybu yno fod ei thad-yn-nghyfraith wedi marw, a bod ei gwr wedi ei godi i'r orsedd; a phan ddeallodd nad oedd ei henw yn cael y lle dyladwy yn y llyfr gweddi cyffredin, na'r anrhydedd arferol mewn llysoedd tramor, penderfynodd, yn erbyn pob cynygion i'w hatal, ddyfod drosodd i Loegr i hawlio ei hiawnderau. Penderfynodd y brenin yntau ddwyn bil i mewn i Dŷ yr Arglwyddi i ddiraddio y frenines, a thori y briodas; a dygodd gyhuddiad yn ei herbyn o gamymddygiad yn ystod ei harosiad ar y Cyfandir. Dygwyd ei hachos i brawf, ac amddiffynwyd hi gyda gallu a hyawdledd annghydmarol gan Brougham, Denman, a Lushington. Parhaodd y prawf am bum niwrnod a deugain; a phan ddaeth y trydydd darlleniad ar y bil yn Nhŷ yr Arglwyddi, nid oedd y mwyafrif o'i blaid ond *naw*. Gwelwyd nad oedd wiw ei ddwyn i Dŷ y Cyffredin; a chyhoeddodd Arglwydd Liverpool ei fod yn cael syrthio. Er na chafwyd cymeriad y frenines yn glir oddiwrth y cyhuddiad o gamymddygiad yn ei hymdaith ar y Cyfandir, yr oedd cydymdeimlad y wlad yn unfryd a nerthol o'i phlaid, oddiar ystyriaeth o greulondeb ei gwr tuag ati, a'i fywyd anfucheddol yntau. Ar agoriad y senedd ganlynol, penderfynwyd rhoddi haner can mil o bunau y flwyddyn i'r frenines; ond ni oddefwyd iddi gymeryd rhan yn y coroniad, yr hon ddefod a gyflawnwyd Gorphenaf, 1821, gyda rhwysg na welwyd y cyffelyb o'r blaen. Yn mhen tair wythnos wedi hyn, teimlai y frenines gymaint oddiwrth ei siomedigaethau, fel y torodd ei chalon, a bu farw. Gorchymynodd ysgrifenu ar ei harch, "Caroline o Brunswick, brenines lofruddiedig Lloegr." Adgyffrowyd teimlad y wlad eto gan ei marwolaeth anamserol, a mynodd y bobl, er gwaethaf llywodraeth a milwyr, i'w gweddillion gael eu dwyn trwy ganol y ddinas, ar eu ffordd i'w gwlad enedigol.

Yr oedd y cleddyf wedi dychwelyd i'w wain yn awr, a heddwch yn teyrnasu o Lundain i'r Andes ar y naill law, ac i furiau China ar y llaw arall; a defnyddiai y wlad hon yr hamdden i ymwellhau oddiwrth ddiffygion gwladyddol a masnachol. Trwy offerynoliaeth Canning, yr hwn a wnaed yn ysgrifenydd tramor yn 1822, a chynorthwy galluog Huskisson, Robinson, ac eraill, dygwyd lluaws

o welliadau oddiamgylch; dyddimwyd amryw drethi bychain gorthrymus, symudwyd y prif rwystrau oddiar ffordd allforiad a dadforiad gwlân, a gwnaed gwelliant pwysig yn Act Mordwyaeth. Ond yr oedd effaith yr heddwch cyffredinol, ac agoriad yr holl borthladdoedd tramor, wedi cael effaith annymunol am dymhor ar fasnach y wlad hon. Pasiwyd y *Corn Bill* nodedig, er gwaethaf llais gwrthwynebus y bobl, er gwahardd dadforiad gwenith pan fyddai y pris cartrefol dan bedwar ugain swllt y chwarter; a gwnaeth hwn bethau yn waeth yn lle yn well. Ac ychwanegwyd y drwg yn fwy fyth gan fesur Peel i ddyddimu yr holl arian papyr punoedd a dwy bunoedd. Gostyngodd y prisoedd, methodd banciau y wlad wrth y degau, a dinystriwyd lluaws o berchenogion a dalwyr tiroedd. Yr oedd y dyryswch wedi myned yn gyfryw erbyn 1825, fel yr ofnid gwrthryfel. Cymerodd y senedd y pwnc eilwaith dan sylw, a phenderfynwyd gohirio oes yr arian papyr condemniedig am rai blynyddoedd yn mhellach.

Cynyrchodd hyn fywyd newydd ar unwaith. Tywalltai ariandai y wlad ddylif o filiau allan; codai y prisiau yn gyflym; cynllunid anturiaethau newyddion wrth y canoedd; a ffurfiwyd cwmnioedd i ddwyn oddiamgylch fil o bethau anhygoel. Yr oedd ysbryd y *South Sea Bubble* wedi meddianu y wlad eto; a dygid cyfoethog a thlawd, gwryw a benyw, ymaith gan lifeiriant y llwyddiant twyllodrus, hyd nes i ychydig fisoedd ddatguddio iddynt eu hynfydrwydd. Dychrynodd y Banc yn Llundain, a dechreuodd alw ei filiau i mewn; effeithiodd hyn ar fanciau eraill yn y ddinas ac yn y wlad; ac yn mhen ychydig amser yr oedd ugeiniau o honynt wedi myned yn un pentwr o ddyryswch a methiant. "Yr oedd dau cant a haner o gwmnioedd *(Joint-Stock Companies)*, y rhai a fuasent wythnos yn ol yn ymgymeryd ag adeiladu pont dros yr Atlantig, neu wneuthur rheilffyrdd o amgylch y ddaear, neu gloddio *tunnels* at y gwrthdraedolion, yn awr yn y *Gazette*." Yn wir, yr oedd y deyrnas ar fin methdaliant cenedlaethol,—masnach wedi ei pharlysio, a thywyllwch ac anobaith yn gorwedd yn drwm arni. Eto, yn mhen blwyddyn, yr oedd y tywyllwch dudew wedi ei chwalu, masnach yn ymadfywio, trafnidaeth eto yn estyn ei breichiau nerthol i ymaflyd yn nghyfoeth tir a môr, ac yn prysur droi ceryg yr anialwch yn aur.

Yr oedd Arglwydd Liverpool wedi bod yn brif weinidog am bymtheg mlynedd, ond yn 1827 tarawyd ef gan barlys, a bu farw y flwyddyn ganlynol. Rhoddwyd y flaenoriaeth yn awr i Canning; ond, oddiar eiddigedd at ei ddyrchafiad, yn fwy nag oddiar annghydwelediad mewn syniadau, gwrthododd Peel a Wellington gydweithredu ag ef, a gorfu iddo alw cymhorth y Whigiaid. Ond yr oedd baich y cyfrifoldeb yn ormod i Canning; suddodd ei iechyd,

ac yn mhen pedwar mis yr oedd yn ei fedd. Rhoddwyd ei le i Arglwydd Goderich (Robinson); ond methodd hwnw a hwylio llestr y llywodraeth, ac yn gynar yn 1828, gwnaed Duc Wellington yn brif weinidog, a Robert Peel yn ysgrifenydd cartrefol, ac yn brif arweinydd Tŷ y Cyffredin. Rhoddodd Dudley, Huskisson, Palmerston, a Lamb eu swyddi i fyny, a daeth y weinyddiaeth yn un Doriaidd bur. Yr oedd y Whigiaid yn awr yn cyfansoddi y blaid wrthwynebol, a phenderfynasant flino y weinyddiaeth â mesurau diwygiadol. Ond cawsant Wellington a Peel yn fwy parod i'w derbyn nag y dysgwylient, yn gymaint felly fel yr enynasant anfoddlonrwydd eu cyd-swyddogion.

Dygodd Arglwydd John Russell fesur yn mlaen i ddyddimu y *Test* a'r *Corporation Acts*, y rhai a wnaed dan Charles II. er annghymhwyso Ymneillduwyr i ffurfio corphoriaethau trefol, a dal swyddi ac awdurdod yn y llywodraeth. Cafodd y mesur gefnogaeth mor fawr fel nad oedd gwiw sefyll yn ei erbyn. Rhoddodd Wellington a Peel eu cydsyniad, a phasiwyd ef heb ddymchweliad y weinyddiaeth.

Dygwyd ar sawdl hwn fil llawer mwy pwysig yn mlaen eto, sef bil Rhyddhad y Pabyddion. Yr oedd prif wleidyddion y wlad hon, er ys blynyddau bellach, yn addfed i ganiatau i Babyddion yr un rhyddid politicaidd a Phrotestaniaid; ond yr oedd corph mawr y bobl, oddiar wybodaeth o greulondeb Pabyddiaeth mewn amseroedd blaenorol, yn teimlo y gwrthwynebrwydd cryfaf. Beth bynag, yr oedd sefyllfa pethau yn gyfryw yn awr fel y gwelai y llywodraeth fod yn rhaid gwneyd rhyw beth. Yr oedd cyffro bygythiol yn Iwerddon, ac amryw gymdeithasau yn cael eu ffurfio er dadleu eu hawliau gwleidyddol, neu dori yr undeb â Lloegr. Ac yn y cyfamser cododd blaenor galluog i'r Gwyddelod anfoddog yn mherson Daniel O'Connell,—"un o arweinwyr rhyfeddaf y werinos a welodd y byd erioed; un wedi ei wneyd, debygid, er mwyn Iwerddon, ac Iwerddon er ei fwyn yntau, oblegyd nis gallasai lwyddo mewn un wlad arall. Yr oedd wedi ei eni o deulu isel, wedi ei godi ar gyfer yr offeiriadaeth, yn adnabod y bobl, yn gyfreithiwr craffus, yn nerthol o gorph, yn siaradwr hwylus a thalentog; ac er ei fod yn hollol amddifad o chwaeth a doethineb, siaradai weithiau yn dra chynhyrfus, ac weithiau yn llawn o arabedd. Yr oedd yn geryddwr llymdost, yn berffaith ddiystyr o wirionedd, yn llwfr-ddyn naturiol, ac, er ei fod yn esgeulus mewn moesau, yr oedd hyd ei glustiau mewn ofergoeliaeth. Y mae ei holl fywyd hefyd yn profi nad oedd yn meddu ar wir deimlad gwladgarol, ac mai poblogrwydd cyffredin, a mantais bersonol, oedd ei unig amcan."*

*Keightley, vol. ii., 565.

Pan ddaeth y cyfleusdra nesaf, trwy ddylanwad yr offeiriaid Pabaidd, etholwyd Daniel O'Connell i gynnrychioli swydd Clare yn y senedd; ond nis gallasai gymeryd ei le oblegyd y llwon arferol. Yr oedd y cymdeithasau politicaidd trwy hyn wedi enill buddugoliaeth, a gwrthryfel Gwyddelig yn bygwth. Teimlai y llywodraeth anhawsder mawr pa fodd i weithredu. Hyd yma yr oedd Wellington mor gyndyn a neb yn erbyn symud yr annghymhwysder Pabyddol, ond yn awr ymddengys iddo newid ei farn, a phenderfynu o blaid eu rhyddhad. Pan gyfarfyddodd y senedd yn nechreu 1829, deallwyd fod y mesur i ddyfod ger bron trwy y cyfeiriad wnaed at yr achos yn araeth y brenin. Dygwyd y bil yn mlaen gan Mr. Peel; ac er fod teimlad y brenin, y weinyddiaeth, y bendefigaeth, yr Eglwys, a chorph mawr y bobl yn ei erbyn, trwy ddylanwad rhyfeddol y duc, cariwyd ef yn Nhŷ y Cyffredin trwy fwyafrif o 173, ac yn Nhŷ yr Arglwyddi (lle y teflid ef allan bob amser gyda dirmyg) trwy fwyafrif o 105. Felly yn dra hynod pasiwyd y mesur rhyddfrydig gan weinyddiaeth Doriaidd, a hyny yn erbyn teimlad cyffredin y bobl; a thrwy hyn torwyd dolen arall yn y gadwen sydd wedi bod am oesoedd lawer yn caethiwo deiliaid Prydain Fawr oblegyd eu golygiadau crefyddol. Cynwysai y bil ryddid i Babyddion i eistedd yn y senedd, a dal unrhyw swyddi yn y llywodraeth oddigerth eiddo rhaglaw, arglwydd ganghellydd, rhaglaw Iwerddon, a rhai swyddi perthynol i'r prif ysgolion. Y Pabyddion cyntaf a dderbyniasant ragorfraint y mesur hwn, ac a eisteddasant yn y senedd ymerodrol oedd Arglwydd Surrey, mab Duc Norfolk, dros Horsham; a Daniel O'Connell.

Dygwyd oddiamgylch amryw fân ddiwygiadau eraill o fuddioldeb mwy neu lai cyffredinol. Hwyluswyd masnach yn fawr trwy sefydliad pwysau a mesurau ymerodrol. Cyn 1824, yr oedd pob math o bwysau a mesurau mewn arferiad, a llawer o ddyryswch a chamwri yn cael eu goddef o'r herwydd. Diwygiwyd arian bathol y deyrnas, rhoddwyd y cyllidau ar seiliau newydd, dilewyd llawer o swyddi a chyflogau afreidiol, a chynilwyd llawer ar dreuliadau y wlad. Gwellhawyd ystrydoedd ac adeiladau Llundain, dan arolygiad Nash, ffurfiwyd *St. James' Park* a *Regent's Park* i'w hagwedd bresenol, a gwnaed gwelliant pwysig ar y palasau breninol yn Llundain a Windsor. Yn 1829 y sefydlwyd y *Police* yn Llundain. O'r blaen yr oedd gofal poblogaeth y ddinas fawr yn benaf ar wylwyr plwyfol, hollol annghymhwys i amddiffyn personau na meddianau. Gwnaed amryw gynygion hefyd i gael diwygiad seneddol; ond er fod yr amser i hyny yn yr ymyl, gwrthodwyd hwynt oll.

Yr oedd y brenin yn awr yn cael ei flino gan hen glefyd teuluaidd, y dropsi; gwaethygai ei iechyd o ddydd i ddydd, a bu farw Mehefin

26, 1830, trwy ddrylliad gwaed-lestr yn y cylla. Yr oedd George IV. yn gymeriad hollol ddiffrwyth o ran pob rhinwedd sydd yn cyfansoddi dyn a brenin, ac yn bob peth croes i'r esiampl a gafodd yn mywyd ei dad. Yr oedd yn ansefydlog ei farn, yn anffyddlon i'w air, ac yn anfucheddol ei fywyd. Y cwmni llawen, y grechwen a'r gloddest oedd ei hoff bleserau. Byddai yn Whig ac yn Dori, yn ol fel y gwasanaethai hyny i'w fantais ei hun. Ac er nad oedd o dymher surllyd a dialgar, yr oedd mor hunanol a phe buasai yn credu fod holl ddynolryw wedi eu geni o bwrpas at ei wasanaeth ef. Mae ei ymddygiad annynol a chreulon at ei briod yn un o'r ysmotiau duaf ar ei gymeriad. Ni cheir nemawr un yn mysg holl freninoedd Lloegr wedi esgyn i'r orsedd gan gyffroi can lleied o lawenydd yn ei ddeiliaid, nac wedi marw gyda llai o alar ar ei ol. Ac eto, yn nghanol y diffygion hyn, yr oedd ynddo rai pethau canmoladwy; meddai chwaeth i ganfod a mwynhau y prydferth, a chalon i gynorthwyo y buddiol. Profir y cyntaf yn y gwelliadau a gefnogodd yn adeiladau a pharciau Llundain; a'r olaf yn y pedwar peth y canmolir ef am danynt; sef, ei genadaeth lenyddol i Poitici, er cynorthwyo i ddadblygu ysgrifen Herculaneum; ei waddol i Gymdeithas Freninol Llenyddiaeth; ei anrheg o lyfrgell George III. i'r *British Museum;* a'r cynorthwy a roddodd i adeiladu Coleg Dewi Sant yn Sir Aberteifi.

## II.—WILLIAM IV., 1830—1837.

TRYDYDD mab George III. oedd William, a brawd i'r brenin diweddar. Ganed ef yn Llundain, Awst 21, 1765; felly yr oedd yn 65ain mlwydd oed ar adeg ei esgyniad, ac wedi priodi ag Adelaide, merch Duc Saxe Coburg Meiningen. Yr oedd wedi ei godi yn y llynges, ac wedi ei ddyrchafu o swydd i swydd, nes yr oedd ys blynyddau bellach wedi ei wneyd yn arglwydd lyngesydd. Gelwid ef "*The Sailor King*," ac yr oedd, yn ystod ei fywyd, wedi enill cryn boblogrwydd am ei ddewrder, ei ffyddlondeb, a'i ddynoliaeth.

Y prif ddygwyddiad sydd yn hynodi teyrnasiad William yw y *Reform Bill*, a basiwyd dan weinyddiaeth Iarll Grey. Ni chynyrchodd unrhyw fesur erioed frwydr mwy cyndyn, na dadleuon mwy gwresog, o fewn muriau y senedd-dy, ac ni theimlwyd cymaint o ddyddordeb gan gyfangorph y genedl mewn unrhyw fesur seneddol, na chynt nac wed'yn. Yr oedd bryd y wlad ar ddiwygiad yn nghynnrychioliaeth y senedd, ac elfenau y diwygiad yn ymgasglu ys blynyddau. Ond ar adeg esgyniad William yr oedd gweinydd-iaeth Doriaidd Wellington yn prysur golli ei phoblogrwydd, ac wedi dyhysbyddu pob gronyn o ryddfrydigrwydd a feddai yn

mlynyddau olaf y teyrnasiad blaenorol. A phan ddygodd Arglwydd John Russell fil y diwygiad ger bron yn 1830, dywedodd y duc yn eglur, nad oedd ef yn gweled y gallesid diwygio y gynnrychiolaeth, ac y gwrthwynebasai ef unrhyw fesur a ddygid yn mlaen i'r perwyl. Seliodd ei eiriau dynged ei weinyddiaeth, a disgynasant ar y werin fel tân ar bylor. Ac yr oedd toriad y senedd i fyny, a'r etholiad cyffredinol cysylltiedig â newidiad y brenin, yn gyfleusdra rhagorol iddynt i gario allan eu hamcan.

Yn y cyfamser, yn rhagluniaethol iawn, ffrwydrodd llywodraeth gyfansoddiadol Ffrainc; ymunodd y bobl yn unfryd, taflasant y gormesol Charles X. oddiar ei orsedd, a chodwyd Louis Phillippe yn ei le. Ymdaenodd effeithiau y chwyldroad hwnw fel mellten dros holl Ewrop. Taflodd Belgium iau y Dutch oddiar ei gwar, ac ymffurfiodd yn deyrnas annibynol, gyda Leopold o Saxe Coburg yn frenin arni. Ac yn mysg eraill teimlodd Lloegr oddiwrth y dylanwad, a dangosodd y teimlad ei hun yn mrydaniaeth y bobl i ethol aelodau rhyddfrydig i'w cynnrychioli yn y senedd newydd. Pan gyfarfu y senedd yn Tachwedd, 1830, yr oedd yr elfen ddiwygiadol yn gorbwyso, a rhoddodd Wellington i fyny ei weinidogaeth.

Yr oedd y Toriaid wedi dal awenau yr awdurdod bellach, gydag ychydig eithriadau, am tua thriugain mlynedd. Ar gais y brenin, ymgymerodd Iarll Grey â ffurfio gweinyddiaeth, ar yr amod fod y cynghor i gymeryd dan ei ystyriaeth bwnc y diwygiad. Yn ngweinyddiaeth Grey, yr oedd Althorpe ar y drysorgell; Brougham yn arglwydd ganghellydd; Lansdowne yn llywydd y cynghor; Palmerston yn ysgrifenydd tramor; Melbourne (Lamb) yn ysgrifenydd cartrefol, a Goderich yn ysgrifenydd rhyfel. Oddiallan i'r cynghor yr oedd Arglwydd John Russell yn dâl-feistr y galluoedd, a Stanley (Derby yn awr) yn ysgrifenydd Iwerddon.

Mawrth 1, 1831, dygodd Russell ei fil ger bron gydag araeth nerthol. Ei brif ddarpariadau oeddent, fod pob bwrdeisdref oedd â'i phoblogaeth dan ddwy fil yn 1821 i gael ei difreinio; a phob un oedd dan bedair mil i anfon un aelod i'r senedd. I wneyd i fyny am y lleihad hwn, yr oedd amryw o'r trefi mawrion i gael dychwelyd aelod neu ddau, yn ol eu poblogaeth; ac yr oedd tua haner y siroedd i gael dau aelod ychwanegol. Yn y siroedd estynid pleidlais etholiadol i dri dosbarth yn ychwanegol at rydd-ddalwyr *(freeholders)* o 40s; ysgrif-feddianwyr (*copyholders*) o £10 y flwyddyn; amod-ddalwyr (*leaseholders*) am driugain mlynedd, o werth £10 y flwyddyn; a deiliaid preswylfoddog (*tenants-at-will*) yn talu ardreth o £50. Yn y bwrdeisdrefi yr oedd talu £10 o ardreth tŷ, dan amodau penodol, yn rhoi pleidlais etholiadol. Byrheid amser yr etholiad o bymtheg i ddau ddiwrnod yn y siroedd,

ac i un diwrnod yn y bwrdeisdrefi. Daliodd nifer yr aelodau yn agos yr un fath yn Ysgotland ac Iwerddon, er i'r etholfraint gael ei helaethu yn fawr yn y flaenaf.

Darllenwyd y bil y tro cyntaf heb ymraniad, ar ol dadleu poeth uwch ei ben saith niwrnod. Ar yr ail ddarlleniad nid oedd y mwyafrif o blaid y bil ond *un* (302 yn erbyn 301.) Edrychai y weinyddiaeth ar yr ymraniad hwn fel goruchafiaeth o eiddo eu gwrthwynebwyr; a phenderfynasant yn ddirgel ar dori y senedd i fyny, a chael apeliad eto at lais y wlad gyda golwg ar y bil. Ebrill 22ain, aeth Grey a Brougham at y brenin, i geisio ganddo fyned i lawr i'r Tŷ yn ddioed, a thori y senedd i fyny. Brougham oedd y llefarydd, ac y mae ef ei hun yn adrodd yr hanes. I wrthodiad cyntaf y brenin atebodd trwy awgrym am ymddiswyddiad cyffredinol. Pan ddywedodd y brenin nad oedd y prif swyddogion wedi eu rhybuddio, atebodd Brougham eu bod. Pan ddywedodd nad oedd y goron a'r gwisgoedd yn barod, atebodd y canghellydd eto eu bod. "Ond nid yw y gwarchodlu a'r milwyr wedi eu galw," ebe y brenin. "Yr wyf *fi* wedi eu galw, ac y maent yn barod," ebe y canghellydd di-ildio. Cyffrodd y brenin o herwydd y fath weithred droseddol; ond llwyddwyd i'w dawelu, a gorfu iddo ufuddhau i gais ei weinidogion penderfynol.

Pan gyfarfu y senedd newydd yn nechreu Gorphenaf, cafwyd fod y wlad wedi gofalu am ddigon o gynorthwy i'r weinyddiaeth ddwyn y mesur yn ddiberygl trwy Dŷ y Cyffredin. Yr oedd y mwyafrif o'i blaid ar yr ail ddarlleniad yn 136; ac ar y trydydd darlleniad, yn Medi, yn 109 (345 yn erbyn 236.) Ond cafodd ei daflu allan o Dŷ yr Arglwyddi gyda mwyafrif o 41. Cyffrodd hyn y wlad yn fflam, fel y gallesid yn naturiol dysgwyl. Torodd terfysgoedd peryglus allan, yn enwedig yn Bristol, Nottingham, a Derby; llosgwyd lluaws o adeiladau costus, a chollwyd llawer o fywydau. Gorfuwyd galw y milwyr allan yn Bristol; lladdwyd a chlwyfwyd oddeutu cant o ddynion, a chrogwyd pedwar o'r prif derfysgwyr.

Cyn diwedd y flwyddyn 1831 yr oedd y mesur wedi ei ddwyn eto i Dŷ y Cyffredin; ac yn Mawrth, 1832, pasiodd y trydydd darlleniad eto, gyda 116 o fwyafrif. Ond yr oedd yr Arglwyddi o hyd yn para yn gyndyn. Taflodd y weinyddiaeth eu swyddi i fyny. Canlynodd wythnos gyffrous a blin. Yr oedd Tŷ y Cyffredin a chorph mawr y bobl yn dân poeth o blaid y weinyddiaeth a'r mesur; a bygythient beidio talu treth na degwm, heb i'r Arglwyddi basio y bil. Cynygiwyd ffurfio gweinyddiaeth newydd; ond gwrthodai Peel, ac nis gallai Wellington. Felly galwyd Grey a'r Whigiaid yn ol i'w swyddi, ac addawodd y brenin wneyd ei oreu o blaid y mesur. Dyfais Grey yn awr oedd creu ryw gant o arglwyddi newyddion, er cospi cyndynrwydd y Tŷ Uchaf, a sicrhau

tynged y bil. Dychrynodd y cynygiad hwn yr Arglwyddi, am y buasai yn sicrhau mwyafrif y Tŷ Uchaf o blaid y weinyddiaeth; ac ar gais taer y brenin, absenolodd cynifer o'r Arglwyddi eu hunain o'r Tŷ ar adeg y darlleniad, fel y goddefwyd iddo gael pasio mewn dystawrwydd dwfn. Ac ar y 7fed o Fehefin, 1832, derbyniodd y *Reform Bill* y sel freninol, a gwnaed ef yn gyfraith. Er nad esgorodd ar haner y bendithion a addewid, mae yn gyfnod yn hanesiaeth ein gwlad.

Yn Ionawr, 1833, y cymerodd yr etholiad cyntaf le dan y bil diwygiadol. Cynwysai y Tŷ newydd ryw bedwar cant o gefnogwyr y weinyddiaeth, cant a haner o Doriaid a Cheidwedyddion, a'r lleill yn Annibynwyr, *Radicals*, a dyddimwyr Gwyddelig. Y flwyddyn hon yr eisteddodd y Crynwr (*Quaker*) cyntaf yn Nhŷ y Cyffredin,—Mr. Pease, yn aelod dros Darlington; a goddefwyd iddo gymeryd ei le heb dyngu y llw arferol. Ymaflodd y gynulleidfa hon yn ngorchwylion pwysig deddfwriaeth y genedl, cysylltiedig â chyflwr y deyrnas ei hun, a'i chysylltiadau trefedigaethol a thramor, gydag egni a phenderfyniad; a phasiodd fesurau geidw ei henw yn hir mewn coffadwriaeth glodforedig. Pasiwyd mesur perthynol i ddiwygiad yr Eglwys yn Iwerddon, yr hwn a ddileodd amryw bethau y cwynid yn eu herbyn gan Daniel O'Connell a'i ddysgyblion, y rhai a ymdrechent dori cysylltiad Iwerddon â'r wlad hon. Pasiwyd y *Coercion Bill*, er darostwng terfysgoedd peryglus a ffynent yn Iwerddon; gwnaed diwygiad pwysig hefyd ar Gyfraith y Tlodion yn Lloegr, yr hon oedd wedi ei gadael i syrthio i sefyllfa dra annymunol.

Ond y prif fesur, a mesur ag y tery yr adgof am dano ymffrost bythol yn nghalon pob Prydeiniwr, oedd dyddimiad caethwasiaeth yn y Trefedigaethau yn India y Gorllewin, a chyhoeddiad rhyddid i'r caeth yn mhob parth o'r tiriogaethau Prydeinig. Ysmotyn du ar hanesiaeth ein gwlad yw ei chysylltiad â chaethwasiaeth Negroaidd. Dechreuwyd y fasnach wrthun a melldithiol gan Portugal, a Spain wedi hyny, tua chanol y bymthegfed ganrif; a'r ganrif ganlynol, trwy offerynoliaeth y Cadben Hawkins, roddodd Lloegr ei llaw ynddi, a bu ei llaw am lawer o flynyddoedd yn goch gan waed y trueiniaid. Rhwng y blynyddoedd 1700 a 1786, dygwyd chwe chan mil o negroaid o Affrica, er poblogi Jamaica, yn India y Gorllewin; a chyfrifir yr oll a ddygwyd i'r holl drefedigaethau Prydeinig dros ddwy filiwn. Yr oedd y creulondeb a arferid tuag atynt i'w dal, eu triniaeth yn y llongau ar eu taith, a'r creulondeb tuag atynt ar y planigfeydd, yn gyfryw na fedr pin na thafod dynol byth eu hadrodd. Ond yr oedd hanes y creulonderau hyn yn prysur feithrin cydymdemlad â hwy, a dyfeisiau i'w gwaredu yn cael eu cynllunio gan ddyngarwyr Prydain. Pasiwyd cyfraith

yn 1807, fel y dangoswyd eisoes, i wahardd y fasnach mewn caethion. Yn 1809, trwy egni di-ildio Brougham, gwnaed y cyfryw fasnach yn lladrad (*felony*), a gweinyddid cospedigaeth ar y troseddwyr fel y cyfryw.

Yn awr cymerodd corph y bobl y mater mewn llaw o gael rhyddhad i'r caethion trwy yr holl diriogaethau Prydeinig; tywelltid deisebau yn gawodydd i'r senedd oddiwrth wŷr a gwragedd, ac ni thawelid hwy ag unrhyw esgusodion. Dygwyd bil i'r perwyl i'r senedd yn 1833, a chymaint oedd teimlad y wlad o'i blaid, fel y boddlonodd yn ddirwgnach, er mwyn pasio y bil, roddi ugain miliwn o bunau i ddigolledu y meistriaid a ddalient y caethion yn Jamaica. Pasiwyd y mesur; a chynwysai fod pob plentyn dan chwech oed i fod yn rhydd ar y 1af o Awst, 1834. Yr oedd pawb eraill i gael eu hystyried yn rhydd yr un diwrnod, ond i wasanaethu eu meistriaid, os yn y planigfeydd, am saith mlynedd; ond os mewn teuluoedd, am bum mlynedd. Pan ddaeth y dydd bythgofiadwy—y 1af o Awst—ni ddygodd ddyryswch a therfysg, fel y prophwydai rhai; ond dygodd orfoledd dwfn i fynwes pob caeth, a mwynhäai ef, nid mewn cyffro a gloddest, ond mewn tawelwch mawr a dystaw. Cadwyd y diwrnod gan y genedl orthrymedig yn rhyw fath o Sabbath, neu Jubili gysegredig.

Yn mhen pedair blynedd yr oedd y negro wedi profi ei hun yn deilwng o'i ryddid. A chododd Arglwydd Brougham, coffa da am dano, i fyny yn y *Parliament* ger bron cymanfa nas gallasai y byd ddangos ei hail, i ddadleu achos y caeth, ac i geisio ei ryddid iddo. "Mae yr amser wedi dyfod," meddai, "y prawf wedi ei wneyd, ac nid oes genych unrhyw esgus bellach dros oedi yr amser. Mae y caeth wedi dangos, trwy bedair blynedd o ymddygiad difai, ac ymroddiad tawel i'w lafurwaith, ei fod mor deilwng o'i ryddid ag unrhyw weithiwr Prydeinig, ïe, ag unrhyw arglwydd ag ydwyf yn awr yn gyfarch. Yr wyf fi, gan hyny, yn hawlio ei iawnderau; yr wyf yn hawlio ei ryddid llwyr, yn enw cyfraith a chyfiawnder, yn enw rheswm, yn enw Duw, yr hwn nad yw wedi caniatau i chwi wneuthur annghyfiawnder. Yr wyf yn galw arnoch i beidio mathru eich brawd mwyach fel caethwas dan eich traed. Yr wyf yn apelio at Dŷ y Cyffredin, sydd yn cynnrychioli pobl rydd Lloegr, ac yn ceisio ganddynt gyflawni yr amod am ba un y talasant y fath swm anferthol—yr amod ag y mae eu holl etholwyr yn dysgwyl ac yn dyheu mewn pryder am ei weled yn cael ei gyflawni! Yr wyf yn apelio at y Tŷ hwn; farnwyr etifeddol y frawdle uchaf yn y byd, yr wyf yn apelio atoch chwi am gyfiawnder! Noddwyr yr holl gelfyddydau i ddiwyllio dynoliaeth, yr wyf yn gosod dynoliaeth ei hun dan eich nawdd. Yr wyf yn galw yn uchel am drugaredd ar benadur trugarog pobl ryddion; ar ganoedd o

filoedd o'r rhai ag y mae dros haner miliwn o'n chwiorydd Cristionogol wedi bod eisoes yn llefain, i ddymuno nad â eu llefain yn ofer. Ond uwchlaw pawb, yr wyf yn troi fy llygad at orsedd pob cyfiawnder, ac yn ymgrymu gyda pharch o flaen yr Hwn sydd yn lanach ei lygad nag y gall edrych ar y fath anwiredd, i weddio am iddo gadw oddiwrthym y felldith sydd yn crogi uwchben yr annghyfiawn a'r gorthrymwr, am i'ch calonau chwi gael eu gwneyd yn dosturiol; ac am i'w ewyllys Ef o'r diwedd gael ei gwneyd dros yr holl ddaear."

Adeg i'w chofio mewn ystyr ddiwygiadol oedd teyrnasiad William IV. Er i'r mesurau yn nghylch treth yr ŷd, y dreth eglwys, a'r tugel (*ballot*) fethu, ac er fod achos Iwerddon mor ddyrys, ac yn cymeryd y rhan fwyaf o amser pob eisteddiad seneddol, a bod O'Connell yn cadw yr achos mewn berw diball gyda'i gynygion i ddyddimu y degwm Gwyddelig, a'r Eglwys Brotestanaidd Wyddelig, a dryllio yr undeb rhwng y ddwy wlad; ac er i achosion Iwerddon ysgwyd y naill weinyddiaeth ar ol y llall yn dipiau,—gwnaeth i Iarll Grey roddi ei weinyddiaeth i fyny, a daeth Arglwydd Melbourne yn brif weinidog yn ei le; ceisiwyd ei ddisodli yntau, a gosod Syr Robert Peel yn ben y weinyddiaeth; ond methwyd yn yr amcan, a galwyd Melbourne eilwaith i'w swydd. Er y cyffroadau a'r anhawsderau hyn oll, meddwn, llwyddodd Melbourne trwy gymhorth ei gyd-swyddogion, ac yn arbenig Arglwydd John Russell, i basio amryw fesurau diwygiadol yn ychwanegol at y rhai a nodwyd. Yn mysg y mesurau hyn pasiwyd Bil Priodasau, yr hwn a ddygid ger bron gan Arglwydd John Russell, er galluogi Annghydffurfwyr i weinyddu priodasau yn eu haddoldai; yn gystal a bil o gofrestriad cyffredinol priodasau, genedigaethau, a marwolaethau. Pasiwyd mesurau hefyd er gwellhau corphoriaethau bwrdeisdrefol, ac er cyfnewid cyfraith y degwm, trwy ei sefydlu yn swm ardrethol yn ol pris yr ŷd am y saith mlynedd blaenorol, yn lle ei fod yn chwyddo gyda chynydd cynyrch y tir, a pheri cymaint terfysg o'r herwydd. Sefydlwyd y *Central Criminal Court*, i eistedd yn fisol yn *Old Bailey*, Llundain, er lleihau amser carchariad cyn prawf, a hwylusu gweinyddiad cyfiawnder yn y brif ddinas. Adnewyddwyd breinlen Banc Lloegr, ac estynwyd hawlfraint gyffelyb i fanciau eraill. Yn adnewyddiad breinlen Cwmpeini India y Dwyrain, cymerwyd hawlfraint fasnachol oddiar y cwmpeini, a thaflwyd hi yn agored i bawb. Yn 1837, caniatawyd i garcharor gyflogi dadleuwr i ddadleu drosto mewn achos o ddrwg-weithred, a dyddimwyd y gyfraith a orfodai y Sirydd i ddienyddio llofruddion y diwrnod nesaf ond un i ddydd eu condemniad. Rhedai elfen ddiwygiadol y dyddiau hefyd trwy holl sefydliadau y wlad, a chydweithiai y llwyddiant masnachol, y galwad am lafurwyr gweithfaol,

ac iselder pris angenrheidiau bywyd, er gwneyd cyflwr cyffredin y bobl yn dra chysurus. Y dosbarth achwynai fwyaf oedd llafurwyr amaethyddol; nid oedd canol-bris yr ŷd o 1830 hyd 1837 ond 55s. 3c. y chwarter; felly nid oedd nemawr o duedd i ddiwyllio a gwellhau tiroedd; ac am hyny yr oedd prinder gwaith i lafurwyr tirol, a'u cyflogau, o angenrheidrwydd, yn isel.

Mehefin 20fed, 1837, bu William IV. farw yn nghastell Windsor, yn y seithfed mlwydd o'i deyrnasiad, a'r 73ain o'i oedran. Nid oedd ei dalentau fel dyn yn ddysglaer, na'i gymhwysderau fel brenin yn uchel; eto yr oedd yn ddiniwed, yn gyfeillgar, a rhinweddol; ymserchai yn fawr yn ei ddeiliaid, a'i ddeiliaid yn llawn cymaint ynddo yntau. Mae ei deyrnasiad yn nodedig am ei heddwch. Er i'r deyrnas hon, a holl Ewrop, gael eu cyffroi â chwyldroadau pwysig, ni fu rhyfeloedd na thywallt gwaed. Dyma yr unig deyrnasiad yn holl hanes y wlad hon ag sydd yn hollol rydd oddiwrth ryfel, bradwriaeth, neu unrhyw gynyg ar fywyd y penadur. Ac nid oes un adeg o'n hanesiaeth yn fwy nodedig am ei diwygiadau—diwygiadau mor gyffredinol a pharhaus. Wrth farw, o wendid teg, proffesai William ymlyniad diysgog wrth ei ffydd yn yr Arglwydd Iesu; ac un o'r geiriau olaf a ddywedodd (wrth Archesgob Canterbury) oedd, "Mil o ddiolchiadau i chwi; credwch fi, yr wyf yn wir yn ddyn crefyddol."

## III.—VICTORIA, 1837 HYD 1863.

MERCH ydyw Victoria, ein brenines bresenol, i Edward, Duc Kent, pedwerydd mab George III. Ganwyd hi yn mhalas Kensington, Mai 24ain, 1819; esgynodd i orsedd Prydain Mehefin 20fed, 1837, pan nad oedd ond deunaw mlwydd oed. Coronwyd hi Mehefin 28, 1838, a gall y darllenydd gasglu beth oedd rhwysg yr amgylchiad, a theimlad brwd y bobl tuag at eu penadur benywaidd ieuanc, oddiwrth y ffaith i driugain a deg o filoedd o bunau gael eu treulio ar y coroniad; ymwelodd pedwar can mil o ddyeithriaid â Llundain er mwyn cael gweled y ddefod; a thalwyd dau can mil o bunau am leoedd cyfleus ar ochr y ffordd i weled yr orymdaith. Priododd ar y 10fed o Chwefror, 1840, â'r Tywysog Albert, mab Ernest I., Duc Saxe Coburg o Gotha; dyn o farn a chymhwysderau anarferol, ac o gymeriad moesol difrychau, a'r hwn, trwy ei ymddygiad doeth a'i fywyd rhinweddol, a enillodd edmygiad a serch yr holl genedl.

Mae cymeriad y frenines fel gwraig, fel mam, yn gystal ag fel penadur, yn bob peth a ellid ddymuno. Ni fu llys breninol erioed mor bur a llys Victoria; ni fu penadur erioed mor boblogaidd; ni chafodd neb gyfran mor helaeth o serchiadau pob dosbarth o'i deiliaid; ac ni chafwyd penadur erioed yn eu teilyngu yn fwy.

Penadur y bobl ydyw; ymgymysga â'i phobl yn y bwthyn fel yn y palas; gwna ymholiadau i'w hamgylchiadau, gwrendy eu cwynion, wyla ddagrau o gydymdeimlad â hwy, a dychwelir y cydymdeimlad â hithau yn nydd ei thrallod gan ugain miliwn o galonau cyffrous.

Ganwyd i Albert a Victoria naw o blant, y rhai ydynt oll yn fyw:—Albert, Tywysog Cymru; Alfred, Arthur, a Leopold; Victoria (yr hon a briododd â Frederick William o Prwsia); Alice (yr hon a briododd â'r Tywysog Louis o Hesse, Germani); Helena, Louisa, a Beatrice. Pan wnaeth y frenines ei hymddangosiad swyddogol cyntaf yn y senedd, ar doriad senedd William i fyny, yr oedd ei hagwedd ieuanc a swynol yn rhoi effaith arbenig yn ei haraeth, yr hon a draddodai yn eglur a diofn. "Yr wyf yn esgyn i'r orsedd," meddai, "gyda theimlad dwfn o'r cyfrifoldeb sydd wedi ei osod arnaf; ond cynelir fi gan ymwybyddiaeth o uniondeb fy mwriadau, a dybyniad ar amddiffyn yr Hollalluog Dduw. Fy ngofal parhaus fydd i ddiwygio ein sefydliadau gwladol ac eglwysig, trwy welliadau doeth, pa le bynag y byddo gwelliant yn angenrheidiol, a chynal heddwch a chydweithrediad. Wrth wneuthur hyn cadwaf fy llygad yn barhaus ar ddoethineb y senedd, a serchiadau fy mhobl, y rhai ydynt wir gynaliaeth anrhydedd y goron, a sicrwydd dianwadalwch y cyfansoddiad." Gyda dymuno hir oes iddi i wisgo ei choron, rhaid i ni brysuro i nodi prif ddygwyddiadau ei theyrnasiad hyd yma.

Cadwodd Arglwydd Melbourne ei swydd fel prif weinidog y goron am bedair blynedd wedi esgyniad Victoria, er fod poblogrwydd a dylanwad ei weinyddiaeth wedi hen gilio, ac y dylasai fod wedi rhoddi ei lle i arall er ys blynyddoedd. Un o'r blinderau cyntaf a gododd i fygwth tywyllu ffurfafen wleidyddol y teyrnasiad ydoedd y terfysgoedd yn Canada Isaf. Gwnaed ymgais i daflu iau y llywodraeth Brydeinig oddiarnynt; ond adferwyd tawelwch yno cyn hir, pasiwyd mesurau gwelliadol, ac unwyd y ddwy Ganada dan yr un llywodraeth.

Yn y flwyddyn 1838, a'r un ganlynol, y cymerodd y symudiad Chartiaidd agwedd bwysig a pheryglus. Gelwid hwy yn *Chartists* am eu bod yn ceisio *charter* neu freinlen gan y llywodraeth i'r bobl, yn cynwys chwech o benau:—Seneddau blynyddol; etholfraint gyffredinol; pleidlais trwy y balot; sefydliad dosbarthiadau etholiadol; dyddimiad cymhwysderau meddianau; a rhoddi cyflog i aelodau seneddol. Anfonwyd deiseb ganddynt i'r senedd yn 1839 wedi ei harwyddo gan ddeuddeg cant a phedwar ugain o filoedd (1,280,000) o enwau, i geisio y mesurau hyn; yr oedd maint y ddeiseb mor fawr fel y gorfuwyd ei threiglo i mewn i Dŷ y Cyffredin. Ond er ei maint, ni chafodd ond derbyniad digon annghroesawus. Torodd terfysg peryglus allan o'r herwydd yn

Birmingham, a gwnaed difrod mawr ar feddianau. Casglwyd miloedd hefyd ar hyd ardaloedd gweithfaol Sir Fynwy, arweiniwyd hwy dan arfau ar hyd nos i waered i Casnewydd, ar fedr cyfarfod ag ychwaneg, a chodi gwrthryfel yno. Taniwyd ar yr ychydig filwyr a ddaethant i'w gwrthsefyll, a chanlynodd ychydig derfysg. Cymerwyd tri o'r blaenoriaid i fyny, Frost, Williams, a Jones, a chondemniwyd hwy o deyrnfradwriaeth; ond newidiwyd y ddedfryd wedi hyny i alltudiaeth dros fywyd.

Cofnodir cyfres o ddygwyddiadau tramor mwy neu lai pwysig cysylltiedig â'r deyrnas hon y blynyddoedd hyn. Yn mysg y cyfryw yr oedd gwrthnysigrwydd Pasha yr Aipht. Yr oedd hwn wedi dangos dewrder a phrofi llwyddiant mewn helyntion diweddar, a mynai yn awr dori cysylltiad yr Aipht â Thwrci, a chael y flaenaf, o law y Sultan, yn llywodraeth annibynol. Oblegyd cyngrair rhwng y galluoedd Ewropaidd, yr oedd yn ofynol i Brydain ymyryd, a bu agos i'r dygwyddiad esgor ar ryfel cyffredinol. Beth bynag, trwy ddoethineb ac egni dioed yr ysgrifenydd tramor, rhagflaenwyd y trychineb, ac ymostyngodd y Pasha i'w sefyllfa flaenorol.

Cododd ymrafael rhwng y wlad hon a China yn 1839, yn nghylch masnach yr opiwm. Yr oedd China o'r dechreu yn groes iawn i ddadforiad y nwydd yn y wlad; a rhaid dyweyd fod llywodraeth y wlad hon wedi arfer gormes annghyfiawnadwy yn yr achos. Atafaelwyd yr ystorfeydd opiwm yn awr gan y Chineaid, a chanlynwyd hyny gan warchaead Canton gan lynges Brydeinig. Tânbelenwyd amryw drefi, a chymerwyd meddiant o Hong Kong a Chusan. O'r diwedd cytunwyd ar heddwch, wedi i China foddloni talu amryw filiynau o bunau o draul y rhyfel, rhoddi miliwn a chwarter o iawn am yr opiwm a gymerodd, rhoddi ynys Hong Kong i fyny i Brydain, ac agor amryw borthladdoedd i'n masnachwyr.

Yn y cyfamser yr oedd Lloegr wedi rhoddi ei bys, oddiar esgus dibwys, mewn helyntion pwysicach fyth yn India, a chafodd ddyoddef fflangell dost o'r herwydd. Gyrwyd byddinoedd Prydeinig i Cabul neu Cabool yn Affghanistan, i ddiorseddu y traisfeddianwr Dost Mohammed, a rhoddi yr orsedd i Shah Soojah, yr hwn oedd yn fwy cyfeillgar i'r Ewropiaid. Wedi iddynt gyflawni y bwriad, gwnaethant ryw fath o gytundeb heddychlon â'r bobl, a phenderfynodd y milwyr ddychwelyd. Ond torodd yr Affghanistiaid y cytundeb, llofruddiasant amryw o swyddogion y milwyr, ymosodasant arnynt mewn mynedfa gyfyng ar eu ffordd, a thrwy eu creulondeb annhrugarog hwy, a llymder yr hîn a'r eira, dyfethwyd yr holl fyddin,—dros bymtheg mil o eneidiau. Ni ddiangodd ond ychydig bersonau, fel yn wyrthiol, i adrodd yr hanes gofidus. Arweiniodd Pollock a Nott alluoedd yno eilwaith, i gynorthwyo y

gwrol Sale, yr hwn oedd wedi dianc, a chafodd yr Affghanistiaid eto fedi yn chwerw o ffrwyth eu creulondeb. Dan lywyddiaeth Syr Charles Napier, ychwanegwyd holl diriogaeth Scinde at y tiriogaethau Prydeinig. Wedi hyny gorchfygwyd y Sikhs beilchion a ffyrnig gan Hardinge, Gough, a Syr Harry Smith; ac erbyn 1849, yr oedd holl Lahore, neu y Punjab (tiriogaethau y pum afon) wedi eu cymeryd gan Loegr. Parhaodd rhyfeloedd gwaedlyd mewn gwahanol ranau o'r wlad am lawer o flynyddoedd, a meddianwyd tiriogaeth ar ol tiriogaeth. Yn 1856, dan raglawiaeth alluog Arglwydd Dalhousie, cymerwyd tiriogaeth gyfoethog Oude, yn cynwys pedair mil ar ugain o filldiroedd ysgwar, a thair miliwn a haner o drigolion, ac yn dwyn miliwn o bunau o gyllid blynyddol. Er nad ellir mewn modd yn y byd gyfiawnhau ymyriadau y wlad hon â theyrnasoedd India, na'i hymddygiadau tuag at y penaethiaid a'r bobl; eto yr oedd y naill ymyriad yn ei gosod dan fath o angenrheidrwydd i ymyryd drachefn, ac felly i fyned yn mlaen o ddygwyddiad i ddygwyddiad. Er ys blynyddau bellach, y mae yr holl wlad eang dan deyrnwialen Prydain; a pha mor annghyfiawn bynag oedd y moddion, diau fod y canlyniad yn fendith fawr i'r brodorion eu hunain.

Ond, i ddychwelyd at ddygwyddiadau cartrefol. Cymerodd etholiad cyffredinol le yn 1841, a roddodd derfyn ar weinyddiaeth Melbourne. Codwyd Syr Robert Peel yn brif weinidog; Goulburn yn ganghellydd y drysorgell; Iarll Aberdeen yn ysgrifenydd tramor; Syr James Graham yn ysgrifenydd cartefol; ac Arglwydd Stanley yn ysgrifenydd y trefedigaethau. Yn y weinyddiaeth, ond oddiallan i'r cynghor, yr oedd Gladstone a Sidney Herbert.

Yr oedd y wlad yn awr wedi dyoddef rhai blynyddoedd o amseroedd caled, y bobl yn cael eu llethu gan feichiau y trethi, y gweithfeydd mewn cyflwr truenus, ac, i wneyd sefyllfa pethau yn waeth fyth, yr oedd y cynhauafau wedi troi allan yn bur ddrwg. Bu yr agwedd hon yn llawer o achlysur a chynorthwy i'r cyffro Chartaidd, ac i ystrywiau dyeithr Rebecca eilwaith yn 1842. Yr oedd amryw barthau yn Neheudir Cymru wedi eu beichio â chynifer o dollbyrth, fel y methwyd o'r diwedd a'u goddef; ymunodd heidiau o bobl, wedi ymddyeithrio o ran eu gwisgoedd, ac yn cael eu harwain gan un wedi ymwisgo â dillad benywaidd, dan yr enw "Rebecca;" ymgynullent yn y nos, a dystrywient y tollbyrth rhag blaen. Bu caledi yr amseroedd hefyd yn llawer o help i gyffroi y wlad yn erbyn treth yr ŷd.

Yr oedd yr ysbryd gwrthwynebol i dreth yr ŷd yn magu er ys blynyddoedd, oddifewn ac oddiallan i'r senedd. Dygodd Villiers yr achos droion o flaen Tŷ y Cyffredin; ond yr oedd y Toriaid, gyda Peel yn eu blaenori, yn ei droi o'r neilldu yn bur ddiseremoni.

Ffurfiwyd cyngrair yn Manchester er mwyn casglu nerth y wlad o blaid mesur i ddyddimu y dreth, a elwid *Anti-Corn-Law League*, dan arweiniad Cobden, Bright, Thompson, Dr. Bowring, ac enwogion eraill; codwyd trysorfa nerthol, cyhoeddwyd papyr fel cyfrwng y symudiad, talwyd ymweliadau â phrif drefi y deyrnas yn yr achos, a chyffrowyd y wlad o gongl i gongl. Ymddangosai Rhagluniaeth fel yn cefnogi y symudiad; cafwyd cynhauaf diffygiol yn 1845, ac ymddangosodd haint dyeithr y pytatw, yn bygwth prinder yn Lloegr, a newyn yn Iwerddon. Ac at hyn oll ychwanegwyd troedigaeth ddisymwth y prif weinidog o blaid y dyddimiad, er ei fod wedi cymeryd swydd ar yr amod fod iddo wrthwynebu dyddimiad y dreth. Pan gyhoeddodd Peel, ar gyfarfyddiad senedd 1846, ei fod wedi ei argyhoeddi gan "hyawdledd diaddurn" Richard Cobden, a'i fod wedi penderfynu o blaid dyddimiad, ffromodd rhai o'i gyd-swyddogion Toriaidd, a thaflasant eu swyddi i fyny. Rhoddodd yntau ei weinyddiaeth i fyny; ond wedi i'r Whigiaid fethu ffurfio gweinyddiaeth, adsefydlwyd Syr Robert yn ei le, ac ymunodd ei gyd-swyddogion oll, oddigerth Arglwydd Stanley (Derby), "tynged yr hwn oedd i drawsfudo o'r naill ben i'r raddfa boliticaidd i'r pen eithaf arall," a'r hwn a ddaeth wedi hyny yn flaenor i'r dosbarth o'r Toriaid a wrthodasant eu cefnogaeth i Peel, ac a elwir y "*Protectionist Party*." Yn Mehefin, 1846, pasiwyd bil dyddimiad treth yr ŷd trwy y ddau Dŷ gyda mwyafrif mawr, er gwaethaf dyfeisiau y gwrthwynebwyr. Yr un diwrnod ag y darllenwyd y bil y drydedd waith yn Nhŷ yr Arglwyddi, gorchfygwyd y llywodraeth gyda bil yn achos amddiffyniad bywyd yn Iwerddon, a thaflodd Peel ei ymddiried i fyny. Yn ei araeth ar yr amgylchiad, dywedai Syr Robert, wrth adolygu ei ymddygiad gyda bil dyddimiad treth yr ŷd,—"Gadawaf enw a felldithir gan bob gorfaelwr, yr hwn, tra yn proffesu syniadau anrhydeddus, a fynai amddiffyn tolliad er mwyn ei fantais bersonol; ond efallai y coffeir am danaf mewn ymadroddion caredig yn mhreswylfeydd y rhai hyny sydd a'u tynged i lafurio, ac enill eu bara trwy chwys eu gwyneb. Gobeithiaf y cofir fy enw yn garedig gan y rhai hyn pan fyddont yn adnewyddu eu nerth treuliedig gyda chyflawnder o ymborth didoll, yr hwn fydd yn felusach oblegyd na fydd mwy wedi ei lefeinio â syniad o annghyfiawnder."

Ar ddymchweliad gweinyddiaeth Peel, ffurfiwyd gweinyddiaeth Whigaidd dan arweiniad Arglwydd John Russell; Syr Charles Wood yn ganghellydd y drysorgell; Palmerston yn ysgrifenydd tramor; Syr George Grey yn ysgrifenydd cartrefol; ac Arglwydd Grey yn ysgrifenydd y trefedigaethau. Nid oedd hon, ar y cyfan, ond gweinyddiaeth eiddil; ond gan fod Syr Robert Peel, er ei fod allan o swydd, yn ei chynorthwyo â'i gyfarwyddiadau a'i gefnogaeth,

pasiwyd amryw fesurau rhyddfrydol a da. Un o'r rhai pwysicaf ydoedd y mesur er cyhoeddi Cofnodau Cynghor Addysg, trwy yr hwn y trefnwyd cyfraniadau blynyddol y llywodraeth er cynorthwyo addysgiad y werin.

Hynodwyd y flwyddyn 1847 gan newyn trwm yn Iwerddon; teneuwyd y boblogaeth yn fawr gan y newyn a'r haint a'i canlynai, a chan ymfudiaeth nifer mawr i faesydd newydd yr aur yn California ac Awstralia. Cyffroid y wlad anffodus hefyd gan blaid newydd yn gwaeddi am ddiwygiadau, dan arweiniad Mitchell a Smith O'Brien ac eraill, yr hon blaid a elwid "*Young Ireland.*" Yr oedd cyflwr masnach wedi myned mor isel yn Lloegr hefyd, ac ysbryd anturiaeth gyda'r rheilffyrdd a dyfeisiau eraill wedi rhedeg i eithafoedd mor beryglus, fel y dyrysodd lluaws mawr o ariandai a chwmnioedd masnachol, ac y syrthiasant yn fyr o gyflawni eu rhwymedigaethau o filiynau lawer o bunau.

Yn nechreu 1848 y torodd y Chwyldroad Ffrengig allan, ac y diorseddwyd Louis Phillippe. Bygythid heddwch y deyrnas hon yr un amser gan gyffro newydd gan y Chartiaid, dan arweiniad Fergus O'Connor, Gwyddel, ond yr hwn a gynnrychiolai dref Seisnig yn Nhŷ y Cyffredin. Ymgynullodd tyrfa fawr ar *Kennington Common*, ac anfonasant ddeiseb i'r senedd yn cael ei chludo mewn cerbyd, yr hon a ddywedai O'Connor ei bod wedi ei llawnodi gan bum miliwn o bobl. Ond cafwyd nad oedd agos haner y nifer o enwau wrthi, a bod nifer mawr o honynt yn dwyllodrus. Yr oedd y llywodraeth a holl ddinas Llundain yn ofni canlyniad y fath gyfarfod; cyhoeddwyd hysbysiad swyddol i'w wahardd, a thyngwyd tua dau can mil o gwnstebli, i fod dan lywyddiaeth Duc Wellington, er rhagflaenu terfysg a gwrthryfel. Yn mysg y cwnstebli hyn yr oedd Louis Napoleon, ymerawdwr presenol y Ffrancod, yr hwn oedd ar y pryd yn ffoadur yn Lloegr. Ond er i amryw o'r ceidwaid heddwch hyn gael tasg galed i gadw y Chartiaid rhag dyfod yn orymdaith trwy y ddinas, a chlwyfo a charcharu amryw, ni thorodd unrhyw derfysg o bwys allan. Lleddfwyd llawer ar frydaniaeth ysbryd yr anfoddogwyr trwy i sylw pwyllog a phriodol gael ei gymeryd o'u deiseb yn y senedd.

Y weithred seneddol bwysicaf yn 1849 ydoedd dyddimiad y deddfau morwrol (*navigation laws*), trwy yr hyn yr hwyluswyd egwyddorion masnach rydd yn fawr. Yr oedd y *cholera* wedi gwneyd ei ymddangosiad yn y wlad er diwedd y flwyddyn flaenorol; ond yn hydref y flwyddyn hon y torodd allan mor ddinystriol. Gwnaeth ddifrod mawr yn ei ymweliad blaenorol yn 1832; ond yr oedd ei ymweliad presenol yn fwy cyffredinol a marwol. Cyfrifid iddo dori i lawr tua phedwar ugain mil yn Mhrydain Fawr yn yr ymweliad diweddaf. Mehefin 29ain, 1850, gwylltiodd ei geffyl

dan Syr Robert Peel, pan yn dyfod i fyny dros y *Constitution Hill* o Balas Buckingham, taflwyd y marchogwr, a bu farw o effeithiau y cwymp yn mhen tridiau. Dangosodd yr holl ddinas a'r wlad alar mawr ar ol y seneddwr enwog.

Yn 1851, daeth cynlluniau y pab i ranu y deyrnas hon yn ddosbarthiadau esgobol, a'i hadenill i'r gorlan Rufeinig, yn destun sylw a gwrthwynebiad cyffredinol. Cymerodd y llywodraeth y pwnc i fyny, a dygodd Arglwydd John Russell fesur ger bron y senedd—"*Ecclesiastical Titles Bill*"—er dirwyo unrhyw swyddog eglwysig Pabaidd a ymgymerai â thitl tiriogaethol yn Mhrydain. Ond prif ddygwyddiad y flwyddyn hon ydoedd yr Arddangosiad Mawr yn Hyde Park, yr hwn a gynwysai y casgliad rhyfeddaf a wnaed erioed o lafurwaith a medrusrwydd prif genedloedd y byd. Yr oedd hwn yn ddyledus am yr awgrymiad cyntaf yn ei gylch i Gymdeithas Gelfyddydol Llundain, ac un o'i brif gefnogwyr oedd y Tywysog Albert. Y pen-adeiladydd oedd Syr Joseph Paxton, garddwr Duc Devonshire; a gweithiwyd y cynllun allan gan Mr. Charles Fox, mewn palas gwydr ardderchog, yn mesur 1848 o droedfeddi o hyd, a 408 o led, a gorchuddiai arwyneb o bedair erw ar bymtheg o dir. Agorwyd ef ar y 1af o Fai, a pharhaodd yn agored am 144 o ddyddiau. Yr oedd nifer yr arddangoswyr ynddo yn bymtheg mil, ac ymwelwyd ag ef gan fwy na chwech miliwn o bobl, yn cynwys dynion o bob gwlad a chenedl. Y nifer mwyaf o ymwelwyr mewn un dydd ydoedd 109,915. Symudwyd yr adeilad hon wedi hyny i adeiladu palas gwydr helaethach ac ardderchocach yn Sydenham, yn agos i Lundain, yr hwn sydd yn aros hyd y dydd hwn yn un o'r adeiladau harddaf, ac yn un o ryfeddodau penaf yr holl fyd. Cafodd yr arddangosiad hwn ddylanwad rhagorol, ac efelychwyd ef trwy amryw arddangosiadau yn Ewrop ac America.

Yn gynar yn 1852, wedi i Palmerston fyned drosodd i'r fainc wrthwynebol, gorchfygwyd y llywodraeth ar bwnc y cartreflu, yr hwn y gelwid am dano oddiar ofn goresgyniad gan y Ffrancod. Rhoddodd Russell ei weinyddiaeth i fyny, a ffurfiwyd un newydd gan Iarll Derby, gyda Disraeli ar y drysorgell, Malmesbury yn ysgrifenydd tramor, a Walpole yn ysgrifenydd cartrefol. Ond methodd y weinyddiaeth ddal hyd ddiwedd y flwyddyn; dymchwelwyd hi ar bwnc y gyllidfa, a ffurfiwyd un arall yn Rhagfyr gan Iarll Aberdeen. Gwnaeth hwn Cranworth yn arglwydd ganghellydd, Gladstone yn ganghellydd y drysorgell, Russell yn ysgrifenydd tramor, a Palmerston yn ysgrifenydd cartrefol. Yn Tachwedd bu farw y clodfawr Duc Wellington. Rhoddwyd ei gorph i orwedd yn ymyl Nelson, yn eglwys St. Paul, ac anrhydeddwyd ef â chladdedigaeth na welodd Lloegr nac Ewrop un mwy rhwysgfawr erioed. Ar y 1af o Ragfyr, hefyd, y cyhoeddodd y Ffrancod Louis

Napoleon, yr hwn oedd ar y pryd yn llywydd y weriniaeth, yn ymerawdwr, dan y titl o Napoleon III.

Mae prif ddygwyddiadau y blynyddau dylynol yn dwyn perthynas â chysylltiadau tramor y wlad, ac yn cynwys rhyfeloedd pwysig â Rwsia, Persia, a China, a'r gwrthryfel diweddar yn India. Yr oedd Nicholas o Rwsia er ys blynyddoedd â'i lygad ar Twrci eiddil, ac yn awyddus am gysylltu cyfran helaeth o honi, o leiaf, â'i diriogaethau ei hun. Achos uniongyrchol toriad allan yr amrafael ydoedd, gwaith y sultan yn gwrthod cydnabod Nicholas fel noddwr neu ben y Cristionogion Groegaidd yn nhiriogaethau Mahometanaidd y Twrc. Wedi methu heddychu rhwng Nicholas a'r sultan, penderfynodd Lloegr a Ffrainc, yn nechreu 1854, gyhoeddi rhyfel yn erbyn Rwsia. Anfonwyd byddinoedd nerthol i'r Baltic ac i'r Crimea, yn y Môr Du. Canlynodd brwydrau gwaedlyd Alma, Balaclava, Inkerman, a Tcherneya; ac ar yr 8fed o Fedi, 1855, syrthiodd Sebastopol i ddwylaw y cyngreiriaid. Cytunwyd ar heddwch yn nghynadledd Paris yn Mawrth, 1856; a dychwelodd gweddill y byddinoedd i'w gwledydd eu hun. Y cyfrif swyddogol am golled y deyrnas hon yn y rhyfel ydyw oddeutu 20,000; ond bernir y byddai 40,000 yn agosach i'w le, ac i dair rhan o bedair o honynt syrthio trwy ddiffygion a chlefyd. Dywed Vaillant, ysgrifenydd rhyfel Ffrainc, i'r llywodraeth hono anfon allan i'r rhyfel yma 309,628 o wŷr, 41,974 o geffylau, a 597,686 o dunelli o ystorfeydd; ac na ddychwelodd ond 227,125 o wŷr, 9000 o geffylau, a 126,880 o dunelli o ystorfeydd. Cyfrifir colled Rwsia yn 500,000 o wŷr, a bod 90,000 o honynt wedi eu claddu ar ucheldir Sebastopol.

Cyn diwedd y flwyddyn 1856 yr oedd amrafael wedi tori allan rhwng y llywodraeth hon a Persia; a chanlynwyd hwnw gan ryfel â China; ond terfynwyd y naill a'r llall yn fuan ar delerau heddychlon. Yn Mai, 1857, y torodd y gwrthryfel dychrynllyd allan yn myddin frodorol Bengal yn India; a chyflawnwyd gweithredoedd echryslon gan y *sepoys* dialgar. Cymerwyd meddiant o Delhi gan y gwrthryfelwyr, a syrthiodd ystorfeydd helaeth i'w dwylaw. Un o'r creulonderau mwyaf ysgeler yn ystod y gwrthryfel a gyflawnwyd gan Nana Sahib ar wragedd a phlant yn Cawnpore. Bydd enwau Syr Henry a Syr John Lawrence, Nicholson, Wilson, Havelock, a Syr Collin Campbell, yr hwn a anfonwyd drosodd yn gadlywydd, mewn coffadwriaeth yn hir am eu hymdrechion a'u gwroldeb i atal y lledaeniad, a darostwng y gwrthryfel.

Yn ystod y blynyddoedd hyn bu amryw gyfnewidiadau yn ngweinyddiad y llywodraeth gartref. Daeth gweinyddiaeth Aberdeen mor anmhoblogaidd yn herwydd llywodraethiad annyben

achosion rhyfel y Crimea, fel y rhoddodd yr iarll ei ymddiried i fyny yn nechreu 1855. Ffurfiwyd gweinyddiaeth newydd gan Arglwydd Palmerston, gyda Clarendon yn ysgrifenydd tramor, Panmure yn ysgrifenydd rhyfel, a Syr G. C. Lewis yn ganghellydd y drysorgell. Daliodd Palmerston yr awdurdod yn ei law hyd ddechreu 1858. Yr amser hwnw gwnaed cynyg ar fywyd Louis Napoleon gan Orsini ac ymnoddwyr Italaidd eraill yn Lloegr. Dygodd Palmerston mewn canlyniad fil ger bron y senedd er gwneyd cyfraith gospedigaethol bradwyr yn fwy llym ac effeithiol. Ond gan na theimlai y senedd barodrwydd i wneuthur cyfreithiau oddiar awgrymiadau Napoleon, gwrthwynebwyd y bil, a dymchwelwyd y weinyddiaeth. Daeth Derby eto, gyda'i gyd-swyddogion blaenorol, i'r awdurdod. Yr oedd bil er cyfnewid llywodraeth India wedi ei ddwyn ger bron gan Palmerston, ond gadawyd iddo syrthio ar ddymchweliad ei weinyddiaeth. Dygodd Derby fil cyffelyb yn mlaen, a gwnaed ef yn gyfraith. Trosglwyddwyd y gallu llywodraethol, trwy y mesur hwn, o ddwylaw y Cwmpeini i ddwylaw y penadur; dyddimwyd swydd llywydd y bwrdd, a gosodwyd ysgrifenydd India yn ei le. Cynorthwyir yr ysgrifenydd gan gynghor o bymtheg o bersonau; saith wedi eu dewis gan lys y cyfarwyddwyr o'u mysg eu hunain, ac wyth wedi eu henwi gan y goron. Ond cyn bod y bil hwn wedi pasio trwy y senedd, yr oedd y gwrthryfel wedi ei ddarostwng.

Yr oedd gweinyddiaeth Doriaidd Derby yn dal eu gafael yn dŷn yn yr awdurdod, ac yn barod i ddyfod dros derfyn eu hewyllys eu hunain er ei mwyn. Pasiwyd bil ganddynt i ganiatau eisteddle i'r Iuddew yn senedd Prydain—hen bwnc y bu dadleu poeth arno am lawer o flynyddoedd. A chan fod y wlad er ys blynyddoedd yn dysgwyl am ddiwygiad seneddol, penderfynwyd parotoi bil i'r perwyl hwnw hefyd. Yn gynar yn eisteddiad 1859 dygodd Disraeli ei *Reform Bill* ger bron; ond nid oedd ei ddarpariadau yn cyfarfod dysgwyliad y bobl, a gwrthodwyd ef gan fwyafrif o 330 yn erbyn 291. Ac er i Derby fŷnu apelio at lais y wlad mewn etholiad cyffredinol, pasiwyd pleidlais o anymddiried yn ei weinyddiaeth, a rhoddodd yntau ei swydd i fyny. Yn mis Mehefin, 1859, daeth Palmerston eto yn brif weinidog, a ffurfiodd ei weinyddiaeth gydag Arglwydd Russell yn ysgrifenydd tramor, Gladstone yn ganghellydd y drysorgell, Syr G. Grey yn ysgrifenydd cartrefol, Syr C. Wood yn ysgrifenydd India, Duc Newcastle ar y trefedigaethau, ac Arglwydd Granville yn llywydd y cynghor; ac y mae ei weinyddiaeth wedi parhau hyd yn awr (Ionawr, 1863). Ni phasiwyd unrhyw fesur o bwys mawr am weddill eisteddiad seneddol 1859.

Bu nifer mawr o enwogion farw yn ystod y flwyddyn, ac yn eu mysg Hallam, yr hanesydd; Dr. Dionysius Lardner, yr athronydd;

Leigh Hunt, y bardd a'r llenor; a'r peirianwyr enwog, I. K. Brunel a Robert Stephenson; Dr. Wilson o Edinburgh, Washington Irving, Thomas de Quincy, ac Arglwydd Macauley. Hydref 26ain o'r flwyddyn hon hefyd y collwyd y *Royal Charter* ar greigiau Ynys Mon, ar ei thaith o Awstralia i Liverpool; ac o 500 o ddwylaw a theithwyr oedd ar ei bwrdd, collodd 450 eu bywydau yn y llongddrylliad.

1860. Nid oes nemawr o ddygwyddiadau gwladol pwysig perthynol i'r wlad hon am 1860 i'w coffa. Mesur seneddol pwysicaf y flwyddyn oedd bil dyddimiad y dreth ar bapyr, yr hwn a basiodd Dŷ y Cyffredin ar yr 8fed o Fai. Taflwyd y bil allan o Dŷ yr Arglwyddi ar ei ail ddarlleniad, gan 193 yn erbyn 104. Parodd hyn gyffro mawr yn Nhŷ y Cyffredin a thrwy y wlad, am yr ystyrid fod awdurdod drethol y deyrnas, yn ol egwyddorion y Cyfansoddiad, yn nwylaw y Cyffredin yn unig. Daliodd y Tŷ Isaf yn ddiysgog at ei awdurdod, ac anfonwyd canoedd o ddeisebau i'r senedd yn yr achos. Anfonwyd deiseb o Birmingham wedi ei llawnodi gan ddeng mil; ac o'r diwedd gorfu i'r Arglwyddi ildio, a daeth y bil yn gyfraith ar y 1af o Hydref, 1861. Buan y gwelwyd yr effeithiau mewn newyddiaduron rhad, a lluosogiad dirfawr ar gyfryngau gwybodaeth. Pasiodd y Cyffredin hefyd fil dyddimiad y dreth eglwys; ond taflodd yr Arglwyddi ef allan. Dygodd Arglwydd John Russell ei fil diwygiadol o flaen y Tŷ; ond nid oedd ei gynwys yn cyfarfod â dysgwyliad y wlad; ac wrth weled y derbyniad oerllyd a gafodd, goddefwyd iddo syrthio.

Prif ddygwyddiadau tramor y flwyddyn hon, ag oeddent yn dal cysylltiad mwy neu lai pwysig â Phrydain, oedd buddugoliaethau hynod Garibaldi yn Itali, a gwrthryfel creulon y Tyrciaid yn Syria. Yn mis Medi gadawodd brenin Naples ei ddinas, a thranoeth, yr 8fed, derbyniwyd Garibaldi ynddi gyda banllefau byddarol; a'r dydd canlynol cyhoeddodd Garibaldi Victor Emmanuel yn frenin Itali. Yr oedd yn rhagluniaethol iawn fod cyfaill i ryddid Itali—Arglwydd John Russell—yn dal awdurdod swyddfa dramor y wlad hon yn ystod y chwyldroad. Yn Syria cododd rhai o'r llwythau (y Drusiaid a'r Moslemiaid) yn erbyn y lleill, a llofruddiasant hwy wrth y miloedd mewn gwaed oer. Lladdwyd tua phum mil a haner o wŷr, gwragedd, a phlant mewn un wythnos yn Damascus yn unig; a chyfrifid yr oll a laddwyd yn ystod y terfysg yn ddeuddeg mil. Dinystriwyd cant a thriugain a thri o bentrefi, dau cant ac ugain o eglwysi, saith o fynachdai, a chigyddiwyd dau cant o offeiriaid. Cyfryngodd Ffrainc a Lloegr, a chospwyd nifer mawr o'r troseddwyr gan y sultan â marwolaeth ac â charchariad. Wedi amryw frwydrau rhwng Lloegr a Ffrainc ar y naill du, a China ar y tu arall, cytunwyd ar amodau heddwch yn mis Hydref.

1861. Nid esgorodd senedd 1861 ar unrhyw fesurau o bwys cyffredinol, er i ddau cant a thriugain ac wyth o actau o bob math gael eu pasio, a lluaws o honynt o duedd wellhaol a chynyddol. Bu amryw fesurau diwygiadol ger bron, megys Bil Ymddiriedolwyr Ysgolion, &c., gan Mr. Dillwyn; Bil y Claddu, &c., gan Syr Morton Peto; Bil y Tugel (*Ballot*), fel arfer gan Mr. Berkeley; a Bil Dyddimiad y Dreth Eglwys gan Trelawney; ond ni lwyddwyd i gario un o honynt yn gyfraith. Cariwyd Bil Dyddimiad y Dreth Eglwys ar ei ail ddarlleniad gan 281 yn erbyn 266; ond ar ei drydydd darlleniad daeth y ddwy blaid yn gyfartal—274 o bob tu; a thrwy i'r llefarydd roddi ei bleidlais derfynol gyda'r gwrthwynebwyr, collwyd y bil. Mesur pwysig i ddosbarth gweithiol ein gwlad a basiwyd yn yr eisteddiad hwn yw, Banc Cynilo y Llythyrfa (*Post Office Savings' Bank*), yr hwn a agorwyd Medi yr 16eg. Mae yr act hon yn gwneyd llythyrfa y deyrnas yn fanc cynilo, dan lywyddiaeth y post-feistr cyffredinol, gyda manteision arbenig; a derbynir y symiau lleiaf i mewn yn ngwahanol lythyrdai y deyrnas ydynt wedi eu hapwyntio i'r perwyl. Yn mis Mai pasiodd Tŷ y Cyffredin y swm o chwe mil o bunau y flwyddyn i'r Dywysoges Alice, a deng mil ar ugain o waddol iddi ar ei phriodas a'r Tywysog Louis o Hesse. Cymerodd y briodas le yn Osborne, ar y 1af o Orphenaf yn y flwyddyn ganlynol (1862). Yn ystod yr eisteddiad hwn hefyd dyrchafwyd Arglwydd John Russell i'r bendefigaeth, dan y titl o Iarll Russell; ond ni pharodd y dyrchafiad iddo roddi ei swydd fel ysgrifenydd tramor i fyny. Bu yr Arglwydd Ganghellydd Campbell hefyd farw yn sydyn (Mehefin 23ain), a chymerwyd ei le ar y sach-wlân gan Syr Richard Bethel, yr hwn hefyd a godwyd i'r bendefigaeth dan y titl o Arglwydd Westbury.

Ar yr 8fed o Ebrill y cymerwyd cyfrif poblogaeth y deyrnas, yr hwn a elwir y *census*, y gorchwyl ystadegol penaf o eiddo y llywodraeth; rhoddir y ffigyrau mewn man arall. Cyfarfyddodd ein grasusaf frenines â thrallodau mawr yn ystod y flwyddyn. Mawrth 16eg bu farw ei hanwyl fam, Duces Kent, yn 76ain oed; a chan mai y frenines oedd ei hunig blentyn, a'i bod wedi claddu ei gwr pan nad oedd ei merch ond baban, yr oedd eu hymlyniad yn anarferol, a theimlai y frenines yr ergyd yn ddirfawr. Ond cyn bod y flwyddyn drosodd, cafodd ergyd agosach a thrymach fyth. Rhagfyr 14eg bu farw y rhinweddol a'r enwog Dywysog Albert, cydmar bywyd ein penadur, yn Windsor, ar ol ychydig ddyddiau o glefyd, yn 43ain mlwydd oed; a gadawodd yr amgylchiad nid yn unig ei deulu, ond yr holl genedl yn brudd ac wylofus.

Yn Ebrill torodd gwrthryfel America allan, trwy waith y Deheuwyr yn cymeryd amddiffynfa Sumter. Yr oedd wedi bod yn bygwth am fisoedd cyn hyny, yn herwydd etholiad y Gwerinwr

Lincoln i'r gadair lywyddol. Ac y mae wedi para bellach am agos dwy flynedd, heb argoel terfynu, yn un o'r rhyfeloedd mwyaf anffortunus a gwaedlyd; a'r holl fyd, ac yn arbenig ardaloedd gweithfeydd cotwm Prydain, yn teimlo yn ddwys oddiwrth ei effeithiau. Bu agos i Brydain gael ei thynu i mewn i'r amrafael, trwy waith y llong Americanaidd, *San Jacinto*, yn cymeryd Mason a Slidell, dau genadwr y Deheu, oddiar fwrdd y *Trent*, llythyr-long Brydeinig, trwy orthrech. Pan gyrhaeddodd y newydd i Lundain, syrthiodd y *funds* ddwy bunt y cant yn y fan, a dychrynodd yr holl deyrnas gan ofn y canlyniad. Beth bynag, rhoddodd llywodraeth America y ddau ddyn i fyny i Loegr, a chyfryngodd Rhagluniaeth i ragflaenu rhyfel o'r mwyaf gwrthun ac annaturiol.

1862. Blwyddyn ddygwyddlawn oedd 1862. Nid oedd ei mesurau seneddol ar y cyfan ond dibwys. Un o'r pynciau gymerodd fwyaf o amser yr eisteddiad oedd cynllun newydd cynghor addysg y llywodraeth, a elwir y *Revised Code*. Parodd gyffro mawr trwy y wlad hefyd yn ei erbyn. Prif amcan y gwelliant oedd symleiddio y drafodaeth arianol, a gosod cynydd y plant yn amod y cynorthwy; ond gorfu i'r Cynghor Addysg gyfnewid llawer ar eu cynllun cyn i'r llywodraeth ei basio. Collwyd Bil Dyddimiad y Dreth Eglwys y flwyddyn hon eto o un bleidlais—287 yn erbyn 286. Bu achwyn mawr ar ddiffrwythder yr eisteddiad, ac ar glaiarineb y weinyddiaeth a gyfenwa ei hun yn weinyddiaeth ryddfrydig o blaid mesurau diwygiadol y wlad. Bu dysgwyliad cryf am ei dymchweliad, ac y mae llawer yn prophwydo nas gall ei chwymp fod yn mhell.

Bu 1862 yn flwyddyn doreithiog o drychinebau. Daeth i mewn pan oedd y deyrnas yn brudd o herwydd ymadawiad disymwth y Tywysog Albert. Ionawr 16eg, dychrynwyd y wlad gan y newydd am y ddamwain flin yn mhwll glo Hartley, ger Newcastle; syrthiodd *shaft* i'r pwll, a chauodd ef i fyny, fel y mygodd 204 o'r glowyr. Cyn pen ychydig wythnosau, yr oedd dros £70,000 wedi eu casglu trwy gyfraniadau gwirfoddol er cynorthwyo y teuluoedd galarus. Yn mhen mis (Chwefror 19eg) collwyd haner cant o fywydau eilwaith trwy danchwa yn mhwll glo Gethin, yn ymyl Merthyr; a chyfranodd y wlad swm mawr o arian eilwaith i gynorthwyo eu gweddwon a'u hamddifaid hwythau. Ond prif hynodrwydd y flwyddyn yw cyfyngder swydd Lancaster oblegyd diffyg cotwm, a hyny yn ganlyniad rhyfel anffodus America. Safai y naill lawweithfa ar ol y llall, a theflid y bobl allan o waith wrth y miloedd a'r ugeiniau o filoedd. Dywedai Mr. Bright yn ei araeth yn Birmingham, yn niwedd y flwyddyn, fod tua 500,000 o wŷr, gwragedd, a phlant, yn pwyso ar haelioni y wlad am eu cynaliaeth. Mae dau beth nodedig yn nglŷn â'r cyfyngder hwn—dyoddefgarwch tawel y bobl dano, a haelfrydedd difesur y wlad i'w cynorthwyo. Er nad

oedd gan y gweithwyr, druain, yr un law yn nygiad y drwg arnynt, daliant dano heb ladrata, na therfysgu, na grwgnach. Ac y mae Cristionogaeth wedi codi colofn dragywyddol o ganmoliaeth iddi ei hun yn y dyoddefgarwch hwn, yn gystal ag yn y ffrydiau cyson a didor o fwyd a dillad, a'r canoedd o filoedd o bunau o arian sydd wedi para i redeg yn ffrydlif fendigedig i deuluoedd y dyoddefwyr. Ni welodd y byd y fath haelfrydedd o'r blaen. Ac y mae yn iawn coffa fod y Trefedigaethau Prydeinig, yn gystal a theyrnasoedd tramor, wedi anfon arian wrth y miloedd, a llongeidiau llawnion i gynorthwyo y dyoddefwyr amyneddgar yn eu profedigaeth. Gweithred hynod arall o haelfrydedd a wnaed gan fancwr cyfoethog yn Llundain, o'r enw George Peabody, Americaniad, sef rhoddi swm o gant a haner o filoedd o bunau er cynorthwyo i godi tai cyfleus i weithwyr a thlodion y brif-ddinas.

Daeth Arddangosiad Mawr 1862 yn Kensington drwyddi yn llwyddianus, er holl annybendod Dirprwywyr ei Mawrhydi, y rhai a'i llywodraethent, ac er i gyfyngder y gweithiau cotwm gadw miloedd heb dalu ymweliad ag ef. Agorwyd ef ar y 1af o Fai, 1862, a chauwyd ef ar y 1af o Dachwedd. Ymwelwyd ag ef gan 6,198,000. Cynwysai arddangoswyr a nwyddau nid yn unig o Brydain a'i threfedigaethau, ond o holl deyrnasoedd gwareiddiedig y byd; ac ni bu o'r blaen y fath gasgliad o gywreinrwydd celfyddyd a dyfeisgarwch dyn. Ar y 1af o Orphenaf priodwyd y Dywysoges Alice â'r Tywysog Louis o Hesse, yn Osborne, gan Archesgob York. Yn awr y mae darpariadau yn cael eu gwneyd ar gyfer priodas Tywysog Cymru â'r Dywysoges Alexandra o Denmark, yr hon sydd i gymeryd lle yn gynar yn ngwanwyn 1863.

Bu y flwyddyn hon hefyd yn doreithiog o ddrygau; mae y llofruddiadau, yr hunan-laddiadau, yr ysbeiliadau beiddgar trwy lindagu (*garotting*), y twyllo, a'r ffugio, yn chwyddo i swm echryslon. Bu y crogwr yn ddiwyd trwy amrywiol barthau y wlad; a gyrwyd tyrfa i lafur cospawl. Priodolir ffyniant y *garotters* i'r nifer mawr o ddrwg-weithredwyr sydd wedi eu gollwng yn rhydd trwy rinwedd y tocyn rhyddid (*ticket-of-leave*); ac y mae eu hymosodiadau mynych a chreulon wedi peri i'r llywodraeth gymeryd y gyfraith bresenol dan ystyriaeth, er darparu rhyw welliant arni. Cafwyd allan un o'r ffugiadau eangaf a wnaed erioed ar filiau Banc Lloegr hefyd, pa rai oedd wedi eu cario yn mlaen am flynyddau, a dedfrydwyd y troseddwyr penaf i lafur cospawl am eu hoes. Er cymaint oedd drygau ac anffodiau y deyrnas yn ystod y flwyddyn, y mae un peth dedwydd i'w goffa am dani; ni roddodd march coch rhyfel ei garn gwaedlyd i lawr ar unrhyw ysmotyn o diriogaethau eang Prydain; cadwyd y cleddyf

yn ei wain, a chafodd y cenedloedd sydd dan gysgod teyrnwialen Victoria fwynhau blwyddyn mewn heddwch. Hir y parhao felly.

Mewn teyrnasoedd eraill y mae wedi bod yn dra gwahanol. Bu Itali yn dra aflonydd; a chlwyfwyd ei gwron, Garibaldi, wrth redeg o flaen ei wirfoddolion i'w hatal i danio ar filwyr Victor Emmanuel yn Aspromonte, yn mis Awst. Yr oedd ef a'i wŷr wedi rhoddi teyrnas Itali i'r brenin Victor, ac yr oeddent yn myned yn awr i roddi Rhufain iddo yn brif-ddinas i'w llywodraethu. Eu harwyddair ydoedd, "*Rhufain neu angau.*" Blwyddyn helbulus ydoedd ar y pab, Pius IX., yn herwydd ysbryd annibynol a rhydd-frydig Itali, a buasai yn fwy blin byth oni bai fod Napoleon yn cadw ei warchodlu Ffrengig i amddiffyn yr hen dad a'i ddinas. Yn mis Hydref, yr oedd teimlad chwyldroadol yn Groeg wedi enyn i'r fath raddau fel y gadawodd y brenin Otho ei orsedd a'i deyrnas; dygwyd y chwyldroad oddiamgylch heb ddiweinio cledd na thywallt dyferyn o waed; ac y mae yr orsedd hyd yma yn wag, a'r Groegiaid yn methu cael pen i wisgo eu coron. Y maent wedi rhoddi cynyg unfrydol o honi i'r Tywysog Alfred o Loegr; ond y mae ef wedi gwrthod, ac nid yw amodau cytundeb prif alluoedd Ewrop yn caniatau iddo ei derbyn. Ond y mae gwaith y Groegiaid yn dangos cymaint o barch i'r deyrnas hon, yn eu cais unfrydol am Alfred yn frenin, wedi darbwyllo y llywodraeth i roddi yr Ynysoedd Ionaidd, yn Môr y Canoldir, i fyny iddynt. Ac ni fydd hyny yn golled i Loegr, gan fod y gost i'w cadw yn llawer mwy na'u gwerth. Mae ymerawdwr Rwsia mewn blinder parhaus oddiwrth y Polandiaid gorthrymedig, a'r gwrthryfel presenol yn dra bygythiol. Ond o bob gwlad ar wyneb y ddaear, i America y bydd 1862 yn fwyaf nodedig a chofiadwy. Y mae gwyneb y ddaear, yn y Taleithiau Deheuol a gyffiniant â'r Gogledd, wedi yfed gwaed canoedd o filoedd o'r trigolion; ac ychydig yw yr argoelion am heddwch. Mae y gaethfasnach bellach wedi dyfod yn bwnc pwysig yn yr ymrafael, ac anfonodd y Gymanfa yn Washington gyhoeddiad allan, wedi ei arwyddo gan Lincoln y llywydd, yn cynwys fod holl gaethion y taleithiau gwrthryfelgar yn rhydd o'r dydd cyntaf o Ionawr, 1863. Mae yn anmhosibl gwybod yn awr beth fydd diwedd y rhyfel ofnadwy yma; ond y mae yn bur debyg y rhydd ergyd angeuol i'r gaethfasnach, pa un bynag a renir y llywodraeth yn ddwy ai peidio.

## IV.—CREFYDD A LLENYDDIAETH.

Ni oddef ein terfynau i ni gofnodi symudiadau crefyddol na llenyddol y cyfnod gydag unrhyw fanylwch; gellir dyweyd fod y naill a'r llall wedi dal i gynyddu yn gyson, ac wedi bod yn fagwr-

iaethol i'w gilydd. Un o nodweddion hanesiaeth eglwysig y wlad hon oddiar wawr gyntaf y diwygiad ydyw ei hysbryd Ymneillduol; ac y mae yn enill nerth flwyddyn ar ol blwyddyn. Myn yr Ymneillduwyr nad oes gan y llywodraeth wladol ddim i wneyd ag athrawiaeth na dysgyblaeth yr eglwys Gristionogol; ac o hyn y cwyd yr ymryson rhyngddynt ag eglwys sefydledig y wladwriaeth. Hyn sydd yn peri rhwygiadau mynych o fewn yr Eglwys, ac a barodd, yn 1843, i bum cant o weinidogion, a chorph mawr y bobl yn Ysgotland, y rhai a adwaenir yn awr fel yr "Eglwys Rydd," i dori eu cysylltiad â'r llywodraeth, a mynu llywodraethiad eu heglwys i'w dwylaw eu hunain. Gadawodd y gweinidogion eu heglwysi, eu tai, a'u cyflogau, ac ymdaflasant ar haelfrydedd eu cynulleidfaoedd; ac er eu bod yn amseroedd caled, casglodd y bobl dros dri chan mil o bunau yn fuan, trwy roddion gwirfoddol, i fyned ag achos eu crefydd yn mlaen. Mae y teimlad yn erbyn cysylltiad yr eglwys a'r wladwriaeth yn cynyddu, ac y mae er ys blynyddoedd bellach wedi cymeryd arno ffurf arbenig yn sefydliad y "Gymdeithas er Rhyddhad Crefydd." Y mae amrafaelion mynych o fewn yr Eglwys, yn gystal a gwrthwynebiad oddiallan, yn cydweithio. Un engraifft nodedig o hyn yw yr erlyniad diweddar o eiddo ei hesgobion yn erbyn ei gweinidogion am eu syniadau cyfeiliornus yn y gyfrol a elwir "*Essays and Reviews.*" Bellach y mae y *Court of Arches* wedi cyhoeddi ei ddedfryd yn erbyn dau o'r traethodwyr, Dr. Rowland Williams a Mr. Wilson, am eu syniadau hereticaidd ac anffyddol. Y maent i roddi eu gorchwylion eglwysig i fyny, ac i fforffedu eu cyflog am ysbaid un flwyddyn, yn nghyda thalu costau y gyfraith. Mae yr amddiffynwyr wedi apelio at y Cyfrin-Gynghor am brawf arall; ond y dyb gyffredin yw, na thycia iddynt.

Cymerodd amryw symudiadau le yn ddiweddar yn mysg uchel swyddogion yr eglwys wladol. Olynwyd y diweddar Dr. Sumner i archesgobaeth Canterbury gan Dr. Longley, archesgob York; a dyrchafwyd Dr. Thomson, esgob Gloucester, i archesgobaeth York, a Dr. Ellicott, deon Exeter, i le Thomson. Mae Longley wedi enill cryn enwogrwydd fel Cristion da a phwyllog, a Thomson ac Ellicott fel ysgolheigion a duwinyddion rhagorol a rhyddfrydig. Mae y cyfnewidiadau diweddar hyn yn mhrif swyddogion yr Eglwys Sefydledig, wedi cyffroi ymgais newydd er deffroi yr Eglwys i fwy o lafur, a helaethiad ei dylanwad a'i therfynau yn y wlad. Mae diwygiadau crefyddol o bwys wedi cymeryd lle yn y wlad hon yn y deugain mlynedd diweddaf; ac yn arbenig y diwygiad grymus a gychwynodd yn America yn 1857. Cyrhaeddodd y fflam drosodd i Iwerddon, ac i'r ynys hon; a chafodd Cymru ei bedyddio â mesur anarferol o hono, ac ychwanegwyd degau o filoedd at yr eglwysi

ynddi. Mae cyfrifon y pedwar enwad Ymneillduol yn y Dywysogaeth yn 1861, yn ol "*Rees's Nonconformity in Wales*," fel y canlyn:—

| | Capeli. | Gweni-dogion. | Preg-ethwyr. | Aelodau. | Yn yr Ysg. Sul. | Gwrandawyr heb fod yn aelodau. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Annibynwyr | 766 | 390 | 431 | 97,647 | 88,765 | 104,351 |
| Meth. Calfinaidd | 937 | 296 | 254 | 90,560 | 135,250 | 173,584 |
| Bedyddwyr | 506 | 322 | 234 | 50,903 | 42,453 | ——— |
| Wesleyaid | 533 | 64 | 500 | 24,394 | ——— | ——— |

Mae llenorion a llenyddiaeth y wlad hefyd yn dal ei ffordd i fyny, a'i llyfryddiaeth yn chwyddo yn ddirfawr, ac yn cystadlu yn deg ag eiddo unrhyw genedl. Mae nifer y llyfrau a wasgerir gan brif gyhoeddwyr y deyrnas bob blwyddyn yn anhygoel. Ac heblaw y llyfrau hyn, y mae y swm aneirif o gyfnodolion chwarterol, misol, ac wythnosol, yn nghyda'r newyddiaduron rhad a lluosog, yn gyfryngau addysg pwysig, ac yn foddion nerthol i berffeithio gwareiddiad, a dyrchafu y genedl.

Yn y *Newspaper Press Directory* am 1863, cawn fod nifer y newyddiaduron a gyhoeddir yn y Deyrnas Gyfunol fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Lloegr (Llundain, 239; parthau eraill, 639) | 878 |
| Cymru | 37 |
| Ysgotland | 142 |
| Iwerddon | 134 |
| Ynysoedd Prydeinig | 15 |

O'r cyfanswm hyn o 1206, y mae 72 yn newyddiaduron dyddiol. Cyhoeddir 46 o'r rhai dyddiol yn Lloegr; sef Llundain, 21; Liverpool, 5; Newcastle, 3; Hull, 3; Bristol, 2; Manchester, 2; Birmingham, 2; Nottingham, 2; Plymouth, 2; Leeds, 1; Sheffield, 1; Shields, 1; Sunderland, 1; Cymru (Abertawy), 1. Ysgotland, 9; sef Edinburgh, 4; Glasgow, 3; Dundee, 2. Iwerddon, 14; sef Dublin, 8; Cork, 4; Belfast, 2. Ynysoedd y Môr—Jersey, 2. Yn yr un *Directory* am 1861, cawn mai nifer y newyddiaduron ydoedd 1102; felly y mae cynydd y newyddiaduron yn y ddwy flynedd yn 104. Rhoddir nifer y cyfnodolion, yn cynwys y *Quarterly Reviews*, yn 537; ac o'r rhai hyn y mae 217 o nodweddiad hollol grefyddol.

Mae y rheilffyrdd a'r *telegraph* wedi dyfod yn weinyddion pwysig i lenyddiaeth, ac yn trosglwyddo llyfrau newyddion a manteision eraill gwybodaeth i bob dosbarth o'r bobl yn mhob congl o'r wlad. Er cymaint a gyhoeddir o *novels*, a llyfrau ysgafn eraill, mae ystadegau prif gyhoeddwyr Llundain yn nechreu y flwyddyn hon (1863), yn profi fod nifer y llyfrau crefyddol a gyhoeddwyd y flwyddyn flaenorol yn llawer mwy; ac er cymaint yw cylchrediad llyfrau Seisnig yn Nghymru, y mae llenyddiaeth Gymreig yn para i gynyddu ac ymgyfoethogi, ac yn arbenig ei llenyddiaeth grefyddol. Da genym allu dyfynu tystiolaeth Sais i gadarnhau hyn:—"Mewn gwybodaeth ysgrythyrol a duwinyddol, mae y Cymry yn arbenig yn rhagori. Yn y Dywysog-

aeth y mae nifer mawr o wŷr, gwragedd, a phlant, yn dduwinyddion, ac yn abl rhoddi barn ar bregeth uniongred neu anuniongred gystal ag un doctor mewn duwinyddiaeth. * * * Ac er yr holl bethau diraddiedig am y Cymry a gyhoeddwyd gan ddirprwywyr cyflogedig y llywodraeth, mae y peth cyndyn hwnw a elwir Hanesiaeth, yn profi nad oes genym mewn unrhyw barth o'r ymerodraeth bobl mwy llafurus, darbodus, heddychlon, a moesol, na thrigolion Cymru; a hyny am lawer o flynyddoedd bellach, ac yn arbenig oddiar ddyddiau Whitfield a'i gyd-lafurwyr."

## V.—DYFEISIAU A GWELLIADAU.

Mae y ganrif hon yr hynotaf o holl ganrifoedd amser am ei dyfeisiau, a chymhwysiad ymarferol ei dyfeisiau a'i darganfyddiadau er gwella cyflwr cymdeithas yn mysg pob dosbarth o bobl. Mae y prif welliadau hyn yn cynwys dyfeisiau peirianol er cloddio allan drysorau y ddaear, hwylusu gorchwylion y llaw-weithfaoedd, a throsglwyddiad buan dynion, nwyddau, a negeseuau. Dygwyd cyfnod newydd yn hanes prif-ffyrdd y wlad gan Telford, M'Adam, a Macneill, a ffurfiwyd lluaws o ffyrdd newydd mwy union, llydan, a gwastad nag a welwyd o'r blaen. Un o'r prif rai ydoedd ffordd fawr Telford, o Lundain i Gaergybi, yr hon oedd yn ddeg troedfedd ar ugain o led, heblaw y droedffordd ar hyd ei hymyl. Adeiladwyd pontydd haiarn o ffasiwn newydd hefyd gan Telford, Brunel, Stephenson, ac eraill, sef y pontydd crogedig a phibellog, y rhai ydynt erbyn hyn wedi eu taflu ar draws afonydd a chymoedd yn ngwahanol barthau y wlad, ac yn hwylusu y trosglwyddiad a'r cymundeb yn fawr. Ond dyfais fawr yr oes, a holl oesoedd y byd, i drosglwyddo dynion a nwyddau, yw y rheilffordd, yr hon sydd bellach yn llinellu gwyneb y wlad fel rhwydwaith, yn gadael y prif-ffyrdd llydain mewn llawer man heb neb i'w tramwy, a'r glaswellt yn codi eu penau arnynt, fel i edrych beth ddaeth o'r teithwyr. Er mai y rheilffordd rhwng Liverpool a Manchester, yr hon a agorwyd yn 1830, oedd y gyntaf yn y wlad i gludo teithwyr, yn mhen ugain mlynedd yr oedd 5312 o filldiroedd o reilffyrdd yn Lloegr a Chymru, yn costio i'r cwmnioedd £220,000,000. Y maent yn para i gynyddu yn gysòn, ac y mae nifer mawr o filiau yn aros am awdurdod y llywodraeth i luaws o reilffyrdd newydd yn yr eisteddiad seneddol y flwyddyn hon. Mae y cawr Ager wedi dyfod yn un o'r galluoedd pwysicaf yn y byd gwareiddiedig, ar dir a môr. Dwg y teithwyr yn yr ager-long o ynys i ynys, ac o gyfandir i gyfandir, yn ddiystyr o wrthwynebrwydd y tonau, y gwynt, a'r dymhestl; ac yn ngherbyd y rheilffordd o gongl i gongl o'r deyrnas gyda chyflymdra anhygoel i oesoedd blaenorol. Gall dyn fwyta ei foreufwyd yn Liverpool, ei giniaw yn Llundain, a'i swper yn Paris. Ac i gyfarfod cyfleusdra y rheil-

ffordd, y mae gwelliadau pwysig wedi cymeryd lle yn llythyrfa y wlad, a chludiad buan llythyrau a pharseli am bris isel. Dyfais bwysig oedd y geiniog bapyr *(penny postage)* o eiddo Rowland Hill, yr hwn sydd yn awr wedi ei ddyrchafu yn un o brif swyddogion y llythyrfa. Yn 1840 darostyngwyd pris cludiad llythyrau i geiniog; a than lywyddiaeth Mr. Hill y mae gwelliadau cyson yn cymeryd lle. Gellir yn awr yn fynych ysgrifenu llythyr, ei drosglwyddo ugain milltir o ffordd, a'i roddi yn llaw y derbyniwr, o fewn un awr o amser.

Efallai mai y rhyfeddaf o holl ddyfeisiau dyn yw y *telegraph*, yr hwn sydd eisoes wedi dyfod yn brif wyliedydd y rheilffordd, er dyogelwch y teithwyr; yr hwn sydd yn trosglwyddo newyddion a negeseuon o'r pellder mwyaf gyda chyflymdra y fellten, a'r hwn yn ddiamheu sydd wedi ei ordeinio i wneyd mwy er nesâu cenedloedd at eu gilydd, a'u cysylltu yn un gymdeithas fawr, nag unrhyw ddyfais ddynol arall. Y prif ddynion ag y mae eu henwau yn gysylltiedig â darganfyddiad y gallu trydanol, a dyfais y *telegraph*, ydynt Franklin, Galvani, Volta, ac Oersted. Yn 1837 y sefydlodd Cooke a Wheatstone eu *telegraph;* cawsant freinteb ar y ddyfais, a gwnaethant ffortun dywysogaidd trwyddi. Yn 1851 gosodwyd y rhaff (*cable*) delegraphaidd i lawr yn ngwaelod y môr rhwng Lloegr a Ffrainc, yr hon oedd yn bedair milldir ar ugain o hyd, ac yn pwyso cant a phedwar ugain o dunelli; ac felly cysylltwyd Llundain a Paris, yn gystal a dinasoedd eraill y Cyfandir, fel y gellir cael newyddion o'r naill i'r llall mewn ychydig fynydau. Yn Gorphenaf, 1858, rhoddwyd rhaff delegraphaidd i lawr ar draws yr Atlantig, rhwng Iwerddon a Newfoundland, a chysylltwyd Prydain Fawr ac America. Y mis canlynol anfonwyd y genadwri gyntaf trwyddo gan y cyfarwyddwyr yn Lloegr, yr hon oedd fel y canlyn:—"Mae Ewrop ac America wedi eu cysylltu gan *delegraph.* 'Gogoniant yn y goruchaf i Dduw; ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.'" Cenadwri bur awgrymiadol! Cymerodd ei throsglwyddiad bymtheg mynyd ar ugain, a chynwysai un ar ddeg ar ugain o eiriau. Ond aeth yr ymgymeriad hwnw yn fethiant, a chollwyd y gadwen. Bellach y mae darpariadau ar droed i gael un yn ei lle, a gwneyd cynygiad arall ar y *telegraph* tanforawl. Mae y ddyfais hon wedi dwyn holl Ewrop eisoes i fyw o flaen wyneb eu gilydd, ac y mae yn cael ei ddarparu yn brysur dros holl wledydd gwareiddiedig y byd.

Dylid nodi hefyd frenines llongau y cefnfor—y *Great Eastern*—ager-long fwyaf y byd, yr hon a adeiladwyd ar y Thames, gerllaw Llundain, gan y peirianwr enwog Brunel. Buwyd bedair blynedd yn ei hadeiladu, a chostiodd ei gwthio i'r afon fisoedd lawer o lafur, rai bywydau, a thros gan mil o bunau o arian. Nofiodd ar y dydd olaf o 1858, a symudwyd hi i fan mwy cyfleus i dderbyn ei

pheirianau aruthrol. Dwg oddeutu pedwar cant o ddwylaw; gall gludo pedair mil o deithwyr; a symud deng mil o filwyr o un wlad i'r llall. Y mae wedi bod ddwywaith yn America, ond nid yw ei hymdaith wedi bod yn llwyddianus iawn hyd yma. Os cyflawna obeithion ei chefnogwyr, fforddia lawer o fanteision a chysur i fordeithwyr, a thyn eraill i'w hefelychu.

Dyfais newydd dra rhyfedd yw y *Pneumatic Despatch*, neu ddyfais trosglwyddiad awyrol llythyr-godau a pharseli, yr hon sydd newydd gychwyn yn Llundain. Mae y prawf cyntaf o'r ddyfais, rhwng gorsaf rheilffordd *Euston Square* a'r llythyrfa yn heol Eversholt, wedi profi yn hollol foddhaol a llwyddianus, a derbyniodd gymeradwyaeth Arglwydd Stanley o Alderley, y post feistr cyffredinol, a Syr Rowland Hill, yn eu harolygiad swyddogol arni dydd Llun, Chwefror 2, 1863. Pibellau haiarn ydynt, wedi eu gosod dan y ddaear, yn mesur dwy droedfedd a haner o dryfesur. Mae cerbyd haiarn yn rhedeg trwyddynt, a chan y cedwir y pibellau yn wag o awyr, chwythir y *car* gan bwff o awyr, o bedair neu bum wns o bwysau, gyda chyflymder dirfawr o'r naill ben i'r llall. Y mae y *car* presenol gyda'i lwyth o lythyr-godau a pharseli yn bum tunell o bwysau; chwythir ef fel chwythiad *pop-gun* trwy y pellder o ychydig dan haner milldir, mewn llai na mynyd o amser. Gall y dyn yn y naill ben dynu neu *yru* y cerbyd wrth ei ewyllys. Mae dynion, wrth orwedd ar eu hyd wedi myned drwyddo, heb deimlo un gradd o annghysur. Mae darpariadau ar droed i helaethu y cymundeb awyrol yma trwy yr holl brif-ddinas; ac y mae y bibell a fwriedir i'w gysylltu â'r Llythyrfa Gyffredinol i fod yn bedair troedfedd a haner o dryfesur, a'r *car* llwythog i bwyso ugain tunell neu ychwaneg. Dywedir y gellir dwyn y ddyfais i gludo dynion yn gystal a llythyr-godau a nwyddau; ac y mae y pwnc o dan ystyriaeth ddifrifol Mr. Rammell, perianydd cwmni y ddyfais, yn nghydag amryw eraill o brif wyddonwyr yr oes.

## VI.—YSTADEGAU.

Poblogaeth. MAE cynydd cyson a dirfawr poblogaeth y deyrnas, er yr holl ymfudo sydd allan o honi i wahanol barthau y byd, yn un o'i nodweddion pwysig. Cyfrifid nad oedd poblogaeth Prydain Fawr yn 1485, ar esgyniad Henry VII., ond 3,000,000; dan deyrnasiad Elisabeth, yr oedd wedi cyrhaedd 4,000,000. Rhydd Mr. Reckman y daflen ganlynol o boblogaeth y deyrnas o ddechreu yr eilfed ganrif ar bymtheg:—

| Y fl. | Poblogaeth. | Y fl. | Poblogaeth. |
|---|---|---|---|
| 1600 | 4,811,700 | 1760 | 6,479,730 |
| 1630 | 5,600,317 | 1770 | 7,227,586 |
| 1670 | 5,773,646 | 1780 | 7,814,827 |
| 1700 | 6,045,608 | 1790 | 8,540,738 |
| 1750 | 6,517,035 | 1800 | 9,187,176 |

O hyn allan y mae genym gyfrifiad y llywodraeth bob deng mlynedd, yr hwn sydd fel y canlyn:—

| Y fl. | Poblogaeth. | Y fl. | Poblogaeth. |
|---|---|---|---|
| 1801 | 10,276,893 | 1841 | 18,658,372 |
| 1811 | 12,047,455 | 1851 | 20,936,462 |
| 1821 | 15,180,350 | 1861 | 23,128,512 |
| 1831 | 16,364,893 | | |

O'r nifer diweddaf y mae 18,954,429 yn Lloegr, 3,062,294 yn Ysgotland, a 1,111,795 yn Nghymru (a gadael Sir Fynwy allan). Yr oedd poblogaeth Iwerddon, ar yr 8fed o Ebrill, 1861, yn 5,764,543; yr Ynysoedd Prydeinig yn 143,779; a chyfrifid fod 303,412, o'r trigolion allan o'r deyrnas, yn mysg y fyddin a'r llynges, ac mewn llongau masnachol, &c. Felly y mae holl boblogaeth yr Ynysoedd Prydeinig oddeutu 29,334,788. Mae y cynydd yn ystod y triugain mlynedd diweddaf, yn Lloegr a Chymru, yn 126 y cant; ac yn Ysgotland yn 90 y cant. Y sir fwyaf ei chynydd yn y deyrnas yw Sir Forganwg, yr hon sydd wedi cynyddu yn ol 384 y cant, sef o 70,879 yn 1801, i 317,752 yn 1861. A'r sir leiaf ei chynydd yw Meirionydd—dim ond 32 y cant. Mae Llundain yn yr un amser wedi treblu ei phoblogaeth; sef o 958,863 yn 1801, i 2,803,989 yn 1861. Rhydd y daflen ganlynol syniad am y gronfa ryfeddol o drigolion sydd yn trigo yn Llundain:—

| | Erwi o dir. | Tai. | Poblogaeth. |
|---|---|---|---|
| Llundain | 77,997 | 359,421 | 2,803,989 |
| Siroedd Lancaster a Chaerlleon | 2,000,227 | 536,580 | 2,935,540 |
| Ysgotland | 19,659,377 | 393,220 | 3,062,294 |

Ymfudiaeth. Mae Bwrdd Ymfudol y llywodraeth yn rhoddi cyfrif yr ymfudiaeth allan o'r deyrnas hon yn ystod y deng mlynedd, o 1850 hyd 1860, fel y canlyn:—

| Y fl. | Saeson a Chymry. | Ysgotiaid. | Gwyddel. | Tramor. | Eraill. | Cyfanswm. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 1851 | — | — | — | — | — | 335,966 |
| 1852 | — | — | — | — | — | 368,764 |
| 1853 | 62,915 | 22,605 | 192,605 | 31,459 | 20,349 | 329,937 |
| 1854 | 90,966 | 25,872 | 150,209 | 37,704 | 18,678 | 323,429 |
| 1855 | 57,132 | 14,037 | 78,854 | 10,554 | 16,230 | 176,807 |
| 1856 | 64,527 | 12,033 | 71,724 | 9,474 | 18,796 | 176,554 |
| 1857 | 78,560 | 16,253 | 86,238 | 12,624 | 19,200 | 212,875 |
| 1858 | 39,971 | 11,815 | 43,281 | 4,560 | 14,345 | 113,972 |
| 1859 | 33,930 | 10,182 | 52,981 | 4,442 | 18,897 | 120,432 |
| 1860 | 26,421 | 8,733 | 60,835 | 4,536 | 27,944 | 128,469 |
| Cyfanswm | 454,422 | 121,530 | 736,731 | 115,353 | 154,439 | 2,287,205 |

Glo a Haiarn. Yr ydym wedi cymeryd y pigion canlynol o gyfrol a gyhoeddwyd gan Mr. Hunt, y rhai a roddant syniad am gyflwr a chynydd gweithiau glo a haiarn y Deyrnas Gyfunol yn y blynyddoedd diweddaf:—

| | Gweithiau Glo. | Tunelli a godwyd. | | Gweithiau Glo. | Tunelli a godwyd. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1854 | 2397 | 64,661,401 | 1858 | 2958 | 65,008,649 |
| 1855 | 2613 | 64,453,079 | 1859 | 2949 | 71,979,765 |
| 1856 | 2829 | 66,645,450 | 1860 | 3009 | 84,042,698 |
| 1857 | 2867 | 65,394,707 | 1861 | 3052 | 83,635,214 |

Yn 1861, cynwysai Gogledd Cymru 78 o weithiau glo; 5 yn Sir Fon, yn cynyrchu 19,758 o dunelli; 38 yn Sir Flint, yn cynyrchu 60,500 o dunelli; 35 yn Sir Dinbych, yn cynyrchu 1,250,000 o dunelli. Cynwysai Deheudir Cymru 318 o weithiau glo; 204 o ba rai sydd yn Morganwg, 88 yn Sir Gaerfyrddin, a 2 yn Sir Benfro. Cynyrchai y rhai hyn, 6,690,771 o dunelli. O'r swm uchod, cyfranai dosbarth Aberdâr 1,790,771 o dunelli; dosbarth Merthyr 925,000 o dunelli; Cwm Nedd, Sir Benfro, a Sir Gaerfyrddin 2,100,000 o dunelli. A'r *South Crop*, yn ol cyfrif Mr. Evans, arolygwr y llywodraeth, 1,875,000 o dunelli. Dylid nodi nad yw gwely glo Deheudir Cymru yn cynwys Sir Fynwy, a bod 7 o weithiau glo ar gyffiniau dwyreiniol Morganwg wedi eu gadael allan o'r cyfrif uchod, o ba rai y cloddiwyd yn 1861 325,000 o dunelli. Mae cyfrif yr haiarn a anfonwyd allan o'r deyrnas yn yr un mis ar ddeg cyntaf o'r blynyddoedd canlynol, fel hyn:—

| | | 1860. | 1861. | 1862. |
|---|---|---|---|---|
| Haiarn bwrw *(pig & puddled iron)* | tunelli | 320,742 | 365,202 | 416,667 |
| Haiarn gweithiedig (*wrought iron*) | ,, | 283,475 | 234,904 | 278,130 |
| Haiarn rheilffyrdd | ,, | 422,567 | 359,223 | 372,906 |

Nifer y gweithiau haiarn yn Nghymru yw 53; ond allan o 212 o ffwrneisi toddi, nid oedd ond 142 ar waith (*in blast*) yn 1861.

Cyllid a threuliadau. Swm holl gyllidau Prydain Fawr ac Iwerddon, am y flwyddyn yn terfynu Rhagfyr 31ain, 1862, oeddynt fel y canlyn:—

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Tollau (*Customs*) | 23,774,000 | 0 | 0 |
| *Excise* | 18,161,000 | 0 | 0 |
| Stampiau | 8,488,170 | 12 | 0 |
| Trethi (tirol a gosodedig) | 3,119,000 | 0 | 0 |
| Trethi Meddianau (*Property Tax*) | 9,962,000 | 0 | 0 |
| Y Llythyrfa | 3,500,000 | 0 | 0 |
| Tiroedd y Goron | 293,478 | 19 | 4 |
| Amrywiol | 1,306,201 | 16 | 0 |
| | £68,603,851 | 7 | 4 |

Swm yr holl dreuliadau yn ystod yr un flwyddyn, yn cynwys llog y ddyled wladol, cyflogau y fyddin a'r llynges, a holl swyddogion gwladol a barnol y deyrnas, &c., oedd £70,818,058 19s. 6ch., yr hyn oedd yn gadael y llywodraeth mewn agos dwy filiwn a chwarter o bunau o ddyled. Yr oedd cyllid India am y flwyddyn

yn terfynu Ebrill 30, 1861, yn £42,903,234, a'r draul yn £46,924,619, yn gadael y llywodraeth mewn diffyg o dros bedair miliwn o bunau.

Arian Bathol. Mae y Bathdy Breninol wedi bathu y symiau canlynol o arian yn y deng mlynedd diweddaf:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Penaduriaid (*Sovereigns*) | 52,385,860 | Grotiau | 1,891,154 |
| Haner Penaduriaid | 14,773,863 | Tair Ceiniogau | 16,420,756 |
| *Florins* (darnau deuswllt) | 16,471,352 | Ceiniogau | 59,412,864 |
| Sylltau | 23,937,475 | Dimeiau | 89,642,781 |
| Chwe Cheiniogau | 20,048,996 | Ffyrlingau | 29,122,516 |
| | | Haner Ffyrlingau | 3,535,776 |

Rhydd y ffugyrau yn yr ychydig ystadegau blaenorol well syniad i'r darllenydd am gyflwr cymdeithasol, a phwysigrwydd aruthrol trafodaeth fasnachol y deyrnas, nag a ellid roddi trwy unrhyw ymadroddion hebddynt.

## VII.—MAWREDD PRYDAIN.

Yr ydym wedi rhoddi cipolwg i'r darllenydd ar y chwyldroadau olynol a gymerasant le yn Ynys Brydain yn y pedair canrif ar bymtheg diweddaf, ac wedi ceisio olrhain y gallu Prydeinig o'i gychwyniad hyd yn bresenol. Bellach y mae Prydain wedi esgyn i awdurdod a dylanwad uwch yn mysg teyrnasoedd y ddaear, ar lawer cyfrif, nag a gyrhaeddwyd gan unrhyw allu erioed o'r blaen. Eistedda fel llywydd yn nghynghorau breninoedd ac ymerawdwyr; mae ei henw yn ddychryn i ormeswyr pob gwlad; ac y mae ganddi diriogaethau eang yn mhob chwarter o'r byd—tiriogaethau nad yw yr haul byth yn machlud arnynt. Heblaw yr Ynysoedd Prydeinig a'u golud dirfawr, eu gweithfeydd amrywiol a lluosog, eu masnach aruthrol, a'u naw miliwn ar ugain trigolion, mae ganddi yn Ewrop ei Heligoland, ei Gibraltar, a'i Malta, ar ol anrhegu y Groegiaid â'r Ynysoedd Ionaidd. Yn Affrica mae ganddi ei Cape Colony, Sierra Leone, amryw sefydliadau ar y glanau gorllewinol, ac Ynysoedd Fernando Po, St. Helena, Ascension, a Mauritius. Yn Ngogledd America mae ganddi ei Labrador, y taleithiau o amgylch Hudson Bay, y ddwy Ganada, New Brunswick, Nova Scotia, Newfoundland, Prince Edward's Island, Cape Breton, y Bermudas, Belize, a sefydliadau yn Môr Honduras. Yn Neheubarth America y mae ganddi ei Demerara, Essequibo, a Berbice, yn Guiana, yn nghydag Ynysoedd Falkland. Yn India y Gorllewin, mae ganddi ynysoedd Lucayos neu Bahama, Jamaica, Barbadoes, Trinidad, ac amryw eraill. Yn Asia mae ganddi holl Hindwstan, neu India, ynysoedd Ceylon, Prince of Wales, Sincapore, a Hong Kong yn China. Yn y pumed chwarter o'r byd y mae ganddi ei Awstralia fawr, yn

cynwys tiriogaethau o'r mwyaf pwysig; New Zealand, ac Ynys Norfolk. Mae ei henw yn adnabyddus ac yn cael ei edmygu gan genedloedd gwyllt a gwar o Cape Horn i Greenland, ac o Benrhyn Gobaith Da i Siberia; ei brodorion yn ymdaith ac yn archwilio pob gwlad ac ynys, ac yn ymgymysgu â phob cenedl; ei llongau godidog yn lledu eu hwyliau ar holl foroedd y byd; ac eangder ei masnach a'i dylanwad yn destun syndod pob cnawd.

Na thybied y darllenydd ein bod yn ymollwng gyda theimlad balchaidd ac ymffrostgar i eithafoedd, a gosod Prydain Fawr yn destun clodforedd ynfyd. Gwyddom fod ynddi lawer o ddiffygion; fod trais a gorthrymder, twyll a llygredigaeth i fesur mawr yn llechu ynddi, a bod gan ddiwygwyr cymdeithasol, politicaidd, a chrefyddol, fyd o waith eto o'u blaen. Ond, ar yr un pryd, credwn nad oes yr un cyfansoddiad gwladwriaethol ar y ddaear wedi cyrhaedd y fath berffeithrwydd, yr un wlad dan y nefoedd mor rhydd, na'r un deyrnwialen yn gwasgar dylanwad mor iachusol dros ei thiriogaethau. Ac y mae yn ddiau genym y caiff y prydydd heddyw fil myrdd o galonau, yn mysg estroniaid yn gystal a deiliaid, caeth yn gystal a rhydd, i ddywedyd,—

"England, with all thy faults, I love thee still."

Mae llawer o bethau wedi bod yn cydweithio er dyrchafiad Prydain. Mae yn wir fod manteision arbenig yn ei sefyllfa ddaearyddol, yn ei hinsawdd dymherus, yn ei mwngloddiau goludog, a dyfeisgarwch ac ysbryd masnachol ei thrigolion. Dylid cydnabod hefyd yr unoliaeth amcan a gadwyd yn uchaf trwy yr holl chwyldroadau, sef sefydlu ac amddiffyn rhyddid gwladol a chrefyddol. Amddiffynid y rhyddid hwn weithiau gan gorph y bobl, weithiau gan blaid neillduol, a phryd arall gan ddosbarth penodol o bendefigion gwronaidd y wlad, yn erbyn gormes breninoedd a thywysogion. Gwasanaethai pleidiau gwrthwynebol amcanion pwysig er cadw rhag eithafoedd dinystriol ar y naill law a'r llall. Byddai y gwrthwynebiad yma yn costio aberth dirfawr yn fynych, mewn meddianau a bywydau, trwy y cleddyf a'r ffagodau; ond yr oedd yr effaith yn dda, a'r ffrwyth yn ddymunol. Nid oes dim yn fwy dyogel i lywodraeth na phlaid wrthwynebol i wylio symudiadau y rhai fyddo mewn awdurdod. "Mae awdurdod heb gyfrifoldeb am dano yn ddigon i lygru archangel." Ac un o fendithion hynod rhagluniaeth ddoeth y Nefoedd yw peri i uchelgais, eiddigedd, ymryson, ac ymraniadau, fod yn atalfa ar ffordd trais a gorthrymder. Pan fyddo egwyddor, neu foesoldeb y galon, yn rhy wan i sefyll yn ddiysgog dros uniondeb, caiff ei hategu gan ofn dynoethiad gan lygad craffus yr wrthblaid. Ni welwyd un wlad yn cael ei hysgwyd yn fwy gan amrafaelion ac ymraniadau, na phleidiau mwy nerthol

a chyndyn yn gwrthsefyll eu gilydd, am oesau a chanrifoedd; ond gan i egwyddorion sylfaenol y cyfansoddiad ddal dan y cynhyrfiadau a'r profedigaethau tanllyd hyn, ychwanegasant nerth, a daeth y cyfansoddiad allan yn fwy pur a nerthol o'u herwydd.

Ond beth bynag a ddywedir am sefyllfa ddaearyddol Prydain Fawr, am gymysgedd cenedlaethol ei thrigolion, am ddewrder ei hen wroniaid, a chanlyniad daionus pleidiau politicaidd a chrefyddol, credwn yn ddibetrus mai yr elfen sydd wedi gweini fwyaf er ei dyrchafiad a'i mawredd presenol yw, dylanwad gwirioneddau ac addysg ei llyfr—y Bibl. Nid oes un llyfr wedi cael mwy o le yn nhrafodaeth unrhyw genedl nag y mae y llyfr hwn wedi ei gael yn Mhrydain yn ystod ei chwyldroadau a'i chynydd. Yn wir, y mae nodweddion prif ymerodraethau y byd yn gynyrch llyfrau; ac y mae yn briodol barnu gwerth y llyfrau wrth gyflwr meddyliol a moesol y bobl. Llyfr Hindwaid India yw y Shaster; llyfr y Chineaid digynydd yw gwaith Confucius; llyfr ymerodraeth Fahometanaidd y Twrc yw y Koran; ond Llyfr Prydain yw y Bibl. Ac os yw Prydain a'r byd Cristionogol yn rhagori cymaint ar y rhai hyn, onid cyfiawn yw cydnabod addysg y Bibl fel y ffynonell? "Nid oes cymaint ag un o'r hen deyrnasoedd hynafol yn bodoli heddyw. Mae India wedi ei goresgyn; ac y mae China yn ymostwng dan deyrnwialen estron. Mae hen deyrnasoedd yr Aipht, Ninefeh, Babilon, Groeg, a Rhufain, oll wedi myned."* Ac y mae y gwledydd lle buont yn aros yn llonydd heb gynydd na bywyd. Yr hyn ydoedd China ddwy neu dair mil o flynyddoedd yn ol, ydyw heddyw. Nid yw Tyrciaid 1863 ond Mahometaniaid canrif gyntaf yr Hegira, oddigerth fod eu hysbryd yn fwy eiddil a llygredig, a'u calon yn fwy gwrthwynebol i gynydd. Ac nid yw Buddiaeth a Brahminiaeth yn gyfaddas ond i fodau wedi eu gwneyd o haiarn, pren, neu faen. Ond y mae Prydain eisoes, dan ddylanwad addysg ei Llyfr Ysbrydoledig, nid yn unig wedi ei dyrchafu yn uwch na'r holl deyrnasoedd hyn, ond wedi dyfod, yn llaw Rhagluniaeth, yn brif ffynonell gallu gwareiddiol a chrefyddol y byd.

Nis gellir olrhain ffynonellau mawredd, na rhoddi cyfrif am dyfiant graddol cyfansoddiad o'r fath, heb ganiatau dylanwad rhyfeddol Cristionogaeth trwy offerynoliaeth y Bibl. Pa bryd bynag y delai cenedl newydd i'r ynys, gofelid am ryw ffordd i ddwyn yr elfen Gristionogol i mewn iddi. Felly rhoddid y lefain yn mhob clamp o'r toes; ac y mae wedi para i lefeinio yn gyson a dystaw hyd yn awr. Pa faint bynag a ymffrostiwn yn y cymysgedd o waed Brythoniaid, Ysgotiaid, Rhufeiniaid, Sacsoniaid, Daniaid, a Normaniaid, sydd yn rhedeg yn ein gwythenau, y Bibl yn

*"Parsons' Greatness of the British Empire," vol. i., 55, 56.

fwy na dim arall sydd wedi bod yn ffurfio ein meddyliau, ac yn darparu daear y meddwl yn dir mor gynyrchiol i ryddid a chyfiawnder. Onid y Bibl sydd yn dysgu i'r Creawdwr wneuthur "o un gwaed bob cenedl o ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear," nad yw corph y tywysog fwy na'r cardotyn, ond "o'r ddaear yn ddaearol," a bod ysbryd y gwreng fel y boneddig yn "hiliogaeth Duw;" a cher ei fron ef "nad oes gwahaniaeth rhwng Iuddew na Groegwr, caeth na rhydd, gwryw na benyw;" ac am hyny mai dyledswydd pob dyn yw "ofni Duw," a "charu ei gymydog fel efe ei hunan?" Onid ei egwyddor auraidd ef, a'i foeswers syml a gogoneddus, yw, "Pa bethau bynag a ewyllysioch wneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy?" Mae y gwirioneddau hyn yn gynefin i feddyliau y Prydeiniaid er pan ddaeth Cristionogaeth gyntaf i'w gwlad, ac wedi lefeinio i raddau mwy neu lai eu syniadau a'u bywyd. Onid oedd diwygwyr enwog Prydain yn gynyrch egwyddorion y Bibl yn gystal ag yn gyhoeddwyr iddynt? Fel y lledaenwyd yr ysgrythyrau, a gwybodaeth ysgrythyrol, gan yr enwog Wicliffe! ac fel y canlynwyd hyny â ffrwyth priodol yn y mesurau daionus a ddaethant yn gyfreithiau i'r wlad! Onid y Bibl yn arbenig fu yn moldio meddwl nerthol a thanllyd Cromwell, yr hwn a roddodd ergyd mor ddinystriol i ormes a thrais, a chefnogiad mor rymus i ryddid ac uniondeb gwladol a chrefyddol, fel y cyrhaeddodd ei ddylanwad i derfynau y ddaear, ac y pery tra paro y byd?

Ydyw, y mae Cristionogaeth Prydain yn un o elfenau pwysig ei mawredd. Os oes elfen barhaol yn ei llywodraeth a'i dylanwad, rhagor hen lywodraethau blaenorol y byd, o Gristionogaeth y tarddodd. Os yw cyfansoddiadau gwladwriaethol i dderbyn "bywyd a bery," y rhai hyny a sylfaenir ar egwyddorion cyfiawn a rhydd y Llyfr Dwyfol ydynt. A thueddir ni i gredu, os deil y deyrnas hon wrth ei hegwyddorion ardderchog, y parha i gynyddu mewn nerth a dylanwad, nes daw goleuni gwybodaeth y Bibl i lewyrchu i bob cenedl a gwlad. Y mae y dylanwad eisoes wedi cysylltu yr holl Ynysoedd Prydeinig yn un corph rhydd, heddychlon, a dedwydd; ac y mae yn cynyrchu y cyffelyb mewn cyfundebau a threfedigaethau nerthol mewn amryw barthau o'r byd, ac yn addaw yn dda am ymledu yn ddiwygiad dros wyneb yr holl ddaear.

Barna y dynion mwyaf craff a duwiol fod ansawdd grefyddol y byd yn ymwasgu yn brysur i ryw gyfnewidiadau pwysig; fod hen ofergoelion y gwledydd yn colli eu gafael ac yn dadfeilio; ac er eu bod mewn graddau o fri, ar gyfrif eu hynafiaeth a'u deilliad oddiwrth eu tadau, fod eu calonau wedi marw o'u mewn. "Dim ond i sefydliadau gwladol llawer cenedl gael eu hysgwyd ymaith, syrthia eu hen grefyddau fel dail gwywedig oddiar y coed. Os gwir yw

fod Pabyddiaeth a Mahometaniaeth y naill barth o'r ddaear, ac eilun-addoliaeth y parthau eraill o honi, megys India a China, wedi myned yn hen ac oedranus, mae yn wir eu bod hefyd yn agos i ddiflanu. * * * Hynodrwydd arall yn perthyn i'r dyddiau hyn yw, nad oes un grefydd newydd yn ymddangos yn lle yr hen grefyddau sydd yn meirw. Nid nad oes lluaws o gyfeiliornadau yn codi yn barhaus; ond y maent oll fel cicaion Jonah, yn bod ac yn darfod mewn noswaith. Nid oes un ofergoeledd â nerth ynddo yn ymddangos yn un man, yr un ag sydd yn peryglu goresgyn y gwledydd, a sefydlu ei hunan yn y byd am oesoedd. Eto y mae y byd yn parhau i ddyheu am grefydd, a chrefydd sydd raid iddi gael; a chan fod dyfnderau satan megys wedi eu dyhysbyddu, ac heb yr un gau grefydd sydd yn debyg o ynfydu plant dynion yn ymddangos, y gobaith yw fod dynolryw yn cael eu cydgau i ffydd yr efengyl, ac yn prysur addfedu i'w derbyn."*

Mae cenadau Cristionogol wedi myned allan at bob cenedl â'r Bibl noeth yn eu dwylaw, ac y mae anwybodaeth, gorthrymder, a thrais, yn cilio o'u blaen; eilunod mudion yn crynu ac yn syrthio, a chyfnod newydd yn gwawrio mewn llawer gwlad. Agorir llwybrau newyddion gan anturiaethwyr a masnachwyr, a defnyddia Cristionogaeth y llwybrau hyny i gludo bendith i'r holl genedloedd. Ac "mor fawr yw cyfrifoldeb Prydain; mor lluosog yw ei rhwymedigaethau! Gan fod y byd llydan yn gweini i'w hangenrheidiau tymhorol hi, rhesymol ydyw iddi hithau ddeffroi er diwallu angenrheidiau ysbrydol y cenedloedd. Mor wynfydedig fydd y cyfnod pan fedyddir holl nerthoedd moesol yr ymerodraeth fawr hon â dylanwadau hyfryd a nefolaidd cariad Cristionogol, ac y cydweithia pob dosbarth a gradd o ddynion o'i mewn i ledaenu gwybodaeth o'r efengyl, a sicrhau 'gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.' Mae Rhagluniaeth wedi rhoddi cenadaeth bwysig iddi i'w chyflawni yn mhlith cenedloedd y ddaear. Nid yw ei gyrfa eto wedi rhedeg i'r pen; ac o eigion calon y dywedwn, Na foed i ddim roddi atalfa ar ei chynydd. Parhaed i flodeuo mewn llwyddiant o oes i oes, ac o genedlaeth i genedlaeth. Na waethyged ei masnach na'i hamgylchiadau gyda threigliad canrifoedd; a bydded i'r cymundebau gweithgar hyny a breswyliant ei threfedigaethau fyned rhagddynt mewn pob daioni, gan eangu eu terfynau, ac ymgodi i fod yn genedloedd mawrion a rhyddfrydig; a chydweithredu â hi er trosglwyddo, hyd y cyfnod olaf, iaith, llenyddiaeth, gwareiddiad, a chrefydd Prydain i gyrau eithaf y ddaear."†

*Y Parch. Henry Rees yn y "Traethodydd," 1863, tudal. 11, 12.
†"Traethodydd," 1860, tudal. 408, 409.

# PENOD XIII.

## Y CYFANSODDIAD PRYDEINIG.

YN nglŷn â'r crynodeb blaenorol o hanes ein gwlad, tybiwn y bydd penod fer ar y cyfansoddiad Prydeinig yn beth boddhaol gan y darllenydd. Casglwn ei chynwys yn benaf o Blackstone* a Fonblanque;† ac er y rhaid i ni wasgu y desgrifiad i le bychan, ceisiwn ei roddi yn ddealladwy ac eglur.

Mae cyfansoddiad y cyfreithiau a'r llywodraeth Brydeinig, fel y dangoswyd eisoes, wedi cyfodi i'w ffurf bresenol trwy gyfres o chwyldroadau am oesoedd a chanrifoedd. Bu cynghorau y wlad, y rhai a elwir yn awr y senedd, yn dal sefyllfa ac yn gwasanaethu amcanion tra gwahanol i'r hyn ydynt yn bresenol. Nid oeddent ond moddion yn llaw y penadur i wasanaethu amcanion personol; codi trethi i lenwi ei goffrau, a chario allan ei ewyllys unbenaethol a gorthrymus. Ond trwy lafur ac ymroddiad doeth a di-ildio ein tadau; ïe, trwy nerth eu cleddyf, a gwerth eu gwaed, sefydlwyd egwyddorion cyfiawnder a rhyddid; mynwyd y *Magna Charta* gan y brenin JOHN; cafwyd y *Bill of Rights* gan WILLIAM a MARY; ffurfiwyd cyfansoddiad llywodraethol na welodd y byd ei gyffelyb, a sicrhawyd i ni ryddid a rhagorfreintiau sydd wedi ein gosod dan rwymedigaethau bythol iddynt. Mae pob deiliad o'r Deyrnas Gyfunol yn cael ei eni yn rhydd; nis gellir ei roddi i farwolaeth, ei alltudio, na'i garcharu, heb ddedfryd o lys cyfiawnder. Gall fyw yn y parth a fyno o'i wlad, ac ymadael â hi y pryd y myno. Mae ganddo hawl i ddeisebu y penadur a'r senedd; gall apelio at y gyfraith am ddyogelwch i'w feddianau, am gyfiawnhad oddiwrth unrhyw gamwri, ac am wrandawiad personol mewn llys barn am unrhyw gwyn neu gyhuddiad ddygir yn ei erbyn. Mae y wasg yn berffaith rydd, a gall y neb a fyno gyhoeddi unrhyw newydd, a gwneyd unrhyw sylwadau arno, ond ymgadw rhag anwiredd a malais allo ddrygu cymeriad personol neb o'r deiliaid. Ac y mae yn anmhosibl, fel y dywedodd CANNING, i neb ddeall y Cyfansoddiad Prydeinig, heb iddo gymeryd i mewn allu aruthrol llais y wlad, wedi ei gorphori mewn gwasg rydd, yr hwn sydd yn treiddio, yn atal, ac efallai, yn y diwedd agos yn llywodraethu y cwbl.

Mae Teyrnas Gyfunol Prydain Fawr a'r Iwerddon yn cael ei llywodraethu gan y penadur (brenin neu frenines); gan Dŷ yr Arglwyddi; a chan Dŷ y Cyffredin. Dywedwn air am y naill a'r llall; ac yn gyntaf am—

*"Blackstone's Commentaries upon the Law of England."

†Fonblanque's "How we are governed; or the Constitution, Government, Laws, and power of Great Britain."

MAE yr un awdurdod yn perthyn i frenines yn y wlad hon ag sydd i frenin: mae y goron yn etifeddiaethol, yn pasio ar farwolaeth y penadur i'r etifedd agosaf; a bydd mab o unrhyw oed yn cael y flaenoriaeth ar ferch. Byddai y mab ieuangaf i'r frenines bresenol o flaen y ferch hynaf; ond byddai pob un o'r merched o flaen ewythr, nai, neu gefnder. Rhaid i'r penadur fod yn Brotestant, a chyll ei hawl i'r goron os ymedy â Phrotestaniaeth. Mae person y penadur yn gysegredig, ac uwchlaw y gyfraith. Edrychir arni fel un nas gall droseddu, ac nas gellir ei galw i gyfrif am ei gweithredoedd. Ynddi hi yn unig y mae yr awdurdod i bardynu troseddwyr yn gorwedd; hi yw ffynonell cyfiawnder ac anrhydedd; ynddi hi y gorwedd yr awdurdod i gyfranu pob titl urddasol, pob awdurdod yn y fyddin a'r llynges, galw y senedd yn nghyd, ei gohirio, a'i thori i fyny. Hi yw pen y llywodraeth, yr Eglwys Wladol, y fyddin, a'r llynges. Ganddi hi yn unig y mae awdurdod i gyhoeddi rhyfel, a gwneuthur heddwch; i gynllunio cytundebau, ac i fathu arian at wasanaeth ei deiliaid. Gall wrthod ei chydsyniad â'r cyfreithiau a basiwyd gan y ddau Dŷ seneddol; ond nid oes ganddi lais uniongyrchol yn eu gwneuthuriad. Gelwir y rhai hyn ac eraill cyffelyb yn hawlfreintiau y goron.

Mae y penadur yn llywodraethu trwy ei gweinidogion, y rhai sydd yn gyfrifol i'r senedd ac i'r wladwriaeth am eu symudiadau politicaidd hi, am yr ystyrir mai hwy ydyw ei chynghorwyr. Nis gall y weinyddiaeth gario gorchwylion y llywodraeth yn mlaen yn hir heb gydsyniad y senedd. A chan fod parhad y weinyddiaeth yn dybynu cymaint ar Dŷ y Cyffredin, a Thŷ y Cyffredin yn cael ei ethol gan y bobl, gwelir mai y bobl *mewn gwirionedd* sydd yn ethol y weinyddiaeth, er eu bod yn cael eu hethol *mewn enw* gan y Goron. Os try y weinyddiaeth a'r senedd yn erbyn hawlfreintiau y goron, gall y penadur ddiswyddo y cyntaf, a thori i fyny yr olaf. Pe byddai i blaid yn y senedd rwystro y frenines a'r weinyddiaeth i ddwyn oddiamgylch unrhyw fesur a fernid yn fanteisiol i'r wlad, gellid apelio at farn y wlad, a galw senedd newydd yn nghyd. Pe byddai i'r goron a'r weinyddiaeth ymosod yn erbyn y senedd a'r bobl, gallai y senedd eu disodli, trwy wrthod arian iddynt at y gwasanaeth cyhoeddus. Felly y mae cydfantoliad y gallu yn gyfryw, fel nas gall y naill droseddu yn erbyn hawliau y llall; ac y mae hefyd yn gwneyd y deiliaid y mwyaf rhydd, y mwyaf dedwydd, a'r mwyaf teyrngarol ar wyneb yr holl ddaear.

Y mae trethi y wlad yn awr, yn lle myned i goffrau y penadur yn ddigyfrif, fel y buont, yn myned i drysorfa a elwir y "*Consolidated Fund.*" O'r drysorfa hon y telir llog y ddyled wladol, yn

gystal a thâl blynyddol y frenines a'i holl deulu. Telir i'w phwrs personol hi £60,000; ac y mae yr holl swm sydd at ei gwasanaeth hi, ei theulu, a'i gweinidogion yn cyrhaedd £385,000 y flwyddyn. Trosglwyddir y gweddill o'r drysorfa hon i'r drysorgell, i gyfarfod treuliadau y fyddin, y llynges, a phob gwasanaeth cyhoeddus.

Mae darpariadau penodol yn y gyfraith gyda golwg ar y teulu breninol. Nid oes i wraig neu wr y brenin neu y frenines yr un gyfran yn llywodraeth y wlad. Nid ydynt ond deiliaid y goron; a gellir eu hapwyntio i lenwi unrhyw swydd yn y llywodraeth fel rhyw ddeiliad arall. Gall gwraig y brenin ddwyn achos cyfreithiol yn mlaen mewn llys yn ei henw ei hun, neu gall arall ddwyn achos yn mlaen yn eu herbyn, fel pe byddai yn ddynes sengl, neu heb briodi. Felly y mae ganddi gyfreithwyr penodedig i ddwyn ei hachosion cyfreithiol yn mlaen. Gall brynu tiroedd, a'u trosglwyddo neu eu gwerthu; a thrwy ganiatad y brenin gall wneuthur ewyllys ar ei meddianau, yr hyn beth nas gall yr un wraig arall ei wneyd. Mae ganddi deulu, a swyddogion llywodraeth perthynol iddi ei hun. *Brenines waddolog* ydyw gweddw brenin. *Tywysog Cymru* yw mab hynaf y penadur, ac etifedd y goron. Gwneir ef yn Dywysog Cymru, ac yn Iarll Chester, ac y mae yn cael ei eni yn Dduc Cornwall. Y mae hefyd yn Dduc Rothsay a Senechal o Ysgotland. Mae ef a'i wraig dan nawdd arbenig y gyfraith. Os bydd farw, gellir gwneyd ei frawd nesaf yn Dywysog Cymru, ac yn Iarll Chester; ond ni bydd yn Dduc Cornwall. Y *Dywysoges Freninol* yw merch henaf y penadur; ac os na fydd ganddi frawd i'w chanlyn, bydd ganddi hawl i'r goron. Ni chyfrenir hawlfreintiau arbenig gan y gyfraith i aelodau eraill y teulu breninol. Y maent o ran gradd yn sefyll o flaen yr holl dduciaid, ac ni chaniateir iddynt briodi heb ganiatad y penadur, wedi ei arwyddo dan y sel fawr.

## TY YR ARGLWYDDI.

Yr awdurdod uchaf, yn nesaf at y goron, yn y wlad hon, yw Tŷ yr Arglwyddi, neu Dŷ Uchaf y senedd. Mae y Tŷ hwn yn cael ei wneyd i fyny o nifer o arglwyddi ysbrydol a thymhorol. Yr *Arglwyddi Ysbrydol* ydynt Archesgobion Canterbury a York, pedwar ar ugain o esgobion Lloegr a Chymru, un archesgob a thri esgob o Iwerddon, y rhai a gymerant eu heisteddle yn y senedd ar gylch,—oll yn gwneyd deg ar ugain. Y mae chwech ar ugain o esgobaethau yn Lloegr a Chymru; ond nid oes gan esgob *Sodor and Man* bleidlais; nac eisteddle gan yr esgob diweddaf a wnaed, oddigerth esgobion Llundain, Durham, a Winchester. Ystyrir fod hawl yr esgobion i eistedd yn Nhŷ yr Arglwyddi yn codi, nid oddiwrth eu swyddi cysegredig, ond oddiwrth y baroniaethau cysylltiedig â'u hesgobaethau.

Yr *Arglwyddi Tymhorol* ydynt y bendefigaeth yn cynwys duciaid, ardalyddion, ieirll, is-ieirll, a baroniaid. Mae rhai o honynt a'u heisteddleoedd yn y senedd yn etifeddiaethol, eraill trwy ddyrchafiad diweddar, ac eraill trwy etholiad. Er mwyn i'r darllenydd allu gweled ar un drem gyfansoddiad y Tŷ Uchaf yn bresenol, rhoddwn restr o hono, a gosodwn y titlau uchaf yn mlaenaf.

*Arglwyddi Ysbrydol:*—Archesgobion Canterbury a York, 2; Lloegr a Chymru—Esgobion, 24; Iwerddon (yn cymeryd eu heisteddle ar gylch bob senedd)—Archesgob, 1; Esgobion, 3. Yr oll yn 30.

*Arglwyddi Tymhorol:*—Duciaid Breninol, 2; Duciaid gyda thitlau Prydeinig, 19; Ardalyddion (*Marquises*), gyda thitlau Prydeinig, 19; Ieirll, gyda thitlau Prydeinig, 107; Is-ieirll (*Viscounts*), gyda thitlau Prydeinig, 21; Baroniaid, gyda thitlau Prydeinig, 195; Pendefigion Gwyddelig, wedi eu hethol dros eu bywyd, 28; Pendefigion Ysgotland, yn cael eu hethol bob senedd, 16. Yr oll yn 407, yn gwneyd holl nifer y Tŷ yn 437.

Mae y gair Duc neu *Duke* yn tarddu o'r Lladin, ac yn arwyddo blaenor. Rhoddwyd yr enw Ardalydd (*Marquis*) i'r rhai fyddai yn gwylio yr ardaloedd cyffinol rhwng Lloegr a Chymru, neu rhwng Lloegr ac Ysgotland, pan oedd y gwledydd yn elynol i'w gilydd. Gair o'r Saxon (*eorl*) yw Iarll, yn arwyddo urddasol. Byddai yr iarll gynt yn cael llywodraeth sir i'w law. Ar ol amser William y Gorchfygwr gelwid ef yn *Count*, ac oddiwrth hyn y daeth y siroedd i gael eu galw yn *counties*. Is-iarll (*Viscount*) ydoedd rhaglaw yr iarll. *Baron* ydyw un o'r titlau hynaf, er ei fod yn awr yr iselaf o ran gradd yn y bendefigaeth. Cafodd ei enw oddiwrth ei fod yn dal baroniaeth yn uniongyrchol oddiwrth y brenin.

Llywyddir Tŷ yr Arglwyddi gan yr Arglwydd Ganghellydd, fel ei Lefarydd; ond nid yw ef i benderfynu ar reoleidd-dra y gweithrediadau, fel Llefarydd Tŷ y Cyffredin; ac y mae y neb a fyddo yn siarad yn cyfarch y gynulleidfa, ac nid y Llefarydd. Gall yr Arglwyddi bleidleisio yn bersonol neu trwy ddirprwy; sef, trwy anfon eu henwau ar bapyr yn llaw un o aelodau y Tŷ. Mae gan aelodau y Tŷ Uchaf hefyd hawl i fynu gwrandawiad gan y penadur ar unrhyw adeg; rhaid i bob cyfraith cysylltiedig a'u hawliau gychwyn yn eu Tŷ. Nis gellir cymeryd neb o aelodau Tŷ yr Arglwyddi i fyny am ddyled. Tŷ yr Arglwyddi yw y frawdle briodol i brofi personau a gyhuddir gan Dŷ y Cyffredin; y mae ganddo hawl i brofi ei aelodau ei hun dan gyhuddiad o fradwriaeth neu ladrad; ac y mae barnwyr a chyfreithwyr y goron at wasanaeth ei aelodau i'w cyfarwyddo. Tŷ yr Arglwyddi hefyd yw llys barn uchaf y deyrnas, a'r olaf i apelio ato o lysoedd eraill.

TY Y CYFFREDIN.

MAE Tŷ y Cyffredin, neu y Tŷ Isaf, yn cael ei wneyd i fyny o bersonau wedi eu hethol gan y bobl, er eu cynnrychioli hwy yn y senedd. Yr ydym eisoes, yn rhanau blaenorol y llyfr, wedi dangos dechreuad ac ymberffeithiad graddol y Tŷ hwn i'w sefyllfa bresenol. Mae cyfundrefn cynnrychiolaeth bresenol Tŷ y Cyffredin wedi ei sefydlu ar egwyddor y Bil Diwygiadol, a ddygwyd ger bron gan Arglwydd John Russell, ac a basiwyd yn y flwyddyn 1832. Cyn hyny yr oedd cynnrychiolaeth y wlad yn hynod o annhrefnus ac annghyfartal, a'r etholiadau yn cael eu dwyn yn mlaen gydag annghyfiawnder a llwgr-wobrwyaeth sydd bron yn anhygoel yn ein dyddiau ni. Ac er fod Bil Diwygiadol 1832 yn un o'r mesurau goreu a basiwyd yn y ganrif hon, eto bernir yn o gyffredin ei bod yn hen bryd i gael Bil Diwygiadol arall, a chael eangiad llawer mwy eto ar yr etholfraint, neu yr hawl i bleidleisio er ethol aelodau seneddol.

Nifer aelodau Tŷ y Cyffredin yn 1858 ydoedd 658. Yr oedd 500 o'r rhai hyn yn cynnrychioli Lloegr a Chymru; 105 yn cynnrychioli Iwerddon; a 53 yn cynnrychioli Ysgotland. Mae yr aelodau hyn wedi eu hethol dros siroedd, dinasoedd, a bwrdeisdrefi, a thros Brif-ysgolion Oxford, Cambridge, a Dublin. Rhaid cyfeirio y darllenydd yn ol i tu dalen 526 i wybod y cymhwysderau gofynol i roddi pleidlais yn etholiad aelod i'r senedd. Nid oes pleidlais gan estron, na chan neb a fyddo dan 21ain oed, na chan neb a fyddo wedi ei gondemnio o dyngu anudon, na chan neb a fyddo wedi derbyn cymhorth plwyfol yn y flwyddyn hono, na chan neb fyddo yn dal cysylltiad â chyllidfa y deyrnas, dirprwyaeth stampiau, neu y Llythyrdy Cyffredinol, na chan un aelod o bendefigaeth y wlad, na chan neb fyddo wedi ei gondemnio o lwgr-wobrwyaeth, neu a fyddo wedi arfer dylanwad anmhriodol mewn etholiad. Mae llechres o enwau etholwyr yn cael ei chadw yn mhob sir, dinas, a bwrdeisdref, ac yn cael ei chywiro bob blwyddyn gan swyddog apwyntiedig. Y mae amryw o'r un pethau, yn nghyda bod yn farnwr yn un o'r llysoedd uchaf, neu mewn llysoedd sirol, neu yn glerigwr yn Eglwysi Lloegr, Ysgotland, neu Rufain, yn annghymhwysder hefyd mewn ymgeisydd am aelodiaeth yn Nhŷ y Cyffredin.

Saith mlynedd yw amser parhad cyfreithlon y senedd; ar ben y tymhor hwnw bydd yn tori i fyny o honi ei hun. Y mae hefyd i dori i fyny yn mhen chwe mis ar ol marwolaeth y penadur; neu gall y penadur ei thori i fyny unrhyw amser, fel y dangoswyd yn barod. Yr Arglwydd Ganghellydd sydd i anfon gwarant allan i'r sirydd mewn siroedd, ac y mae hwnw i anfon i'r maer, neu berson apwyntiedig arall mewn dinasoedd a bwrdeisdrefi, yr hwn a elwir

y "swyddog dychweliadol" (*returning officer*), i awdurdodi etholiad i gymeryd lle. Caniateir un diwrnod ar bymtheg o amser i siroedd; ond nis gall yr etholiad gymeryd lle yn gynt na'r degfed dydd. Rhaid i'r etholiad gael ei orphen mewn un dydd, yr un fath mewn siroedd a bwrdeisdrefi. Rhaid i'r holl filwyr fyddo yn aros yn y dref lle byddo yr etholiad yn cymeryd lle, ymadael oddiyno y dydd cyn yr etholiad, a pheidio dychwelyd hyd y dydd ar ol yr etholiad. Darperir lle cyfleus i ddwyn yr etholiad yn mlaen, a elwir *hustings*. Yno cynygir yr ymgeiswyr gan un o'u cefnogwyr, ac eilir hyny gan un arall. Yna cyferchir yr etholwyr gan yr ymgeiswyr, er egluro eu golygiadau gwleidyddol, a'u hawliau i'w cynnrychioli yn y senedd. Os na chynygir mwy na'r nifer sydd i'w dychwelyd, ystyrir hwy ar ol hyn yn etholedig. Ond os bydd nifer yr ymgeiswyr yn fwy na'r nifer sydd i'w dychwelyd, rhaid eu profi trwy bleidlais. Gwneir amryw ddarpariadau er dwyn yr etholiad yn mlaen yn gywir a chyfiawn; ac wedi i'r amser penodedig ddyfod i ben, cyhoeddir y rhai fyddo wedi cael mwyaf o bleidleisiau yn etholedig. Os dygwydd i aelod o Dŷ y Cyffredin farw, neu os rhydd ei swydd i fyny, neu os dygwydd unrhyw amgylchiad i beri iddo golli ei eisteddle, bydd y Llefarydd, trwy awdurdod y Tŷ, yn rhoi gwarant i Glerc y Goron, ac anfonir gwys-ysgrif, fel y dangoswyd eisoes, i ethol aelod arall. Nid ystyrir aelod o Dŷ y Cyffredin yn gyfrifol am ddim a ddywed ar ddadleuon yn y Tŷ. Y gymanfa hon yn Nhŷ y Cyffredin sydd â hawl i ddwyn yn mlaen bob mesurau cysylltiedig â chyllidau a threthi y deyrnas, ac i bleidleisio y taliadau cyhoeddus.

## CYFARWYDDWYR Y GORON.

Prif gyfarwyddwyr y goron yw y Cyfrin-gynghor, aelodau pa un ydynt brif ddynion y weinyddiaeth, y rhai a ddewisir gan y penadur. O fysg aelodau y cynghor hwn yr etholir y cynghor a elwir y *Cabinet*, yn cynwys y cynghorwyr y bydd gan y penadur yr ymddiried blaenaf ynddynt. Mae pob aelod o'r cynghor yn cymeryd llw i gadw cyfrinach y penadur, i'w chynorthwyo hyd eithaf ei ddoethineb a'i allu, ac i wrthsefyll pob ymgais i'w gwrthwynebu. Anrhydeddir hwy â'r titl "gwir anrhydeddus" (*right honorable*) yn gysylltiedig â'u henwau. Mae y *Cabinet* yn cael ei gyfansoddi yn benaf gan ran o'r weinyddiaeth, a chynwys yn gyffredin y gweinidogion canlynol:—Y Prif Weinidog, neu arweinydd y weinyddiaeth; yr Arglwydd Ganghellydd, ceidwad y sel fawr, a chynghorydd cyfreithiol y weinyddiaeth; Arglwydd Lywydd y Cynghor; Arglwydd y Gyfrin-sel; yr Ysgrifenyddion Tramor, Cartrefol, y Trefedigaethau, Rhyfel, ac India; Canghellydd y

Drysorgell, yr hwn sydd yn trefnu ac yn cadw cyfrifon y cyllidau a'r treuliadau; Canghellydd Duciaeth Lancaster; yr Arglwydd brif Lyngesydd; a Llywydd Bwrdd Masnach. Bydd weithiau hefyd ambell wleidiadwr enwog yn aelod o'r cynghor, heb fod yn dal swydd yn y weinyddiaeth. Rhaid i holl aelodau y weinyddiaeth feddu eisteddle yn Nhŷ y Cyffredin neu yn Nhŷ yr Arglwyddi.

Prif gynghorwr cyfreithiol y goron yw yr Arglwydd Ganghellydd; a'i swyddogion cyfreithiol ydynt y Cyfreithiwr a'r Erlynydd Cyffredinol, a Dadleuydd y Frenines. Mae y weinyddiaeth yn gyffredin yn perthyn i un blaid boliticaidd, ac yn cymeryd swydd gydag adduned i gario allan ryw gynllun arbenig o lywodraeth. Gelwir y blaid yn y senedd sydd o olygiadau gwahanol i'r weinyddiaeth yn Wrthblaid (*Opposition*). Eistedda yr aelodau sydd o blaid y weinyddiaeth ar yr ochr i Dŷ y Cyffredin sydd ar ddeheulaw y Llefarydd, a'r Wrthblaid ar ei aswy. A chymeryd yr orsedd yn lle cadair y Llefarydd, mae yr un rheol yn cael ei harfer yn Nhŷ yr Arglwyddi, oddigerth ar achlysuron penodol, pan fyddo y pendefigion yn cymeryd eu heisteddleoedd yn ol eu bonedd, neu raddau eu titlau. Os gorchfygir y weinyddiaeth; hyny yw, os â y mwyafrif yn ei herbyn ar unrhyw bwnc o bwys, neu os pasir pleidlais o anymddiried yn ei herbyn, dylai daflu y cyfrifoldeb i fyny, a dylai yr Wrthblaid fod yn abl i gymeryd ei lle. Wedi i weinidogion wasanaethu am ystod tair blynedd, y mae ganddynt hawl i flwydd-dâl o ddwy fil o bunau dros eu bywyd, ar roddiad eu swyddau i fyny.

## GWEITHREDIADAU Y SENEDD.

GAN nad oes un gyfraith yn rhwymedig ar y deiliaid heb gydsyniad y tri gallu—y Goron, Tŷ yr Arglwyddi, a Thŷ y Cyffredin—yn ei gwneuthuriad, ceisiwn egluro yn fyr pa fodd y mae mesurau yn cael eu dwyn yn mlaen yn y senedd, a chyfreithiau newydd yn cael eu gwneyd. Gorchwyl cyntaf aelodau Tŷ y Cyffredin, ar ol ymgynull a chymeryd y llw arferol, yw dewis Llefarydd, yr hwn sydd i reoleiddio y gweithrediadau fel llywydd neu gadeirydd. Nid oes ganddo ef bleidlais ond pan fyddo pleidleisiau y ddwy blaid wrthwynebol yn gyfartal; y pryd hwnw bydd ganddo "*casting vote*," er mwyn troi y fantol. Mae yn derbyn £6000 y flwyddyn o gyflog. Mae traul flynyddol y senedd oddeutu £158,869.

Yn y cyffredin agorir y senedd gan y Frenines oddiar yr orsedd yn Nhŷ yr Arglwyddi. Gwysir Tŷ y Cyffredin, gyda'u Llefarydd, ger ei bron, o flaen bar y Tŷ Uchaf, a bydd hithau yn darllen araeth agoriadol wedi ei darparu gan y weinyddiaeth. Os na fydd y penadur yn gallu presenoli ei hun ar agoriad y senedd, darllenir

yr araeth freninol gan ddirprwywr yn ei henw. Ar ol gwrando yr araeth, dychwela y Cyffredin i'w hystafell eu hunain, ac anfonir cyfarchiad o'r ddau Dŷ i'w Mawrhydi fel cydnabyddiaeth ddiolchgar am ei "haraeth rasol."

Mae pob un o'r ddau Dŷ yn dwyn eu gweithrediadau yn mlaen yn annibynol ar eu gilydd, er nas gall dim ddyfod yn gyfraith heb gydsyniad y llall; ac y mae ffurf y gweithrediadau yn gyffelyb yn y naill a'r llall. Y maent yn ymgynull oddeutu pedwar o'r gloch y prydnawn. Mae lle cyfleus i'r *reporters* yno i ysgrifenu yr areithiau a'r symudiadau, ac oriel i ddyeithriaid. Dechreuir trwy weddi gan un o'r esgobion yn y Tŷ Uchaf, a chan gaplan y Llefarydd yn y llall. Rhaid i dri o'r aelodau fod yn bresenol yn y cyntaf, a deugain yn yr olaf, onide dygwydd yr hyn a elwir "*no house*," a gohirir hyd dranoeth. Yn y Tŷ Isaf, rhaid i aelod gael cenad y Tŷ i ddwyn bil ger bron; ond yn y Tŷ Uchaf, nid oes angen ond i un o'r Arglwyddi hysbysu ei fwriad i wneyd hyny. Os rhoddir caniatad, dygir y bil ger bron mewn ysgrifen, a bydd ei ddygiedydd yn cynyg ar fod iddo gael ei ddarllen y waith gyntaf. Rhaid i bob mesur yn Nhŷ y Cyffredin gael ei eilio; ond nid oes angen eiliwr yn y Tŷ arall. Wedi darllen bil y waith gyntaf, argreffir ef, ac anfonir copiau o hono i'r aelodau; a phan ddaw y dydd penodedig i'w ail ddarllen, dyna y pryd y bydd ei egwyddor yn cael ei phrofi, a'r dadleuon drosto ac yn ei erbyn yn cael eu traddodi. Wedi pasio yr ail waith, ac i'r Llefarydd eto egluro ei gynwys, try y Tŷ yn bwyllgor arno. Bydd y Llefarydd y pryd hwn yn gadael ei gadair, ac yn cymeryd cyfran yn yr achos fel rhyw aelod arall, pryd y gall ddyweyd ei farn, a rhoddi ei bleidlais. Dewisir un o'r aelodau yn gadeirydd, a chymerir cynwysiad y bil i fyny bob yn adran; cynygir cyfnewidiadau a gwelliadau mynych, a rhoddir pleidlais ar bob adran. Wedi myned drosto fel hyn, cymer y Llefarydd ei gadair, a'r Tŷ ei sefyllfa flaenorol. Rhoddir y bil eto o flaen y Tŷ, a gellir cynyg gwelliadau eto, neu wrthod eiddo y pwyllgor. Ar ddydd penodedig daw y trydydd darlleniad yn mlaen. Gellir eto ddwyn unrhyw wrthddadleuon yn ei erbyn; ac os na cheir y mwyafrif o'i blaid, bydd wedi ei golli; ond os bydd y mwyafrif drosto, bydd y Cyffredin wedi ei basio, ac anfonir ef i Dŷ yr Arglwyddi. Bydd yn myned trwy weithrediadau cyffelyb yno drachefn. Os gwrthodir ef gan yr Arglwyddi, bydd wedi ei golli; neu os cynygir gwelliadau arno, anfonir ef yn ei ol i Dŷ y Cyffredin; neu os cydunant ag ef, bydd yn barod i dderbyn sel y frenines, yr hyn a wneir naill ai yn bersonol neu trwy ddirprwy. Os na chydsynia y Cyffredin â chyfnewidiadau yr Arglwyddi, cyferfydd cynadledd o aelodau y ddau Dŷ, ac yn y cyffredin gwastadheir yr anghydweledigad; ond os na wneir, bydd y bil yn syrthio. Bydd

biliau ar ol pasio y ddau Dŷ yn aros am sel y frenines yn Nhŷ yr Arglwyddi, oddigerth bil cyflenwad (*supply*); bydd hwnw yn cael ei ddychwelyd i Dŷ y Cyffredin. Mae un eithriad i'r ffurf yma; sef, pan fyddo gweithred o ras neu bardwn yn cael ei phasio; bydd hono yn cael ei harwyddo yn mlaenaf gan y frenines, ac wedi hyny yn cael ei darllen unwaith yn unig, heb unrhyw welliant, yn y ddau Dŷ.

Pan fyddo bil yn cael ei wrthwynebu yn y Tŷ, wedi i'r pleidiau gael cyfleusdra i ddwyn eu rhesymau dros ac yn erbyn, bydd y Llefarydd yn egluro cynwys y bil, ac yn ei roddi i farn y Tŷ. "Pob un sydd drosto," meddai, "dyweded 'ïe.'" Yna, "Pob un sydd yn ei erbyn, dyweded 'nage.'" Wedi hyn, dywed y Llefarydd ei farn o ba du y bydd y mwyafrif. Os bydd pawb yn foddlon i'w farn, bydd hyny yn derfyniad ar y pwnc. Os na byddir yn foddlon i'w farn, bydd y Tŷ yn cael ei ranu. Y llwybr i ranu y Tŷ yw, i'r rhai fyddo dros y bil i fyned allan i'r cyntedd yn y naill ben i'r ystafell, a'r rhai fyddo yn ei erbyn i fyned allan i'r cyntedd yn y pen arall. Mae *tellers*, neu bersonau i gyfrif y pleidleiswyr, yn cael eu nodi; y rhai hyny yn gyffredin fydd cynygiwr ac eiliwr y bil, yn nghyda dau o brif ddynion yr wrthblaid. Bydd y cyfrif yn cael ei osod i lawr ar bapyr, a *teller* y blaid fyddo wedi ei enill yn ei estyn i'r Llefarydd i'w gyhoeddi. Rhaid i aelodau Tŷ y Cyffredin fod yn bresenol, onide nis gallant bleidleisio. Ond geill yr Arglwyddi bleidleisio trwy ddirprwy, fel y dywedwyd o'r blaen. Rhaid i fil basio trwy ei holl yrfa mewn un eisteddiad seneddol; am hyny y drefn arferol wrth geisio taflu bil allan yw cynyg ar iddo gael ei ddarllen yr ail waith yn mhen chwe mis; bydd hyny fel rheol yn taflu y mater mor bell fel na bydd modd iddo basio o gwbl. Bydd biliau weithiau yn cael eu gosod yn nwylaw pwyllgorau etholedig er gwneyd ymchwiliad trwyadl i'r pynciau cynwysedig ynddynt, a ffrwyth yr ymchwiliad hwnw yn cael ei gyhoeddi i'r Tŷ.

Yn gynar yn ystod yr eisteddiad bydd Canghellydd y Drysorgell yn dwyn y gyllidfa (*budget*) ger bron y senedd; amcan-gyfrif ydyw o'r swm o arian angenrheidiol at wasanaeth y llywodraeth am y flwyddyn, a'r llwybr i godi yr arian. Bydd y gyllidfa yn agored i ddadleuon pwysig yn fynych, ac y mae parhad y weinyddiaeth mewn swydd yn dybynu llawer ar ddoethineb a medr y gwr fyddo ar y Drysorgell. Wedi pasio y swm gofynol mewn pwyllgor a elwir *Committee of Ways and Means*, a phasio y modd y mae yr arian i gael eu defnyddio mewn pwyllgor arall a elwir *Committee of Supply*, anfonir y penderfyniadau, dan yr enw *Appropriation Bill*, i Dŷ yr Arglwyddi; gall y Tŷ hwnw eu gwrthod, ond nis gall eu cyfnewid.

Mae yn rhaid i'r senedd basio y *Mutiny Act* bob blwyddyn;

oblegyd ar basiad hon y mae parhad y fyddin yn dybynu. Pe dygwyddai i un flwyddyn fyned heibio heb senedd, neu pe byddai i'r senedd esgeuluso pasio y mesur hwn yn ei amser priodol, byddai ein holl fyddin trwy hyny wedi ei thori i fyny. Wedi i orchwylion yr eisteddiad gael eu gorphen, bydd y senedd yn cael ei gohirio hyd yr eisteddiad nesaf; neu, os bydd y penadur yn dewis, neu y saith mlynedd ar ben, yn cael ei thori i fyny. Gwneir hyn trwy ddefod gyffelyb i'r hon a wneir ar ei hagoriad,—gan y frenines yn bersonol, neu trwy ddirprwy, a chydag araeth freninol yn adolygu gweithrediadau yr eisteddiad, ac yn diolch i'r Cyffredin am basio y cyflenwadau.

Dyma gipolwg ar y modd y gwneir cyfreithiau yn y wlad hon; a chyfraith neu Weithred Seneddol, fel y dywed Blackstone, yw yr awdurdod uchaf a gydnebydd y deyrnas hon ar y ddaear. Mae ei hawdurdod yn rhwymedig ar bob deiliad yn ei holl diriogaethau; ïe, hyd y nod ar y penadur ei hun, os bydd yn cael ei enwi yn arbenigol ynddi. Ac nis gellir ei chyfnewid, ei gwella, ei throi o'r neilldu, na'i dyddimu, ond trwy yr un ffurf a'r un awdurdod seneddol ag y gwnaed hi; oblegyd y mae yn rheol mewn cyfraith fod yr un gallu yn ofynol i ddifodi rhwymedigaeth ag sydd yn ofynol i'w greu.

## LLYWODRAETH LEOL.

Wedi nodi prif sylfeini a ffynonellau y llywodraeth, rhaid coffa eto amryw drefniadau er cario y llywodraeth allan yn gyffredinol. Un o egwyddorion sylfaenol y cyfansoddiad yw, fod personau a chorphoriaethau yn cael llywodraethu eu hachosion eu hunain, cyhyd ag y gwnelont hyny yn gyson a chyfraith y wlad. Ceir yr egwyddor hon yn rhedeg trwy ein holl drefniadau. Er cario allan lywodraeth a threfn, mae y wlad yn rhanedig i siroedd, cantrefi, bwrdeisdrefi, a phlwyfi. Prif swyddogion cyfreithiol neu farnol y sir ydynt, yr Uchel Sirydd, y Coronwr neu y Trengholydd, a'r Ynadon Heddwch. Yr Arglwydd Raglaw yw llywydd milwrol y sir, ac y mae y cartreflu dan ei awdurdod. Efe hefyd sydd i weini ar y penadur, os ymwela â'r sir, neu basio trwyddi. Sefydlwyd swydd Arglwydd Raglaw siroedd gan Edward III.; apwyntir ef gan y Goron; nid yw yn derbyn unrhyw gyflog, a pharha yn ei swydd dros ystod ei fywyd. Y mae swydd

### Y SIRYDD

Yn llawer hynach, ac efe yw prif swyddog sirol y Goron. Bu ar y cyntaf yn cael ei ethol gan y bobl; ond yn awr enfyn yr Arglwydd Raglaw lechres o enwau personau cymhwys i weini y swydd i'r

Trysorlys (*Court of Exchequer*), lle y gwrandewir rhesymau y neb a fyddo yn dewis ymryddhau. Yna anfonir enwau tri o'r rhestr i'r frenines, yr hon heb edrych arnynt a dery fodcin i ganol yr enwau; a'r gwr yr â y bodcin trwy ei enw fydd y Sirydd am flwyddyn. Nid yw y Sirydd i barhau yn ei swydd ond deuddeg mis. Mae dyledswyddau y Sirydd, yn ol cyfansoddiad y llywodraeth, yn lluosog a phwysig. Efe sydd i alw rheithwyr i farnu mewn prawf-iadau, ac i gario allan ddedfryd eithaf y gyfraith farnol. Efe sydd a'r awdurdod flaenaf yn etholiad aelodau seneddol, fel ceidwad heddwch y frenines yn y sir, ac y mae ganddo awdurdod i alw holl bendefigion y sir i'w gynorthwyo yn erbyn gelynion y frenines, ac i ddal bradwyr a drwg-weithredwyr. Ond y mae gorchwylion y Sirydd gan mwyaf yn cael eu cyflawni gan ei raglaw (*deputy*), neu yr is-sirydd, yr hwn a benodir ganddo ef; ac y mae heddgeidwaid a swyddogion eraill yn ei ryddhau o amryw o'i ddyledswyddau. Y mae yn parhau, beth bynag, i ganlyn a chynal y barnwyr ar eu hymdaith trwy y sir, i ofalu am osgordd o weision arfog i'w ham-ddiffyn, i eistedd ar ddeheulaw y barnwr yn y brawdlys; ac os na fydd carcharorion i'w profi, anrhegir ef â phâr o fenyg gwynion. Hyn, yn nghyda llywyddu ar adeg etholiad, a llywodraethu mewn achos o ddienyddiad, yw agos y cwbl a wneir yn bresenol gan y Sirydd ei hun.

## PLWYFI.

Mae rhaniad y wlad yn blwyfi yn hen drefniad wyth neu ddeg can mlwydd oed; ond nid yw swyddogion na llywodraethiad plwyfi yn awr y peth oeddent gynt. Y pryd hwnw etholid math o geidwaid (*constables*) plwyfol, i wylio ymddygiadau y preswylwyr; ac yr oedd y plwyf yn atebol am ysbeiliadau a wnelid ynddo, ac yn rhwym o ddychwelyd yr hyn a ladratëid neu ei werth i'w berchenog, os na ddelid y lleidr. Mae y ceidwaid, neu y cwnstebli plwyfol hyn, yn para i gael eu dewis hyd yn awr, ond gwneir eu gwaith agos yn hollol gan yr heddgeidwaid sirol. Mae prif lywodraethiad y plwyfi yn awr yn nwylaw Wardeniaid, Arolygwyr y Tlodion, Arolygwyr Ffyrdd, &c., yn cael eu cynorthwyo gan swyddogion gwladol uwchlaw iddynt. Y prif gynulliad plwyfol yw y *Vestry*, lle y cyferfydd y treth-dalwyr i ddewis eu swyddogion, ac i arolygu a dwyn yn mlaen eu gwahanol orchwylion.

Un o brif orchwylion y plwyf yw gofalu am ei dlodion. Mae dar-pariadau ar gyfer y tlodion wedi bod yn un o byncian dyrys y wladwr-iaeth am lawer o ganrifoedd. Bu y cyllidau cysylltiedig â mynachdai y wlad yn cael eu defnyddio am lawer o flynyddoedd i gyflenwi angen y tlawd; ond pan ddystrywiwyd y mynachdai gan Henry

VIII., collwyd y cyllidau hyn, a thaflwyd y tlodion ar y wlad yn ddiymgeledd. Y canlyniad fu i ladradau ac ysbeiliadau ffynu mor fawr, nes y daeth yn bla ar y deyrnas. Rhoddwyd deunaw mil ar ugain o'r troseddwyr hyn, y rhai a elwid yn *sturdy beggars*, i farwolaeth yn mlynyddoedd olaf teyrnasiad Henry. Yn niwedd teyrnasiad Elisabeth, penderfynwyd ffurfio math o drysorfa blwyfol, i fod dan lywodraethiad y Wardeniaid ac Arolygwyr y Tlodion, er diwallu angenrheidiau y tlawd; ac yn raddol diflanodd y drygau, y rhai yr oedd y fflangell, y *stocks*, y *pillory*, a'r crogbren yn aneffeithiol i'w darostwng. Dan Charles II., gwnaed y plwyfi oedd wedi derbyn cyfraniadau oddiwrth y dyn dros ystod ei fywyd, yn rhwymedig i'w gynal wedi iddo fethu, a galwyd y cyfraniadau i'r tlodion yn "dâl y tlawd" (*poor-rate*). O hyn y cododd Cyfraith Sefydliad (*Act of Settlement*), yr hon sydd yn sefydlu plwyf pob un; ac yn awr, codir treth o gymaint a chymaint y bunt ardreth er cynal y tlodion. Yn amser William IV., penderfynwyd adeiladu Gweithdai i gadw y tlodion ynddynt, a chan fod Gweithdy ar gyfer pob plwyf yn ormod, ymunodd amryw blwyfi i gael Gweithdy rhyngddynt. Felly gelwir ef yn *Union*, neu Undeb. Arolygir holl drafodaeth yr Undeb gan Fwrdd, wedi eu dethol gan y plwyfi a'u cyfansoddant, yr hwn a elwir *Board of Guardians*. Y mae dau Ddirprwywr hefyd yn cael eu hapwyntio gan y llywodraeth i arolygu yr holl Undebau hyn, y rhai a elwir *Poor-Law Commissioners*, a rhaid fod y penaf o honynt yn meddu eisteddle yn y senedd. Mae hir brofiad wedi dysgu ei fod yn well peidio glynu yn rhy lym wrth y cynllun o gael yr holl dlodion yn breswylwyr y Gweithdai, felly y mae darpariadau i gyfranu cynorthwy i'r tlodion oddifewn ac oddiallan (*in and out-door relief*).

## BWRDEISDREFI.

Yn y flwyddyn 1833, wrth weled fod llywodraethiad y trefi a'r dinasoedd wedi dirywio a llygru, pasiwyd gweithred seneddol yn darparu ar fod iddynt gael eu llywodraethu rhagllaw gan gorphoriaeth trefol, yn cynwys maer, henuriaid (*aldermen*), a bwrgeiswyr. Gelwir y gyfraith hon yn "*Municipal Corporations Act.*" Mae pob dyn mewn oed, a fu yn cadw tŷ neu siop am dair blynedd oddifewn i derfynau y fwrdeisdref, neu y rhai breswylient yn gyson o fewn saith milldir i'w therfynau, ac a fuont dros ystod yr amser hwnw yn talu at dreth y tlodion, â hawl i gael eu gosod ar lechres y bwrgeiswyr. Rhenir y fwrdeisdref yn *wards* neu ddosbarthiadau, ac etholir y cynghorwyr trefol gan fwrgeiswyr pob *ward*. Y mae nifer o gynghorwyr yn cael eu penodi gan act i bob bwrdeisdref, ac y mae y drydedd ran o honynt i fyned allan o swydd bob blwyddyn. Etholir henuriaid gan y

cynghorwyr, y rhai sydd i gynwys y drydedd ran o'u rhifedi. Y cynghorwyr a'r henuriaid hyn yw y *Cynghor Trefol;* ac y mae y Cynghor yn ethol un o honynt yn Faer, yr hwn sydd i fod yn llywydd y Cynghor. Nid yw y maer i ddal ei swydd ond am flwyddyn; ond bydd yn agored i gael ei ail-ethol. Mae haner yr henuriaid yn myned allan o'u swydd bob trydedd flwyddyn, ond gellir eu hail-ethol. Y Cynghor Trefol sydd yn gosod y trethi bwrdeisdrefol. Mae amryw drefi anghorphoriaethol hefyd yn cynwys Byrddau Iechyd, Dirprwywyr Gwelliadau, &c., yn cael eu hethol gan y treth-dalwyr, dan nawdd y senedd, er llywyddu achosion lleol.

## YR EGLWYS WLADOL.

YSTYRIR Eglwys Loegr fel cyfran o'r Cyfansoddiad Prydeinig, gan hyny rhaid dweyd gair byr am dani. Rhedodd y llywodraeth wladol ac eglwysig i'w gilydd yn amser teyrnasiad Pabyddiaeth yn y wlad; ac er fod Pabyddiaeth wedi ei thori ymaith, mae cysylltiad yr eglwys a'r llywodraeth wedi parhau. Mae Lloegr a Chymru yn rhanedig i ddwy dalaeth, neu archesgobaeth; sef, Canterbury a York, a dau archesgob yn eu llywyddu. Archesgob Canterbury yw pen-esgob y dalaeth hono, a llywyddir holl achosion yr eglwys wladol ynddi ganddo ef a'i esgobion, y rhai ydynt y canlynol:—Esgobion Llundain, Winchester, Bangor, Bath a Wells, Bristol a Gloucester, Chichester, Ely, Exeter, Henffordd, Llandaf, Lichfield a Coventry, Lincoln, Norwich, Oxford, Peterborough, Rochester, Salisbury, Llanelwy, Tyddewi, a Worcester. Llywyddir talaeth York gan Archesgob York a'i esgobion yntau, sef Esgobion Durham, Carlisle, Chester, Manchester, Ripon, a Sodor a Man. Mae gan bob archesgob ei esgobaeth ei hun, yn gystal ag awdurdod ar yr holl esgobion. Mae gan bob esgob hefyd ei esgobaeth ac eglwys gadeiriol, neu *gathedral*, yn perthyn iddi. Dewisir yr archesgob a'r esgob gan y Goron. Etholid yr esgob gynt gan y clerigwyr, ac y mae y *ffurf* o ddewis, yr hwn a enwir gan y Goron, yn parhau hyd heddyw; ond nid yw ond ffurf wag, oblegyd byddant yn agored i ddirwy drom os gwrthodant y gwr a enwir gan y frenines, yr hon yw "Pen yr eglwys a'r wladwriaeth."

Mae gan yr esgob amryw swyddogion eglwysig îs nag ef i'w gynorthwyo, megys deoniaid, canoniaid, a phrebendariaid, y rhai ydynt yn ffurfio glwysgor (*chapter*). Mae ganddynt hefyd mewn ardaloedd gwledig eu harch-ddiaconiaid a'u deoniaid gwladol i'w cynorthwyo yn iawn-lywodraethiad y clerigwyr a'u gofal. Swyddogion îs eto yw y clerigwyr plwyfol, yn cynwys personiaid, ficeriaid, perigloriaid, a churadiaid. Y Person, neu y *Rector*, yw perchen y fywioliaeth, ac sydd â hawl i holl ddegwm y plwyf, a'r awdurdod

benaf mewn materion plwyfol eglwysig. Mae y ficer yn îs, fel yr arwydda ei enw (un dros arall), a derbynia gyfran o'r degwm, neu gyflog benodol gan berchen y fywioliaeth. Cynorthwywr y person neu y ficer yw y periglor, yr un fath a'r curad; ond curadaeth barhaol ydyw, pryd mae parhad y curad yn dybynu ar y drwydded a gafodd, yr hon y gall yr esgob ei galw yn ol wrth ei ewyllys.

Yr esgob yn unig sydd ag awdurdod i ordeinio i bob swyddau cysegredig. Y gris cyntaf yn neillduad clerigwyr yw ordeinio yn ddiacon, a rhaid i'r ymgeisydd fod yn 23ain oed, ac yn meddu ar gymaint a chymaint o wybodaeth ac addysg. Yn mhen deuddeg mis gellir ordeinio y diacon yn offeiriad; ac nis gall neb gael ei godi i swydd uwch yn yr eglwys, heb gael ei ordeinio yn offeiriad. Rhaid i offeiriad fod yn 30ain mlwydd oed, cyn y gellir ei wneyd yn esgob, a rhaid cael tri esgob o leiaf i'w gysegru. Mae math o gymanfa neu senedd eglwys—pob un yn cynwys dwy gynulleidfa wahanol—yn perthyn i bob un o'r taleithiau. Gelwir hwy yn *Upper and Lower House of Convocation*. Yn y tŷ uchaf yr eistedd esgobion y dalaeth, yn cael eu llywyddu gan yr archesgob; ac yn y tŷ isaf, cenadau wedi eu dewis gan y glwysgorau perthynol i eglwysi cadeiriol, a chan glerigwyr bywioliaethau. Eu gwaith ydyw arolygu achosion eglwysig.

## Y FYDDIN.

PRIF alluoedd amddiffynol y wlad rhag goresgyniad gan alluoedd tramor, a chadwraeth trefn a dyogelwch cartrefol, yw y fyddin a'r llynges. Dechreuwyd cadw byddin sefydlog yn y wlad hon gan Charles II. yn fuan ar ol ei esgyniad; yr oedd ei nifer tua 5000. Dan deyrnasiad ei frawd, James II., yr oedd wedi chwyddo yn 30,000. Ond nid oedd awdurdod seneddol dros ei chadwraeth y pryd hwnw, dim ond ewyllys y brenin, a defnyddid arian a fwriedid at achosion eraill, i'w chynal. Un o ddarpariadau y *Bill of Rights* dan William a Mary ydoedd, nas gallesid cadw byddin sefydlog heb gydsyniad y senedd, yr hyn a wneir bob blwyddyn, fel y dangoswyd, trwy basio y *Mutiny Act*.

Y penadur yw pen priodol y fyddin; ond yn y teyrnasiad presenol y mae pob achosion milwrol yn cael eu rheoleiddio gan Ysgrifenydd Rhyfel, a Maeslywydd y Galluoedd. Mae yr olaf yn gofalu am ddysgyblaeth y fyddin, a'r blaenaf am ei symudiadau a'i chynaliaeth. Mae lluaws mawr o is-swyddogion yn perthyn i'r fyddin, pob un yn derbyn cyflog yn ol uchder a chyfrifoldeb ei swydd, a thrwy ba rai y mae y prif swyddogion yn cario allan eu trefniadau.

Yn nesaf at y Maeslywydd (*commander-in-chief*) y saif yr

*Adjutant-general.* Efe yw y gwr canol rhwng y Maeslywydd a'r fyddin, trwy ba un y mae pob trafodaeth i'w cario yn mlaen rhwng y naill a'r llall. Swydd y *Quartermaster-general* yw llywyddu symudiadau y fyddin o un lle i'r llall; megys nodi ei llwybr, dewis y fan i wersyllu, a gofalu am gyfleusderau ymfudol i'r milwyr a'u nwyddau. Gorchwyl y *Paymaster-general* yw talu y cyflogau i'r milwyr. Ac y mae y *Commissary-general* i ofalu am gyflenwad priodol o nwyddau rhyfel ac ymborth. Mae gan bob un o'r swyddogion hyn nifer mawr o weision o wahanol raddau i gario allan eu trefniadau. Cynwysa y fyddin Brydeinig feirch-filwyr (*cavalry*), traed-filwyr (*infantry*), cyflegrwyr (*artillery*), a pheirianwyr (*engineers*). Gorchwyl y rhan o'r fyddin a elwir y *Guards*, neu *Household Troops*, yw gwylio palasau a pherson y penadur. Cynwysant y *Grenadier*, y *Coldstream*, a'r *Scots Fusilier regiments of Foot Guards;* a'r gatrod gyntaf a'r ail o'r *Life Guards*, a'r *Royal Horse Guards*, neu y *Blues*. Mae nerth catrawd o filwyr yn amrywio yn ol amgylchiadau. Mae catrawd gyffredin o feirch-filwyr ar wasanaeth cartrefol yn cynwys wyth mintai, a phob mintai (*troop*) yn cynwys haner cant o wŷr; ac y mae y gatrawd yn cael ei llywodraethu gan y swyddogion canlynol, y rhai a roddwn, er mwyn eu deall yn well, yn Saesneg:—1 *Colonel* (segur swydd), 1 *Lieutenant-colonel* (yr hwn sydd yn ei llywyddu), 1 *Major*, 8 *Captain*, 8 *Lieutenant*, 8 *Cornet* (un o ba rai sydd yn *Adjutant*), 1 *Paymaster*, 1 *Quartermaster*, 1 *Riding-master*, 1 Meddyg, 1 Cynorthwywr Meddygol, ac 1 Meddyg Ceffylau. Bydd deg mintai yn gwneyd i fyny gatrawd ar wasanaeth tramor, ac ychwanegiad cyfatebol o swyddogion. Mae deuddeg cwmni, a chant o wŷr yn mhob cwmni, yn gwneyd i fyny gatrawd o draed-filwyr; ac y mae ychydig o wahaniaeth yn enwau a nifer y swyddogion. Gelwir pob swyddog islaw *Captain* yn *subalterns;* y *Majors*, y *Lieutenant-colonels*, a'r *Colonels*, yn *field officers;* a phawb uwchlaw yr olaf yn *general officers*. Dyrchefir y milwyr i swyddau, ac o swyddau îs i rai uwch, trwy ffafr y Maeslywydd yn enw y penadur, neu trwy bryniad o'r anrhydedd gan y milwr ei hun. Mae hawl gan y swyddog i werthu ei awdurdod i swyddog îs, ar amodau penodol, a chyda chaniatad y Maeslywydd. Ond nis gellir prynu swydd uwchlaw gradd *Lieutenant-colonel*. Nis gallwn nodi cyflogau y milwyr a'r gwahanol swyddogaethau, ond yn unig nodi eu bod oll yn filwyr gwirfoddol, ac mai y fyddin Brydeinig yw yr unig allu o'r fath yn Ewrop. Profir troseddwyr milwrol gan lys o swyddogion y fyddin, yr hwn a elwir *court martial*, gyda chynorthwy barnwr o benodiad y llywodraeth; rhoddir pob chwareu teg i'r cyhuddedig i amddiffyn ei hun, a phenderfynir ei ddedfryd gan y mwyafrif, yr hon a anfonir eilwaith at brif gadfridog y dosbarth i'w chadarnhau.

Gwobrwyir gwasanaeth a gwroldeb milwrol gydag amryw ditlau, blwydd-daliadau, dyrchafiadau, ac addurniadau.

Heblaw y milwyr rheolaidd, y mae y cartreflu a godir yn y siroedd, ag sydd dan lywyddiaeth Arglwydd Raglaw y sir, yn ychwanegiad pwysig at allu y fyddin. Y mae yn Lloegr a Chymru 96 o gatrodau o gartreflu, 17 yn Ysgotland, a 44 yn Iwerddon. Yr oedd y fyddin Brydeinig, a chymeryd y cartreflu i mewn, yn rhifo yn 1858, 220,000 o wŷr, y rhai a gostient i'r llywodraeth £11,750,000 y flwyddyn. Heblaw hyn, y mae ugeiniau o filoedd o Reiffl-gorau Gwirfoddol yn y wlad hon—symudiad a gychwynodd yn y fl. 1859,—a byddinoedd lawer mewn gorsafoedd tramor, ac yn y trefedigaethau.

## Y LLYNGES.

Y LLYNGES yw byddin y môr, neu y llongau rhyfel a'r milwyr sydd ynddynt. Dan y frenines Elisabeth y cododd ein llynges i sefyllfa o bwysigrwydd; cyfnerthwyd a dysgyblwyd hi yn fwy fyth gan Cromwell; ac ar ddiwedd teyrnasiad James II., cynwysai 173 o longau, yn mesur 101,892 o dunelliad, gyda 6,930 o fagnelau, a 42,000 o wŷr. Y mae wedi para i gynyddu mewn nerth, dysgyblaeth, ac amryw welliadau pwysig o hyny hyd yn awr. Ymddiriedir llywodraeth y llynges yn awr i nifer o ddirprwywyr, a elwir *Board of Admiralty*, pen swyddog pa un yw Prif Arglwydd y Morlys, yr hwn sydd aelod o'r *Cabinet.* Y Bwrdd hwn sydd yn trefnu holl achosion a symudiadau y llynges, yn swyddogion, milwyr, a morwyr. Mae y llongau rhyfel yn cynwys chwech o raddau gwahanol. Nis gall llong o'r radd flaenaf fod yn meddu ar lai na 110 o fagnelau, na llai na 950 o wŷr. Mae yr ail radd yn cynwys o 80 i 110 o fagnelau, ac o 750 i 950 o wŷr; ac felly disgyna lai-lai, o radd i radd. Mae nifer mawr o wahanol raddau o swyddogion yn y llynges, fel yn y fyddin, a chyflog osodedig i bob un. Cymerai ormod o le i ni enwi y swyddi o'r *admiral* i'r *boatswain*, na nodi y cyflogau. Nifer llongau y Llynges Brydeinig yn 1858 oedd 236, yn dwyn 4,764 o fagnelau, ac yn cynwys gallu peirianol o nerth 46,973 o geffylau. Y gallu llyngesol, yn ol y *Navy Estimates* am 1858-9, ydoedd 44,380 o swyddogion, morwyr, a bechgyn, a 15,000 o fôr-filwyr (*marines*), ac yr oedd eu traul i'r deyrnas am y flwyddyn yn £9,140,000. Yn nechreu 1863, yr oedd holl longau y llynges yn rhifo 1,014; o'r rhai hyn y mae 85 yn *line of battle ships*, yn dwyn o 74 i 131 o fagnelau, ac 190 o wn-fadau (*gunboats*).

Bu y llywodraeth gynt yn gorfodogi dynion i ymuno â'r fyddin, ac yn cospi troseddwyr trwy eu hanfon i'r llynges; ond yn awr gwirfoddolion yw yr holl fyddin a'r llynges. Dysgyblir y môr-filwyr mewn llong; a rhaid i'w llys barn ar achos troseddwyr gael ei gynal

ar fwrdd llong. Rhoddir blwydd-dâl i bob un a ryddheir o'r gwasanaeth ar ol gwasanaethu un mlynedd ar ugain; ac y mae Hospital Greenwich yn nawddle i forwyr y llywodraeth a fyddont wedi eu hannghymhwyso i'r gwasanaeth trwy archollion, damwain, neu henaint. Y mae y *Coast Guard* hefyd, y rhai sydd yn gwylio y glanau rhag ysbeilwyr, a rhag trosglwyddiad nwyddau annghyfreithlon, a'r *Royal Marines*, y rhai sydd yn gwylio y porthladdoedd breninol, Portsmouth, Chatham, Plymouth, a Woolwich, oll yn perthyn i'r llynges, a than lywyddiaeth Bwrdd y Morlys.

## LLYSOEDD CYFRAITH A CHYFIAWNDER.

MAE cyfraith y wlad o ddau fath; sef, y gyfraith *anysgrifenedig*, a'r gyfraith *ysgrifenedig*. Gelwir y gyntaf yn gyfraith gyffredin, a gwneir hi i fyny o arferion hynafol, weithiau yn dwyn perthynas â'r holl deyrnas, ac weithiau â dim ond lleoedd neillduol. Gelwir y gyfraith ysgrifenedig yn *Statute Law*, oblegyd ei gwneyd a'i chyfnewid o bryd i bryd gan y senedd. Esbonir a chymhwysir y naill a'r llall gan farnwyr awdurdodedig mewn gwahanol lysoedd. Gwneir rhaniad arall hefyd ar y gyfraith dan y penau, cyfraith *wladol* a chyfraith *droseddol*. Mae y gyfraith wladol yn dwyn perthynas ag iawnderau y bobl yn eu mysg eu hunain, yn darparu iawn am unrhyw gamwri a ddyoddefir. Gelwir yr hwn sydd yn dyoddef, neu yn dwyn yr achos yn mlaen, yn achwynydd *(plaintiff)*, a'r hwn y dygir yr achos yn ei erbyn yn ddiffynydd (*defendant*). Rhoddir y gyfraith droseddol ar waith trwy erlyniad yn enw y frenines, yn erbyn drwg-weithredwyr. Bu gwahaniaeth arbenig rhwng llysoedd cyfraith a chyfiawnder (*law and equity*); "ond," meddai Blackstone, "nid yw y gwahaniaeth hwn yn bresenol yn adnabyddus."

Prif lysoedd y Gyfraith Gyffredin, y rhai a gynelir yn Neuadd Westminster, ydynt, (1.) Llys y Frenines (*Queen's bench*), a elwir felly am fod y penadur gynt yn arfer eistedd yn llywydd arno; (2.) Llys Dadleuon Cyffredin (*common pleas*); (3.) a'r Trysorlys (*court of exchequer*). Gelwir y rhai a farnant yn y ddau flaenaf yn Ynadon (*justices*), a'r rhai a farnant yn yr olaf yn Farwniaid. Llywyddir yn Llys y Frenines gan yr Arglwydd Brif Farnwr a phedwar o'r barnwyr; llywyddir Llys Dadleuon Cyffredin gan Brif Farnwr y llys hwnw, yn nghyda phedwar barnwr arall; a'r Arglwydd Brif Farwn a phedwar o'r barwniaid a lywyddant yn y Trysorlys. Deil y barnwyr hyn eu swyddau dros eu bywyd, ac nis gellir eu diswyddo ond am gam-ymddygiad, a hyny trwy ddeiseb o ddau Dŷ y senedd at y penadur. Mae y llysoedd hyn, fel pob llysoedd cyfreithiol eraill yn y deyrnas, yn ol natur y cyfansoddiad,

yn derbyn eu hawdurdod oddiwrth y Goron. Bu awdurdod wahanol yn perthyn i bob un o honynt; ond y mae y linell wahaniaethol hono bellach wedi diflanu, a gellir dwyn y cyffelyb achosion ger bron y naill neu y llall, yn ol dewisiad yr achwynydd. Mae llys y frenines, mae yn wir, yn hawlio awdurdod arbenig ar bob llys islaw iddo i ymyryd â'u gweithrediadau, yn nghydag awdurdod ar holl gorphoriaethau ac ynadon y deyrnas. Y mae ganddo hefyd awdurdod mewn pob math o achosion cyfreithiol, gwladol, a throseddol.

Mae barnwyr y llysoedd uchod yn myned ddwywaith yn y flwyddyn—yn y gwanwyn a'r haf—ar gylchdeithiau trwy y wlad, i brofi troseddwyr ac achosion cyfreithiol. Gelwir y brawdlysoedd a gynaliant yn mhrif drefi pob sir yn *Assizes*. Rhenir Lloegr a Chymru yn wyth cylchdaith, fel hyn:—(1.) Y Gylchdaith Gartrefol, yn cynwys y brawdlysoedd a gynelir yn Hertford, Chelmsford, Lewes, Maidstone, a Croydon. Cylchdaith Norfolk: Aylesbury, Bedford, Huntingdon, Cambridge, Norwich, ac Ipswich. Cylchdaith y Canoldir: Oakham, Northampton, Leicester, Nottingham, Lincoln, Derby, a Warwick. Cylchdaith Oxford: Abingdon, Oxford, Worcester, Stafford, Shrewsbury, Hereford, Monmouth, a Gloucester. Cylchdaith y Gorllewin: Devizes, Winchester, Exeter, Taunton, Dorchester, Bodmin, Wells, a Bristol. Cylchdaith y Gogledd: York, Durham, Newcastle, Carlisle, Appleby, Lancaster, a Liverpool. Cylchdaith Gogledd Cymru: Trefnewydd, Dolgellau, Carnarfon, Beaumaris, Rhuthin, Wyddgrug, a Chaerlleon. Cylchdaith Deheudir Cymru: Caerdydd ac Abertawy, Hwlffordd, Aberteifi, Caerfyrddin, Aberhonddu, Presteign, a Chaerlleon, lle mae y ddwy gylchdaith Gymreig yn cydgyfarfod. Mae dau farnwr yn myned i bob un o'r cylchdeithiau hyn, oddigerth y cylchdeithiau Cymreig; un barnwr sydd yn myned trwy y rhai hyn, oblegyd fod yma lai o orchwylion yn eu haros. Cynelir brawdlysoedd y gauaf hefyd yn amryw o'r prif drefi, i brofi carcharorion yn unig.

Gall unrhyw berson ddwyn yn mlaen, ac amddiffyn ei achos ei hun yn y llysoedd hyn, os bydd yn dewis; ond dygir y rhan fwyaf o achosion ein llysoedd cyfreithiol yn mlaen gan ddadleuwyr a thwrneiod. Y mae dau ddosbarth o ddadleuwyr, y rhai a elwir *sergeants-at-law* a *barristers*, o ba rai y mae dadleuwyr y frenines (*queen's counsel*) yn cael eu dethol; ac o fysg y rhai enwocaf o'r dadleuwyr olaf hyn y dewisir y barnwyr. Apwyntir y prif farnwyr a'r prif farwniaid gan y Prif Weinidog, a'r îs-farnwyr gan yr Arglwydd Ganghellydd. Mae yr hawlfraint i alw personau at y bar i actio fel *barristers* yn Lloegr, yn perthyn i bedair o gymdeithasau henafol yn Llundain:—Lincoln's Inn, Middle Temple, Inner Temple, a Gray's Inn. Rhaid iddynt basio arholiad, neu

wrando cyfres o ddarlithiau penodol, cyn y gallant dderbyn yr anrhydedd; wedi ei gael, gallant ymgymeryd ag achosion yn holl lysoedd Lloegr, oddigerth yn llys y *Doctors Common;* ni chaiff neb yno heb gael gradd y brif-ysgol o *Doctor of Laws.* Rhaid i gyfreithwyr a thwrneiod hefyd basio arholiad, a thalu am dystysgrif newydd bob blwyddyn, cyn y gallont gario eu galwedigaeth yn mlaen.

Penderfynir rhai achosion yn y llysoedd hyn gan y barnwyr eu hunain, eraill gan ddeuddeg o reithwyr wedi eu darparu gan y gyfraith. Mae *rheithwyr cyffredin* yn cael eu dewis o fysg trigolion neu fasnachwyr yr ardal neu y sir lle y cynelir y llys, trwy awdurdod y Sirydd; nid ydynt i gael unrhyw gydnabyddiaeth am eu gwaith na'u hamser, ac y maent yn agored i ddirwy o ddim llai na 40s. os absenolant eu hunain heb esgus boddhaol. Os bydd yr achwynydd yn dewis cael rheithwyr neillduol (*special jury*), gall eu hawlio; y rhai a ddewisir o fysg dynion o sefyllfa uwch na'r rheithwyr cyffredin; ond bydd yn rhaid iddo dalu gini yr un iddynt am eu gwasanaeth, oddigerth i'r barnwr drefnu iddynt gael eu talu trwy ryw ffordd arall.

Wedi i'r barnwr gymeryd ei sedd, a'r rheithwyr gymeryd eu lle a'u llw arferol i wneyd cyfiawnder rhwng y pleidiau, gesyd dadleuwr yr achwynydd yr achos ger bron; yna holir tystion yr achwynydd gan ei ddadleuwr neu ei ddadleuwyr, er egluro a chadarnhau y mater fyddo mewn dadl. Bydd gan ddadleuwyr y diffynydd hefyd hawl i groes-holi yr holl dystion, i weled a allant gael gwendid neu annghysondeb yn y dystiolaeth. Wedi holi y tystion oll, symia y dadleuwr dros yr achwynydd y cwbl i fyny mewn araeth, er gosod y wedd oreu ar yr achos i'r rheithwyr a'r barnwr. Yna dygir y tystion dros y diffynydd i'w holi gan ei ddadleuwr yntau, a bydd gan ddadleuwr y blaid arall hawl i groes-holi. Ar y diwedd symia yntau y dystiolaeth i fyny mor ffafriol i'r diffynydd ag y byddo modd. Bydd hawl gan ddadleuwr yr achwynydd eto i roddi atebiad iddo. Yna darllena y barnwr yr holl dystiolaethau o bob tu i'r rheithwyr, gan wneuthur unrhyw sylwadau a farno yn briodol arnynt, er cyfarwyddyd iddynt i ffurfio barn, a darparu eu dedfryd. Os nad all y rheithwyr gydweled yn y llys, ymneillduant i ystafell benodol i ymgynghori; ac os nad allant ddyfod o gwbl i'r un meddwl, rhyddheir hwynt, a bydd yn rhaid dechreu yr achos o'r newydd drachefn, os nad all y pleidiau ddyfod i gytundeb â'u gilydd. Os mai am drosedd y bydd yr achos, y cwbl fydd gan y rheithwyr i'w wneyd fydd dwyn dedfryd o "euog" neu "dieuog;" ac os euog, bydd y barnwr yn penderfynu ac yn cyhoeddi y gospedigaeth. Os am ddyled neu iawn, &c., bydd y rheithwyr yn penodi y swm ddylai yr achwynydd gael, os barnant yn ei ffafr. Os na fydd y ddedfryd yn boddio y pleidiau, gallant godi yr achos

i lys uwch, ac o hwnw i un uwch eilwaith, nes cyrhaedd yr uchaf—Tŷ yr Arglwyddi. Os na ddaw y diffynydd yn mlaen i ymddangos yn erbyn yr achwynydd, gyda chenad y barnwr gall yr achos gael ei brofi yn ei absenoldeb, os ceir prawf iddo ef gael y rhybudd priodol i wneyd hyny. Mae amryw lysoedd cyfreithiol eraill; megys llysoedd eglwysig, llysoedd sirol (*county courts*), a llys methdaliant (*bankruptcy court*), y rhai na oddef ein terfynau i roddi desgrifiad o honynt; er hyny, y mae ffynonell eu hawdurdod, a nodwedd gyffredin eu gweithrediadau eisoes wedi eu hegluro.

## TROSEDDAU.

Mae amryw fath o droseddau yn erbyn y gyfraith droseddol. Ar ben y rhes y mae *teyrnfradwriaeth*, sef bwriad neu gynygiad i niweidio, carcharu, neu ladd un o etifeddion neu olynwyr George III., neu godi gwrthryfel yn erbyn y penadur, neu gynorthwyo eraill i wneyd hyny. Y gospedigaeth am y cyfryw drosedd yw marwolaeth. Cynwysa y gyfraith "fod i'r condemniedig gael ei lusgo ar dorglwyd i le y dienyddiad, a'i grogi gerfydd ei wddf nes byddo yn farw; yna fod y pen i'w dori ymaith, a'r corph i'w ddarnio yn bedwar, a'r darnau i gael gwneyd â hwy fel y gwelo ei Fawrhydi George III. a'i olynwyr yn dda." Ond gall y penadur trwy warant, wedi ei harwyddo hefyd gan ysgrifenydd y llywodraeth, beri i'r troseddwr gael tori ei ben yn lle ei grogi, a rhoddi hysbysrwydd yn y warant hono beth i wneyd o'r pen a'r darnau. *Llofruddiaeth* yw cymeryd bywyd dyn oddiarno yn fwriadol, ac oddiar falais, a'r gospedigaeth am dano yw marwolaeth trwy grogi. *Dynladdiad* yw cymeryd bywyd dyn oddiarno yn anfwriadol, trwy ddamwain, neu mewn cyffro nwydwyllt, heb falais; ac y mae y gospedigaeth am dano yn amrywio o lafur cospawl (*penal servitude*) dros fywyd, i ychydig fisoedd o garchariad, fel y byddo ffeithiau yr achos. Mae *cynygiad i lofruddio* hefyd yn drosedd i'w gospi â marwolaeth, a dedfryd i'r perwyl yn cael ei phasio; ond nid yw yn cael ei gosod mewn grym. Mae nifer mawr o droseddau yn dyfod dan yr enw *felony*, megys yspeilio personau, tori tai, ffugio arian, aml-wreiciaeth, môr-ladrad, lladrata oddiar bersonau, meistriaid, neu o dai, &c., y rhai a gospir â charchariad, neu lafur cospawl am amser mwy neu lai, fel byddo amgylchiadau yr achos, a chymeriad cyffredin y troseddwr. Yn perthyn i gamymddygiad (*misdemeanor*) y mae tyngu anudon, twyllo, ymosodiad annghyfreithlon ar berson, bradwriaeth, herw-hela (*poaching*), defnyddio pwysau a mesurau twyllodrus, &c., y rhai a gyfarfyddir eto â chospedigaethau cyffelyb. Anfynych y carcherir am fwy na dwy flynedd; ond gweinyddir llafur cospawl am unrhyw nifer o flynyddoedd. Mae alltudiaeth

wedi peidio yn awr, am fod y Trefedigaethau Prydeinig yn anfoddlon i dderbyn y troseddwyr. Eto gellir anfon y rhai a ddedfrydir dros eu bywyd i unrhyw barth y gwelo ei Mawrhydi yn dda.

Mae y draul i ddwyn yn mlaen erlyniadau yn erbyn personau am droseddau o'r fath uchod yn cael ei dwyn gan y llywodraeth, pa un bynag a gânt eu condemnio ai peidio. Mae personau a gydfwriado ddrwg, neu a gynorthwyo i'w gyflawni, neu a gynorthwyo y drwg-weithredwr i ddianc, &c., yn cael eu hystyried yn euog o'r trosedd. Nid yw anwybodaeth o'r gyfraith, i ddynion mewn oed a synwyr, yn eu dieuogi. Ystyrir plant dan saith oed yn annghymhwys i gyflawni trosedd yn euog o farwolaeth; ac ni roddir y gyfraith mewn grym yn eu herbyn dan bedair ar ddeg oed, heb gael prawf yn gyntaf eu bod yn deall gwahaniaeth rhwng drwg a da. Mae dynion allan o'u pwyll, oddigerth dan ddylanwad meddwdod, yn esgusodol. Mae gwraig hefyd, a gyd-gyflawno *felony* â'i gwr, ac yn ei bresenoldeb, yn rhydd; oblegyd yn ngolwg y gyfraith nid yw y gwr a'r wraig ond un. Nis gellir profi neu gospi dyn ddwywaith am yr un trosedd, dan unrhyw amgylchiadau.

## LLYSOEDD A GWEITHREDIADAU Y GYFRAITH DROSEDDOL.

Yr ydys eisoes wedi dangos fod Tŷ yr Arglwyddi yn meddu awdurdod i brofi aelodau o Dŷ y Cyffredin a'i aelodau ei hun ar amser ei eisteddiad, a gyhuddir o fradwriaeth neu ddrwg-weithred. Dangoswyd hefyd fod llys y frenines yn meddu awdurdod bwysig mewn achosion troseddol. Yr Arglwydd Brif Farnwr yw prif Goronwr neu drengholydd y deyrnas, ac y mae yr holl farnwyr yn goronwyr ac yn ynadon heddwch. Byddai cystal hysbysu yma pa fodd y mae coronwyr ac ynadon yn cael eu hapwyntio, a pha beth yw eu dyledswyddau. Etholir y Coronwr gan rydd-ddalwyr y sir, neu y dosbarth lle y byddo yn cynal ei lys; a'i brif ddyledswydd yw ymholi, gyda chymhorth rheithwyr, i amgylchiadau pob marwolaeth sydyn. Os nad ellir cael y corph, nis gellir cadw trengholiad, a gwneir yr ymchwiliad o flaen yr ynadon. Os ceir fod llofruddiaeth neu ddyn-laddiad wedi ei gyflawni, dyledswydd y Coronwr fydd traddodi y person neu y personau amheus i gymeryd eu prawf. Apwyntir ynadon heddwch gan y penadur, trwy gymeradwyaeth Arglwydd Raglaw y sir, er cynorthwyo yn ngweinyddiad y gyfraith. Rhaid fod ganddynt gant punt y flwyddyn, yn dyfod oddiwrth feddianau tirol, i'w cynorthwyo i'r anrhydedd. Ond nid yw hyn yn angenrheidiol i ynadon mewn corphoriaethau, mewn arglwyddi, cyfrin-gynghorwyr, barnwyr, ac eraill. Dyledswydd ynadan yw cadw heddwch y frenines trwy ddal a charcharu terfysgwyr, a gweinyddu y gyfraith mewn prawflysoedd bychain a chyffredinol.

Heblaw llys y Frenines, a'r Brawdlys Sirol, a nodwyd eisoes, y mae gan Lys Troseddol Llundain, a elwir *Central Criminal Court*, awdurdod i brofi pob math o droseddau a gyflawnir yn Llundain a Middlesex, a pharthau penodol o swydd Essex, Kent, a Surrey. Mae yn eistedd unwaith y mis, ac yn cael ei lywyddu gan Gofiadur a Rhingyll Cyffredin (*Recorder and Common Sergeant*) dinas Llundain, a chan farnwyr o'r llysoedd uchaf. Os profir ei fod yn debygol na chaiff person brawf teg yn y sir lle y cyflawnwyd y trosedd, gellir ei symud i gael ei brofi yn y llys hwn. Mae brawdlysoedd chwarterol (*quarter sessions*) hefyd yn profi llawer o achosion troseddol, ond nis gallant brofi am brif droseddau. Cynelir brawdlysoedd chwarterol y siroedd o flaen yr ynadon heddwch, a'u cadeirydd yn llywyddu. Mewn rhai siroedd poblog dewisir *barrister* galluog yn farnwr y llys hwn gan yr ynadon, a derbynia gyflog am ei wasanaeth. Mewn dinasoedd a bwrdeisdrefi, y Cofiadur yw y barnwr. Bydd y llys hwn yn eistedd yn fynychach na phob chwarter blwyddyn, pan fyddo gorchwylion yn galw. Cynelir prawflysoedd bychain hefyd mewn ardaloedd gwledig, a elwir *petty sessions*, ger bron dau neu ychwaneg o ynadon heddwch. Mewn trefi poblog llywyddir hwynt gan ynad cyflogedig a elwir *stipendiary magistrate*. Mae pob achosion troseddol, oddigerth teyrn-fradwriaeth, yn cychwyn yn y prawflysoedd hyn. Terfynir achosion bychain ynddynt gan ddedfryd o eiddo yr ynadon; ond yn mhob achos o bwys, traddodir y cyhuddedig i gymeryd ei brawf yn y brawdlys chwarterol neu yr *assizes*, fel y byddo pwysigrwydd yr achos. Ysgrifenydd y llywodraeth yn gyffredin sydd yn profi un a gyhuddir o deyrn-fradwriaeth; a bydd yn ei ryddhau neu yn ei draddodi i gymeryd ei brawf o flaen llys priodol.

Gweinyddir cyfiawnder bob amser yn gyhoeddus, ac yn mhresenoldeb y cyhuddedig. Wedi dal carcharor, gwneir pob brys i'w ddwyn ger bron ynad heddwch; ysgrifenir y dystiolaeth yn ei erbyn, a llawnodir hi gan y tyst a'i rhoddodd. Ac os traddodir ef i gymeryd ei brawf, bydd ganddo hawl i gopi o'r dystiolaeth a roddwyd yn ei erbyn, ond iddo dalu swm bychan am ei chopio. Os bydd amheuaeth am euogrwydd y carcharor, a'r dystiolaeth heb fod yn ddigon cadarn i'w draddodi, gall yr ynad orchymyn ei gadw eto am wyth niwrnod, er mwyn cael ychwaneg o amser, a gollyngir y carcharor dan fechniaeth, neu cedwir ef yn y carchar. Os ceir tystiolaeth ddigonol, traddodir ef i gael ei brofi mewn llys uwch, a rhwymir yr holl dystion i ymddangos yno yn ei erbyn; os bydd y dystiolaeth yn annigonol yn marn yr ynadon, rhyddheir ef.

Mae dull y gweithrediadau yn gyffelyb mewn brawdlysoedd troseddol ag ydynt mewn achosion gwladol. Dewisir dau fath o reithwyr, uchel ac îs-reithwyr (*grand and petty jury*), trwy

awdurdod y Sirydd, fel y dangoswyd o'r blaen. Os bydd achos estron yn cael ei brofi, gall y carcharor hawlio cael haner y rheithwyr yn estroniaid, ond ni fydd raid iddynt fod o'r un wlad a'r carcharor. Rhoddir cyhudd-gwyn (*indictment*) pob carcharor yn mlaenaf o flaen yr uchel reithwyr, y rhai ydynt nifer anmhenodol o brif foneddigion y sir. Holant y tystion yn erbyn y carcharor yn unig, i weled a fydd digon o sail dros ei osod ar brawf yn y llys. Os ceir mwyafrif o ddeuddeg yn cydweled fod sail ddigonol, ysgrifenir "*True bill*" gan flaenor y rheithwyr ar ysgrif y cyhudd-gwyn, a bydd yr achos i fyned i brawf. Os na chaiff y *grand jury* sail foddhaol yn erbyn y carcharor, ysgrifenir, "*No true bill*," a rhyddheir ef heb fyned i brawf pellach. Cyhoeddir penderfyniad y rheithwyr mewn llys agored; dygir yr holl garcharorion y byddo *true bill* yn eu herbyn ger bron, darllenir y cyhuddgwyn yn erbyn pob un, a gofynir iddo gyfaddef "euog," neu "dieuog." Os cyfaddefa y troseddwr ei fod yn euog o'r cyhuddiad, cyhoeddir y ddedfryd arno yn y fan. Ond y rhai a ddywedant "dieuog" a ddygir i fyny y naill ar ol y llall, i gael eu profi ger bron y barnwr a'r is-reithwyr. Gynt, os gwrthodai carcharor ateb euog na dieuog, dygid ef i ystafell dywell yn y carchar, rhoddid ef i orwedd ar ei gefn, a gosodid cymaint allai ddal o bwysau haiarn ar ei fynwes; cedwid ef felly gyda thamaid o fara caled, a llymaid o ddwfr afiach, hyd nes yr atebai, neu farw. Os gwrthyd carcharor ateb yn awr, nodir rheithwyr i brofi pa un ai mudanrwydd neu wrthnysigrwydd fydd yr achos; os mai yr olaf fydd, ystyrir ef yr un fath a phe dywedasai "*dieuog*," a chaiff gymeryd ei brawf; os y llall, gohirir y prawf, a rhoddir ef dan gadwraeth. Rhoddir cynygiad i'r carcharorion i wrthod un neu ychwaneg o'r rheithwyr, os byddant yn ofni na roddant farn deg ar eu hachos. I'r perwyl hwn darllenir enwau y rheithwyr i'r carcharorion cyn i'r rheithwyr gymeryd eu llw.

Wedi myned trwy yr holl ragbarotoadau y cyfeiriwyd atynt, rhoddir y carcharor sydd i gymeryd ei brawf yn y *dock* gyferbyn a mainc y barnwr; gesyd y dadleuydd dros yr erlyniad yr achos ger bron, a holir y tystion i'w gadarnhau. Gall y carcharor neu ei ddadleuwr groesholi y tystion, a gwneyd cyfarchiad i'r rheithwyr ar y diwedd. Y mae un gwahaniaeth o bwys yma i'w nodi rhwng prawf mewn achosion gwladol a throseddol. Mewn achos gwladol mae y ddadl rhwng deiliad a deiliad, a'r amcan yw cael allan holl ffeithiau yr achos; rhaid i'r ddwy blaid roddi tystiolaeth, neu cymerir fod tystiolaeth y naill yn wir am nad yw y llall yn ei gwrthwynebu. Ond mewn achos troseddol, y llywodraeth yn ei holl awdurdod yw yr erlynydd yn erbyn y cyhuddedig, ac y mae ganddi gyflawnder o ddynion cymhwys a chyfoeth i ddwyn yr achos yn mlaen. Felly, gan mai amcan cyntaf y gyfraith yw amddiffyn y

gwan yn erbyn y cryf, dyogela y cyhuddedig, hyd y mae yn bosibl, oddiwrth bob camwri. Nid oes rwymau arno i euogi ei hun; nid oes raid ychwaith iddo ef brofi ei ddiniweidrwydd, ond rhaid i'r erlyniad brofi ei euogrwydd, onide myn y gyfraith ei ryddhau. Dyma un o elfenau rhagorol ein cyfansoddiad. Mewn gwledydd eraill, rhaid i'r cyhuddedig brofi ei fod yn ddieuog, onide cospir ef. Mae yn wir fod y darpariad hwn yn y cyfansoddiad Prydeinig yn achlysur rhyddhad llawer euog, ond y mae hefyd yn achlysur amddiffyniad llawer diniwaid oddiwrth gyhuddiadau annghywir a maleisus. "Ac y mae yn well i gant o droseddwyr ddianc—cânt eu haeddiant ryw bryd—nag i un dyn diniwaid ddyoddef."

Wedi gorphen achos yr erlyniad gan y Goron, bydd y tystion o blaid y carcharor yn cael eu holi; ond bydd hawl gan y dadleuydd dros yr erlyniad i wneyd yr araeth ddiweddaf, a mynu dweyd y gair olaf wrth y rheithwyr. Wedi i'r ddwy blaid orphen, symia y barnwr yr holl dystiolaeth i'r rheithwyr, a rhoddant hwythau y ddedfryd o *euog* neu *dieuog*. Os euog, dedfryda y barnwr y carcharor yn ol darpariad y gyfraith; os dieuog, rhyddheir ef. Nis gellir dwyn neb i brawf ddwywaith am yr un trosedd, hyd y nod pe ceid sicrwydd fod camdystiolaeth neu gamddedfryd wedi ei rhoddi. Os ceir fod y cyhuddedig wedi cael ei gondemnio ar gam, rhydd y frenines bardwn iddo; ac os cafodd, o'r ochr arall, ei ryddhau ar gam, nis gellir ei ddwyn eilwaith i brawf. Mae hyn yn ddiau yn ddiffyg amlwg yn y gyfraith. Nid yw pardwn dirgel yn gyfiawnder ag un gafodd ei gondemnio ar gam ar g'oedd gwlad, ond dylai ei gyfiawnhad fod mor gyhoeddus a'i gondemniad.

## CYFRAITH TYSTIOLAETH.

Un peth pwysig arall, ag y mae mwy na haner dadleuon y llysoedd barn yn troi arno, yw cyfraith tystiolaeth, neu pa fath dystiolaeth (*evidence*) sydd yn dderbyniol ac yn annerbyniol gan y gyfraith. Mae dau fath o dystiolaethau, geiriol ac ysgrifenedig (*parol and written*); ac y mae y rhai hyn eilwaith yn cael eu dosbarthu i brif dystiolaethau a thystiolaethau eilraddol. Tystiolaeth *eiriol* yw yr hon a roddir mewn geiriau gan dystion. Rhoddir hi yn gyffredin ar lw; ac am hyny, nis gallasai Crynwyr, Morafiaid, ac eraill y gwaharddai eu crefydd hwynt i gymeryd llw, gynt fod yn dystion mewn llys troseddol. Bellach y mae y gyfraith wedi symud y rhwystr, fel nad oes raid i neb y byddo ei grefydd yn gwahardd iddo, gymeryd llw; eto defnyddir pob cyfleusdra i wasgu cyfrifoldeb y tyst at ei feddwl. Wrth gymeryd y llw defnyddir y moddion fyddo yn fwyaf rhwymedig i gydwybod y tyst. Tynga y Cristion, wedi noethi ei ben, ar y Testament Newydd; yr Iuddew, a'i ben yn orchuddiedig, ar bum llyfr Moses; y Mahometaniad ar y Koran; yr Hindw i'r afon

Ganges. Nis gellir derbyn tystiolaeth gwallgofiaid, na phlant na fyddo yn deall ystyr llw.

Nis gall gwr a gwraig fod yn dystion yn erbyn eu gilydd mewn achosion troseddol, oddigerth i brofi priodas â dwy wraig, neu pan fyddo y gwr yn arfer creulondeb at ei wraig. Nis gellir holi carcharorion ar lw yn eu hachos eu hunain, neu y naill garcharor am y llall a fyddo yn gyd-droseddwr. Ond os ceir un o honynt yn ddieuog, gellir wedi hyny ei gymeryd fel tyst. Ni ofynir oddiwrth dyst ond yr hyn a wybu, neu a welodd ei hun; ni fydd y peth a glywodd gan arall yn dystiolaeth, am nad oedd yr arall hwnw yn dywedyd ar lw. Ond os oedd y person y perthynai y geiriau iddo yn clywed, a chyfleusdra ganddo i droi y geiriau yn ol, ac yntau heb wneyd hyny, yna gall y person oedd yn clywed roddi hyny fel tystiolaeth, gan yr ystyrid dystawrwydd yr hwn y perthynai y geiriau iddo fel addefiad o'u gwirionedd. Gofynir bob amser y *brif* neu y dystiolaeth *oreu*. Ni dderbynir adroddiad o ysgrif, na chopi o honi, am mai yr ysgrif ei hun yw y goreu. Mewn achosion llinachol, derbynir tystiolaeth *eilraddol*, gan bersonau o gymeriadau cyfrifol, er na fydd ond wedi ei seilio ar yr hyn a glywsant. Tystiolaeth *ysgrifenedig* yw tystiolaeth trwy ddwyn ger bron ysgrifau i brofi yr achos. Mae tystiolaeth *uniongyrchol* ac amgylchiadol hefyd (*direct and circumstantial*). Tystiolaeth uniongyrchol yw yr un fyddo yn profi yn eglur fod y cyhuddedig wedi dyweyd neu gyflawni rhyw beth. Tystiolaeth amgylchiadol yw cydgyfarfyddiad amgylchiadau fel ag i roddi sail i gasglu iddo wneyd felly. Mae y desgrifiad hwn o angenrheidrwydd yn fyr; eto efallai y cynorthwya y darllenydd i ddeall beth a feddylir pan ddywedir yn fynych fod yr *evidence* yn cael ei wrthod.

Er ei holl ddiffygion, credwn yn ddibetrus, a'i gymeryd trwyddo draw, nad oes ac na fu gan un genedl na gwlad gyfansoddiad llywodraethol mor ardderchog. "Pa genedl mor rhydd, mor ddedwydd, ac mor ddyogel? Y mae genym Frenines ar yr orsedd fel penadur yn esiampl i bob pen coronog; ac fel Cristion yn gynllun i'w hefelychu ar bob aelwyd. Mae genym bendefigaeth wedi dysgu dwyn ei balchder yn ddidramgwydd, ac sydd bob amser yn barod i wneuthur rhyw beth dros y bobl yn gydnabyddiaeth am y breintiau a fwynha. Mae genym ddosbarth canol yn codi cof-golofnau anfarwol o'u llafur a'u hanturiaethau yn mhob chwarter o'r byd. Mae genym weithwyr nerthol a gonest, heb allu a medr y rhai nas gallai y cof-golofnau hyny byth godi. Y mae genym dlodion yn llafurio yn wrol ac anrhydeddus; tlodion anwybodus a newynllyd; tlodion drygionus a diraddiedig, ond ychydig sydd, debygem, yn mysg yr holl genedl nad yw yn rhoddi eu cyfran er eu haddysgu, eu porthi, a'u diwygio."

# TAFLEN AMSERYDDOL O DDYGWYDDIADAU PWYSIG.

| | | |
|---|---|---|
| Goresgyniad Prydain gan Julius Cesar | Cyn Crist | 55 |
| Carchariad Caradog, a darostyngiad Prydain | Oed Crist | 51 |
| Gwrthryfel y Prydeiniaid dan Boadicea | | 61 |
| Dygiad tybiedig Cristionogaeth i Brydain gan Paul | | 63 |
| Goresgyniad y wlad gan y Pictiaid a'r Scotiaid | | 445 |
| Ymadawiad y Rhufeiniaid | | 448 |
| Tiriad cyntaf y Sacsoniaid yn Mhrydain | | 449 |
| Brwydr Aylesford, rhwng y Prydeiniaid a'r Sacsoniaid | | 455 |
| Marwolaeth Awstin | | 604 |
| Brwydr Croesoswallt, rhwng y Merciaid a'r Northumbriaid | | 641 |
| Marwolaeth Cadwaladr, y brenin Cymreig olaf ar unbenaeth Prydain | | 703 |
| Uniad y Seithbenaeth Seisnig gan Egbert | | 827 |
| Goresgyniad Lloegr gan y Daniaid | | 866 |
| Marwolaeth Alfred Fawr | | 901 |
| Lewyn ac Olave (Daniaid) yn difrodi y wlad | | 993 |
| Sefydliad goruchafiaeth y Daniaid | | 1017 |
| Goresgyniad Lloegr gan y Normaniaid | | 1066 |
| Brwydr Hastings | Hydref 14, | 1066 |
| Coroni William y Gorchfygwr | Nadolig | 1066 |
| Dechreuad Rhyfeloedd y groes | | 1097 |
| Gwladychiad y Flemiaid yn Nghymru | | 1106 |
| Senedd gyntaf yr Arglwyddi a'r Cyffredin | | 1116 |
| Marw Robert mab William y Gorchfygwr yn nghastell Caerdydd | | 1135 |
| Cyflafan ddychrynllyd ar yr Iuddewon | 1189, | 1190 |
| Cael y Freinlen Fawr gan y brenin John | | 1215 |
| Cwymp Llewelyn, a gorchfygiad Cymru gan Edward I. | | 1282 |
| Genedigaeth Edward II., yn nghastell Caernarfon | | 1284 |
| Dyfeisiad cwmpawd y morwr | | 1302 |
| Dyfeisiad pylor gan Swarth (Ffrancwr) | | 1327 |
| Brwydr Cressey, lle y defnyddiwyd magnelau gyntaf, ac y cymerodd y Tywysog Du y bluen "Ich Dien" | | 1346 |
| Brwydr Nevill's Cross, rhwng y Saeson a'r Ysgotiaid | | 1346 |
| Edward III. yn cymeryd Calais | | 1347 |
| Dwyn glo gyntaf i Lundain | | 1357 |
| Dechreu y diwygiad gan Wicliffe | | 1369 |
| Gwrthryfel Wat Tyler | | 1381 |
| Marwolaeth Wicliffe | | 1384 |
| Ymosodiad Owain Glyndwr ar Loegr | | 1405 |
| Merthyru John Huss | | 1415 |
| Brwydr Agincourt (Ffrainc) | | 1415 |
| Gorchfygiad Ffrainc gan Henry V. | | 1421 |
| Dechreuad y ddyfais o argraffu | | 1441 |
| Brwydr St. Albans | | 1454 |
| Argraffu y llyfr cyntaf (gan Faust) | | 1457 |
| Brwydr Wakefield | | 1460 |
| Brwydr Towton | | 1461 |
| Brwydr Tewkesbury | | 1471 |
| Brwydr Maes Bosworth | Awst 22ain, | 1485 |
| Uniad y ddau Rosyn | | 1486 |
| Darganfyddiad Cape of Good Hope | | 1488 |
| Darganfyddiad America gan Columbus | | 1492 |
| Lloegr yn ymwrthod ag awdurdod y pab | | 1534 |
| Rhoddi Cymru dan yr un cyfreithiau a Lloegr | | 1536 |
| Rhanu holl Gymru yn siroedd | | 1536 |
| Dinystrio tri chant o fynachdai gan Henry VIII | | 1536 |
| Rhoddi copi o'r Bibl yn yr eglwysi plwyfol | | 1539 |
| Cynal Cynghor Trent | | 1542 |

| | | |
|---|---|---|
| Geni William Shakespeare | Oed Crist | 1564 |
| Cyflafan Protestaniaid Ffrainc (Bartholomew) | Awst 24, | 1572 |
| Darganfyddiad Virginia gan Syr W. Raleigh | | 1584 |
| Tori pen Mary brenines Ysgotland | | 1587 |
| Dystrywio yr Armada Ysbaenaidd | | 1588 |
| Tori pen Essex, hoff-ddyn Elisabeth | | 1601 |
| Brad y Pylor gwn | Tach. 5, | 1605 |
| Tori pen Syr Walter Raleigh | | 1618 |
| Tiriad y "Pilgrim Fathers" yn America | | 1620 |
| Cyflafan ar y Trefedigwyr Seisnig yn Iwerddon | | 1641 |
| Tori pen Charles I | | 1649 |
| Gwneyd Oliver Cromwell yn Amddiffynydd | | 1653 |
| Rhyfel rhwng Spain a Lloegr | | 1654 |
| Cymeryd ynys Jamaica gan Penn a Venables | | 1655 |
| Troi dros 2000 o weinidogion allan o'r eglwys | Awst 24, | 1662 |
| Pla dinystriol yn Llundain | | 1665 |
| Tân mawr Llundain | | 1666 |
| Bathu dimeiau a ffyrlingau gyntaf | | 1672 |
| Bradwriaeth *Rye House* | | 1683 |
| Cymeryd Gibraltar gan Syr George Rooke | | 1704 |
| Uno Lloegr ac Ysgotland | | 1706 |
| Y Rhew mawr | | 1716 |
| Dechreu dodi y frech (*inoculation*) yn y wlad hon | | 1721 |
| Marwolaeth Syr Isaac Newton | Mawrth 10, | 1727 |
| Dychweliad Anson o'i fordaith o gylch y byd | | 1744 |
| Daeargrynfäau yn Llundain | | 1750 |
| Sefydlu yr Amgueddfa Brydeinig yn Llundain | | 1752 |
| Dinystr Lisbon gan ddaeargryn | | 1755 |
| Cymeryd Quebec—marwolaeth Wolfe | | 1759 |
| Cysylltu ynys Manaw (*Isle of Man*) â choron Prydain | | 1765 |
| Cyhoeddi Annibyniaeth America | | 1776 |
| Rhyfel â Ffrainc | | 1778 |
| Y Llyngesydd Rodney yn cymeryd llongau Spain | | 1780 |
| Terfysg Arglwydd Gordon yn Llundain | | 1780 |
| Lloegr yn cydnabod Annibyniaeth yr Unol Daleithiau | | 1782 |
| Y Chwyldroad Ffrengig | | 1790 |
| Terfysg yn Birmingham | | 1791 |
| Howe yn gorchfygu y llynges Ffrengig | | 1794 |
| Terfysgoedd yn Lloegr | | 1795 |
| Cymeryd Cape of Good Hope gan y Saeson | | 1795 |
| Buddugoliaeth Jervis ar lynges Spain | | 1796 |
| Tiriad y Ffrancod yn Sir Benfro | | 1797 |
| Brwydr y Nilus | | 1798 |
| Cymeryd ynys Malta gan y Saeson | | 1800 |
| Uniad Prydain ac Iwerddon | Ion. 1af, | 1801 |
| Cymeryd *Grand Cairo* gan y Saeson | | 1801 |
| Heddwch Amiens | | 1802 |
| Gwrthryfel yn Dublin | | 1803 |
| Sefydlu Cymdeithas y Biblau | | 1804 |
| Brwydr Trafalgar—marwolaeth Nelson | | 1805 |
| Brwydr Austerlitz | | 1805 |
| Dyddimiad y gaeth-fasnach yn Mhrydain | | 1807 |
| Cymeryd Copenhagen gan y Saeson | | 1807 |
| Gwneyd heddwch rhwng Lloegr a Spain | | 1808 |
| Yr agerfad cyntaf at gludo teithwyr | | 1811 |
| Cymeryd Badajoz gan Arglwydd Wellington | | 1812 |
| Rhyfel ag America | | 1812 |
| Llosgiad Moscow | | 1812 |
| Brwydr Waterloo | Meh. 18fed, | 1815 |

Sefydliad y Banciau Cynilo (*Savings Banks*) Oed Crist 1815
Geni y frenines Victoria 1819
Marwolaeth Duc Kent, tad Victoria 1820
Bradwriaeth yn erbyn gweinidogion y llywodraeth 1820
Marwolaeth Napoleon Buonaparte yn St. Helena 1821
Pasio bil rhyddhad y Pabyddion 1829
Agor y Rheilffordd gyntaf (rhwng Liverpool a Manchester) 1830
Terfysgoedd yn Lloegr 1831
Ympryd Cyffredinol yn herwydd y *Cholera* Mawrth 21ain, 1832
Pasio y Bil Diwygiadol 1832
Dyddimiad caethwasiaeth yn y Trefedigaethau Prydeinig 1834
Llosgiad dau Dŷ y senedd 1834
Pasio bil Corphoriaethau Bwrdeisdrefol 1835
Esgyniad Victoria i'r orsedd 1837
Terfysgoedd yn Canada 1837, 1838
Coroniad y frenines Meh. 28, 1838
Agor rheilffordd y *Great Western* 1838
Terfysg y Chartiaid yn Lloegr 1838
Ymosodiad y Chartiaid ar Gasnewydd Tach. 4ydd, 1839
Priodas y frenines â'r Tywysog Albert Chwef. 10fed, 1840
Dechreuad y *Penny Postages* 1840
Cymeryd Canton gan y Saeson 1841
Rhyfel Affghanistan 1841, 1841
Gosod careg sylfaen y *Royal Exchange* gan y Tywysog Albert 1842
Bedyddio Tywysog Cymru Ion. 25ain, 1842
Rebecca yn dystrywio y tollbyrth yn Nghymru 1842, 1843
Ymweliad y frenines a'i gwr â brenin Ffrainc 1843
Ymweliad Nicholas o Rwsia â Lloegr 1844
Ymweliad brenin Ffrainc â Lloegr 1844
Rhyfel â'r Sikhs yn India 1845
Dyddimiad treth yr ŷd 1846
Newyn trwm yn Iwerddon 1847
Chwyldroad yn Ffrainc—diorseddiad Louis Philippe 1848
Dyddimiad y deddfau morwrol (*navigation laws*) 1849
Ymweliad dinystriol y *Cholera* 1849
Marwolaeth Syr Robert Peel 1850
Yr Arddangosiad Mawr yn Hyde Park 1851
Gosod y *telegraph* tanforawl rhwng Lloegr a Ffrainc 1851
Marwolaeth Duc Wellington 1852
Cyhoeddi Louis Napoleon yn Ymerawdwr y Ffrancod 1852
Rhyfel y Crimea 1854, 1855
Toriad allan wrthryfel yn myddinoedd brodorol India 1857
Gollwng yr Iuddew i'r senedd 1858
Gosod y *telegraph* tanforawl i America 1858
Agor y *drinking fountain* gyntaf i'r cyhoedd yn Llundain Ebrill, 1859
Cychwyniad y Reiffl-gorau Gwirfoddol 1859
Garibaldi yn cyhoeddi Victor Emanuel yn frenin Itali 1860
Toriad allan wrthryfel America 1861
Sefydlu Banc Cynilo y Llythyrfa 1861
Dyddimiad Treth y Papyr Hydref 1, 1861
Tân mawr yn Llundain, yn parhau am dair wythnos 1861
Marwolaeth y Tywysog Albert Rhag. 14eg, 1861
Damwain yn mhwll glo Hartley—colli oddeutu 215 o fywydau 1862
Damwain eto yn Merthyr—colli 50 o fywydau 1862
Agor arddangosiad mawr Kensington, Llundain Mai 1af, 1862
Cyhoeddi caethion taleithiau gwrthryfelgar America yn rhydd 1863
Priodas Tywysog Cymru a'r Dywysoges Alexandra o Denmark Mawrth 10, 1863

ABERTAWY: ARGRAFFWYD GAN J. ROSSER.

